16 Hir-hoedl sydd yn ei llaw ddehau hi; ac yn ei llaw asswy [y mae] cyfoeth a gogoniant.

17 Ei ffyrdd hi sydd ffyrdd hyfrydwch, a'i holl lwybrau hi ydynt heddwch.

18 Pren bywyd [yw] hi i'r neb a ymaflo ynddi: gwyn ei fyd a ddalio ei afael ynddi hi.

19 Yr Arglwydd, trwy ddoethineb, a seiliodd y ddaiar; trwy ddeall y || sicrhaodd efe y nefoedd.

|| *Neu, darparodd.*

20 Drwy ei wybodaeth ef yr holltodd y dyfnderau, ac y defnynna yr wybrennau wlith.

21 Fy mab, na ollwng hwynt allan o'th olwg, cadw ddoethineb, a phwyll.

22 Yna y byddant yn fywyd i'th enaid, ac yn râs i'th wddf.

23 *Yna y cei rodio dy ffordd yn ddiofal, a'th droed ni thramgwydda.

*Psal. 37. 24. & 91. 11.

24 Pan orweddych, nid ofni; ti a orweddi, a'th gwsc fydd melys.

25 Nac ofna [rhag] braw disymmwth, na rhag dinistr yr annuwiol, pan ddelo.

26 Canys yr Arglwydd a fydd dy hyder di, ac a geidw dy droed rhag ei ddal.

27 Na attal ddaioni oddi wrth || y rhai y perthyn iddynt, pan fyddo ar dy law ei wneuthur.

|| *Heb. ei berchennogion.*

28 Na ddywed wrth dy gymmydog, cerdda ymmaith, a thyred amser arall; ac y foru mi a roddaf, a chennyt [beth yn awr.]

29 Na feddwl ddrwg yn erbyn dy gymmydog, ac yntef yn trigo yn ddiofal yn dy ymyl.

30 Nac ymryson â neb heb achos, os efe ni wnaeth ddrwg i ti.

31 *Na chenfigenna wrth wr || traws, ac na ddewis yr un o'i ffyrdd ef.

*Psal. 37. 1. || *Heb. trais.*

32 Canys ffiaidd gan yr Arglwydd y cyndyn, *ond gyd â'r rhai uniawn y mae ei gyfrinach ef.

*Psal. 25. 13.

33 *Melldith yr Arglwydd sydd yn nhŷ 'r annuwiol, ond efe a fendithia drigfa y cyfiawn.

*Mal. 2. 2.

34 *Diau efe a watwar y gwatwarus, ond ei râs a rydd efe i'r gostyngedig.

*Iac. 4. 6. 1. pet. 5. 5.

35 Y doethion a etifeddant anrhydedd, a gwarth [|| fydd] derchafiad ffyliaid.

|| *Heb. a dderchafa.*

## PEN. IIII.

1 Salomon, er mwyn dyscu ufydd-dod i eraill, 3 yn dangos pa athrawiaeth a gafodd ef gan ei rieni, 5 i geisio Doethineb, 14 ac i ochel llwybrau 'r annuwiol. 20 Y mae yn annog i ffydd, 23 ac i sancteiddrwydd.

GWrandewch blant addysc tâd, ac erglywch i ddyscu deall.

2 Canys yr ydwyf fi yn rhoddi i chwi addysc dda, na wrthodwch fy nghyfraith.

3 Canys yr oeddwn yn fab im tâd, yn *dyner, ac yn anwyl || yngolwg fy mam.

*1. Cron. 29. 1. || *Neu, ym mysc meibion.* *1. Cron. 28. 9.

4 *Efe a'm dyscei, ac a ddywedei wrthif, dalied dy galon fy ngeiriau: cadw fy ngorchymynion, a bydd fyw.

5 Cais ddoethineb, cais ddeall; na âd ddros gôf, ac na wyra oddi wrth eiriau fy ngenau.

6 Nac ymâd â hi, a hi a'th geidw; câr hi, a hi a'th wared di.

7 Pennaf peth yw doethineb, cais ddoethineb; ac â'th holl gyfoeth, cais ddeall.

8 Derchafa di hi, a hithau a'th dderchafa di; hi a'th ddwg di i anrhydedd, os cofleidi hi.

9 *Hi a rydd ychwaneg o râs i'th ben di; [ie] hi || a rydd i ti goron gogoniant.

10 Gwrando fy mab, a derbyn fy ngeiriau; a blynyddoedd dy fywyd a amlheir.

11 Yr ydwyf yn dy ddyscu yn ffordd doethineb, ac yn dy dywys yn llwybrau uniondeb.

12 Pan rodiech, dy gerddediad ni bydd cyfyng; a *phan redech ni thramgwyddi.

*Psal. 91. 12.

13 Ymafel mewn addysc, ac na ollwng hi: cadw [hi,] canys dy fywyd di yw hi.

14 *Na ddôs i lwybr yr annuwolion, ac na rodia ar hyd ffordd y drygionus.

*Pen. 1. 15. psal. 1. 1.

15 Gochel hi, na ddôs ar hyd-ddi; cilia oddi wrthi hi, a dôs heibio.

16 Canys ni chyscant, nes gwneuthur drwg; a'i cwsc a gollant, nes iddynt gwympo [rhyw ddyn.]

17 Canys y maent yn bwytta bara annuwioldeb, ac yn yfed gwin trais.

18 Ond llwybr y cyfiawn [sydd] fel y goleuni, yr hwn a lewyrcha fwy-fwy hyd ganol dydd.

19 [Eithr] ffordd y drygionus sydd fel y tywyllwch; ni wyddant wrth ba beth y tramgwyddant.

20 Fy mab, gwrando ar fy ngeiriau; gogwydda dy glust at fy ymadroddion.

21 Na âd iddynt fyned ymmaith o'th olwg; cadw hwynt ynghanol dy galon.

22 Canys bywyd ydynt i'r neb a'i caffont, ac || iechyd i'w holl gnawd.

23 Cadw dy galon yn dra diesceulus; canys allan o honi y mae bywyd yn dyfod.

24 Bwrw oddi wrthit || enau tauogaidd; a gwefusau trofaus ym mhell oddi wrthit.

25 Edryched dy lygaid yn uniawn; ac edryched dy amrantau yn union o'th flaen.

26 Pyrra lwybr dy draed, a || threfner dy holl ffyrdd yn uniawn.

27 *Na thro ar y llaw ddehau, nac ar y llaw asswy; symmud dy droed oddi wrth ddrygioni.

## PEN. V.

1 Salomon yn annog i geisio doethineb; 3 yn dangos scelerder putteindra ac anllywodraeth: 15 Yn annog i fodlonrwydd, haelioni, a diweirdeb. 22 Bod eu pechodau eu hun yn goddiwes yr annuwiol.

FY mab, gwrando ar fy noethineb, a gostwng dy glust at fy neall:

2 Fel y gellych ystyried pwyll, a'th wefusau gadw gwybodaeth.

3 *Canys gwefusau y ddieithr a ddiferant [fel]

[fel] y dil mêl, || a'i genau sydd lysnach nag olew.

4 Ond ei diwedd hi a fydd chwerw fel y wermod, yn llym fel cleddyf dau-finiog.

5 * Ei thraed hi a ddescynnant i angeu, a'i cherddediad a sang uffern.

Pen. 7. 27.

6 Rhag i ti ystyrio ffordd bywyd, y symmud ei chamrau hi, heb wybod i ti.

7 Yr awr hon gan hynny, ô blant gwrandewch arnaf fi, ac nac ymadewch â geiriau fy ngenau.

8 Cadw dy ffordd ym mhell oddi wrthi hi, ac na nessa at ddrws ei thŷ hi,

9 Rhag i ti roddi dy harddwch i eraill, a'th flynyddoedd i'r creulon:

10 Rhag llenwi 'r estron â'th || gyfoeth di, ac i'th lafur fod yn nhŷ y dieithr,

11 Ac o'r diwedd i ti ochain, wedi i'th gnawd a'th gorph gurio,

12 A dywedyd, pa fodd y caseais i addysc? pa fodd y dirmygodd fy nghalon gerydd?

13 Ac na wrandewais ar lais fy athrawon, ac na ostyngais fy nghlust i'm dyscawdwyr?

14 Bûm o fewn ychydig at bôb drwg, yng-hanol y gynnulleidfa, a'r dyrfa.

15 Yf ddwfr o'th bydew dy hun, a ffrydiau allan o'th ffynnon dy hun.

16 Tardded dy ffynhonnau allan, a'th ffrydiau dwfr yn yr heolydd.

17 Byddant yn eiddo ti dy hun yn unic, ac nid yn eiddo dieithriaid gyd â thi.

18 Bydded dy ffynnon yn fendigedic; ac ymlawenhâ gyd â gwraig dy ieuengctid.

19 [Bydded fel ] ewig gariadus, ac fel iwrch hawddgar: gâd i'w bronnau hi dy || lenwi bob amser, || ac ymfodlona yn ei chariad hi yn oestadol.

20 A pha ham fy mab yr ymddigrifi yn y wraig ddieithr, ac y cofleidi fonwes yr hon nid yw eiddo ti?

21 * Canys ffyrdd dŷn sydd yngolwg yr Arglwydd, ac y mae efe yn dal ar ei holl lwybrau ef.

22 Ei anwiredd ei hun a ddeil yr annuwiol, ac efe a ddelir â rhaffau ei bechod ei hun.

23 Efe sydd farw o eisieu addysc, a rhag maint ei ffolineb yr â ar gyfeiliorn.

PEN. VI.

1 Yn erbyn mechniaeth, 6 a seguryd, 12 ac yscelerder. 16 Saith beth càs gan Dduw. 20 Bendithion ufydd-dod. 25 Drygioni putteindra.

FY mab, os machniaist dros dy gymmydog, [ac os] tarewaist dy law [yn llaw] y dieithr,

2 Ti a faglwyd â geiriau dy enau, ti a ddaliwyd â geiriau dy enau.

3 Gwna hyn yr awr hon fy mab, a gwared dy hun, gan i ti syrthio i law dy gymmydog; cerdda, ac ymostwng iddo, ac ymbil â'th gymmydog.

4 Na ddyro gwsc i'th lygaid, na hûn i'th amrantau.

5 Gwaret dy hun, fel yr iwrch o law [yr heliwr,] ac fel aderyn o law yr adar-wr.

6 Cerdda at y morgrugyn tydi ddiogyn, edrych ar ei ffyrdd ef, a bydd ddoeth.

7 Nid oes ganddo neb i'w arwain, i'w lywodraethu, nac i'w feistroli,

8 [Ac er hynny] y mae efe yn paratoi ei fwyd yr hâf, ac yn casclu ei lyniaeth y cynhayaf.

9 * Pa hŷd, ddiogyn, y gorweddi? pa brŷd y cyfodi o'th gwsc?

* Pen. 23. 4. & 20, 4. & 24. 33.

10 Etto ychydig cyscu, ychydig hepian, ychydig plethu dwylaw i gyscu.

11 Felly y daw tlodi arnat fel ymdeithudd, a'th angen fel gŵr arfog.

12 Dŷn i'r fall, [a] gŵr anwir, a rodia â genau cyndyn.

13 Efe a amneidia â'i lygaid, efe a lefara â'i draed, efe a ddysc â'i fysedd.

14 Y mae pob rhyw gyndynrwydd yn ei galon, y mae yn dychymmyg drygioni bob amser, yn peri cynhennau.

15 Am hynny ei ddinistr a ddaw arno yn ddisymmwth: yn ddisymmwth y dryllir ef, fel na byddo meddyginiaeth.

16 Y chwe pheth hyn sydd gàs gan yr Arglwydd: ie saith beth sydd || ffiaidd ganddo ef.

|| Heb. ffieidd-dra gan ei enaid ef.

17 Llygaid beilchion, tafod celwyddog; a'r dwylo a dywalltant waed gwirion.

18 Y galon a ddychymmygo feddyliau drwg, * traed yn rhedeg yn fuan i drygioni.

* Rhuf. 3. 15.

19 Tyst celwyddog yn dywedyd celwydd, a'r neb a gyfodo gynnen rhwng brodyr.

20 * Fy mab, cadw orchymyn dy dâd, ac nag ymado â chyfraith dy fam.

* Pen. 1. 8.

21 Rhwym hwynt ar dy galon yn oestadol: cwlwm hwynt am dy wddf.

22 Pan rodiech, hi a'th gyfarwydda; pan orweddych hi a'th wilia; pan ddeffroych, hi a gŷd-ymddiddan â thi.

23 * Canys || canwyll yw 'r gorchymyn, a goleuni yw 'r gyfraith, a ffordd i fywyd yw ceryddon addysc:

* Psal. 19. 8. & 119. 105. || Neu, lamp.

24 * I'th gadw rhag y fenyw ddrwg, a rhag gweniaith tafod || y ddieithr.

* Pen. 2. 16. & 5. 3. & 7. 5. || Neu, dieithr.

25 * Na chwennych ei phrŷd hi yn dy galon, ac na âd iddi dy ddal â'i hamrantau.

* Mat. 5. 28.

26 O blegid y fenyw buteinig [y daw dyn] i dammaid o fara, a gwraig gŵr [arall] a hela yr enaid gwerth-fawr.

27 A ddichon gŵr ddwyn tân yn ei fynwes, heb losci ei ddillad?

28 A ddichon gŵr rodio ar hyd marwor, ac heb losci ei draed?

29 Felly, pwy bynnac a êl at wraig ei gymmydog; y neb a gyffyrddo â hi, ni bydd glân.

30 Ni ddirmyga neb leidr a ledratto i ddiwallu ei enaid, pan fyddo arno newyn.

31 Ond os delir ef, efe a dâl yn saith ddyblyg, efe a rydd cymaint oll ag a feddo yn ei dŷ.

32 [Ond] y neb a wnêl odineb â benyw, sydd heb || synnwyr; y neb a'i gwnêl a ddifetha ei enaid ei hun.

|| Heb. galon.

33 Archoll a gwarth a gaiff efe, a'i gywilydd ni ddeleir.

34 Canys cynddaredd yw eiddigedd gwr, am hynny, nid erbyd efe yn nydd dial.

35 Ni || bydd ganddo bris ar ddim iawn, ac ni fodlonir ef, er rhoi rhoddion lawer.

|| Heb. ni dderbyn wyneb dim iawn.

P E N. VII.

1 Salomon yn cynghori bod mewn pur a chariadus gyfeillach â doethineb: 6 Wrth a welsai ef ei hun, yn dangos 10 cyfrwysdra puttain, 22 ac enbyd wiriondeb yr ieuangc nwyfus: 24 Yn cynghori gochelyd y cyfryw annuwioldeb.



Fy mab, cadw fy ngeiriau, a chuddia fy ngorchymynion gyd â thi.

2 * Cadw fy ngorchymynion, a bydd fyw; a'm cyfraith, fel canwyll dy lygad.

* Deut. 6. 8. & 11. 18. pen. 3. 3.

3 Rhwym hwynt am dy fysedd, scrifenna hwynt ar lech dy galon.

4 Dywed wrth ddoethineb, fy chwaer wyt ti, a galw ddeall yn gares;

5 * Fel i'th gadwont oddi wrth y wraig ddieithr, a rhag y fenyw a'r ymadrodd gweniaithus.

* Pen. 5. 3.

6 Canys [a mi] yn ffenestr fy nhŷ, mi a edrychais drwy fy nellt.

7 Ac mi a welais ym mysc y ffyliaid, [ie] mi a ganfûm ym mhlith || yr ieuengtid, ddŷn ieuangc heb ddeall ganddo,

|| Heb. y meibion.

8 Yn myned ar hyd yr heol, ger-llaw ei chongl hi, ac efe a ai ar hŷd y ffordd i'w thŷ hi.

9 Yn || y cyfnos, gyd â'r hŵyr, pan oedd hi yn nôs du, ac yn dywyll:

|| Heb. hwyr y dydd.

10 Ac wele fenyw yn cyfarfod ag ef, a chanthi ymddygiad puttain, ac â chalon ddichellgar.

11 * (Siaradus ac annufydd yw hi, ei thraed nid arhôant yn ei thŷ.

* Pen. 9. 13.

12 Weithieu yn y drŵs, weithieu yn yr heolydd, ac yn cynllwyn ym mhob congl.)

13 Hi a ymafaelodd ynddo, ac a'i cussanodd, ac || ag wyneb digywilydd, hi a ddywedodd wrtho:

|| Heb. hi a gadarnhaodd ei hwyneb ac, &c.

14 [Yr oedd] arnafi aberthau hedd, heddyw y cywirais fy adduned:

15 Ac am hynny y daethum allan i gyfarfod â thi, i chwilio am dy wyneb, a chefais afael arnat.

16 Mi a drwsiais fy ngwely â llenni, ac â cherfiadau a llieiniau yr Aipht.

17 Mi a fwgderthais fy ngwely â myrrh, aloes, a Synamon.

18 Tyred, moes i ni ymlenwi o garu hyd y borau, ymhyfrydwn â chariad.

19 Canys nid yw y gwr gartref, efe aeth i ffordd bell.

20 Efe a gymmerth godeid o arian yn ei law, efe a ddaw adref ar y || dydd ammodol.

|| Neu, lloer newydd.

21 Hi a'i troes ef â'i haml eiriau têg, ac â gweniaith ei gwefusau hi a'i cymhellodd ef.

22 Efe a'i canlynodd hi ar || frys, fel yr ŷch yn myned i'r lladdfa, neu fel ynfyd yn myned i'r cyffion i'w gospi:

|| Heb. yn ddisymmwth.

23 Hŷd oni ddryllio y saeth ei afu ef, fel yr aderyn yn prysuro i'r fagl, heb wybod ei bod yn erbyn ei einioes ef.

24 Ynawr, gan hynny, [fy] meibion, gwrandewch arnafi, ac ystyriwch eiriau fy ngenau.

25 Na thuedded dy galon at ei ffyrdd hi, na chyfeiliorna ar hyd ei llwybrau hi.

26 Canys llawer a gwympodd hi yn archolledic, gwŷr grymmus lawer a laddodd hi.

27 Ffordd * i uffern [yw] ei thŷ hi, [yn] descyn i stafelloedd angeu.

* Pen. 2. 18. & 5. 5.

P E N. VIII.

1 Enwocced, 6 ac eglured yw Doethineb. 10 Godidowgrwydd, 12 naturiaeth, 15 gallu, 18 cyfoeth, 22 a thragywyddoldeb Doethineb. 32 Bod Doethineb yn ddymunol, o achos y dedwyddwch y mae yn ei ddwyn.



Onid yw doethineb yn gweiddi, a deall yn llefain?

* Pen. 1. 20.

2 Ym mhen lleoedd uchel, ger llaw 'r ffordd, lle mae llwybrau lawer, y mae hi yn sefyll.

3 Ger llaw y pyrth ym-mhen y drêf, yn ymyl y drysau y mae hi yn llefain,

4 Arnoch chwi wŷr, yr wyf i yn galw, ac at feibion dynion y mae fy llais.

5 Ha ynfydion, deellwch gyfrwysder; a chwi wŷr angall byddwch o galon ddeallus.

6 Gwrandewch, canys myfi a draethaf i chwi bethau ardderchog, ac a agoraf fy ngwefusau ar bethau union.

7 Canys, fy ngenau a draetha wirionedd; || ffiaidd gan fy ngwefusau ddrygioni.

|| Heb. ffieiddra fy ngwefusau yw drygioni.

8 Holl eiriau fy ngenau ydynt gyfiawn, nid oes yndynt na gŵyrni, na thrawsedd.

9 Y maent hwy oll yn amlwg i'r neb a ddeallo, ac yn uniawn i'r rhai a gafodd wybodaeth.

10 Derbyniwch fy addysc, ac nid arian; a gwybodaeth o flaen aur etholedig.

11 * Canys gwell yw doethineb nâ gemmau, nid oes dim dymunol cyffelyb iddi.

* Iob. 28. 15. psal. 19. 10. pen. 3. 15. & 16.

12 Myfi doethineb wyf yn trigo gydâ challineb: yr ydwyf yn cael allan wybodaeth cyngor.

13 Ofn yr Arglwydd [yw] casau drygioni: balchder, ac uchder, a ffordd ddrygionus, a'r genau traws, sydd gâs gennifi.

14 Mi piau cyngor, a gwir ddoethineb, deall ydwyfi, mi piau nerth.

15 Drwofi y teyrnasa brenhinoedd, ac y barna y pennaethiaid gyfiawnder.

16 Drwofi y rheola tywysogion, a phendefigion, sef holl farn-wŷr y ddaiar.

17 Y sawl a'm carant i, a garaf innau, a'r sawl a'm ceisiant yn forau, a'm cânt.

18 * Gydâ myfi y mae cyfoeth, ac anrhydedd, golud parhaus, a chyfiawnder.

* Pen. 3. 16.

19 * Gwell yw fy ffrwyth i nag aur, ie nag aur coeth; a'm cynnyrch sydd well nâ'r arian detholedig.

* Pen. 3. 14.

20 Ar hyd ffordd cyfiawnder || yr arweiniaf ar hŷd canol llwybrau barn:

|| Neu, yr ydwyf.

21 I beri i'r rhai a'm carant etifeddu sylwedd: ac mi a lanwaf eu tryssorau.

22 Yr Arglwydd a'm meddiannodd i yn

nechreuad

dechreuad ei ffordd, cyn ei weithredoedd erioed.

23 Er tragywyddoldeb i'm heneiniwyd, er y dechreuad, cyn bod y ddaiar.

24 Pryd nad oedd dyfnder i'm cenhedlwyd, cyn bôd ffynhonnau yn llawn o ddyfroedd.

25 Cyn sylfaenu y mynyddoedd, o flaen y bryniau, i'm cenhedlwyd.

26 Cyn gwneuthur o honaw ef y ddaiar, na'r meusydd, || nac uchder llwch y byd.

|| Heb. uchaf...

27 Pan baratôdd efe y nefoedd, yr oeddwn i yno: pan osododd efe gylch ar wyneb y dyfnder:

28 Pan gadarnhaodd efe y cwmylau uwch ben, a phan nerthodd efe ffynhonnau y dyfnder;

29 *Pan roddes efe ei ddeddf i'r môr, ac i'r dyfroedd, na thorrent ei orchymyn ef, pan osododd efe sylfeini y ddaiar:

Gen.1.10. Iob.38.10. psal.104.9.

30 Yna yr oeddwn i gyd ag ef, [megis] un wedi ei feithrin [gyd ag ef:] ac yr oeddwn yn hyfrydwch iddo beunydd, yn ymlawenhau ger ei fron ef bob amser:

31 Ac yn llawenychu ynghyfanedd-le ei ddaiar ef, a'm hyfrydwch [oedd] gydâ meibion dynion.

32 Yr awrhon gan hynny, o feibion, gwrandewch arnaf, canys * gwyn eu byd a gadwant fy ffyrdd i.

Psal.119.1.& 128.1. luc.11.28.

33 Gwrandewch addysc, a byddwch ddoethion, nac ymwrthodwch â hi.

34 Gwyn ei fyd y dyn a wrandawo arnaf, ac a wilio yn ddyfal beunydd wrth fy nrysau, gan warchod wrth byst fy mhyrth i.

35 Canys y neb a'm caffo i, a gaiff fywyd, ac a || feddianna ewyllys da gan yr Arglwydd.

|| Heb. dynnu allan.

36 Ond y neb a becho yn fy erbyn a wna gam â'i enaid ei hun: fy holl gaseion a garant angeu.

PEN. IX.

1 Addysc, 4 ac athrawiaeth Doethineb. 15 Arfer, 16 ac amryfusedd ynfydrwydd.



Doethineb a adeiladodd ei thŷ, hi a naddodd ei saith golofn.

2 Hi a laddodd ei || hanifeiliaid, hi a gymyscodd ei gwin, ac a huliodd ei bwrdd.

|| Heb. lladdfa.

3 Hi a yrrodd ei llawforwynion; y mae yn llefain oddi ar fannau uchel y ddinas:

4 Pwy bynac sydd annichellgar, troed i mewn ymma, ac wrth yr annoeth y mae hi yn dywedyd,

5 Deuwch, a bwytewch o'm bara, ac yfwch o'r gwin a gymmyscais.

6 Ymadewch â'r rhai ffôl, a byddwch fyw, a cherddwch yn ffordd deall.

7 Yr hwn a geryddo watwar-wr a gaiff waradwydd iddo ei hun: a'r hwn a feio ar y drygionus, a gaiff anaf.

8 *Na cherydda watwar-wr, rhag iddo dy gasau: cerydda y doeth, ac efe a'th gâr di.

Math.7.6.

9 Dyro [addysg] i'r doeth, ac efe fydd doethach; dysc y cyfiawn, ac efe a chwanega ei ddysceidiaeth.

10 *Dechreuad doethineb yw ofn yr Arglwydd; a gwybodaeth [y] sanctaidd, yw deall.

Iob.28.28. psal.111.10. Pen.1.7.

11 *Canys drwofi yr amlheir dy ddyddiau, ac y chwanegir blynyddoedd dy einioes.

Pen.10.27.

12 Os doeth fyddi, doeth fyddi i ti dy hun; ond os gwatwar-wr fyddi, tydi dy hun a'i dygi.

13 *Gwraig ffôl a fydd siaradus; anghall yw, ac ni wyr ddim:

Pen.7.11.

14 Canys hi a eistedd ar ddrws ei thŷ, ar faingc, yn y lleoedd uchel yn y ddinas,

15 I alw ar y neb a fyddo yn myned heibio, y rhai sydd yn cerdded eu ffyrdd yn uniawn:

16 Pwy bynac sydd ehud, troed ymma; a phwy bynac sydd ddisynwyr: a hi a ddywed wrtho,

17 Dyfroedd lladrad sydd felus, a bara cudd sydd beraidd.

18 Ond ni wyr efe mai meirw yw y rhai sydd yno, a bod ei gwahodd-wyr hi yn nyfnder uffern.

PEN. X.

O'r pennod yma hyd y pummed ar hugain, y mae amryw addysc ynghylch rhinweddau da, a'i gwrthwyneb feiau.



Diharebion Salomon. *Mab doeth a wna dâd llawen, a mab ffôl a dristâ ei fam.

Pen.15.20.

2 *Ni thyccia tryssorau drygioni, ond cyfiawnder a wared rhag angeu.

Pen.11.4.

3 *Ni edy yr Arglwydd i enaid y cyfiawn newynu: ond efe a chwâl ymmaith || gyfoeth y drygionus.

Psal.37.15. || Neu, y drygionus am [eu] drygioni.

4 *Y neb a weithio â llaw || dwyllodrus fydd tlawd: ond llaw y diwyd a gyfoethoga.

Pen.12.24. || ddrwg.

5 Mab synhwyrol yw yr hwn a gascl amser hâf: ond mab gwradwyddus yw yr hwn a gwsc amser cynhaiaf.

6 Bendithion [fydd] ar ben y cyfiawn, *ond trawsedd a gae ar enau y drygionus.

Vers.11.

7 *Coffadwriaeth y cyfiawn sydd fendigedic; ond enw y drygionus a bydra.

*Psal.112.6.

8 Y galon ddoeth a dderbyn orchymynion; ond y ffôl ei wefusau a || gwymp.

|| Neu, a gurir.

9 *Y neb a rodio yn uniawn, a rodia yn ddiogel; ond y neb a gam-dry ei ffyrdd a fydd hynod.

Psal.23.4.

10 *Y neb a amneidio â'i lygaid, a bair flinder, a'r ffôl ei wefusau a || gwymp.

Pen.6.13. || Neu, a gurir.

11 *Ffynnon bywyd yw genau y cyfiawn; ond trawsedd a gae ar enau y drygionus.

Pen.13.14.

12 Casineb a gyfyd gynhennau: *ond cariad a guddia bob camwedd.

1.Cor.13.4. 1.pet.4.8.

13 Yngwefusau y synhwyrol y ceir doethineb; ond gwialen [a weddei] i gefn yr || angall.

|| Heb. hwn sydd heb galon.

14 Y doethion a storiant wybodaeth, ond dinistr sydd gyfagos i enau y ffôl.

15 Cyfoeth y cyfoethog yw dinas ei gadernid ef, ond dinistr y tlodion yw eu tlodi.

16 Gwaith y cyfiawn [a dynn] at fywyd, ond ffrwyth y drygionus tu ag at bechod.

17 Ar y ffordd i fywyd y mae'r neb a

gadwo addysc, ond y neb a wrthodo gerydd sydd yn cyfeiliorni.

18 A guddio gâs â gwefusau celwyddog, a'r neb a ddywed enllib, sydd ffôl.

19 Yn amlder geiriau ni bydd pall ar bechod, ond y neb a attalio ei wefusau sydd synhwyrol.

20 Tafod y cyfiawn sydd [fel] arian detholedig; calon y drygionus ni thâl ond ychydig.

21 Gwefusau y cyfiawn a borthant lawer; ond y ffyliaid, o ddiffyc || synwyr, a fyddant feirw.

|| Heb. calon.

22 Bendith yr Arglwydd a gyfoethoga; ac ni ddwg flinder gyd â hi.

23 * Megis gan ffôl wneuthur drwg, a chan wr synhwyrol [y mae] doethineb.

* Pen. 14. 9.

24 Y peth a ofno y drygionus a ddaw iddo, ond y peth a ddeisyfio y rhai cyfiawn, [Duw] a'i rhydd.

25 Fel y mae'r corwynt yn myned heibio: felly ni bydd y drygionus mwy: ond y cyfiawn sydd sylfaen a bery byth.

26 Megis finegr i'r dannedd, a mwg i'r llygaid, felly y bydd y diog i'r neb a'i gyrrant.

27 * Ofn yr Arglwydd a || estyn ddyddiau: ond blynyddoedd y drygionus a fyrheir.

28 * Gobaith y cyfiawn fydd llawenydd; ond gobaith y drygionus a dderfydd am dano.

* Pen. 9. 11. || Heb. chwanega. * Iob. 8. 13. & 11. 20. Psal. 112. 10.

29 Ffordd yr Arglwydd [sydd] gadernid i'r perffaith: ond dinistr fydd i'r rhai a wnant anwiredd.

30 * Y cyfiawn nid yscog byth, ond y drygionus ni phreswyliant y ddaiar.

* Psal. 125. 1. & 37. 22.

31 Genau y cyfiawn a ddwg allan ddoethineb, a'r tafod cyndyn a dorrir ymmaith.

32 Gwefusau y cyfiawn a wyddant beth sy gymmeradwy: ond genau'r drygionus [a lefara] drawsedd.

## PEN. XI.



* Cloriannau || anghywir sydd ffiaidd gan yr Arglwydd, ond carreg || union sydd fodlon ganddo ef.

* Leuit. 19. 36. Deut. 25. 15. Pen. 16. 11. & 20. 10. 23. || Heb. twyll. || Heb. berffaith.

2 * Pan ddêl balchder, fe a ddaw gwarth: ond gyd â'r gostyngedig y mae doethineb.

* Pen. 16. 18. & 15. 33. & 18. 12.

3 * Perffeithrwydd yr uniawn a'i tywys hwynt, ond trawsedd yr anffyddloniaid a'i difetha hwynt.

* Pen. 13. 6.

4 Ni thyccia * cyfoeth yn nydd digofaint, ond cyfiawnder a wared rhag angeu.

* Pen. 10. 2. Ezec. 7. 19. Zeph. 1. 18.

5 Cyfiawnder y perffaith || a'i hyffordda ef: ond o achos ei ddrygioni, y syrth y drygionus.

|| Heb. a vniawna ei fforddd ef.

6 * Cyfiawnder y cyfiawn a'i gwared hwynt; ond troseddwyr a ddelir yn eu drygioni.

* Pen. 5. 22.

7 * Pan fyddo marw dyn drygionus, fe a ddarfu am ei obaith ef: a gobaith y traws a gyfrgollir.

* Doeth. 5. 15.

8 * Y cyfiawn a waredir o gyfyngder, a'r drygionus a ddaw yn ei lê ef.

* Pen. 21. 18.

9 * Rhagrithiwr â'i enau a lygra ei gymmydog: ond y cyfiawn a waredir drwy wybodaeth.

* Iob. 8. 13.

10 Yr holl ddinas a ymlawenhâ o herwydd llwyddiant y cyfiawn: a phan gyfrgoller y drygionus, y bydd gorfoledd.

11 Trwy fendith y cyfiawn y derchefir y ddinas; ond trwy enau y drygionus y dinistrir hi.

12 Y neb sy || ddisynwyr a ddiystyra ei gymmydog; ond y synhwyrol a dau â sôn.

|| Heb. ddiffygiol.

13 Yr hwn a rodia yn athrodwr, a ddatguddia gyfrinach, ond y ffyddlon ei galon a gela'r pêth.

14 * Lle ni byddo cyngor, y bobl a syrthiant: ond lle y byddo llawer o gyngor-wyr, y bydd diogelwch.

* 1. Bren. 12.

15 || Blinder mawr a gaiff y neb a fachnio dros ddieithr-ddyn: ond y neb a gasâo || fachniaeth fydd diogel.

|| Heb. llwyr dryllir y neb. || Heb. y rhai a daro [law].

16 Gwraig rasol a gaiff anrhydedd, a'r galluog a gânt gyfoeth.

17 Gwr trugarog sydd dda wrth ei enaid ei hun: ond y creulon a flina ei gnawd ei hun.

18 Y drygionus a wna waith twyllodrus; ond i'r neb a hauo gyfiawnder, y bydd gwobr sicr.

19 Fel yr arwain cyfiawnder i fywyd: felly, dilyn drygioni [a dywys] i angeu.

20 Ffiaidd gan yr Arglwydd y neb sydd gyndyn eu calonnau, eithr hôff ganddo ef y rhai sy berffaith yn eu ffyrdd.

21 || Er maint fyddo cymmorth, y drygionus ni bydd dieuog: ond hâd y cyfiawn a waredir.

22 Fel modrwy aûr yn nrhwyn hwch, yw benyw lân || heb synhwyr.

23 Deisyfiad y cyfiawn sydd ar ddaioni yn unic: ond gobaith y drygionus sydd ddigter.

24 Rhyw un a wascar ei dda, ac fe a chwanegir [iddo:] a rhyw un arall a arbed mwy nag a weddai, ac a syrth i dlodi.

25 * Yr enaid || hael a frasheir: a'r neb a ddwfrhâo a ddwfrhêir yntau hefyd.

26 Y neb a attalio ei ŷd, y bobl a'i melldithia: ond bendith a fydd ar ben y neb a'i gwertho.

27 * Y neb a ddyfal geisio ddaioni, a ennill ewyllys da: ond y neb a geisio ddrwg, iddo [ei hûn] y daw.

28 Y neb a roddo ei oglud ar ei gyfoeth, a syrth: * ond y cyfiawn a flodeuant megis cangen.

29 Y neb a flino ei dŷ ei hun, a berchennoga 'r gwynt: a'r ffôl a fydd gwâs i'r synhwyrol ei galon.

30 Ffrwyth y cyfiawn sydd megis pren y bywyd: a'r neb a || ennillo eneidiau sydd ddoeth.

31 * Wele, telir i'r cyfiawn ar y ddaiar: pa faint mwy i'r drygionus, a'r pechadur?

## PEN. XII.



Y Neb a garo addysc a gâr wybodaeth: ond y neb a gasâo gerydd, anifeiliaidd yw.

2 Gwr

2 Gŵr da a gaiff ffafor gan yr Arglwydd: ond gŵr o ddichellion drwg, a ddamna efe.

3 Ni sicrheir dŷn drwy ddrygioni: ond gwreiddyn y cyfiawn nid yscoga.

4 *Gwraig rinweddol sydd goron i'w gŵr: ond y wradwyddus sydd megis pydredd yn ei escyrn ef.

5 Meddyliau y cyfiawn sydd uniawn: a chynghorion y drygionus sydd dwyllodrus.

6 *Geiriau y drygionus yw cynllwyn am waed: ond genau yr uniawn a'i gwared hwynt.

7 *Difethir y drygionus, fel na byddont hwy: ond tŷ y cyfiawn a saif.

8 Yn ôl ei ddeall y cannolir gŵr: ond gŵr cyndyn ei galon a ddiystyrir.

9 Gwell yw 'r hwn a'i cydnabyddo ei hun yn wael, ac sydd ‖ wâs iddo ei hun; nâ'r hwn a'i hanrhydeddo ei hun, ac sydd arno eisieu bara.

10 Y cyfiawn a sydd ofalus am fywyd ei anifail: ond ‖ tosturi y drygionus sydd greulon.

11 *Y neb a lafurio ei dir, a ddigonir o fara: ond y neb a ganlyno ofer-wŷr, disynwyr yw.

12 Y drygionus sydd yn deisyf rhwyd y drygionus: ond gwreiddin y cyfiawn a rydd [ffrwyth.]

13 *‖ Drwy drosedd [ei] wefusau y maglir y drygionus: ond y cyfiawn a ddaw allan o gyfyngder.

14 *Trwy ffrwyth ei enau y digonir gŵr â daioni: a thaledigaeth dwylo dyn, a delir iddo.

15 *Ffordd yr ynfyd sydd uniawn yn ei olwg ei hun: ond y neb a wrandawo ar gyngor, sydd gall.

16 Mewn un-dydd y gwybyddir digter yr ynfyd: ond y call a guddia gywilydd.

17 *Y neb a ddywedo 'r gwir a ddengys gyfiawnder: ond gau dyst [a draetha] dwyll.

18 *Rhyw ddyn a ddywed eiriau fel brath cleddyf: ond tafod y doethion sydd feddyginiaeth.

19 Gwefus gwirionedd a saif byth: ond tafod celwyddog ni [saif] funyd awr.

20 Dichell sydd ynghalon y rhai a ddychymmygant ddrwg: ond i gynghor-wŷr heddwch y bydd llawenydd.

21 Ni ddigwydd i'r cyfiawn ddim blinder: ond y drygionus a lenwir â drwg.

22 Ffiaidd gan yr Arglwydd wefusau celwyddog: ond y rhai a wnant yn ffyddlon a ryngant fodd iddo ef.

23 *Gŵr pwyllog a gela wybodaeth: ond calon ffyliaid a gyhoedda ffolineb.

24 *Llaw 'r diysceulus a deyrnasa: a [llaw] 'r ‖ twyllodrus a fydd tan deyrn-ged.

25 *Gofid ynghalon gŵr a bair iddi grymmu: ond gair da a'i llawenhâ hi.

26 Y cyfiawn a ragora ar ei gymmydog: ond ffordd y rhai drygionus a'i twylla hwynt.

27 Ni rostia y twyllodrus ei helwriaeth: ond golud y dyn diysceulus sydd werthfawr.

28 Yn ffordd cyfiawnder y mae bywyd: ac yn ei llwybrau hi nid oes marwolaeth.

## PEN. XIII.



MAb doeth [a wrendy] ar athrawiaeth ei dâd, ond gwatwar-wr ni wrendy ar gerydd.

2 *Gŵr a fwynhâ ddaioni o ffrwyth ei enau: ac enaid yr anghyfiawn [a fwynhâ] drawsedd.

3 Y neb a geidw ei enau, a geidw ei einioes: ond y neb a ledo ei wefusau, a ddinistrir.

4 Enaid y diog a ddeisyf, ac ni chaiff ddim: ond enaid y diwyd a wneir yn frâs.

5 Câs gan y cyfiawn gelwydd: ond y drygionus sydd ffiaidd, ac a ddaw i gywilydd.

6 *Cyfiawnder a geidw y perffaith yn ei ffordd: ond annuwioldeb a ddymchwel ‖ y pechadur.

7 Rhyw un a ymffrostia ei fod yn gyfoethog, ac heb ddim ganddo: ac arall ei fod yn dlawd, a chyfoeth lawer iddo.

8 Iawn am einioes gŵr yw ei dda: ond y tlawd ni chlyw gerydd.

9 Goleuni y cyfiawn a lawenhâ: * ond ‖ canwyll y drygionus a ddiffoddir.

10 Drwy falchedd yn unic y cyfyd cynnen: ond gyd â'r pwyllog y mae doethineb.

11 *Golud a gascler drwy oferedd a leiheir: ond y neb a gasclo â'i law a chwanega.

12 Gobaith a oeder, a wanhâ 'r galon: ond pren y bywyd yw deisyfiad, pan ddêl i ben.

13 Yr hwn a ddirmygo 'r gair, a ddifethir: ond yr hwn sydd yn ofni y gorchymyn, a ‖ obrwyir.

14 *Cyfraith y doeth [sydd] ffynnon bywyd, i gilio oddi wrth faglau angeu.

15 Deall da a ddyry râs: ond ffordd troseddwŷr [sydd] galed.

16 *Pob call a wna [bethau] trwy wybodaeth: ond yr ynfyd a ddengys ynfydrwydd.

17 Cennad annuwiol a syrth i ddrygioni: ond cennad ffyddlon [sydd] iechyd.

18 Tlodi a gwradwydd [fydd] i'r hwn a wrthodo addysc: ond yr hwn a gadwo gerydd a anrhydeddir.

19 Dymuniad wedi ei gyflawni sydd felus gan yr enaid: ond ffiaidd gan ynfydion gilio oddi wrth ddrygioni.

20 Yr hwn a rodia gyd â doethion, fydd doeth; ond yr hwn sydd gyfaill i ynfydion, a ‖ gystuddir.

21 Drygfyd a erlyn bechaduriaid: ond daioni a delir i'r rhai cyfiawn.

22 Y [gŵr] daionus a âd etifeddiaeth i feibion [ei] feibion: *a golud y pechadur a roddwyd i gadw i'r cyfiawn.

23 *Llawer o ymborth [sydd] ym maes y tlodion: ond y mae a ddinistrir o eisiau barn.

24 *Yr hwn a arbedo y wialen, sydd yn casâu ei fab: ond yr hwn a'i câr ef, a'i cerydda mewn amser.

25 *Y cyfiawn a fwyty hyd oni ddigoner ei enaid: ond bol yr annuwolion fydd mewn eisieu.

PEN.

Marginal notes (left column): *Pen.10.25. — *1.Cor.11.7. — *Pen.1.11. & 18. — *Psal.37.37. Dihar.11.21. — ‖ neu, gwael. — ‖ Heb. ymysgaroedd. — *Pen.18.19. — *Pen.17.8. ‖ Heb. yn ddrwg [ei] wefusau mae magl y drwg. — *Pen.13.2. — *Pen.3.7. — *Pen.14.5. — *Psal.57.5. & 59.8. — *Pen.13.16. & 15.2. — *Pen.10.4. ‖ Neu, dwyll. — *Pen.15.13.

Marginal notes (right column): *Pen.12.14. — *pen.11.3.5.6 ‖ Heb. bechod. — *Iob.18.6. & 21.17. ‖ Neu, lamp. — *pen.10.2. & 20.21. — ‖ Neu, fydd mewn heddwch. — *pen.14.27. — *pen.12.23. & 15.2. — ‖ Heb. ddryllir. — *Iob.27.17. — *Pen.12.11. — *Pen.23.13. — *Psal.37.3. & 34.10.

PEN. XIIII.

GWraig ddoeth a adeilada ei thŷ: ond y ffolog a'i tyn ef i lawr â'i dwylo.

2 Yr * hwn sydd yn rhodio yn ei uniawnder, sydd yn ofni yr Arglwydd; a'r hwn sydd gyndyn yn ei ffyrdd, sydd yn ei ddirmygu ef.

Iob. 12.4.

3 Yngenau y ffôl y mae gwialen balchder: ond gwefusau y doethion a'i ceidw hwynt.

4 Lle nid oes ychen, glân yw y preseb: ond llawer o gnŵd [sydd yn dyfod] drwy nerth yr ŷch.

5 * Tyst ffyddlon ni ddywed gelwydd: ond gau dyst a draetha gelwyddau.

Exod. 20.16. & 23. 1. pen. 1. 7. & 6. 19. & 12. 17.

6 Y gwatwar-wr a gais ddoethineb, ac ni's [caiff:] * ond gŵybodaeth sydd hawdd i'r deallus.

Pen. 8.9.

7 Dôs ymmaith oddi wrth wr ffol, pan wypech nad [oes ganddo] wefusau gŵybodaeth.

8 Doethineb y call [yw] deall ei ffordd ei hun: ond ffolineb y ffyliaid [yw] twyll.

9 Y ffyliaid a ymhyfrydant mewn * camwedd: ond ym mhlith y rhai uniawn [y mae] ewyllys da.

Pen. 10.23.

10 Y galon sydd yn gŵybod chwerwder ei henaid ei hun: a'r dieithr ni bydd gyfrannog o'i llawenydd hi.

11 Tŷ yr annuwolion a ddinistrir: ond pabell y rhai uniawn a flodeua.

12 * Y mae ffordd sydd uniawn yngolwg dŷn: ond ei diwedd hi yw ffyrdd angeu.

pen. 16. 23.

13 Ie wrth chwerthin y bydd blin ar y galon: a diwedd y llawenydd hwnnw [yw] tristwch.

14 Y gwrthnysig o galon a * gaiff ddigon o'i ffyrdd ei hun: ond y gŵr daionus [|| a gilia] oddi wrtho ef.

pen. 1. 31. || Neu, [a ddigonir] gantho ei hun.

15 Yr ehud a goelia bob gair: a'r call a ddeall ar ei gamrau.

16 Y doeth sydd yn ofni, ac yn cilio oddi wrth ddrygioni: ond y ffôl sydd ffrom, a hyderus.

17 Gŵr digllon a wna ffolineb: a chas yw 'r gŵr dichellgar.

18 Y rhai ehud a etifeddant ffolineb: ond y rhai call a goronir â gŵybodaeth.

19 Y rhai drygionus a ymostyngant ger bron y daionus: a'r anuwiol ym mhyrth y cyfiawn.

20 * Y tlawd a gaseir, ie gan ei gymmydog ei hun: ond llawer sydd yn caru y cyfoethog.

pen. 19. 7.

21 A ddirmygo ei gymmydog, sydd yn pechu: * ond y trugarog wrth y tlawd, gwyn ei fyd ef.

psal. 112. 9.

22 Onid ydyw y rhai a ddychymmygant ddrwg yn cyfeiliorni? eithr trugaredd a gwirionedd a fydd i'r sawl a ddychymmygant ddaioni.

23 Ym mhôb llafur y mae elw: ond o eiriau gwefusau nid oes dim ond tlodi.

24 Coron y doethion yw eu cyfoeth: ond ffolineb y ffyliaid sydd ffolineb.

25 * Tŷst ffyddlon a weryd eneidiau: ond y twyllodrus a ddywed gelwyddau.

Vers. 5.

26 Yn ofn yr Arglwydd y mae gobaith cadarn: ac iw blant ef y bydd noddfa.

27 * Ofn yr Arglwydd yw ffynnon y bywyd, i ddiangc rhag maglau angeu.

Pen. 13. 14.

28 Mewn amlder y bobl y mae anrhydedd y brenin: ac o ddiffyg pobl y dinistrir y tywysog.

29 Y diog i ddigofaint sydd yn llawn o synwyr: ond y || digllon ei yspryd a dderchafa ynfydrwydd.

|| Heb. byr.

30 Calon iach yw bywyd y cnawd: ond cenfigen a bydra 'r escyrn.

31 * Y neb a orthrymma 'r tlawd, a gywilyddia ei greawdudd: ond y neb a drugarhâo wrth yr anghenus a'i anrhydedda ef.

Pen. 17. 5. mat. 25. 40.

32 Y drygionus a yrrir ymmaith yn ei ddrygioni: ond y cyfiawn a obeithia pan fyddo yn marw.

33 Doethineb sydd yn gorphywys ynghalon y call: ond yr hyn sydd ynghanol ffyliaid a wybyddir.

34 Cyfiawnder a dderchafa genhedl: ond cywilydd pobloedd yw pechod.

35 Ewyllys da 'r brenin sydd ar ei was synhwyrol: ond ei ddigofaint a fydd ar [wâs] gwradwyddus.

PEN. XV.

ATeb arafaidd a ddetry lid: ond gair * garw a gyffry ddigofaint.

Pen. 15. 14.

2 Tafod y synhwyrol a draetha wybodaeth yn dda: ond genau y ffyliaid a || dywallt * ffolineb.

|| Heb. fyrlymia. Vers. 28. & pen. 12. 23. & 13. 16.

3 * Ym mhob lle y mae llygaid yr Arglwydd, yn canfod y drygionus a'r daionus.

* Iob. 34. 21. Pen. 5. 21. Ier. 16. 17. & 32. 19. Heb. 4. 13.

4 Pren y bywyd yw || tafod iach: ond trawsedd ynddo, sydd rwyg yn yr yspryd.

|| Heb. meddyginiaeth tafod.

5 * Dŷn ffôl a ddirmyga addysc ei dad, ond y neb a ddioddefo gerydd sydd gall.

Pen. 10. 1.

6 Yn nhŷ 'r cyfiawn y bydd mawr gyfoeth: ond am olud yr annuwiol y mae trallod.

7 Gwefusau y doethion a wascarant wybodaeth: ond calon y ffyliaid, ni [wna] felly.

8 * Aberth yr annuwiol sydd ffiaidd gan yr Arglwydd: ond gweddi 'r uniawn sydd hôff ganddo.

Pen. 21. 27. Amos. 5. 22. esay 1. 11. & 66. 3. Ier. 6. 20. & 7. 21.

9 Ffordd yr annuwiol sydd ffiaidd gan yr Arglwyd: ond efe a gâr y neb a ddilyn gyfiawnder.

10 || Cerydd sydd flin gan y neb a drŷ oddi ar y ffordd: a'r neb a gasâo gerydd a fydd marw.

|| Neu, addysg.

11 * Uffern a dinistr sydd ger bron yr Arglwydd: pa faint mwy, calonnau plant dynion?

Iob. 26. 6.

12 Ni châr y gwatwar-wr m'or neb a'i ceryddo: ac nid â at y doethion.

13 * Calon lawen a wna wyneb siriol: ond drwy ddolur y galon y torrir yr yspryd.

Pen. 17. 22.

14 Calon y synhwyrol a ymgais â gwybodaeth: ond genau y ffyliaid a borthir â ffolineb.

15 Holl ddyddiau y cystuddiedic sydd flin: ond gwledd oestadol yw calon lawen.

16 * Gwell yw ychydig gyd ag ofn yr Arglwydd; nâ thryssor mawr â thrallod gyd ag ef.
(Psal. 37. 16. 1. tim. 6. 6. dihar. 16. 8.)

17 * Gwell yw pryd o ddail, lle byddo cariad: nag ŷch pascedig a châs gyd ag ef.
(Pen. 17. 1.)

18 * Gŵr digllon a gyffry gynnen: ond gŵr hwyr-frydig i lid a dyrr ymryson.
(Pen. 26. 21. & 29. 22.)

19 Ffordd y diog sydd fel cae drain: ond ffordd yr vniawn || sydd wastad.
(|| Heb. a godir yn sarn.)

20 * Mab doeth a lawenhâ ei dad: ond dyn ffôl a ddiystyra ei fam.
(Pen. 10. 1.)

21 * Ffolineb sydd hyfryd gan yr || ynfyd: ond gŵr deallus a rodia yn vniawn.
(Pen. 10. 23. || Heb. bwn sydd heb galon.)

22 * Ofer sydd bwriadau, lle ni byddo cyngor: ac mewn amlder cynghorwŷr y sicrheir [hwynt.]
(Pen. 11. 14.)

23 Llawenydd sydd i ŵr o herwydd ymadrodd ei enau, ac ô mor dda yw gair yn ei amser!

24 * Ffordd y bywyd sydd || frŷ i'r synhwyrol, i ochel vffern || obry.
(Phil. 3. 20. col. 3. 1. || i fynu. || i wared.)

25 * Yr Arglwydd a ddiwreiddia dŷ 'r beilchion: ond efe a sicrhâ derfyn y weddw.
(Pen. 12. 7. & 14. 11.)

26 * Meddyliau 'r annuwiol sydd ffiaidd gan yr Arglwydd: ond geiriau 'r glân ŷnt beraidd.
(* Pen. 6. 18.)

27 Y neb a fyddo drachwannog i elw a derfysca ei dŷ: ond y neb a gasâo roddion, fydd byw.

28 Calon y cyfiawn a fyfyria i atteb: ond genau y drygionus a dywallt allan ddrwg.

29 * Pell yw'r Arglwydd oddi wrth y rhai annuwiol: ond efe a wrendy weddi y cyfiawn.
(Psal. 34. 16. & 145. 18.)

30 Llewyrch y llygaid a lawenhâ 'r galon: a gair da a frasâ 'r escyrn.

31 Y glûst a wrandawo ar gerydd y bywyd, a bresswylia ym mhlith y doethion.

32 Y neb a wrthodo || addysc, a ddiystyra ei enaid ei hun: ond y neb a wrandawo ar gerydd a feddianna || ddeall.
(|| Neu gerydd. || Heb. galon.)

33 Addysc doethineb yw ofn yr Arglwydd: * ac o flaen anrhydedd yr â gostyngeiddrwydd.
(Pen. 18. 12.)

PEN. XVI.

P*Aratoad y galon mewn dyn, ac ymadrodd y tafod, oddi wrth yr Arglwydd y mae.
(Vers. 9. & pen. 19. 21. & 19. 24. Ier. 10. 23. * Pen. 21. 2.)

2 * Holl ffyrdd dŷn ydynt lân yn ei olwg ei hun: ond yr Arglwydd a bwysa yr ysprydion.

3 * Treigla dy weithredoedd ar yr Arglwydd: a'th feddyliau a safant.
(Psal. 37. 5. & 55. 23. Mat. 6. 25. Luc. 12. 22. 1. Pet. 5. 4.)

4 Yr Arglwydd a wnaeth bôb peth er ei fwyn ei hûn: a'r * annuwiol hefyd erbyn y dydd drwg.
(Iob. 21. 30.)

5 * Ffiaidd gan yr Arglwydd bôb dŷn vchel galon: || er maint fyddo ei gymmorth, ni bydd dieuog.
(Pen. 6. 7. & 3. 17. || Heb. er bod llaw yn llaw.)

6 Drwy drugaredd a gwirionedd y deleir pechod: a thrwy ofn yr Arglwydd, y mae ymado oddi wrth ddrwg.

7 Pan fyddo ffyrdd gŵr yn rhyngu bodd i'r Arglwydd; efe a bair i'w elynion fod yn heddychol ag ef.

8 * Gwell yw ychydig drwy gyfiawnder, na chnwd mawr drwy gam.
(Pen. 15. 16. psal. 37. 16.)

9 * Calon dŷn a ddychymmyg ei ffordd: ond yr Arglwydd a gyfarwydda ei gerddediad ef.
(Vers. 1.)

10 || Ymadrodd Duw sydd yngwefusau y brenin: ni wyra ei enau ef mewn barn.
(|| Heb. Dewiniaeth.)

11 * Pwys a chloriannau cywir, yr Arglwydd a'i piau: ei waith ef yw hôll gerrig y gôd.
(Leuit. 19. 36. pen. 11. 1.)

12 Ffiaidd yw i frenhinoedd wneuthur annuwioldeb: canys drwy gyfiawnder y cadarnheir yr orsedd.

13 Gwefusau cyfiawn sydd gymmeradwy gan frenhinoedd, a'r brenin a gâr a draetho yr vniawn.

14 Digofaint y brenin sydd megis cennad angeu: ond gŵr doeth a'i gostega.

15 Yn siriol wynebpryd y brenhin y mae bywyd: a'i ewyllys da ef sydd * megis cwmwl glaw diweddar.
(Pen. 19. 12.)

16 * Cael doethineb, ô mor well yw nag aur coeth! a chael deall, mwy dymunol yw nag arian.
(Pen. 8. 11.)

17 Sarn y cyfiawn yw dychwelyd oddi wrth ddrwg: y neb a gadwo ei ffordd a geidw ei enaid.

18 * Balchder sydd yn myned o flaen dinistr: ac vchder yspryd o flaen cwymp.
(Pen. 11. 2. & 18. 12.)

19 Gwell yw bod yn ostyngedig gyd â'r gostyngedig: na rhannu 'r yspail gyd â'r beilchion.

20 A || drino fatter yn ddoeth, a gaiff ddaioni: a'r * neb a ymddiriedo yn yr Arglwydd, ô gwyn ei fyd hwnnw.
(|| Neu, ddeallo fatter a gaiff. Psal. 2. 12. & 34. 9. & 125. 1. esay 30. 18. Ier. 17. 7.)

21 Y doeth ei galon a elwir yn ddeallus; a melusder y gwefusau a chwanega ddysceidiaeth.

22 * Ffynnon y bywyd yw deall i'w pherchennog: ond addysc ffyliaid yw ffolineb.
(Pen. 13. 14.)

23 Calon y doeth a reola ei enau ef yn synhwyrol: ac a chwanega addysc i'w wefusau.

24 Geiriau têg ydynt megis dil mel, yn felus i'r enaid, ac yn iachus i'r escyrn.

25 * Mae ffordd a dybir ei bod yn vniawn yngolwg dŷn: ond ei diwedd yw ffyrdd marwolaeth.
(Pen. 14. 12.)

26 || Y neb a lafurio, a lafuria iddo ei hun: canys ei enau || a'i gofyn ganddo.
(|| Heb. Enaid y neb. || Heb. a ymostwng iddo.)

27 Dŷn || i'r fall sydd yn cloddio drwg: ac ar ei wefusau yr erys fel tân poeth.
(|| Heb. i Belial.)

28 * Dŷn cyndyn a bair ymryson: a'r hustyngwr a nailltua dywysogion.
(Pen. 6. 14. 19. & 15. 18. & 26. 21. & 29. 22.)

29 Gŵr traws a huda ei gymmydog: ac a'i tywys i'r ffordd nid yw dda.

30 Efe a gae ei lygaid i ddychymmyg trawsedd, gan symud ei wefusau, y dwg efe ddrwg i ben.

31 Coron anrhydeddus yw penllwydni, os bydd mewn ffordd cyfiawnder.

32 Gwell yw'r diog i ddigofaint nâ'r cadarn: a'r neb a reola ei yspryd ei hûn, nâ'r hwn a ennillo ddinas.

33 Y coel-bren a fwrir i'r arffed: ond oddi wrth yr Arglwydd y mae ei holl lywodraethiad ef.

## PEN. XVII.



Gwell * yw tammeid sych, a llonyddwch gyd ag ef; nâ thŷ yn llawn o || aberthau gyd ag ymryson.

2 Gwâs synhwyrol a feistrola ar fab gwradwyddus: ac a gaiff ran o'r etifeddiaeth ym mhlith y brodyr.

3 * Y tawdd-lestr sydd i'r arian, a'r ffwrn i'r aur; ond yr hwn a brawf y calonnau yw'r Arglwydd.

4 Y drygionus a wrendy ar wefus anwir: a'r celwyddog a rydd glûst i dafod drwg.

5 Y * neb a watwaro y tlawd, sydd yn gwradwyddo ei wneuthurwr ef: a'r neb a ymddigrifo mewn cystudd, ni bydd dieuog.

6 * Coron yr henaf-gwyr yw eu hwyrion: ac anrhydedd y plant yw eu tadau.

7 Anweddaidd yw i ffôl || ymadrodd rhagorawl: mwy o lawer i bendefig wefusau celwyddog.

8 * Maen gwerth-fawr yw anrheg yngolwg ei pherchennog: pa le bynnac y trô, hi a ffynna.

9 * Y neb a guddia bechod, sydd yn || ceisio cariad: ond y neb a adnewydda fai, sydd yn nailltuo || tywysogion.

10 [Un] senn a ofna y call, yn fwy nâ phe baeddid y ffôl gan-waith.

11 Y dyn drwg sydd a'i fryd ar derfysc yn unic: a chennad greulon a anfonir yn ei erbyn ef.

12 Gwell i wr gyfarfod ag arthes wedi colli ei chenawon, nag â'r ffôl yn ei ffolineb.

13 * Y neb a dalo ddrwg dros dda: nid ymedy drwg â'i dŷ ef.

14 Pen y gynnen sydd megis ped agorid || argae: am hynny gâd ymmaith ymryson, cyn ymyrryd arni.

15 * Y neb a gyfiawnhao y drygionus, ac a gondemnio y gwirion; ffiaidd gan yr Arglwydd ydynt eill dau.

16 Pa ham y bydd gwerth yn llaw'r ffôl, i berchennogi doethineb, ac yntau heb galon [gantho.]

17 * Cydymaith a gâr bob amser: a brawd a anwyd erbyn caledi.

18 * Dŷn heb || pwyll a dery ei law, ac a fachnia o flaen ei gyfaill.

19 Y neb sydd hoff ganddo ymsennu, sydd hoff ganddo bechod, a'r hwn sydd yn gwneuthur ei ddrws yn uchel, sydd yn ceisio niwed.

20 Y cyndyn ei galon ni chaiff ddaioni: a'r hwn sydd drofaus yn ei dafod, a syrth i ddrwg.

21 * Y neb a genhedlo un ffôl [a ennill] iddo ei hûn dristwch: ac ni bydd llawen tâd yr ynfyd.

22 * Calon lawen a wna les || fel meddyginiaeth; ond meddwl trwm a sych yr escyrn.

23 Yr annuwiol a dderbyn rodd o'r fynwes, i gam-droi llwybrau barn.

24 * Doethineb sydd yn wyneb y deallgar: ond llygaid y ffyliaid sydd ynghyrrau'r bŷd.

25 * Mab ffôl a bair ddigllonedd i'w dâd, a chwerwder || i'w fam.

26 Hefyd nid da cospi 'r cyfiawn: na tharo pennaethiaid, [pan fyddant] ar yr iawn.

27 * Gwr synhwyrol a attal ei ymadroddion: a gwr pwyllog sydd || ymarhous ei yspryd.

28 * Y ffôl, tra tawo, a gyfrifir yn ddoeth; a'r neb a gaeo ei wefusau, yn ddeallus.

Pen.15.17. || Heb. fyd da. — Psal. 26. 2. pen.27.21. ier. 17.10. mal.3.3. — Pen.14.31. — Psal.127.4.& 128.1. — || Heb. wefus rhagoriaeth. — Pen.18.16. — Pen.10.12. || Neu, peri. || caredigion. — Rhuf.12.17. 1.thes.5.15. 1.pet.3.9. — || Heb. dyfroedd. — Exod.23.7. Esay 5.23. pen.24.24. — Pen.18.24. — Pen.6.1.& 11.15. || Heb. galon. — Pen.10.1. — Pen.15.13.& 12.25. || Neu, i feddiginiaeth. — Eccl.2.14.& 8.1. *Pen.10.1.& 15.20.& 19.13.

## PEN. XVIII.



|| Nailltuol a gais wrth ei ddeisyfiad [ei hûn;] ac a ymmyrr â phob peth.

2 Y ffôl nid hôff ganddo ddeall: ond bod i'w galon ei datguddio ei hun.

3 Wrth ddyfodiad y drygionus y daw diystyrwch: a chyd â gogan, gwradwydd.

4 * Geiriau yngenau gwr sydd fel dyfroedd dyfnion: a ffynnon doethineb sydd megis afon yn llifo.

5 * Nid da derbyn wyneb yr annuwiol: i ddymchwelyd y cyfiawn mewn barn.

6 Gwefusau y ffôl a ânt i mewn i gynnen: a'i enau a eilw am ddyrnodiau.

7 * Genau y ffôl yw ei ddinistr: a'i wefusau sydd fagl i'w enaid.

8 * Geiriau 'r hustyng-wr sydd megis || archollion: ac a ddescynnant i || gilfachau y bol.

9 Y neb a fyddo diog yn ei waith, sydd frawd i'r treul-gar.

10 * Twr cadarn yw enw 'r Arglwydd: atto y rhed y cyfiawn, ac y mae yn || ddiogel.

11 * Cyfoeth y cyfoethog sydd iddo yn ddinas gadarn, ac yn fûr uchel, yn ei dŷb ei hun.

12 * Cyn dinistr y balchia calon gwr: a chyn anrhydedd y bydd gostyngeiddrwydd.

13 Y * neb a || attebo beth cyn ei glywed, ffolineb a chywilydd sydd iddo.

14 Yspryd gwr a gynnal ei glefyd ef: ond yspryd cystuddiedig pwy a'i || cyfyd?

15 Calon y pwyllog a berchennoga wybodaeth: a chlûst y doethion a gais wybodaeth.

16 * Rhodd dŷn a ehanga arno: ac a'i dwg ef ger bron pennaethiaid.

17 Y cyntaf yn ei hawl [a dybir ei fod] yn gyfiawn: ond ei gymmydog a ddaw, ac a'i chwilia ef.

18 Y coel-bren a wna i gynhennau beidio, ac a athrywyn rhwng cedyrn.

19 Anhaws [yw ennill ewyllys da] brawd [pan ddigier] nâ dinas gadarn: a'i hymryson sydd megis trosol castell.

20 * A ffrwyth genau gwr y diwellir ei fol: ac o ffrwyth y gwefusau y digonir ef.

21 Angeu a bywyd sydd ym meddiant y tafod: a'r rhai a'i hoffant ef, a fwytânt ei ffrwyth ef.

22 * Y neb sydd yn cael gwraig, sydd yn cael peth daionus: ac yn cael ffafor gan yr Arglwydd.

23 Y tlawd a ymbil: a'r cyfoethog a etteb * yn erwin.

24 Y neb y mae iddo gyfeillion, cadwed gariad: * ac y mae cyfaill a lŷn [wrthit] yn well nâ brawd.

PEN. XIX.

Gwell * yw'r tlawd a rodio yn ei uniondeb, nâ'r traws ei wefusau, ac yntef yn ffôl.

2 Hefyd, bod yr enaid heb wybodaeth, nid yw dda; a'r hwn sy brysur ei draed a becha.

3 Ffolineb dŷn a wŷra ei ffordd ef: a'i galon a ymddigia yn erbyn yr Arglwydd.

4 * Cyfoeth a chwanega lawer o gyfeillion: ond y tlawd a ddidolir oddi wrth ei gymmydog.

5 * Tŷst celwyddog ni bydd dieuog: a llefarwr celwyddau ni ddiangc.

6 Llawer a ymbiliant o flaen pendefig: a phawb sydd gyfaill || i'r hael.

7 * Holl frodyr y tlawd a'i casânt ef: pa faint mwy yr ymbellhâ ei gyfeillion oddi wrtho: er maint a ymmhleddo, ni thrôant atto.

8 A gaffo || ddoethineb a gâr ei enaid: a gadwo ddeall a ennill ddaioni.

9 * Tŷst celwyddog ni bydd dieuog: a thraethwr celwyddau a ddifethir.

10 Nid gweddaidd i ffôl hyfrydwch: annheddeiddiach o lawer * i wâs, arglwyddiaethu ar bennaethiaid.

11 * || Synwyr dŷn a oeda ei ddigofaint ef: a harddwch yw iddo fyned tros gamwedd.

12 * Llid y brenin sydd megis rhuad llew ieuangc: ond ei ffafor ef sydd megis gwlith ar laswellt.

13 * Mab ffôl sydd orthrymder i'w dâd: ac ymrafaelgar gwraig sydd megis * defni parhaus.

14 Tŷ a chyfoeth ŷnt etifeddiaeth y tadau: ond * [rhodd] yr Arglwydd yw gwraig bwyllog.

15 Syrthni a bair drym-gwsc: * ac enaid || twyllodrus a newyna.

16 * Y neb a gadwo 'r gorchymyn a geidw ei enaid: a'r neb a esceulusa ei ffyrdd sydd marw.

17 * Y neb a gymmero drugaredd ar y tlawd, sydd yn rhoddi echwyn i'r Arglwydd: a'i || rodd a dâl efe iddo drachefn.

18 * Cerydda dy fab tra fyddo gobaith: ac nac arbeded dy enaid ef, || i'w ddifetha.

19 Y mawr ei ddig a ddwg gosbedigaeth: canys os ti a'i gwaredi, rhaid it || wneuthur hynny drachefn.

20 Gwrando gyngor, a chymmer addysc, fel y byddech ddoeth yn dy ddiwedd.

21 * Bwriadau lawer sydd ynghalon dŷn: ond cyngor yr Arglwydd, hwnnw a saif.

22 Deisyfiad dyn yw ei drugaredd ef: a gwell yw 'r dŷn tlawd nâ'r gŵr celwyddog.

23 Ofn yr Arglwydd [a dywys] i fywyd: a'r [neb y byddo ganddo] a erys yn ddiwall, heb i ddrwg ymweled ag ef.

24 * Y dŷn swrth a gudd ei law yn ei fynwes: ac ni estyn hi at ei enau.

25 * Taraw watwarwr, a'r ehud fydd cyfrwysach; a phan geryddech y deallus, efe a a ddeall wybodaeth.

26 Mab gwradwyddus gwarthus, a anrheithia ei dâd, ac a yrr ei fam ar grwydr.

27 Fy mab, paid a gwrando yr addysc [a bair iti] gyfeiliorni oddi wrth eiriau gwybodaeth.

28 Tŷst || y fall a watwar farn: a genau 'r drygionus a lwngc anwiredd.

29 Barn sydd barod i'r gwatwar-wŷr: a chleisiau i gefn y ffyliaid.

PEN. XX.

Gwatwarus yw gwin, a therfysgaidd yw diod gadarn: pwy bynnac a siommer ynddi nid yw ddoeth.

2 * Megis rhuad llew ieuangc yw ofn y brenin: y mae ['r neb] a'i cyffrô ef i ddigofaint, yn pechu [yn erbyn] ei enaid ei hun.

3 Anrhydeddus yw i ŵr beidio ag ymryson: ond pob ffôl a fynn ymmyrraeth.

4 * Y diog nid ardd o herwydd [oerder] y gaiaf, am hynny y cardotta efe y cynhaiaf, ac ni chaiff ddim.

5 * Megis dyfroedd dyfnion yw pwyll ynghalon gŵr: etto 'r gŵr call a'i tynn allan.

6 Llawer dŷn a gyhoedda ei || drugarogrwydd ei hun, ond pwy a gaiff ŵr ffyddlon?

7 Y cyfiawn a rodia yn ei uniawndeb; * gwyn eu byd ei blant ar ei ôl ef.

8 Brenin yn eistedd ar orsedd barn, a wascar â'i lygaid bob drwg.

9 * Pwy a ddichon ddywedyd, mi a lanheais fy nghalon; glân wyf oddi wrth fy mhechod.

10 * || Amryw bwysau, ac amryw fesurau: ffiaidd gan yr Arglwydd bob un o'r ddau.

11 Bachgen a adweinir wrth ei waith; ai pûr ai uniawn yw ei waith.

12 * Y glust yn clywed, a'r llygad yn gweled: yr Arglwydd a wnaeth bob un o'r ddau.

13 * Na châr gyscu, rhag dy fyned yn dlawd: agor dy lygaid, fel i'th ddigoner â bara.

14 Drwg, drwg, medd y prynwr: ond pan êl o'r naill du, efe a ymffrostia.

15 Y mae aur, a gemmau lawer: ond gwefusau gwybodaeth sydd || ddodrefnyn gwerthfawr.

16 * Cymmer wisc y gŵr a fachnio dros estron: a chymmer wystl ganddo dros estrones.

17 * Melus gan ŵr fara [trwy] ffalsedd: ond o'r diwedd ei enau a lenwir â graian.

18 * Bwriadau a sicrheir drwy gyngor: a thrwy gyngor dysceulus dôs i ryfela.

19 * Y neb a fyddo athrodwr, a ddatguddia gyfrinach: am hynny nac ymmyrr a'r hwn a || wenieithio â'i wefusau.

20 * Y neb a felldithio ei dâd neu ei fam, ei || ganwyll a ddiffoddir yn y tywyllwch dû.

21 Etifeddiaeth a geir ar frys yn y dechreuad, ond ei diwedd ni fendithir.

22 Na ddywed, * mi a dalaf ddrwg: disgwil wrth yr Arglwydd, ac efe a'th achub.

23 * Ffiaidd gan yr Arglwydd amryw bwysau: a chlorian twyllodrus nid yw dda.

24 * Oddi wrth yr Arglwydd y mae cerddediad gŵr: ond beth a ddeall dŷn o'i ffordd ei hun?

25 Magl yw i ŵr lyngcu peth cyssegredig: ac wedi addunedau ymofyn.

26 * Brenin doeth a wascar yr annuwiol: ac a dry 'r olwyn arnynt.

Margin notes: Prov. 14.20. | Exod. 23.1. deu. 19.19. daniel 6.24. | Pen. 14.20. | || Heb. galon. | Vers. 5. | Eccles. 10.6. | * Pen. 14.29. | || Neu, callineb. | Pen. 16.15. | Pen. 10.1. & 15.20. & 17.21, 25. | * Pen. 27.15. | * Pen. 18.22. | Pen. 10.4. & 20.13. | || Neu, segurdod. | Luc. 11.28. | Mat. 10.42. & 25.40. | || Neu, weithred. | Pen. 13.24. & 23.13. | || Heb. iddo ei ladd. | || Heb. chwanegu. | Iob 23.13. psal. 33.10, 11. pen. 16.1. & 9. esay 46.10. | Pen. 15.19. & 26.13. & 15. | Pen. 21.11. | || Heb. Belial. | Pen. 19.12. & 16.14. | Pen. 20.4. | Pen. 18.4. | || Neu, haelioni. | Psal. 112.2. | 1. Bren. 8.46. 2. cron. 6.36. iob 14.4. psal. 51.5. eccles. 7.20. 1. ioh. 1.8. | * Deut. 25.13. pen. 11.1. & 16.2. | || Heb. Carreg a charreg, Ephah ac Ephah. | Exod. 4.11. psal. 94.9. | * Pen. 19.15. & 23.21. | || diws. | Pen. 27.13. | Pen. 9.17. | Pen. 15.22. | Pen. 11.13. | || Neu, ddeno. | Exod. 21.17. lefit. 20.9. math. 15.4. | || Neu, lamp. | Deut. 32.35. pen. 17.13. & 24.29. rhuf. 12.17. 1. thes. 5.15. 1. pet. 3.9. | * vers. 10. | Pen. 11.1. | * Pen. 16.9. psal. 37.23. ier. 10.23. | * Vers. 8. psal. 101.5.

27 || Canwyll yr Arglwydd yw yspryd dyn, yn chwilio holl gelloedd y bol.

28 * Trugaredd a ffyddlondeb a gadwant y brenin, a'i orseddfa a gadarnheir drwy drugaredd.

29 * Gogoniant gwyr ieuaingc [yw] eu nerth: a harddwch henafgwyr yw gwallt gwyn.

30 Cleisiau briw || a lanhâ ddrwg: felly y gwna dyrnodiau gelloedd y bol.

|| Neu, Lamp. Psal. 101. 1. Pen. 29. 14. * Pen. 16. 31. || Heb. sydd fe ddiglniaeth i.

## PEN. XXI.



Fel afonydd o ddwfr, y mae calon y brenin yn llaw 'r Arglwydd: efe a'i try hi lle y mynno.

2 * Pob ffordd gwr sydd uniawn yn ei olwg ei hun: ond yr Arglwydd a bwysa y calonnau.

3 * Gwneuthur cyfiawnder a barn, sydd well gan yr Arglwydd nag aberth.

4 * Uchder golwg, a balchder calon, ac || âr yr annuwiol, sydd bechod.

5 Bwriadau y diwyd sydd at helaethrwydd yn unic: ond yr eiddo pob prysur at eisiau yn unig.

6 * Trysorau a gascler â thafod celwyddog, a chwelir megis gwagedd; gan y neb sydd yn ceisio angeu.

7 Anrhaith yr annuwiol a'i || difetha hwynt: am iddynt wrthod gwneuthur barn.

8 Trofaus a dieithr yw ffordd dyn: ond y pur sydd uniawn ei waith.

9 * Gwell yw bod mewn congl yn nen tŷ: nâ bod gyd â gwraig anynad mewn tŷ || eang.

10 * Enaid yr annuwiol a ddeisyf ddrwg: nid grasol yw ei gymmydog yn ei olwg ef.

11 * Pan gosper gwatwar-wr, y bydd yr ehud callach: a phan ddysger y doeth, efe a dderbyn wybodaeth.

12 Call y mae y cyfiawn yn ystyried am dŷ yr annuwiol, [ond y mae Duw] yn difetha y rhai annuwiol am [eu] drygioni.

13 * Y neb a gaeo ei glust rhag llef y tlawd; a lefain ei hunan, ac ni's gwrandewir ef.

14 * Rhodd yn y dirgel a dyrr ddigofaint: a gobr yn y fynwes, lid cryf.

15 Llawen gan y cyfiawn wneuthur barn: ond dinistr sydd i weithwyr anwiredd.

16 Dyn yn myned ar gyfeiliorn oddi ar ffordd deall, a orphywys ynghynnulleidfa y meirw.

17 Y neb a garo || ddifyrrwch, a ddaw i dlodi: a'r neb a garo win ac olew, ni bydd cyfoethog.

18 * Yr annuwiol [a roddir] yn iawn dros y cyfiawn, a'r troseddwr dros yr uniawn.

19 * Gwell yw aros || yn yr anialwch, nâ chyd â gwraig anynad ddigllon.

20 Y mae trysor dymunol, ac olew, yn nhrigfa y doeth: ond dyn ffôl a'i llwngc hwynt.

21 Y neb a ddilyno gyfiawnder a thrugaredd, a gaiff fywyd, cyfiawnder, ac anrhydedd.

22 * Y doeth a ddring [i] ddinas y cedyrn, ac a fwrw i lawr y cadernid y mae hi yn hyderu arno.

23 * Y neb a gadwo ei enau a'i dafod, a geidw ei enaid rhag cyfyngder.

pen. 16. 2. 1. Sam. 15. 22. esay 1. 11. hos. 6. 6. micah. 6. 8. pen. 15. 8. * Pen 6. 17. || Neu, lamp. * Pen. 10. 2. & 13. 11. || Heb. llifio, neu, ymddaithia gyda hwynt. Pen. 27. 15. || Heb. cyfeillach. Iac. 4. 5. Pen. 19. 25. Mat. 18. 30. Pen. 17. 8. & 18. 16. || Neu, lawenydd. Pen. 11. 18. * Vers. 9. || Heb. yn nhir yr anialwch. Eccles. 9. 14. Pen. 12. 13. & 18. 21.

24 Y balch, [a'r] gwatwar-wr uchel, yw henw y gwr a wnelo beth mewn digllonedd || balch.

25 * Deisyfiad y diog a'i llâdd: canys ei ddwylo a wrthodant weithio.

26 Yn hyd y dydd y mae yn fawr ei awydd: ond * y cyfiawn a rydd, ac ni arbed.

27 * Aberth y rhai annuwiol sydd ffiaidd: pa faint mwy, pan offrymmant mewn || meddwl drwg.

28 * Tyst celwyddog a ddifethir: ond y gwr a wrandawo, a lefara yn wastad.

29 Gwr annuwiol a galeda ei wyneb: ond yr uniawn a || gyfarwydda ei ffordd.

30 * Nid oes doethineb, na deall, na chyngor, yn erbyn yr Arglwydd.

31 * Y march a ddarperir erbyn dydd y frwydr: ond * ymwared sydd oddiwrth yr Arglwydd.

## PEN. XXII.



Mwy dymunol * yw enw da, nâ chyfoeth lawer: a gwell yw ffafor dda nag arian, ac nag aur.

2 * Y tlawd a'r cyfoethog a gyd-gyfarfyddant: yr Arglwydd yw gwneuthur-wr y rhai hyn oll.

3 * Y call a genfydd y drwg, ac a ymgudd: ond y ffyliaid a ânt rhagddynt, ac a gospir.

4 * Gobr gostyngeiddrwydd, ac ofn yr Arglwydd, yw cyfoeth, anrhydedd, a bywyd.

5 Drain a maglau sydd yn ffordd y cyndyn: y neb a gadwo ei enaid a fydd bell oddiwrthynt hwy.

6 Hyfforddia blentyn ym mhen ei ffordd: a phan heneiddio nid ymedy â hi.

7 Y cyfoethog a arglwyddiaetha ar y tlawd: a gwâs fydd yr hwn a gaffo fenthyg, i'r gwr a roddo fenthyg.

8 * Y neb a hauo anwiredd a fêd flinder: a gwialen ei ddigofaint || ef a balla.

9 * || Yr hael ei lygad a fendithir: canys efe a rydd o'i fara i'r tlawd.

10 * Bwrw allan y gwatwar-wr, a'r gynnen a â allan: ie 'r ymryson, a'r gwarth a dderfydd.

11 Y neb a garo lendid calon, [|| am] râs ei wefusau a [gaiff] y brenin yn garedig iddo.

12 Llygaid yr Arglwydd a gadwant wybodaeth, ac efe a ddinistria || eiriau y trosedd-wr.

13 * Medd y diog, y mae llew allan: fe'm lleddir ynghanol yr heolydd.

14 * Ffôs ddofn yw genau gwragedd dieithr: y neb y byddo 'r Arglwydd yn ddig wrtho, a syrth yno.

15 Ffolineb sydd yn rhwym ynghalon plentyn: * ond gwialen cerydd a'i gyrr ym mhell oddiwrtho.

16 Y neb a orthrymmo y tlawd er chwanegu [ei gyfoeth,] a'r neb a roddo i'r cyfoethog, a ddaw i dlodi yn ddiammau.

17 Gogwydda dy glust, a gwrando eiriau y doethion, a gosod dy galon ar fy ngwybodaeth.

18 Canys peth peraidd yw, os cedwi hwynt yn dy || galon: cymhwysir hwynt hefyd yn dy wefusau:

19 Fel y byddo dy obaith yn yr Arglwydd,

yr yspyssais i ti heddyw, || iê i ti.

20 Oni scrifennais i ti [eiriau] ardderchog, o gyngor a gwybodaeth?

21 I beri i ti adnabod siccrwydd geiriau gwirionedd, fel y gallit atteb geiriau y gwirionedd i'r neb || a anfonant attat.

22 Nac yspeilia mo'r tlawd, o herwydd ei fod yn dlawd: ac *na orthrymma y cystuddiol yn y porth.

23 Canys *yr Arglwydd a ddadleu eu dadl hwynt, ac a orthrymma enaid y neb a'i gorthrymmo hwynt.

24 Na fydd gydymmaith i'r digllon: ac na chyd-gerdd â gŵr llidiog:

25 Rhag i ti ddyscu ei lwybrau ef, a chael magl i'th enaid.

26 *Na fydd un o'r rhai a roddant eu dwylo, o'r rhai a fachniant am ddylêd.

27 Oni bydd gennit i dalu, pa ham y cymmerai efe dy wely oddi tanat?

28 *Na symmud mo'r hên derfyn, yr hwn a osododd dy dadau.

29 A welaist ti ŵr diysceulus yn ei orchwyl? efe a saif ger bron brenhinoedd, ac ni saif ger bron rhai issel-radd.

PEN. XXIII.

Pan eisteddych i fwyta gyd â thywysog, ystyria yn ddyfal beth sydd ger dy fron:

2 A gosod gyllell ar dy gêg, os byddi dŷn blysig.

3 Na ddeisyf ei ddanteithion ef: canys bwyd twyllodrus ydyw.

4 *Nac ymflina i ymgyfoethogi: dôd heibio dy synwyr dy hun.

5 A beri di i'th lygaid ehedeg ar y peth nid yw? canys [golud] yn ddiau a gymmer adenydd, ac a eheda ymmaith megis eryr tu a'r wybr.

6 Na fwyta fwyd y drwg ei lygad: ac na chwennych mo'i ddaintethion ef.

7 Canys fel y meddylia yn ei galon, felly efe a ddywed wrthit, bwyta, ac ŷf, a'i galon heb fod gyd â thi.

8 Y tammaid a fwyteaist a fwri i fynu: a'th eiriau melus a golli.

9 Na lefara lle y clywo y ffôl: canys efe a ddiystyra ddoethineb dy eiriau.

10 Na * symmud mo'r hên derfyn, ac na ddôs i feusydd yr ymddifaid.

11 *Canys eu gwared-wr hwynt sydd nerthol: ac a amddeffyn eu cweryl hwynt yn dy erbyn di.

12 Gosot dy galon ar addysc, a'th glustiau ar eiriau gwybodaeth.

13 *Na thyn gerydd oddi wrth dy blentyn: os curi ef â gwialen, ni bydd efe farw.

14 Cur ef â gwialen, a thi a achubi ei enaid rhag uffern.

15 Fy mab, os dy galon di fydd doeth, fy nghalon inneu a lawenycha,

16 Ie fy arennau a grych-neidiant, pan draetho dy wefusau di gyfiawnder.

17 *Na wynfyded dy galon wrth bechaduriaid: ond [aros] yn ofn yr Arglwydd yn hŷd y dydd.

18 *Canys yn ddiau y mae gwobr; ac ni phalla dy ddisgwiliad.

19 Erglyw fy mab, a bydd ddoeth: a chyfarwydda dy galon yn y ffordd.

20 *Na fydd ymmysg y rhai sydd yn meddwi ar win: ymmysg rhai glythion ar || gig.

21 Canys y meddw, a'r glwth, a ddaw i dlodi: a chyscu || a bair fyned mewn gwisc garpiog.

22 *Gwrando ar dy dâd a'th genhedlodd: ac na ddiystyra dy fam, pan heneiddio.

23 Pryn y gwir, ac na werth; felly doethineb, ac addysc, a deall.

24 *Tad y cyfiawn a orfoledda yn fawr: a'r neb a genhedlo fab doeth, a lawenhâ o'i blegid.

25 Dy dâd a'th fam a lawenycha: a'r hon a'th ymddug a orfoledda.

26 Fy mab, moes i mi dy galon: dalied dy lygaid ar fy ffyrdd i.

27 Canys *ffos ddofn yw puttain: a phydew cyfyng yw'r ddieithr.

28 Ie hi * a gynllwyn fel || gwilliad: ac a chwanega bechaduriaid ym mysc dynion.

29 *I bwy y mae gwae? i bwy [y mae] ochain? i bwy y mae cynnen? i bwy y mae dadwrdd? ac i bwy y mae gweliau heb achos? i bwy y mae llygaid cochion?

30 I'r neb sydd yn aros wrth y gwin: i'r neb sydd yn myned i ymofyn am win cymyscedig.

31 Nac edrych ar y gwîn pan fyddo côch, pan ddangoso ei liw yn y cwppan: [pan ymgynnhyrfo] yn iawn.

32 Yn y diwedd efe a frâth fel sarph: ac a biga fel neidr.

33 Dy lygaid a edrychant ar wragedd dieithr: a'th galon a draetha drawsedd.

34 Ti a fyddi megis un yn cyscu || ynghanol y môr: ac fel un yn cyscu ym mhen yr hwyl-bren.

35 Curent fi [meddi, ac] ni chlafychais: dulient fi, ac nis gwybûm: pan ddeffrowyf, mi a âf rhagof, mi a'i ceisiaf drachefn.

PEN. XXIIII.

Na chenfigêna wrth wŷr annuwiol: ac na chwennych fod gyd â hwynt.

2 *Canys eu calon a fyfyria anrhaith: a'i gwefusau a draetha flinder.

3 Trwy ddoethineb yr adeiledir tŷ, a thrwy ddeall y siccrheir ef.

4 A thrwy wybodaeth y llenwir y celloedd o bob golud gwerth-fawr, a hyfryd.

5 Gŵr doeth sydd nerthol: a gŵr pwyllog a || chwanega ei nerth.

6 Canys *trwy gyngor doeth y gwnei dy ryfel: a thrwy lawer o gynghor-wyr y bydd diogelwch:

7 Rhy uchel yw doethineb i ffôl: ni egyr efe ei enau yn y porth.

8 Y neb a fwriada ddrygu, a elwir yn ysceler.

9 Bwriad y ffôl sydd bechod: a ffiaidd gan ddynion y gwatwarus.

10 Os llwfrhêi || mewn amser cyfyngder, || bychan yw dy nerth.

11 *Gwared y rhai a lusgir i angeu: a ymadewit â'r neb sydd barod i'w lladd?

Margin notes:
|| Neu, gobeithiaist.
|| Neu, a'th anfonant.
* Zach.7.10.
* Pen.13.11. iob.31.21.
* Pen.6.1. & 11.15.
* Deut.27.17. & 19.14. pen.23.10.
* 1.Tim.6.9, 10.
* Deut.27.17. & 19.14. pen.22.28.
* Pen.22.23. iob.31.21.
* Pen.13.24. & 19.18. & 22.15. ecclus.30.1.
* Pen.24.1. 23.31. psal.37.1. & 73.3.
* Pen.24.14.
* Rhuf.13.13. eph.5.18.
|| Heb. eu cig.
|| Heb. a ddillada â charpiau.
* Pen.1.8.
* Pen.10.1. & 15.20.
* Pen.22.14.
* Pen.7.12.
|| Neu, amyscelyfaeth.
* Esa.5.11.
|| Heb. ynghalon.
* Pen.23.17. & 24.19. psal.73.3. & 37.1.
* Psal.107.
|| Heb. gryfhâ nerth.
* Pen.20.18. & 11.14. & 15.22.
|| Heb yn nydd.
|| Heb. cyfyng.
* Psal.82.4.

12 Os dywedi, wele, ni wyddom ni hyn: onid yw pwyswr y calonnau yn deall? a'r hwn sydd yn cadw dy enaid, oni wyr efe? ac oni thâl efe i bob vn *yn ôl ei weithred?

13 *Fy mab, bwyta fêl, canys da yw: a'r dil mêl, [canys] melus yw || i'th enau.

14 Felly [y bydd] gwybodaeth doethineb i'th enaid; os cei di hi, *yn ddiau fe fydd gwobr, a'th obaith ni phalla.

15 Na chynllwyn di (ô annuwiol) wrth drigfa 'r cyfiawn, na anrheithia ei orphywysfa ef.

16 *Canys seith-waith y syrth y cyfiawn, ac efe a gyfyd drachefn: ond yr annuwolion a syrthiant mewn drygioni.

17 *Pan syrthio dy elyn, na lawenycha: a phan dramgwyddo, na orfoledded dy galon:

18 Rhag i'r Arglwydd weled, a bod hynny yn ddrwg yn ei olwg ef, ac iddo droi ei ddig oddi wrtho ef [attat ti.]

19 *Nac || ymddigia o herwydd y drwg-weithredwyr; na chynfigenna wrth yr annuwolion.

20 *Canys ni bydd gwobr i'r drygionus: || canwyll yr annuwolion a ddiffoddir.

21 Fy mab ofna'r Arglwydd a'r brenin: ac nac ymmyrr a'r || rhai anwastad.

22 Canys yn ddisymmwth y cyfyd eu destryw hwy: a phwy a wyr eu dinistr hwy ill dau?

23 Dymma hefyd [bethau] doethion: * nid da derbyn wyneb mewn barn.

24 Y neb a ddywedo wrth yr annuwiol, * cyfiawn wyt, y bobl a'i melldithiant ef; cenhedloedd a'i ffieiddiant ef:

25 Ond i'r neb a'i ceryddo, y bydd hyfrydwch: a bendith || dda a ddigwydd iddynt.

26 [Pawb] a gusana wefusau'r neb a attebo eiriau vniawn.

27 Darpara dy orchwyl oddi allan, a dosparth ef i ti yn y maes: ac wedi hynny adeilada dy dŷ.

28 Na fydd dŷst heb achos yn erbyn dy gymmydog, ac na huda â'th wefusau.

29 *Na ddywed, mi a wnaf iddo ef, fel y gwnaeth yntef i minneu; mi a dalaf i'r gŵr yn ôl ei weithred.

30 Mi a euthym heibio i faes y dŷn diog, a heibio i win-llan yr angall:

31 Ac wele, codasei drain ar hyd-ddo oll: danadl a guddiasei ei wyneb ef; a'i fagwyr gerrig a syrthiasei i lawr.

32 Gwelais hyn, ac mi a || ystyriais yn ddwys, edrychais arno, a chymmerais addysc.

33 *Ychydig gyscu, ychydig heppian, ychydig wascu dwylo i gysgu.

34 Felly y daw dy dlodi megys ymdeithydd, a'th angen fel gŵr || arfog.

*Iob.34.11. psal.62.12 ier.32.19. rhuf.2.6. datc.22.12.
*Psal.19.9.& 119.103.
|| Heb. i'th daflod dy enau.
*Pen.23.18.
*Psal.34.18. & 37.24. iob 5.19.
*Psal.35.15. pen.17.5. iob 31.29.
*Psal.37.1. pen.23.17. || Neu, ymgyfeillacha â'r drwg-ddyn.
*Pen.13.9. iob.21.17. || Neu, lamp.
|| Heb. newidwyr.
*Leuit.19.15. pen.18.5.& 28.21. deut.1.17.& 16.19. io.7.24.
*Pen.17.15. esay 5.23.
|| Heb. daioni.
*Pen.20.22.
|| Heb. osodais fy nghalon.
*Pen.6.9.
|| Heb. tarian.

## PEN. XXV.

1 Addysc ynghylch brenhinoedd, 8 a gochel achosion i ymrafaelio.

Dymma hefyd ddiharebion Salomon, y rhai a || gasclodd gwyr Ezeciah brenin Juda.

|| gopïodd.

2 Anrhydedd Duw yw dirgelu peth, ond anrhydedd brenin yw chwilio peth allan.

3 Y nefoedd am vchder, y ddaiar am ddyfnder; a chalon brenhinoedd, ni ellir eu chwilio.

4 Tynn yr amhuredd oddi wrth yr arian, a daw i'r gof-arian lestr.

5 *Tynn yr annuwiol o olwg y brenin, ei orseddfa ef a gadarnheir drwy gyfiawnder.

6 Nac ymogonedda ger bron y brenin: ac na saf yn lle gwŷr mawr.

7 *Canys gwell it ddywedyd wrthit, dyret ymma i fynu; nâ'th ostwng yn is, ger bron pendefig, yr hwn a welodd dy lygaid.

8 Na ddôs allan i gynhennu ar frys: rhag [na wypech] beth a wnelych yn ei diwedd, wedi dy gywilyddio gan dy gymmydog.

9 *Ymresymma â'th gymmydog [ei hun:] ond na ddatcuddia gyfrinach || i arall:

10 Rhag i'r neb a fyddo yn gwrando ddwyn gwarth arnat ti: ac i'th gywilydd na thro ymaith.

11 Gair a ddyweder || mewn amser, sydd megis afalau aur, mewn gwaith arian cerfiedig.

12 Cerydd-wr doeth, i'r glust a wrandawo, sydd fel anwyl-dlws euraid, a gwisc o aur rhagorol.

13 *Megis oerder eira yn amser cynhaiaf, yw cennad ffyddlon i'r rhai a'i gyrrant: canys efe a lawenycha enaid ei feistred.

14 Y neb a ymffrostio o achos gau rodd, sydd gyffelyb i gwmylau, a gwynt, heb law.

15 *Drwy hir-ymaros y bodlonir pendefig: a thafod esmwyth a dyrr ascwrn.

16 Pan gaffech fêl, bwyta a'th wasanaetho: rhag wedi dy lenwi o honaw, i ti ei chwydu ef.

17 || Cadw dy droed allan o dŷ dy gymmydog, rhag iddo || flino arnat, a'th gasau.

18 Y neb a ddygo *gam destiolaeth yn erbyn ei gymmydog, sydd megis gordd, a chleddyf, a saeth lem.

19 Hyder ar ffalswr yn nydd cyfyngder, sydd megis dant wedi ei dorri, a throed wedi tyrfu.

20 Fel yr hwn a ddygo ymmaith wisc yn amser oerfel, [ac fel] finegr ar nitr, felly y mae yr hwn sydd yn canu caniadau i galon drist.

21 *Os dy elyn a newyna, portha ef â bara; ac os sycheda, dôd iddo ddiod i'w yfed.

22 Canys marwor a bentyrri ar ei ben ef: a'r Arglwydd a dâl i ti.

23 Gwynt y gogledd || a yrr y glaw ymaith: felly y [gyrr] || wyneb-pryd digllon dafod athrodgar.

24 *Gwell yw trigo mewn congl yn nen tŷ, na chyd â gwraig anynad mewn tŷ ehang.

25 Fel dyfroedd oerion i enaid sychedig, yw newyddion da o wlâd bell.

26 Gŵr cyfiawn wedi syrthio i lawr ger bron y drygionus, sydd megys ffynnon wedi ei chymmyscu â gofer budr.

27 Nid da bwyta llawer o fêl, [ac] felly

Pen.20.8.
Luc.14.10.
Matth.5.25. & 18.15.
Pen.13.17.
Pen.15.1. gen.32.4. & 16.14. 1.Sam.25.24.
Psal.120.4. pen.12.18.
Exod.23.4. rhuf.12.20.
Pen.21.9. & 19.13.

felly *chwilio eu hanrhydedd, nid anrhydedd yw.

*Ecclus.3.23.

28 *Y neb ni byddo ganddo attal ar ei yspryd ei hun, sydd megis dinas ddrylliog heb gaer.

*Pen 16.32.

## PEN. XXVI.

1 Addysc ynghylch ynfydion, 13 a rhai segurllyd; 17 ac ynghylch dynion cynhennus, trafferthus.



Megis ôd yr hâf, neu law y cynhaiaf, felly nid cymmwys i'r ffôl anrhydedd.

2 Fel yr aderyn wrth grwydro, a'r wennol wrth ehedeg: felly y felldith ddiachos, ni ddaw.

3 *Ffrewyll i farch, ffrwyn i assyn, a gwialen i gefn yr ynfyd.

*Pen.10.13. psal.32.7.

4 Na atteb ynfyd yn ôl ei ynfydrwydd; rhag dy fod yn gyffelyb iddo.

5 Atteb yr ynfyd yn ôl ei ynfydrwydd; rhag iddo fod yn ddoeth yn ei olwg ei hun.

6 Y neb a yrro negesau gyd ag un angall, a dyr ymmaith y traed, ac a ŷf || golled.

|| Neu, trais.

7 Nid gogyhyd esceiriau y clôff: felly dammeg yngenau ffyliaid.

8 Fel un || yn rhwymo carreg mewn taffl; felly y gwna 'r neb a anrhydeddo ffôl.

|| Neu, yn gosod maen gwerthfawr mewn carnedd gerrig.

9 Fel draen yn myned i law dyn meddw: felly y mae dihareb yngenau yr angall.

10 || Y [Duw] mawr yr hwn a luniodd bob peth, sydd yn gobrwyo y ffôl, ac yn talu i'r troseddwyr.

|| Neu, Gwr mawr a gyfoda bawb, a ffôl yn cyflogi y ffôl &c.

11 *Megis y mae 'r ci yn dychwelyd at ei chwdfa; felly y mae y ffôl yn || dychwelyd at ei ffolineb.

*2.Pet.2.22. || Heb. ailadrodd.

12 A weli di wr doeth yn ei olwg ei hun? gwell yw 'r gobaith am ffôl nag am hwnnw.

13 *Y mae llew mawr ar y ffordd, medd y diog, y mae llew yn yr heolydd.

*Pen.22.13.

14 Fel y drws yn troi ar ei golyn, felly [y try] 'r diog yn ei wely.

15 Y *diog a guddia ei law yn ei fynwes, blin ganddo ei hestyn at ei enau drachefn.

*Pen.19.24.

16 Doethach yw 'r diog yn ei olwg ei hun, nâ seithwyr yn adrodd rheswm.

17 Y neb wrth fyned heibio a || ymmyrro â chynnen ni pherthyn iddo, sydd megis un yn cymmeryd ci erbyn ei glustiau.

|| Neu, ymddigio mewn cynnen &c.

18 Fel dyn gwall-gofus a daflo || bentewynion tân, saethau, ac [arfau] marwolaeth:

|| Heb. sreichion.

19 Felly y mae 'r gwr a dwyllo ei gymmydog, ac a ddywed, ond cellwair yr ydwyf?

20 Megis || pan ddarfyddo 'r coed, y diffydd y tân: felly pryd na byddo *athrodwr, || derfydd y gynnen.

|| Heb. heb goed. *Pen.22.10. || Heb. gostega.

21 Fel glo i'r marwor, a choed i'r tân, felly y mae gwr cynhennus *i ennyn cynnen.

*Pen.15.18. & 29.22. ecclus.28.10.

22 *Geiriau 'r athrodwr sydd megis archollion, a hwy a ddescynnant i gelloedd y bol.

*Pen.18.8.

23 Fel sorod arian wedi eu bwrw dros ddryll o lestr pridd; felly y mae gwefusau porth, a chalon ddrwg.

24 Y digasog a || ragrithia â'i wefusau; ac yn ei galon yn bwriadu twyll.

|| Neu, adnabyddir.

25 Pan || ddywedo efe yn dêg, nac ymddiried iddo: canys y mae saith ffieidd-dra yn ei galon ef.

|| Heb. wnelo ei leferydd yn hawddgar.

26 || Drwy gyfrwysder y cuddir digasedd; ond ei ddrygioni a ddatguddir yn y gynnulleidfa.

|| Neu, yn y dirgel.

27 *Y neb a gloddio bydew a syrth ynddo, a'r neb a dreiglo garreg, atto y dychwel.

*Psal.7.15. & 9.15. Ecclesi.10.8.

28 Y tafod celwyddog a gasâ 'r neb a gystuddio efe, a'r genau gwenieithus a wna ddinistr.

## PEN. XXVII.

1 Ynghylch serch arnom ein hunain: 5 Am wir gariad: 11 Gofalu am ochel rhwystrau: 23 A gofalu tros dy a thylwyth.

*Iac.4.13.



Nac *ymffrostia o'r dydd y foru: canys ni wyddost beth a ddigwydd [mewn] diwrnod.

2 Canmoled arall dydi, ac nid dy enau dy hun; estron, ac nid dy wefusau dy hunan.

3 Trom yw 'r garreg, a phwys-fawr yw 'r tywod, ond digofaint y ffôl sydd drymmach nâ hwy ill-dau.

4 Creulon yw llid, fel llif-ddwfr yw digofaint: a phwy a ddichon sefyll o flaen || cenfigen?

|| Neu, eiddigedd.

5 Gwell yw cerydd cyhoedd, nâ chariad cuddiedig.

6 *Ffyddlon yw archollion y caredig: ond cussanau y digasog ydynt || dwyllodrus.

*Psal.141.5. || Neu, daer, neu, aml.

7 || Y dyn *llawn a sathra 'r dil mêl; ond i'r newynog, pob peth chwerw sydd felus.

|| Heb. Yr enaid. *Iob 6.7.

8 Gwr yn ymdaith o'i lê ei hun, sydd debyg i aderyn yn cilio o'i nŷth.

9 Olew ac arogl-darth a lawenycha y galon, felly [y gwna] mwynder cyfaill, trwy gyngor || ffyddlon.

|| Heb. yr enaid.

10 Nac ymado â'th gydymaith dy hun, a chydymaith dy dâd: ac na ddôs i dŷ dy frawd yn amser dy orthrymder; *canys gwell yw cymmydog yn agos, nâ brawd ym mhell.

*Pen.17.17. & 18.24.

11 *Bydd ddoeth, fy mab, a llawenycha fynghalon, fel y gallwyf atteb i'r neb a'm gwradwyddo.

*Pen.10.1. & 23.24.

12 *Y call a wêl y drwg [yn dyfod], ac a ymgudd: ond yr angall a ânt rhagddynt, ac a gospir.

*Pen.22.3.

13 *Cymmer wisc yr hwn a fachnio dros y dieithr; a chymmer wystl ganddo, dros y ddieithr.

*Pen.20.16.

14 Y neb a fendithio ei gydymaith â llef uchel, y borau pan gyfodo, cyfrifir [hyn] yn felldith iddo.

15 *Defni parhaus ar ddiwrnod glawog, a gwraig anynad, cyffelyb ydynt.

*Pen.19.13.

16 Y mae yr hwn a'i cuddio hi [megis,] yn cuddio y gwynt; ac olew ei ddeheu-law, yr hwn a ymddengys.

17 Hayarn a hoga 'r hayarn: felly gwr a hoga wyneb ei gyfaill.

18 Y neb a gadwo ei ffigysbren, a fwyty o'i ffrwyth ef; a'r neb a wasanaetho ei feistr, a ddaw i anrhydedd.

19 Megis [mewn] dwfr [y mae] wyneb [yn atteb] i wyneb; felly y mae calon dŷn i ddŷn.

*Eccles.1.8.

20 * Ni lenwir uffern na destryw, felly ni lenwir llygaid dŷn.

*Pen.17.3.

21 * Fel y tawdd-lestr i'r arian, a'r ffwrnes i'r aur; felly a mae gŵr i'w glod.

22 Er i ti bwyo ffôl mewn morter, â phestl ym mhlith gwenith; etto nid ymedy ei ffolineb ag ef.

‖*Heb.gosod dy galon ar dy braidd.*

23 Edrych yn ddyfal ar dy anifeiliaid, ‖gofala am dy braidd.

‖*Heb.nerth.*

24 Canys ‖ cyfoeth ni phery byth: ac a bery y goron o genhedlaeth i genhedlaeth?

25 Y gwair a flaendardda, a'r glas-wellt a ymddengys, a llysieu y mynyddoedd a gesclir.

26 Yr ŵyn a'th ddillada; ac o'r geifr y [cei] werth tir.

‖*Heb fywyd.*

27 Hefyd ti a gei ddigon o laeth geifr yn fwyd i ti, yn fwyd i'th dŷlwyth, ac yn ‖ gynhaliaeth i'th langcesau.

## PEN. XXVIII.

Athrawiaethau cyffredinol ynghylch annuwioldeb, a duwiol burdeb.

Leu.26.36.



YR * annuwiol a ffŷ heb neb yn ei erlid; ond y rhai cyfiawn sydd hŷ megis llew.

2 O herwydd camwedd gwlâd, aml sydd ei phennaethiaid: ond ‖ lle y byddo gŵr pwyllog synhwyrol, y ‖pery hi yn hir.

‖*Ne.trwy wyr pwyllog &c.*
‖*Ne,u parhant hwy.*

3 Gŵr tlawd yn gorthrymmu tlodion, sydd debyg i lif-ddwfr, ‖ yr hwn ni âd lynniaeth.

‖*Heb.a heb luniaeth.*

4 Y rhai a ymadawant â'r gyfraith, a ganmolant yr annuwiol: ond y neb a gadwant y gyfraith, a ymladd â hwynt.

5 Dynion annuwiol ni ddeallant farn: ond y neb a geisiant yr Arglwydd a ddeallant bob peth.

*Pen.19.1.

6 * Gwell yw y tlawd a rodio yn ei uniawndeb, nâ'r traws ei ffyrdd, er ei fod yn gyfoethog.

*Pen.29.3.

7 * Y neb a gadwo 'r gyfraith sydd fab deallus: ond y neb ‖ a fyddo cydymaith i loddest-wŷr, a gywilyddia ei dâd.

‖*Neu,a bortho lod lest-wyr.*

*Pen.13.22. eccles.2.26.

8 * Y neb a chwanego ei gyfoeth drwy usuriaeth ac occreth, sydd yn casclu i'r neb a fydd trugarog wrth y tlawd.

9 Y neb a drŷ ei glust [ymmaith] rhag gwrando 'r gyfraith, fydd ffiaidd ei weddi hefyd.

Pen.26.27.

10 * Y neb a ddeno 'r cyfiawn i ffordd ddrwg, a syrth yn ei bydew ei hun: ond y cyfiawn a feddianna ddaioni.

11 Gŵr cyfoethog sydd ddoeth yn ei olwg ei hun: ond y tlawd deallus a'i chwilia ef allan.

Vers.28. Pen.29.2. 10.11.10. eccles.10.6.

12 * Pan fyddo llawen y cyfiawn, y mae anrhydedd mawr: ond pan dderchafer yr annuwiolion, y chwilir am ddyn.

*Psal.32.5. 1.Io.1.9.10.

13 * Y neb a guddio ei bechodau ni lwydda: ond y neb a'i haddefo, ac a'i gadawo, a gaiff drugaredd.

14 Gwyn ei fŷd y dŷn a ofno yn oestadol: ond y * neb a galedo ei galon a ddigwydda i ddrwg.

*Heb.11.12.

15 Fel y llew rhuadus, a'r arth wangcus, yw llywydd annuwiol i bobl dlodion.

16 Pennadur heb ddeall, fydd yn fawr ei drawsedd: ond y neb a gasâo gybydd-dra, a estyn ei ddyddiau.

*Gen.9.6. exod.21.14.

17 * Dŷn a wnelo drawsedd i waed neb, a ffŷ i'r pwll, nac attalied neb ef.

*Pen.10.25.

18 * Y neb a rodio yn uniawn a waredir: ond y neb a fyddo traws ei ffyrdd, a syrth ar unwaith.

*Pen.12.11. eccl.10.11.

19 * Y neb a lafurio ei dir, a ddigonir o fara: ond y neb a ganlyno ofer-wŷr, a gaiff ddigon o dlodi.

20 Gŵr ffyddlon a fydd aml ei fendithion: ond y * neb a bryssuro i fod yn gyfoethog, ni bydd digerydd.

*Pen.13.11. & 23.4. 1.tim.6.9.
*Pen.18.4. & 24.23.

21 * Nid da derbyn wyneb; canys y cyfryw ŵr am dammaid o fara a wna gam.

22 Gŵr drwg ei lygad a bryssura i ymgyfoethogi: ond bychan y gŵyr efe, y daw tlodi arno.

*Pen.27.6.

23 * Y neb a gerydddo ddyn, a gaiff yn y diwedd fwy o ffafr, nâ'r neb a draetho weniaith â'i dafod.

24 Y neb a yspeilio ei dâd neu ei fam, ac a ddywed, nid yw hyn gamwedd, sydd gymmar i ddinistrwyr.

*Pen.13.10.

25 * Gŵr uchel ei feddwl a ennyn gynnen: ond y neb a ymddiriedo yn yr Arglwydd, a wneir yn frâs.

26 Y neb a ymddiriedo yn ei galon ei hun sydd ffôl: ond y neb a rodio yn bwyllog a achubir.

*Deut.15.7. pen.22.9.

27 * Y neb a roddo i'r tlawd, ni bydd angen arno: ond y neb a guddio ei lygaid, a gaiff lawer o felldithion.

Vers.12. pen.29.2.

28 * Pan dderchafer yr annuwiol, dynion a ymguddia; ond wedi darfod am danynt, yr amlhêir y cyfiawn.

## PEN. XXIX.

Addysc ynghylch llywodraeth gyffredinol, a naillduol: 22 Ynghylch llid, balchder, lladrad, llyfrdra ac anwraidd-dra, a llygredigaeth swyddogion.



GWr ‖a gerydder yn fynych ac a galeda ei warr, a ddryllir yn ddisymmwth, fel na byddo meddyginiaeth.

‖*Heb.*

Pen.11.10. & 28.12. eccles.10.6.

2 * Pan amlhaer y cyfiawn, y bobl a lawenychant: ond pan fyddo 'r annuwiol yn llywodraethu, y bobl a ocheneidia.

Pen.10.1. & 15.20. & 27.11. *Luc.15.13. pen.5.9. & 28.7.

3 * Gŵr a garo ddoethineb a lawenycha ei dad: ond y neb a fyddo * gyfaill i butteiniaid, a ddifa ei dda.

‖*Heb.gŵr anrhegion.*

4 Brenin, drwy farn, a gadarnhâ y wlad, ond ‖ y neb a garo anrhegion, a'i dinistria hi.

5 Y gŵr a ddywedo weniaith wrth ei gymmydog, sydd yn tanu rhwyd i'w draed ef.

6 Ynghamwedd dŷn drwg y mae magl, ond y cyfiawn a gân, ac a fydd lawen.

Iob.29.16.

7 * Y cyfiawn a ystyria fatter y tlodion, ond

ond yr annuwiol ni ofala am ei wybod.

8 Dynion gwatwarus a || faglant ddinas; ond y doethion a droant ymmaith ddigofaint. [|| Heb. losgant.]

9 Os gŵr doeth a ymryson â dŷn ffôl, pa un bynnac a wnel ai digio, ai chwerthin, etto ni bydd llonyddwch.

10 Gwŷr gwaedlyd a gasânt yr uniawn, ond [yr] uniawn a gais ei enaid ef.

11 Y ffôl a dywallt ei hôll feddwl: ond gŵr doeth a'i hattal hyd yn ôl.

12 Os llywydd a wrendy ar gelwydd; ei hôll weision fyddant annuwiol.

13 Y tlawd * a'r || twyllodrus a gŷd-gyfarfyddant, a'r Arglwydd a lewyrcha eu llygaid hwy ill dau. [Pen. 22. 2. || neu, occrwr.]

14 * Y brenin a farno 'r tlodion yn ffyddlon, ei orsedd a sicrheir. [Pen. 20. 28.]

15 * Y wialen a cherydd a rydd ddoethineb: * ond mab a gaffo ei rwysc ei hun, a gywilyddia ei fam. [Gwel. vers. 17. * Pen. 10. 1. & 17. 21, & 25.]

16 Pan amlhâo 'r rhai annuwiol, yr amlhâ camwedd: * ond y rhai cyfiawn a welant eu cwymp hwy. [Psal. 37. 36. & 58. 11. & 91. 8.]

17 * Cerydda dy fab, ac efe a bair i ti lonyddwch: ac a bair hyfrydwch i'th enaid. [* Pen. 13. 24. & 22. 15. & 23. 13.]

18 Lle ni byddo gweledigaeth, || methu a wna 'r bobl: ond y neb a gadwo 'r gyfraith, gwyn ei fyd ef. [|| neu, y noethir y bobl.]

19 Ni chymmer gwâs addysc ar eiriau: canys er ei fod yn deall, etto nid etteb.

20 A weli di ddŷn prysur yn ei || eiriau? gwell yw 'r gobaith am y ffôl nag am dano ef. [|| neu, faterion.]

21 Y neb a ddygo ei wâs i fynu yn foethus o'i febyd, o'r diwedd efe a fydd [fel] mab [iddo.]

22 * Gŵr digllon a ennyn gynnen, a'r llidiog sydd aml ei gamwedd. [* Pen. 15. 18. & 26. 21.]

23 * Balchder dŷn a'i gostwng ef, ond y gostyngedig o yspryd a gynnal anrhydedd. [* Pen. 15. 33. & 18. 12. iob 22. 29. mat. 23. 12. luc. 14. 11.]

24 Y neb a fo cyfrannog â lleidr, a gasâ ei enaid ei hun: efe a wrendy ar felldith, ac nis mynega.

25 Ofn dŷn sydd yn dwyn magl: ond y neb a ymddiriedo yn yr Arglwydd a dderchefir.

26 * Llawer a ymgeisiant ag wyneb y llywydd: ond oddiwrth yr Arglwydd y mae barn pob dŷn. [* Pen. 19. 6.]

27 Ffiaidd gan y cyfiawn ŵr anghyfiawn: a ffiaidd gan yr annuwiol ŵr uniawn ei ffordd.

## PEN. XXX.

1 Cyffes Agur o'i ffydd. 7 Dau bwngc ei weddi ef. 10 Na ddylid gwneuthur cam â'r rhai gwaelaf. 11 Pedair cenedlaeth ddrygionus. 15 Pedwar peth ni ellir eu digoni. 17 Na ddylid diystyru tâd a mam. 18 Pedwar peth anhawdd eu gwybod. 21 Pedwar peth ni ellir eu dioddef. 24 Pedwar peth doeth dros ben. 29 Pedwar peth mawr-frydig. 32 Rhaid yw achub blaen digofaint.

GEiriau Agur mab Jaceh: sef y brophwydoliaeth: y gŵr a lefarodd wrth Ithiel, wrth Ithiel, me ddaf, ac Ucal.

2 Yn wir yr ydwyf yn ffolach nâ neb, ac nid oes deall dŷn gennif.

3 Ni ddyscais ddoethineb, ac || nid oes gennif wybodaeth y sanctaidd. [|| Heb. ni wn wybodaeth.]

4 * Pwy a escynnodd i'r nefoedd, neu a ddescynnodd? pwy a gasclodd y gwynt yn ei ddyrnau? pwy a rwymodd y dyfroedd mewn dilledyn? pwy a gadarnhâodd ôll derfynau y ddaiar? beth yw ei enw ef, a pheth yw enw ei fab, os gwyddost? [Iob. 38. 4. psal. 104. 3. esa. 40. 12. 10. 3. 15.]

5 * Holl air Duw sydd || bur: tarian yw efe i'r neb a ymddiriedant ynddo. [Psal. 12. 7 & 18. 32. & 19. 8 & 119. 140. || Heb. buredig.]

6 * Na ddyro ddim at ei eiriau ef, rhag iddo dy geryddu, a'th gael yn gelwyddog. [Deut. 4. 2. & 12. 32. datc. 22. 19.]

7 Dau beth yr ydwyf yn eu gofyn gennit, || na ommedd hwynt i mi cyn fy marw. [|| Heb. nac attal hwynt oddi wrthif.]

8 Tynn ym mhell oddi wrthif wagedd a chelwydd, na ddyro i mi na thlodi na chyfoeth; * portha fi a'm || digonedd o fara. [Mat. 6. 11. || Heb. degn.]

9 * Rhag i mi ymlenwi, a'th wadu di, a dywedyd, pwy yw 'r Arglwydd? a rhag i mi fyned yn dlawd, a lledratta, a chymmeryd enw fy Nuw [yn ofer.] [* Deut. 32. 15.]

10 || Nac achwyn ar wâs wrth ei feistr, rhag iddo dy felldithio, a'th gael yn euog. [|| Heb. Na niweidia â'th dafod.]

11 Y mae cenhedlaeth a felldithia ei thâd, a'i mam ni fendithia.

12 Y mae cenhedlaeth lân yn ei golwg ei hun, er nas glanhawyd oddi wrth ei haflendid.

13 * Y mae cenhedlaeth, ô mor uchel yw ei llygaid! a'i hamrantau a dderchafwyd. [Pen. 6. 17.]

14 * Y mae cenhedlaeth, a'i dannedd yn gleddyfau, a'i chil-ddannedd yn gyllill; i ddifa 'r tlodion oddi ar y ddaiar, a'r anghenus o blith dynion. [Ps. 52. 3. & 57. 5. iob. 29. 17.]

15 I'r gele y mae dwy ferch, [yn llefain,] moes, moes. Tri pheth ni ddiwellir, [ie] pedwar peth ni ddywedant byth, || digon. [|| Heb. golud.]

16 Y Bedd, y grôth amhlantadwy, y ddaiar ni ddiwellir â dyfroedd; a'r tân ni ddywed, digon.

17 Llygad yr hwn a watwaro ei dâd, ac a ddiystyro ufyddhau ei fam, a dynn cig-frain || y dyffryn, a'r cywion eryrod a'i bwyty. [|| neu, yr afon.]

18 Tri pheth sydd guddiedig i mi; ie pedwar peth nid adwaen:

19 Ffordd eryr yn yr awyr, ffordd neidr ar graig, ffordd llong || ynghanol y môr, a ffordd gŵr gyd â morwyn. [|| Heb. ynghalon.]

20 Felly y mae ffordd merch odinebus, hi a fwyty, ac a sych ei safn, ac a ddywed, ni wneuthym i anwiredd.

21 O herwydd tri pheth y cynnhyrfir y ddaiar, ac o herwydd pedwar, y rhai ni ddichon hi eu dioddef:

22 * O herwydd gwâs pan deyrnaso, ac un ffol pan lanwer ef o fwyd; [Pen. 19. 10.]

23 O herwydd [gwraig] atgâs pan brioder hi, a llawforwyn a êlo yn aeres i'w meistres.

24 Y mae pedwar peth bychain ar y ddaiar, ac etto y maent yn ddoeth || iawn: [|| Heb. wedi eu gwneuthur yn ddoeth.]

Pen.6.7.

25 * Nid yw 'r morgrug bobl nerthol, etto y maent yn darparu eu llynniaeth yr hâf.

26 Y cwningod nid ydynt bobl rymmus, etto hwy a wnânt eu tai yn y graig.

27 Y locustiaid nid oes brenin iddynt, etto hwy a ânt allan || yn dorfeydd.

|| Heb. yn gyfylltedic.

28 Y pryf coppyn a ymafaela â'i ddwylaw, ac y mae yn llŷs y brenin.

29 Y mae tri pheth a gerddant yn hardd, ie pedwar peth a rodiant yn weddus;

30 Llew cryf ym mhlith anifeiliaid, ni thrŷ yn ôl er neb.

31 || Milgi [cryf yn ei feingefn,] a bwch, a a brenin, [yr hwn] ni chyfyd neb yn ei erbyn.

|| neu, March. Heb. Gwregysedic ei lwynau.

32 * Os buost ffôl yn ymdderchafu, ac os meddyliaist ddrwg, dyro dy law ar dy enau:

Iob 21.5. & 39.37. & 40.4

33 Yn ddiau corddi llaeth a ddwg allan ymenyn, a gwascu ffroenau a dynn allan waed: felly cymmell llid a ddwg allan gynnen.

## PEN. XXXI.

1 Addysc Lemuel ynghylch diweirdeb a chymhedrolder. 6 Bod yn rhaid cyssuro, ac amddiffyn y cystuddiedig. 10 Clod a chynneddfau gwraig dda.



Eiriau Lemuel frenin: [y] brophwydoliaeth a ddyscodd ei fam iddo.

2 Pa [beth] fy mab! pa beth mab fyngroth! ie pa beth mab fy addunedau!

3 Na ddyro i wragedd dy nerth: na'th ffyrdd i'r hyn a ddifetha frenhinoedd.

4 Nid [gweddaidd] i frenhinoedd, o Lemuel, nid [gweddaidd] i frenhinoedd, yfed gwin: nac i bennaduriaid ddiod gadarn;

5 Rhag iddo yfed, ac ebargofi y ddeddf: a newidio barn || yr un o'r rhai gorthrymmedig.

|| Heb. holl feibion cystudd.

6 * Rhoddwch ddiod gadarn i'r neb sydd ar ddarfod am dano: a gwin i'r rhai || trwm eu calon.

Psal.104.15.

|| Heb. chwerw eu heneid.

7 Yfed efe, fel yr anghofio ei dlodi; ac na's meddylio am ei flin-fyd mwy.

8 Agor dy enau dros y mûd; yn achos holl blant dinystr.

9 Agor dy enau, barn yn gyfiawn; * a dadleu dros y tlawd a'r anghenus.

Levit 19.15. deut. 1.16.

10 * Pwy a fedr gael gwraig rinweddol? gwerthfawroccach yw hi na'r carbwncl.

Pen.12.4.

11 Calon ei gŵr a ymddiried ynddi: fel na bydd arno eisieu anrhaith.

12 Hi a wna iddo lês, ac nid drwg, hôll ddyddiau ei bywyd.

13 Hi a gais wlân a llin, ac a'i gweithia â'i dwy-law, yn ewyllysgar.

14 Tebyg yw hi i long marsiandwr, hi a ddwg ei hymborth o bell.

15 Hi a gyfyd hefyd liw nôs, ac a rydd fwyd i'w thylwyth, a'i dogn i'w llangcesau.

16 Hi a feddwl am faes, ac a'i || pryn ef: â gwaith ei dwylo, hi a blanna win-llan.

|| Heb. cymer.

17 Hi a wregysa ei lwynau â nerth: ac a gryfhâ ei breichiau.

18 Hi a || wêl fôd ei marsiandiaeth yn fuddiol; ni ddiffydd ei chanwyll ar hŷd y nôs.

|| Heb. archwaetha.

19 Hi a rydd ei llaw ar y werthyd, a'i llaw a ddeil y cogeil.

20 Hi a || egyr ei llaw i'r tlawd, ac a estyn ei dwylo i'r anghenus.

|| Heb. leda.

21 Nid ofna hi am ei thylwyth rhag yr eira, canys ei holl dŷ hi a ddilledir || ag ysgarlad.

|| neu, â dillad dau ddyblyg.

22 Hi a weithia iddi ei hun garpedau, ei gwisc yw sidan a phorphor.

23 Hynod yw ei gŵr hi yn y pyrth, pan eisteddo gyd â henuriaid y wlâd.

24 Hi a wna liain main, ac a'i gwerth, ac a rydd wregysau at y marsiandwr.

25 Nerth ac anrhydedd yw ei gwisc, ac yn yr amser a ddaw, hi a chwardd.

26 Hi a egyr ei genau yn ddoeth, a chyfraith trugaredd [sydd] ar ei thafod hi.

27 Hi a graffa ar ffyrdd tylwyth ei thŷ: ac ni fwyty hi fara seguryd.

28 Ei phlant a godant, ac a'i galwant yn ddedwydd: ei gŵr [hefyd], ac a'i can-mol hi:

29 Llawer merch a || weithiodd yn rymmus, ond ti a ragoraist arnynt ôll.

|| neu, ymgyfoethodd.

30 Siomedig yw ffafr, ac ofer yw tegwch: ond benyw yn ofni yr Arglwydd, hi a gaiff glôd.

31 Rhoddwch iddi o ffrwyth ei dwylo, a chan-moled ei gweithredoedd hi yn y pyrth.

EC-



# ECCLESIASTES, NEV Y PREGETH-WR.

## PENNOD. I.

1 Y Pregeth-wr yn dangos ofered gorchwylion dyn: 4 O herwydd bod y creaduriaid yn ddiorphwys yn eu cylchoedd, 9 nad ydynt yn dwyn dim newydd, a bod yr hen bethau wedi eu hebrgofi, 12 ac o herwydd mai felly y cafodd efe wrth chwilio doethineb.



Eiriau y Pregethwr mâb Dafydd, brenin yn Jerusalem.

2 * Gwagedd o wagedd, medd y Pregethwr, gwagedd o wagedd, gwagedd [yw 'r] cwbl.

3 * Pa fudd sydd i ddyn o'i holl lafur a gymmer efe dan yr haul?

4 Un genhedlaeth â ymmaith, a chenhedlaeth a ddaw; * ond y ddaiar a saif byth.

5 Yr haul hefyd a gyfyd, a'r haul a fachlud, ac a || bryssura i'w le, lle y mae yn codi:

6 Y gwynt â i'r dehau, ac a amgylcha i'r gogledd: y mae yn myned oddi amgylch yn wastadol, y mae 'r gwynt yn dychwelyd yn ei gwmpasoedd.

7 * Yr holl afonydd a redant i'r môr, etto nid yw 'r môr yn llawn: o'r lle y daeth yr afonydd, yno y dychwelant || eil-waith.

8 Pob peth sydd yn llawn blinder, ni ddichon dyn ei draethu: ni chaiff y llygad ddigon o edrych, ac ni ddigonir y glust â chlywed.

9 * Y peth a fu a fydd, a'r peth a wnaed a wneir, ac nid oes dim newydd dan yr haul.

10 A oes dim y gellir dywedyd am dano, edrych ar hwn, dymma beth newydd? efe fu eisus, yn yr hên amser o'n blaen ni.

11 Nid oes goffa am y pethau gynt, ac ni bydd coffa am y pethau a ddaw, gan y rhai a ddaw ar ôl.

12 Myfi y Pregeth-wr, oeddwn frenin ar Israel yn Jerusalem:

13 Ac a roddais fy || mryd ar geisio, a chwilio drwy ddoethineb, am bob peth a wnaed tan y nefoedd: y llafur blin yma a roddes Duw ar feibion dynion i || ymguro ynddo.

14 Mi a welais yr holl weithredoedd a wnaed tan haul; ac wele, gwagedd a gorthrymder yspryd yw 'r cwbl.

15 * Ni ellir uniawni yr hyn sydd gam, na chyfrif yr hyn sydd ddiffygiol.

16 Mi a ymddiddenais â'm calon fy hun, gan ddywedyd, wele, mi a aethym yn fawr, * ac a gesclais ddoethineb, tu hwnt i bawb a fu o'm blaen i yn Jerusalem, a'm calon a || ddeallodd lawer o ddoethineb, a gwybodaeth.

17 * Mi a roddais fy nghalon hefyd i wybod doethineb, ac i wybod ynfydrwydd, a ffolineb; mi a wybûm fod hyn hefyd yn orthrymder yspryd.

18 Canys mewn llawer o ddoethineb, y mae llawer o ddig: a'r neb a chwanego wybodaeth, a chwanega ofid.

Pen.12.9. Psal.144.4. & 39.5. & 62.9. || Neu, blâd. Pen.2.22. & 3.9. Psal.104.5. & 119.9. || Heb. dyhëu. Psal.104.9. Iob.38.10. || Heb. i fyned. Pen.3.15. || Heb. ymgalon. || Neu, ymgyfludio. Pen.7.13. 1.Bren.4.30. & 10.7.23. || Heb. welodd. Pen.2.12. & 7.23.

## PEN. II.

1 Ofered gwaith dyn yn ei ddifyrrwch. 12 Er bod y doeth yn well nâ 'r ynfyd, etto yr vn diwedd sydd i bob vn o'r ddau. 18 Ofered llafur dyn, gan fod yn rhaid iddo adael y cwbl, ni wyr i bwy. 24 Nad oes dim well nâ chymeryd llawenydd o'n llafur, etto rhodd Duw yw hynny.



Mi a ddywedais yn fy nghalon, iddo yn awr, mi a'th brofaf â llawenydd; am hynny cymmer dy fyd yn ddifyr; ac wele, hyn hefyd sydd wagedd.

2 Mi a ddywedais am chwerthin, ynfyd yw: ac am lawenydd, pa beth a wna?

3 * Mi a geisiais yn fy nghalon || ymroddi i win, (etto yn arwain fynghalon mewn doethineb,) ac i gofleidio ffolineb, hyd oni welwn beth oedd y da hwnnw i feibion dynion, yr hyn a wnânt hwy tan y nefoedd, || holl ddyddiau eu bywyd.

4 Mi a wneuthum i mi waith mawr, mi a adeiladais i mi dai, mi a blennais i'm win-llannoedd.

5 Mi a wneuthym erddi a pherllannau, ac a blennais ynddynt brennau o bob ffrwyth.

6 Mi a wneuthym lynnau dwfr, i ddyfrhau â hwynt y llwynau sy'n dwyn coed.

7 Mi a ddarperais weision, a morwynion: hefyd yr oedd i mi || gaeth-weision tŷ; fe yr oeddwn i yn berchen llawer o wartheg a defaid, tu hwnt i bawb a fuasei o'm blaen i yn Jerusalem.

8 * Mi a bentyrrais i mi hefyd arian ac aur, a thryssor pennaf brenhinoedd, a thaleithiau: mi a ddarperais i mi gantorion a chantoresau, a phôb rhyw offer cerdd, difyrrwch

* Pen.1.17. || Heb. dynnu fynghnawd â gwin. || Heb. rifedi dyddiau eu bywyd. || Heb. feibion tŷ. 1.Bren.9.28. & 10.4.

syrwch meibion dynion.

9 A mi a aethym yn fawr, ac a gynnyddais yn fwy nâ neb a fuasei o'm blaen i yn Jerusalem: a'm doethineb oedd yn sefyll gyd â mi.

10 A pha beth bynnac a ddeisyfiei fy llygaid, ni ommeddwn hwynt, ni attaliwn fy nghalon oddi wrth ddim hyfryd: canys fy nghalon a lawenychei yn fy holl lafur, a hyn oedd fy rhan i o'm holl lafur.

Pen 1. 2.

11 Yna mi a edrychais ar fy holl weithredoedd a wnaethei fy nwylaw, ac ar y llafur a lafuriais yn ei wneuthur; ac wele, hyn oll [oedd] * wagedd a gorthrymder yspryd, ac nid oedd dim budd tan yr haul.

Pen. 1. 17. & 7. 23.
|| neu, yn y pethau, &c?

12 Ac mi a droais i edrych ar ddoethineb, ac ar * ynfydrwydd, a ffolineb, (canys beth [a wnai]'r dyn a ddeuei ar ol y brenin? || y peth a wnaed eusus.)

|| Heb. fod rhagoriaeth yn noethineb, mwy nag mewn ynfydrwydd.

13 Yna mi a welais || fôd doethineb yn rhagori ar ffolineb, fel y mae goleuni yn rhagori ar dywyllwch.

*Dihar. 17. 24. pen. 8. 1.

14 * Y doeth sydd a'i lygaid yn ei ben; ond y ffôl a rodia yn y tywyllwch; ac etto mi a welais yr un damwain yn digwydd iddynt oll.

15 Yna y dywedais yn fy nghalon, fel y digwydd i'r ffôl y digwydd i minneu, pa beth gan hynny a dâl i mi fôd yn ddoeth mwyach? yna y dywedais yn fy nghalon, fôd hyn hefyd yn wagedd.

16 Canys ni bydd coffa am y doeth mwy nag am yr annoeth, yn dragywydd; y pethau sydd yr awr hon, yn y dyddiau a ddaw a ollyngir oll dros gof: a pha fodd y mae y doeth yn marw? fel yr annoeth.

17 Am hynny câs gennif einioes: canys blin gennif y gorchwyl a wneir tan haul, canys gwagedd a gorthrymder yspryd yw'r cwbl.

|| Heb. lafurio.

18 Je câs gennif fy holl lafur yr ydwyf yn ei || gymmeryd tan haul, am fod yn rhaid i mi ei adel i'r neb a fydd ar fy ôl i.

Psal. 49. 11. &c

19 * A phwy a wyr ai doeth ai annoeth fydd efe? etto efe a fydd feistr ar fy holl lafur, yr hwn a gymmerais, ac yn yr hwn y bum ddoeth tan haul. Dymma wagedd hefyd.

20 Am hynny mi a droais i beri i'm calon anobeithio o'r holl lafur a gymmerais tan yr haul.

|| Heb. roddi.

21 Canys y mae dŷn yr hwn y mae ei lafur yn bwyllog, yn synhwyrol, ac yn uniawn: ac y mae yn ei || adel yn rhan i'r neb ni lafuriodd wrtho: hyn hefyd sydd wagedd, a gorthrymder mawr.

Pen. 1. 3. & 3. 9.

22 * Canys beth sydd i ddyn o'i holl lafur a gorthrymder ei galon, yr hwn a gymmerodd efe tan haul?

Ier. 14. 1.

23 Canys ei holl ddyddiau sy * orthrymder, a'i lafur yn ofid: ie ni chymmer ei galon esmwythdra y nôs: hyn hefyd sydd wagedd.

pen. 3. 12. 22. & 5. 17. & 8. 15.

24 * Nid oes daioni mwy i ddŷn nag iddo fwyta ac yfed, a pheri i'w enaid gael daioni o'i lafur: hyn hefyd a welais, mai o law Duw yr oedd hyn.

25 Canys pwy a ddichon fwytta? a phwy a'i mwynhae o'm blaen i?

|| Heb. yn ei fron ef.

26 Canys i'r dŷn a fyddo da || yn ei olwg ef, y rhydd Duw ddoethineb, a gwybodaeth, a llawenydd: ond i'r pechadur y rhydd efe boen i gasclu, ac i dyrru, * i'w roddi i'r neb a fyddo da ger bron Duw: hynny hefyd sydd wagedd, a gorthrymder yspryd.

Iob. 27. 17.

## PEN. III.

1 Bod angenrhaid gyfnewid yr amseroedd, yn chwanegu gwagedd at lafur dyn. 11 Godidowgrwydd gweithredoedd Duw: 16 Ond dyn, Duw a farn ei weithredoedd ef yn y byd a ddaw, ac yma ni bydd ond cyffelyb i anifail.



Y Mae amser i bob peth, ac amser i bob amcan tan y nefoedd.

|| Heb. eni.

2 Amser i || eni, ac amser i farw; amser i blannu, ac amser i dynnu y peth a blannwyd;

3 Amser i ladd, ac amser i iachau; amser i dorrw i lawr, ac amser i adeiladu;

4 Amser i wylo, ac amser i chwerthin; amser i alaru, ac amser i ddawnsio;

|| Heb. bellhau oddi wrth.

5 Amser i daflu cerrig ymaith, ac amser i gasclu cerrig ynghyd; amser i ymgofleidio, ac amser i || ochel ymgofleidio;

6 Amser i geisio, ac amser i golli; amser i gadw, ac amser i dorrw ymmaith;

7 Amser i rwygo, ac amser i wnio; amser i dewi, ac amser i ddywedyd;

8 Amser i garu, ac amser i gasau; amser i ryfel, ac amser i heddwch.

pen. 1. 3.

9 * Pa fudd sydd i'r gweithudd yn yr hyn y mae'n llafurio?

10 Mi a welais y blinder a roddes Duw ar feibion dynion, i ymflino ynddo.

11 [Efe] a wnaeth bôb pêth yn dêg, yn ei amser: efe a osododd y bŷd hefyd yn eu calonnau hwy, fel na allo dŷn gael allan y gwaith a wnaeth Duw o'r dechreuad hyd y diwedd.

12 Mi a wn nad oes dim da ynddynt, ond bod [i ddyn] fôd yn llawen, a gwneuthur daioni yn ei fywyd.

13 A bod i bob dŷn fwyta, ac yfed, a mwynhau daioni o'i holl lafur; rhodd Duw yw hynny.

14 Mi a wn beth bynnac a wnêl Duw, y bydd hynny byth; ni ellir na bwrw atto, na thynnu dim oddi wrtho: ac y mae Duw yn gwneuthur hyn, fel yr ofnei dynion ger ei fron ef.

pen. 1. 9.

15 * Y peth a fu o'r blaen, sydd yr awron: a'r peth sydd ar ddyfod, a fu o'r blaen: Duw ei hun a ofyn y peth a || aeth heibio.

|| Heb. yrrwyd ymaith.

16 Hefyd mi a welais dan yr haul le barn, yno'r oedd annuwioldeb; a lle cyfiawnder, yno'r oedd anwiredd.

17 Mi a ddywedais yn fy nghalon, Duw a farn y cyfiawn a'r anghyfiawn: * canys y mae amser i bôb amcan, ac i bôb gwaith yno.

vers. 1.

18 Mi

18 Mi a ddywedais yn fy nghalon am gyflwr meibion dynion; || fel y byddei Duw eu hamlygu hwynt, ac y gwelent hwythau mai anifeiliaid ydynt.

|| neu, fel y gwnai Duw yn eglur iddynt ... ac y gwelent mai, &c.

19 * Canys digwydd meibion dynion a ddigwydd i'r anifeiliaid, yr un digwydd sydd iddynt; fel y mae'r naill yn marw, felly y bydd marw'r llall; ie yr un chwythad sydd iddynt oll: fel nad oes mwy rhagoriaeth i ddyn nag i anifail: canys gwagedd yw'r cwbl.

*Psal.49.12. Pen.2.16.

20 Y mae y cwbl yn myned i'r un lle: pob un sydd o'r pridd, a phob un a drŷ i'r pridd eil-waith.

21 Pwy a edwyn yspryd || dŷn, yr hwn sydd yn escyn i fynu, a chwythad anifail, yr hwn sydd yn descyn i wared i'r ddaiar?

|| Heb. meibion dyn.

22 * Am hynny mi a welaf nad oes dim well nag i ddyn ymlawenychu yn ei weithredoedd ei hun, canys hyn yw ei ran ef: canys pwy a'i dwg ef i weled y peth sydd ar ei ôl?

Pen.2.24.& 5.17.

## PEN. IIII.

1 Bod trais, 4 a chynfigen, 5 a seguryd, 7 a chybydd-dod, 9 a naillduolrwydd, 13 a gwrthnysigrwydd, yn chwanegu ar wagedd dyn.

Felly * mi a ddychwelais, ac a edrychais ar yr hôll orthrymderau sydd tan yr haul; ac wele ddagrau y rhai gorthrymmedig heb nêb i'w cysuro, ac ar law eu treiswyr yr oedd gallu, a hwythau heb neb i'w cysuro.

Pen.5.7.&c.

2 * Ac mi a ganmolais y meirw y rhai sydd yn barod wedi marw, yn fwy na'r byw, y rhai sydd yn fyw etto.

Job.3.17.&c.

3 * Gwell na'r ddau yw'r neb ni bu erioed, yr hwn ni welodd y gwaith blin sydd tan haul.

Job.3.11.16.& 21.

4 Ac mi a welais fôd pob llafur, a phob uniondeb gwaith dyn, || yn peri iddo genfigen gan ei gymmydog; hyn hefyd sydd wagedd a gorthrymder yspryd.

|| Heb. mai hyn yw cynfigen ... gan ei gymmydog.

5 * Y ffôl a wasc ei ddwylo ynghŷd, ac a fwyty ei gnawd ei hun.

Dih.6.10.& 24.33.

6 * Gwell yw lloneid llaw trwy lonyddwch, na lloneid dwy law trwy flinder a gorthrymder yspryd.

Dih.15.16.& 16.8.

7 Yna mi a droais, ac a welais wagedd tan yr haul.

8 Y mae un [yn unic] ac heb ail; ie nid oes iddo na mâb na brawd; ac etto nid oes diwedd ar ei lafur oll: ie ni chaiff ei lygaid ddigon o gyfoeth, [ni ddywed efe,] i bwy yr ydwyf yn llafurio, ac yn difuddio fy enaid oddi wrth hyfrydwch? hyn hefyd sydd wagedd, ac dymma drafferth flin.

9 Gwell yw dau nag un, o achos bod iddynt wobr da am eu llafur;

10 Canys os syrthiant, y naill a gyfyd y llall; ond gwae yr unic: canys pan syrthio efe, nid oes ail i'w gyfodi.

11 Hefyd os dau a gŷd-orweddant, hwy a ymgynhesant; ond yr unic, pa fodd y cynhesa efe?

12 Ac os cryfach fydd un nag ef, dau a'i gwrthwynebant yntef; a rhaff deir-caingc ni thorrir ar frys.

13 Gwell yw bachgen tlawd a doeth, na brenin hên ac ynfyd, yr hwn ni feidr gymmeryd rhybydd mwyach.

14 Canys y [naill] sydd yn dyfod allan o'r carchar-dŷ i deyrnasu, a'r llall wedi ei eni yn ei frenhiniaeth, [yn myned] yn dlawd.

15 Mi a welais y rhai byw oll, y rhai sydd yn rhodio dan yr haul, gyd â'r ail mâb, yr hwn a saif yn ei le ef.

16 Nid oes diben ar yr holl bobl, [sef] ar y rhai oll a fu o'i blaen hwynt, a'r rhai a ddêl ar ôl, ni lawenychant ynddo: gwagedd yn ddiau a blinder yspryd [yw] hyn hefyd.

## PEN. V.

1 Gwagedd yngwasanaeth Duw, 8 mewn grwgnach yn erbyn trais, 9 ac mewn cyfoeth. 18 Rhodd Duw yw cael llawenydd o'n cyfoeth.



Gwilia ar dy draed, pan fyddech yn myned i dŷ Dduw, a bydd barottach i wrando * nag i roi aberth ffyliaid; canys ni wyddant hwy eu bôd yn gwneuthur drwg.

1.Sam.15.22. Psal.50.8. Dih.15.8.& 21.27.

2 Na fydd [ry] brysur â'th enau, ac na frysied dy galon i draethu || dim ger bron Duw: canys Duw sydd yn y nefoedd, a thithau sydd ar y ddaiar; ac am hynny * bydded dy eiriau yn anaml.

|| neu, gair. Matt.6.7. Dih.10.19.

3 Canys breuddwyd a ddaw o drallod llawer: ac ymadrodd y ffôl o laweroedd o eiriau.

4 Pan * addunedech adduned i Dduw, na oeda ei thalu; canys nid oes ganddo flâs ar rai ynfyd; y * peth a addunedaist tâl.

Deut.23.21. Psal.66.13,14.

5 Gwell i ti fôd heb addunedu, nag i ti addunedu, a bôd heb dalu.

6 Na âd i'th enau beri i'th gnawd bechu, ac na ddywed ger bron yr angel, amryfusedd fu: pa ham y digiai Duw wrth dy leferydd, a difetha gwaith dy ddwylo?

7 Canys mewn llaweroedd o freuddwydion y mae gwagedd, ac mewn llawer o eiriau: ond ofna di Dduw.

8 Os gweli dreisio y tlawd, a thrawswyro barn a chyfiawnder mewn gwlâd; na ryfedda || o achos hyn, canys y mae hwn sydd uwch na'r uchaf yn gwilied, ac y mae [un] sydd uwch nâ hwynt.

|| Heb. wrth yr ewyllys, neu, yr amcan.

9 Cynnyrch y ddaiar hefyd sydd i bôb peth: wrth dir llafur y mae y brenin yn byw.

10 Y nêb a garo arian, ni ddigonir ag arian, na'r neb a hoffo amldra, a chynnyrch: hyn hefyd sydd wagedd.

11 Lle y byddo llawer o dda, y bydd llawer i'w ddifa: pa fudd gan hynny sydd i'w perchennog ond ei gweled â'i llygaid?

12 Melus yw hun y gweith-wr, pa un bynnac ai ychydig ai llawer a fwytao: ond llawnder y cyfoethog ni âd iddo gyscu.

13 Y mae

13 Y mae trueni blin a welais tan yr haul, cyfoeth wedi eu cadw yn niwed i'w perchennog.

14 Ond derfydd am y cyfoeth hynny trwy drallod blin, ac efe a ennill fab, ac nid oes dim yn ei law ef.

*Iob.1.21. 1.tim.6.7. psal.49.17.*

15 *Megis y daeth allan o groth ei fam yn noeth, y dychwel i fyned modd y daeth, ac ni ddwg ddim o'i lafur yr hyn a ddygo ymmaith yn ei law.

16 A hyn hefyd sydd ofid blin, yn hollawl y modd y daeth, felly yr â efe ymmaith: * a pha fudd [sydd] iddo ef a lafuriodd am y gwynt?

** Pen.1.3.*

17 Ei hôll ddyddiau y bwyty efe mewn tywyllwch, mewn digter mawr, gofid, a llid.

18 *Wele y peth a welais i, || da yw a thêg [i ddyn;] bwytta, ac yfed, a chymmeryd byd da o'i hôll lafur a lafuria tan yr haul, || holl ddyddiau ei fywyd, y rhai a roddes Duw iddo: canys hynny yw ei ran ef.

** Pen.2.24. & 3.12. || Heb. Y mae peth da yr hwn sydd dêg. || Heb. rifedi dyddiau.*

19 Ie i bwy bynnac y rhoddes Duw gyfoeth a golud, ac y rhoddes iddo rydd-did i fwyta o honynt, ac i gymmeryd ei ran, ac i lawenychu yn ei lafur; rhodd Duw yw hyn.

20 || Canys ni fawr gofia efe ddyddiau ei fywyd, am fôd Duw yn atteb i lawenydd ei galon ef.

*|| Neu, Er na fydd lawer, etto efe a gofia ddyddiau, &c.*

## PEN. VI.

1 Ofered yw cyfoeth heb eu harfer, 3 Plant, 6 Henaint heb gyfoeth. 9 Ofered golwg, a deisyfiadau anwastad. 11 Diweddgwlwm ar bob gwagedd.



Y Mae drwg a welais tan haul, a hwnnw yn || fawr ym mysc dynion.

*|| aml.*

2 Gwr y rhoddodd Duw iddo gyfoeth, a golud, ac anrhydedd, heb arno eisieu dim i'w enaid ar a ddymunei; a Duw heb roi gallu iddo i fwytta o honaw; ond estron a'i bwytty; dymma wagedd, ac y mae yn ofid blin.

3 Os ennill gwr gant [o blant,] ac a fydd byw lawer o flynyddoedd, fel y bo dyddiau ei flynyddoedd yn llawer, os ei enaid ni ddiwellir â daioni, ac oni bydd iddo gladdedigaeth, mi a ddywedaf mai gwell yw erthyl nag ef.

4 Canys mewn oferedd y daeth, ac yn y tywyllwch yr ymedy, a'i enw a guddir â thywyllwch.

5 Yntau ni welodd mo'r haul, ac ni wybu ddim: mwy o lonyddwch sydd i hwn nag i'r llall.

6 Pe byddei efe fyw ddwy-fil o flynyddoedd, etto ni welodd efe ddaioni: onid i'r un lle yr â pawb?

7 Holl lafur dyn sydd tros ei enau, ac etto ni ddiwellir ei enaid ef.

8 Canys pa ragoriaeth sydd i'r doeth mwy nag i'r annoeth? beth sydd i'r tlawd a fedr rodio ger bron y rhai byw?

9 Gwell yw golwg y llygaid nag ymdaith yr enaid: hyn hefyd sydd wagedd a gorthrymder yspryd.

10 Beth bynnac fu, y mae henw arno: ac y mae yn hyspys mai dyn yw efe: ac ni ddichon efe ymryson â'r neb sydd drech nag ef.

11 Gan fod llawer o bethau yn amlhau gwagedd, beth yw dyn well?

12 Canys pwy a wyr beth sydd dda i ddyn yn y bywyd hwn, || ôll ddyddiau ei fywyd ofer, y rhai a dreulia efe fel * cyscod: canys pwy a ddengys i ddyn beth a ddigwydd ar ei ôl ef tan yr haul?

*|| Heb. rifedi dyddiau bywyd ei ofered. * Psal.144.4.*

## PEN. VII.

1 Help yn erbyn gwagedd, yw enw da, 2 marwolaethu y cnawd, 7 Ymmynedd. 11 Doethineb, 23 Ac anhawsed ydyw ei chael.



G* Well yw enw da nag ennaint gwerthfawr, a dydd marwolaeth nâ dydd genedigaeth.

** Diha.22.1. & 15.30.*

2 Gwell yw myned i dy galar, nâ myned i dy gwledd, canys hynny yw diwedd pôb dyn, a'r byw a'i gesyd at ei galon.

3 Gwell yw || digter nâ chwerthin: canys trwy dristwch yr wyneb-pryd y gwellheir y galon.

*|| Neu, tristwch.*

4 Calon doethion sydd yn nhy y galar: ond calon ffyliaid yn nhy llawenydd.

5 *Gwell yw gwrando sen y doeth, nà gwrando càn ffyliaid.

** Diha.13.18. & 15.31,32.*

6 Canys chwerthiniad dyn ynfyd, sydd fel clindarddach drain tan grochan; dymma wagedd hefyd.

7 Yn ddiau trawsedd a ynfyda'r doeth, a * rhôdd a ddifetha yr galon.

** Deut.16.19.*

8 Gwell yw diweddiad peth nâ'i ddechreuad; gwell yw y dioddefgar o yspryd nâ'r balch o yspryd.

9 *Na fydd gyflym yn dy yspryd i ddigio: o blegit dig sydd yn gorphywys ym mynwes ffyliaid.

** Diha.14.17. & 16.32.*

10 Na ddywed, pa ham y bu'r dyddiau o'r blaen yn well nà'r dyddiau hyn? canys nid o ddoethineb yr wyt yn ymofyn am y peth hyn.

11 || Da yw doethineb gyd ag etifeddiaeth; ac [o hynny] y mae elw i'r rhai sydd yn gweled yr haul.

*|| Neu, Cystal yw doethineb ac etifeddiaeth: gwell i'r rhai sydd, &c.*

12 Canys cyscod yw doethineb, a chyscod yw arian, ond rhagoriaeth gwybodaeth, yw bod doethineb yn rhoddi bywyd i'w pherchennog.

13 *Edrych ar orchwyl Duw: canys pwy a all unioni'r peth a gammodd efe?

** Pen.1.15.*

14 Yn amser gwynfyd, bydd lawen; ond yn amser adfyd, ystyria: Duw hefyd a wnaeth y naill ar gyfeir y llall, er mwyn na chai dyn ddim ar ei ôl ef.

15 Hyn ôll a welais yn nyddiau fy ngwagedd; y mae un cyfiawn yn difannu yn ei gyfiawnder, ac y mae un annuwiol yn estyn [ei ddyddiau] yn ei ddrygioni.

16 Na fydd ry gyfiawn, ac na chymmer arnat fôd yn rhy ddoeth: pa ham i'th ddifethit dy hun?

17 Na fydd ry annuwiol, ac na fydd ffôl:

ffôl: pa ham y byddit farw || cyn dy amser.

||Heb. Nid yn dy amser.

18 Da yw i ti ymafael yn hyn, ac oddi wrth hyn na ollwng dy law: canys y neb a ofno Dduw a ddaw allan o honynt oll.

19 *Doethineb a nertha 'r doeth, yn fwy nâ dêc o gedyrn a fyddant yn y ddinas.

*Diar.21.22. & 24.5. pen.9.16.

20 *Canys nid oes dyn cyfiawn ar y ddaiar, a wna ddaioni, ac ni phecha.

*1.Bren.8.46. 2.cron.6.36. diar.20.9. 1.ioan.1.8.

21 Na || osod dy galon ar bob gair a ddywedir; rhag it glywed dy wâs yn dy felldithio.

||Heb. ibid.

22 Canys llawer gwaith hefyd y gŵyr dy galon, ddarfod i ti dy hun felldithio eraill.

23 Hyn ôll a brofais drwy ddoethineb; mi a ddywedais, mi a fyddaf ddoeth, a hithau ym mhell oddi wrthif.

24 Y peth fydd bell a dwfn iawn, pwy a'i caiff?

25 Mi a droais â'm calon i wybod, ac i chwilio, ac i geisio doethineb, a rheswm: ac i adnabod annuwioldeb ffolineb, sef ffolineb, ac ynfydrwydd:

26 *Ac mi a gefais beth chwerwach nag angeu, y wraig y mae ei chalon yn faglau ac yn rhwydau, a'i dwylo yn rhwymau: y neb fydd dda || gan Dduw, a waredir oddi wrthi hi, ond pechadur a ddelir genddi.

*Diar.22.14. ||Heb. ger bron.

27 Wele, hyn a gefais (medd y pregeth-wr) wrth chwilio o'r naill [beth] i'r llall, i gael y || rheswm:

||ystyr.

28 Yr hwn beth etto y chwilia fy enaid am dano, ac ni chefais; un gŵr a gefais ym mhlith mil, ond un wraig yn eu plith hwy oll ni's cefais.

29 Wele hyn yn unic a gefais,* wneuthur o Dduw ddyn yn uniawn: ond hwy a chwiliasant allan lawer o ddychymmygion.

*Gen.1.27.

## PEN. VIII.

1 Am vfyddhau brenhinoedd. 6 Rhaid yw dal ar ragluniaeth Duw. 12 Gwell yw 'r byd ar y duwiol mewn adfyd, nag ar yr annuwiol mewn hawddfyd. 16 Mor anchwiliadwy yw gweithredoedd Duw.

PWy sydd debyg i'r doeth? a phwy a fedr ddeongl peth? *doethineb gŵr a lewyrcha ei wyneb, a nerth ei wyneb ef a newidir.

*Diar.17.24.

2 Yr ydwyf [yn dy rybuddio] i gadw gorchymyn y brenin, a hynny o herwydd llw Duw.

*Pen.1.15.

3 Na ddôs ar frys allan o'i olwg ef, na saf mewn peth drwg: canys efe a wna a fynno ei hun.

4 Lle y byddo gair y brenin y mae gallu: a phwy a ddywed wrtho, beth yr wyt ti yn ei wneuthur?

5 Y neb a gadwo y gorchymyn, ni wybydd oddiwrth ddrwg: a chalon y doeth a edwyn amser, a barn.

6 Canys y mae amser a barn i bob amcan: ac y mae trueni dyn yn fawr arno.

7 Canys ni ŵyr efe beth a fydd: canys pwy a ddengys iddo pa || bryd y bydd?

||fodd.

8 Nid oes un dŷn yn arglwyddiaethu *ar yr yspryd, i attal yr yspryd; ac nid oes ganddo allu yn nydd marwolaeth; ac nid oes bwrw arfau yn y rhyfel hwnnw, ac nid achub annuwioldeb ei pherchennog.

*Iob.14.5.

9 Hyn oll a welais i, a gosodais fy nghalon ar bob gorchwyl a wneir dan haul; y mae amser pan arglwyddiaetha dŷn ar ddŷn, er drwg iddo.

10 Ac felly mi a welais gladdu y rhai annuwiol, y rhai a ddaethent, ac a aethent o le y Sâctaidd, a hwy a ebergofwyd yn y ddinas, lle y gwnaethent felly: gwagedd yw hyn hefyd.

11 O herwydd na wneir barn yn erbyn gweithred ddrwg yn fuan; am hynny calon plant dynion fydd yn llawn ynddynt, i wneuthur drwg.

12 Er gwneuthur o bechadur ddrwg ganwaith; ac estyn ei [ddyddiau] ef; *etto mi a wn yn ddiau y bydd daioni i'r rhai a ofnant Dduw, y rhai a arswydant ger ei fron ef.

*Psal. 37.10, 11,19.

13 Ond ni bydd daioni i'r annuwiol, ac ni estyn efe ei ddyddiau: [y rhai fydd] gyffelyb i gyscod, am nad yw yn ofni ger bron Duw.

14 Y mae gwagedd a wneir ar y ddaiar, bod y cyfiawn * yn damwain iddynt yn ôl gwaith y drygionus: a bod y drygionus yn digwyddo iddynt yn ôl gwaith y cyfiawn: mi a ddywedais fod hyn hefyd yn wagedd.

*Psal.73.13.

15 *Yna mi a gan-molais lawenydd, am nad oes dim well i ddŷn dan haul, nâ bwyta ac yfed, a bod yn llawen: canys hynny a lŷn wrth ddŷn o'i lafur, ddyddiau ei fywyd, y rhai a roddes Duw iddo tan yr haul.

*Pen.3.22.

16 Pan osodais i fy nghalon i wybod doethineb, ac i edrych ar y drafferth a wneir ar y ddaiar, (canys y mae ni wêl hûn â'i lygaid, na dydd na nôs:)

17 Yna mi a edrychais ar holl waith Duw, na ddichon dŷn ddeall y gwaith a wneir tan haul; oblegid, er i ddyn lafurio i geisio, etto nis caiff, ie pe meddyliei y doeth fynnu gwybod, etto ni allai efe gael hynny.

## PEN. IX.

1 Yr vn fath bethau a ddigwydd i'r drwg ac i'r da. 4 Bod yn anghenrhaid i ddynion farw. 7 Cyssur yw eu holl ran hwy yn y fuchedd yma. 11 Bod rhagluniaeth Duw yn llywodraethu pob peth. 13 Gwell yw doethineb nâ chryfdwr.



R hyn oll mi a || ystyriais yn fy nghalon, i ddangos hyn oll: bod y cyfiawn a'r doethion, a'i gweithredoedd yn llaw Duw; ni ŵyr dyn gariad, neu gas, wrth yr hyn oll fydd o'i blaen.

||Heb. roddais at fy nghalon.

2 *Yr un peth [a ddamwain] i bawb fel i gilydd; yr un peth a ddamwain i'r cyfiawn, ac i'r annuwiol, i'r da, ac i'r glân, ac i'r aflân; i'r neb a abertha, ac i'r neb ni abertha; fel y mae 'r da, felly y mae y pechadur,

*Mal.3.14. psal.73.2,& 12, 13.

dur, a'r neb a dyngo, fel y neb a ofno dyngu.

3 Dymma ddrwg ymmysc yr holl bethau a wneir tan haul, [sef] bod yr un diben i bawb; hefyd calon meibion dynion sydd yn llawn drygioni, ac ynfydrwydd sydd yn eu calon, tra fyddant fyw; ac yn ôl hynny y maent yn myned at y meirw.

4 Canys i'r neb a fo ynghymdeithas y rhai byw oll, y mae gobaith: canys gwell yw ci byw na llew marw.

5 O herwydd y rhai byw a wyddant y byddant feirw, ond nid oes dim gwybodaeth gan y meirw, ac nid oes iddynt wobr mwyach, canys eu coffa hwynt a anghofiwyd.

6 Eu cariad hefyd a'i câs, a'i cenfigen, a ddarfu yn awr; ac nid oes iddynt gyfran byth mwy o ddim oll a wneir tan yr haul.

7 Dôs, bwyta dy fwyd yn llawen, ac yf dy win â chalon hyfryd; canys yn awr cymmeradwy gan Dduw dy weithredoedd.

8 Bydded dy ddillad yn wynion bob amser, ac na fydded diffyg olew ar dy ben.

9 ||Dwg dy fyd yn llawen gyd â'th wraig anwyl holl ddyddiau bywyd dy oferedd, y rhai a roddes efe i ti tan yr haul, holl ddyddiau dy oferedd: * canys dyna dy ran di yn y bywyd yma, ac yn dy lafur a gymmeri tan yr haul.

||Heb. gwel fywyd.

*Pen.2.24. & 3.13.& 5.18.

10 Beth bynnac a ymafel dy law ynddo i'w wneuthur, gwna â'th [oll] egni, canys nid oes na gwaith na dychymmyg, na gwybodaeth, na doethineb, yn y bedd, lle yr wyt ti yn myned.

11 Mi a droais ac a welais tan haul, nad yw y rhedfa yn eiddo'r cyflym, na'r rhyfel yn eiddo'r cedyrn, na'r bwyd yn eiddo'r doethion, na chyfoeth yn eiddo'r pwyllog, na ffafr yn eiddo'r cyfarwydd: ond amser, a damwain, a ddigwydd iddynt oll.

12 *Canys ni wyr dyn chwaith ei amser, fel y pyscod a ddelir â'r rhwyd niweidiol, ac fel yr adar a ddelir yn y delm; felly y delir plant dynion yn amser drwg, pan syrthio arnynt yn ddisymmwth.

*Dih.29.6.

13 Hefyd y doethineb hyn a welais i tan haul, ac sydd fawr gennif fi.

14 [Yr oedd] dinas fechan, ac ynddi ychydig wyr; a brenin mawr a ddaeth yn ei herbyn hi, ac a'i hamgylchynodd, ac a gododd glawdd uchel yn ei herbyn:

15 A chafwyd ynddi wr tlawd doeth, ac efe a waredodd y ddinas honno â'i ddoethineb; etto ni chofiodd neb y gwr tlawd hwnnw.

16 * Yna y dywedais, gwell yw doethineb na nerth, er hynny dirmygir doethineb y tlawd, ac ni wrandewir ar ei eiriau ef.

*Dih.21.22. Pen.7.19.

17 Geiriau y doethion a wrandewir mewn distawrwydd, rhagor bloedd yr hwn sy'n llywodraethu ym mysc ffyliaid.

18 Gwell yw doethineb nag arfau rhyfel, ond un pechadur a ddinistria lawer o ddaioni.

## PEN. X.

1 Pethau i ddal arnynt ynghylch doethineb ac ynfydrwydd. 16 Am anllywodraeth, 18 diogi, 19 ac arian. 20 Rhaid i bawb feddwl yn barchedig o'r brenin.



GWybed || meirw a wnant i ennaint yr apothecari ddrewi: felly y gwna ychydig ffôlineb i wr ardderchog o herwydd doethineb ac anrhydedd.

||Heb. ...

2 Calon y doeth sydd ar ei ddeheu-law, a chalon y ffôl ar ei law asswy.

3 Ie y ffôl pan rodio ar y ffordd, sydd a'i galon yn pallu, ac y mae yn dywedyd wrth bawb ei fod yn ffôl.

4 Pan gyfodo yspryd pennadur yn dy erbyn, nac ymado â'th lê; canys ymostwng a ostega bechodau mawrion.

5 Y mae drwg a welais tan yr haul, cyffelyb i gyfeiliorni sydd yn dyfod oddi ger bron y llywydd.

6 Gosodir ffolineb mewn || graddau uchel, a'r cyfoethog a eistedd mewn llê isel.

||Heb. ...

7 Mi a welais weision * ar feirch, a thywysogion yn cerdded fel gweision ar y ddaiar.

*Dih.19.10.

8 * Y sawl a gloddio bwll a syrth ynddo; a'r neb a wascaro gae, sarph a'i brâth.

*Psal.7.15. Dihar.26.27. Ecclus.27.26.

9 Y sawl a symudo gerrig, a gaiff ddolur oddi wrthynt, a'r nêb a hollto goed, a gaiff niwed oddi wrthynt.

10 Os yr haiarn a byla, oni hoga efe y min, rhaid iddo roi mwy o nerth; etto doethineb sydd ragorol i gyfarwyddo.

11 Os brâth sarph heb swyno, nid gwell yw || dyn siaradus.

||Heb. ...

12 * Geiriau genau'r doeth sydd || rasol: ond gwefusau'r ffôl a'i difetha ef ei hun.

*Dih.10.32. & 12.13. ||Heb. ...

13 Ffolineb yw dechreuad geiriau ei enau ef, a diweddiad geiriau ei enau sydd ansad ynfydrwydd.

14 * Y ffol hefyd sydd aml ei eiriau; ni wyr neb * beth a fydd, a phwy a fynega iddo pa beth fydd ar ei ôl ef?

*Dih.15.2. *Pen.3.22. & 6.12.

15 Llafur y ffyliaid a flina bawb o honynt: canys ni fedr efe fyned i'r ddinas.

16 * Gwae di 'r wlâd sydd a bachgen yn frenin i ti, a'th dywysogion yn bwyta yn foreu.

*Esa.3.4.

17 Gwyn dy fyd di y wlad sydd a'th frenin yn fab i bendefigion, a'th dywysogion yn bwyta eu bwyd yn ei hamser, er cryfder, ac nid er meddwdod.

18 Drwy ddiogi lawer yr adfeilia yr adeilad; ac wrth || laesu'r dwylo y gollwng y tŷ ddefni:

||Heb. ...

19 Arlwyant wledd i chwerthin, a gwin a * lawenycha y rhai byw, ond arian sydd yn atteb i bob peth.

*Psal.104.15.

20 *Na felldithia'r brenin yn dy || feddwl, ac yn stafell dy wely na felldithia'r cyfoethog: canys ehediad yr awyr a gyhoedda y llais, a pherchen aden a fynega y peth.

*Exod.22.28. ||Heb. ...

PEN.

## PEN. XI.

1 Addysc ar gariad perffaith. 7 Rhaid yw meddwl am angeu mewn bywyd, 9 ac am ddydd y farn mewn ieuengctid.

Bwrw dy fara ar wyneb y dyfroedd, canys ti a'i cei *yn ôl llawer o ddyddiau.

*Deut.15.10. matth.10.42. ebr.19.17.

2 Dyro ran i saith, a hefyd i wyth: canys ni wyddost pa ddrwg a ddigwydd ar y ddaiar.

3 Os bydd y cwmylau yn llawn glaw, hwy a ddefnynnant ar y ddaiar: ac os tua'r dehau neu tua 'r gogledd y syrth y pren, lle y syrthio y pren, yno y bydd efe.

4 Y nêb a ddalio ar y gwynt, ni haua: a'r neb a edrycho ar y cwmylau, ni feda.

5 Megis na's gwyddost ffordd yr yspryd; na pha fodd y [ffurfheir] yr escyrn yngh-roth y feichiog: felly ni wyddost waith Duw, yr hwn sydd yn gwneuthur y cwbl.

6 Y boreu haua dy hâd, a phrydnawn nacattal dy law; canys ni wyddost pa un ||a ffynna ai hyn ymma, ai hyn accw, ai ynteu da fyddant ill dau yn yr un ffunyd.

||Heb. fydd yn uniawn.

7 Melus yn ddiau yw'r goleuni, a hyfryd yw i'r llygaid weled yr haul.

8 Ond pe byddei dyn fyw lawer o flynyddoedd, a bod yn llawen ynddynt oll, etto cofied ddyddiau tywyllwch, canys llawer fyddant: beth bynnac a ddigwydda, oferedd yw.

9 Gwna yn llawen wr ieuangc yn dy ieuengtid, a llawenyched dy galon yn nyddiau dy ieuenctid, a rhodia yn ffyrdd dy galon, ac yngolwg dy lygaid; ond gwybydd y geilw Duw di i'r farn am hyn ôll.

10 Am hynny bwrw ||ddig oddiwrth dy galon, a thro ymaith ddrwg oddiwrth dy gnawd; canys gwagedd yw mebyd ac ieuengtid.

||Neu, dri-stwch.

## PEN. XII.

1 Rhaid yw meddwl am ein Gwneuthur-wr mewn pryd. 8 Gofal y pregeth-wr am adeiladu eraill. 13 Ofn Duw yw'r help pennaf yn erbyn pob gwagedd ac oferedd.



Cofia yn awr dy greawdr yn nyddiau dy ieuengtid, cyn dyfod y dyddiau blin, a nesau o'r blynyddoedd yn y rhai y dywedi, nid oes i mi ddim diddanwch ynddynt:

*Di har. 6.22.

2 Cyn tywyllu 'r haul, a'r goleuni, a'r lleuad, a'r sêr, a dychwelyd y cwmylau ar ôl y glaw:

3 Yr amser y cryna ceidwaid y tŷ, ac y crymma y gwŷr cryfion, ac y metha y rhai sydd yn malu, am eu bod yn ||ychydig, ac y tywylla y rhai sydd yn edrych drwy ffenestri:

||Neu, [malw] ychydig.

4 A chau 'r pyrth yn yr heolydd, pan fo isel sŵn y malu, a'i gyfodi wrth lais yr aderyn, a gostwng i lawr hôll ferched cerdd.

5 Ie [yr amser] yr ofnant yr hyn sydd uchel, ac yr arswydant yn y ffordd, ac y blodeua'r pren Almon, ac y bydd y ceiliog rhedyn yn faich, ac y palla chwant; pan êlo dŷn i dŷ ei hir gartref, a'r galarwyr yn myned o bôb tu yn yr heol:

6 Cyn torri y llinyn arian, a chyn torri yr cawg aur, a chyn torri 'r piler ger llaw 'r ffynnon, neu dorri 'r olwyn wrth y pydew.

7 Yna y *dychwel y pridd i'r ddaiar, fel y bu, ac y dychwel yr yspryd at Dduw yr hwn a'i rhoes ef.

*Gen.3.16.

8 *Gwagedd o wagedd, (medd y pregethwr,) gwagedd yw 'r cwbl.

*Pen.1.2.

9 A hefyd, am fod y pregethwr yn ddoeth, efe a ddyscodd etto wybodaeth i'r bobl, ie efe a ystyriodd ac a *chwiliodd allan, ac a drefnodd ddiharebion lawer.

*1.Bren.4.32.

10 Chwiliodd y pregethwr am eiriau ||cymmeradwy, a'r hyn oedd scrifennedig oedd union, sef geiriau gwirionedd.

||Heb. dymunol

11 Geiriau 'r doethion sydd megis symbylau, ac fel hoelion wedi eu siccrhau gan feistred y gynnulleidfa, [y rhai] a roddir oddiwrth un bugail.

12 Ym-mhellach hefyd, fy mab, cymmer rybydd wrth y rhai hyn; nid oes diben ar wneuthur llyfrau lawer, a darllain llawer sydd flinder i'r cnawd.

13 ||Swm y cwbl a glybuwyd [yw,] ofna Dduw, a chadw ei orchymmynion: canys hyn yw holl [ddyled] dŷn.

||Neu, Diwedd y peth, [sef] y cwbl a glywyd, yw &c.

14 *Canys Duw a ddwg bob gweithred i farn, a phob peth dirgel, pa un bynnac fyddo ai da ai drwg.

*Rhuf.2.16. & 14.10. 1.cor.5.10.





# CANIAD SALOMON.

## PENNOD. I.

1 Cariad yr Eglwys ar Grist. 5 Y mae hi yn cyfaddef ei gwrthuni, 7 ac yn gweddio am gael ei chyfarwyddo at ei ddiadell ddefaid ef. 8 Christ yn ei chyfarwyddo hi at bebyll y Bugeiliaid: 9 A chan ddangos ei gariad tuac atti, 11 yn gwneuthur iddi addewidion grasusol. 12 Christ a'i Eglwys yn ymgaredigo.



An y caniadau eiddo Salomon.

2 Cusaned fi â chusanau ei fin; *canys gwell [yw] dy gariad nâ gwîn.

3 O herwydd arogl dy ennaint daionus, ennaint tywalltedic [yw] dy enw: am hynny y llangcesau a'th garant.

4 *Tynn fi, ni a redwn ar dy ôl; y brenin a'm dug i i'w stafellau; ni a ymhyfrydwn, ac a ymlawenhawn ynot, ni a gofiwn dy gariad yn fwy nâ gwîn, || y rhai vniawn sydd yn dy garu.

5 Du [ydwyf] fi, ond hawddgar, (merched Jerusalem,) fel pebyll Cedar, fel llenni Salomon.

6 Nac edrychwch arnaf am fy [mod] yn ddu, [ac] am i'r haul edrych arnaf: meibion fy mam a ddigiasant wrthif, gosodasant fi i gadw gwin-llannoedd [eraill,] fy ngwinllan fy hun ni's cedwais.

7 Mynega i mi, 'r hwn a hoffodd fy enaid, pa lê yr wyt yn bugeilio, pa le y gwnei iddynt orwedd ganol dydd? canys pa ham y byddaf megis vn || yn troi heibio, wrth ddiadellau dy gyfeillion?

8 Oni wyddost ti, y deccaf o'r gwragedd; dôs allan rhagot ar hŷd ôl y praidd, a phortha dy fynnod ger llaw pebyll y bugeiliaid.

9 I'r meirch yngherbydau Pharao i'th gyffelybais, fy anwylyd.

10 Hardd yw dy ruddiau gan dlyssau, a'th wddf gan gadwyni.

11 Tlyssau o aur, a boglynnau o arian, a wnawn i ti.

12 Tra [yw] y brenin ar ei fwrdd, fy Nardus i a rydd ei arogl.

13 Fy anwylyd sydd i'm yn bwysi myrr, rhwng fy mronnau yr erys tros nôs.

14 Cangen o rawn Camphyr yw fy anwylyd i mi, yngwinllannoedd Engedi.

15 Wele di yn dêg, || fy anwylyd, wele di yn dêg, [y mae] i ti lygaid colomennod.

16 *Wele di fy anwylyd yn dêg, ac yn hawddgar; ein gwely hefyd [sydd] iraidd.

17 || Swmmerau ein tai [sydd] gedr-wŷdd, ein distiau [sydd] ffynnid-wŷdd.

*Pen.4.10.
*Ioan.6.44.
|| Neu, hwy a'th garant yn vniawn.
|| Neu, wedi ei gorchuddio.
|| Neu, nghyfeilles.
*Pen.4.1. & 5.12.
|| Neu, ceibr, neu, rhodfeydd.

## PEN. II.

1 Y cariad sydd rhwng Christ a'i Eglwys. 8 Gobaith, 10 a galwedigaeth yr Eglwys, 14 a gofal Christ trosti. 16 Profess yr Eglwys, a'i ffydd, a'i gobaith.



Hosyn Saron, a lili y dyffrynnoedd [ydwyf] fi.

2 Megis lili ym mysc y drain; felly [y mae] fy anwylyd ym mysc y merched.

3 Megis pren afalau ym mysc prênau'r coed, felly [y mae] fy anwylyd ym mhlith y meibion: || bu dda gennif eistedd dan ei gyscod ef, a'i ffrwyth [oedd] felus || i'm genau.

4 Efe a'm dug i'r gwin-dy, a'i faner trosof [ydoedd] gariad.

5 Cynheliwch fi â phottelau, || cyssurwch fi ag afalau, canys clâf [ydwyfi] o gariad.

6 *Ei law asswy [sydd] tan fy mhen, a'i ddeheu-law sydd yn fy nghofleidio.

7 *Merched Jerusalem, tynghedaf chwi trwy iyrchod ac ewigod y maes, na chyffrôch ac na deffrôch fy nghariad, hyd oni fynno ei hun.

8 [Dymma] lais fy anwylyd! wele ef yn dyfod, yn neidio ar y mynyddoedd, [ac] yn llammu ar y bryniau.

9 *Tebyg yw fy anwylyd i iwrch neu lwdn hydd, wele efe yn sefyll y tu ôl i'n pared, yn edrych trwy'r ffenestri, yn ymddangos trwy'r dellt.

10 Fy anwylyd a lefarodd, ac a ddywedodd wrthif, cyfod fy anwylyd, a thyrret ti fy mhrydferth.

11 Canys wele, y gaiaf a aeth heibio, y glaw a basiodd, [ac] aeth ymmaith.

12 Gwelwyd y blodau ar y ddaiar, daeth amser i'r [adar] i ganu, clywyd llais y durtur yn ein gwlâd.

13 Y ffigys-bren a fwriodd allan ei ffigys irion, a'r gwin-wŷdd [â'i] hegin grawn, a roddasant arogl [têg:] cyfod ti fy anwylyd, a thyrret ti fy mhrydferch.

14 Fy ngholomen, yr hon wyt yn holltau y graig, yn lloches y grisiau, gâd i mi weled dy wyneb, gâd i mi glywed dy lais: canys dy lais [sydd] beraidd; a'th olwg yn hardd.

15 Deliwch i ni y llwynogod, y llwynogod bychain, y rhai a ddifwynant y gwinllannoedd, canys y mae i'n gwinllannoedd egin grawn-wîn.

16 *Fy anwylyd [sydd] eiddo fi, a minneu yn eiddo yntef; y mae efe yn bugeilio ym mysc y lili.

17 *Hyd oni wawrio'r dydd, a chilio'r cyscodau; tro, bydd debyg, fy anwylyd, i *iwrch, neu lwdn hydd ym mynyddoedd || Bether.

*Pen.8.3.
*Pen.3.5. & 8.4.
*Vers.17.
*Pen.6.3. & 7.10.
*Pen.4.6.
*Pen.8.14.

PEN. III.

1 Ymdrech yr Eglwys, a'i gorfodaeth mewn profedigaeth. 6 Yr Eglwys yn ymogoneddu yn Ghrist.

LLiw nos yn fy ngwely y ceisiais yr hwn a hoffa fy enaid, ceisiais ef, ac ni's cefais.

2 Codaf yn awr ac âf o amgylch y ddinas, trwy'r heolydd a'r ffrydoedd; ceisiaf yr hwn a hoffa fy enaid; ceisiais ef, ac ni's cefais.

3 Y gwil-wŷr, y rhai aent o amgylch y ddinas, a'm cawsant: [gofynnais,] a welsoch chwi yr hwn sydd hoff gan fy enaid.

4 Nid aethwn i nepell oddi wrthynt, hyd oni chefais yr hwn sydd hoff gan fy enaid; daliais ef, ac ni's gollyngais, hyd oni ddygais ef i dŷ fy mam, ac i ystafell yr hon a'm hymddug.

5 *Merched Jerusalem, tynghedaf chwi trwy iyrchod ac ewigod y maes, na chyffrôch, ac na ddeffrôch fy nghariad, hyd oni fynno ei hun.

6 *Pwy [yw] hon sydd yn dyfod i fynu o'r anialwch, megis colofnau mwg wedi ei phêr-arogli â Myrrh, ac â thus, [ac â] phob powdr yr apothecari.

7 Wele ei wely ef, sef yr eiddo Salomon, [y mae] tri ugain o gedyrn o'i amgylch, [sef] o gedyrn Israel.

8 Hwynt oll a ddaliant gleddyf, wedi eu dyscu [i] ryfel, pob un a'i gleddyf ar ei glun, rhag ofn liw nôs.

9 Gwnaeth y brenin Salomon iddo ‖ gerbyd o goed Libanus.

10 Ei byst ef a wnaeth efe o arian, ei lawr o aur, ei lenni o borphor, ei ganol a balmantwyd â chariad i ferched Jerusalem.

11 Ewch allan merched Sion, ac edrychwch ar y brenin Salomon, yn y goron â'r hon y coronodd ei fam ef, yn ei ddydd dyweddi ef; ac yn nydd llawenydd ei galon ef.

PEN. IIII.

1 Christ yn gosod allan hawddgar ddoniau yr Eglwys: 8 yn dangos ei gariad tu ac atti. 16 Yr Eglwys yn gweddio ar gael ei gwneuthur yn gymmwys i'w bresennoldeb ef.



*Ele di yn dêg fy anwylyd, wele di yn dêg, dy lygaid [ydynt] golomennaidd, rhwng dy lywethau; dy wallt [sydd] fel * diadell o eifr, y rhai a ‖ ymddangosant o fynydd Gilead.

2 Dy ddannedd [sydd] fel diadell [o ddefaid] gwastad-gnaif, y rhai a ddaethant i fynu o'r olchfa, y rhai [oeddynt] bob un yn dwyn dau oen, ac nid [oedd un] yn ddynt yn ddi-heppil.

3 Dy wefusau [sydd] fel edef yscarlad, a'th barabl yn weddus: dy arleisiau rhwng dy lywethau [sydd] fel darn o bomgranad.

4 Dy wddf [sydd] fel twr Dafydd, yr hwn a adeiladwyd yn dŷ arfau, tariannau fil sydd yn crogi ynddo, i gyd yn estylch y cedyrn.

5 * Dy ddwy fron [sydd] fel dau lwdn iwrch o efelliaid, yn pori ym mysc lili.

6 * Hyd oni ‖ wawrio'r dydd, a chilio o'r cyscodau, âf i fynydd y Myrrh, ac i fryn y Thus.

7 * Ti oll [ydwyt] dêg fy anwylyd: ac nid oes ynot frychewyn.

8 Tyret gyd â mi o Libanus [fy] nyweddi, gyd â mi o Libanus, edrych o ben Amana, o goppa Senir, a * Hermon, o locheſau y llew, o fynyddoedd y llewpardiaid.

9 Dygaist fy nghalon, fy chwaer a'm dyweddi; dygaist fy nghalon ag un o'th lygaid, ag un gadwyn wrth dy wddf.

10 Mor dêg [yw] dy gariad, fy chwaer, [a'm] * dyweddi! pa faint gwell yw dy gariad na gwin, ac arogl dy olew, na'r holl bêr-aroglau!

11 Dy wefusau [fy] nyweddi, sydd yn diferu [fel] dil mêl, [y mae] mêl a llaeth tan dy dafod, ac arogl dy wiscoedd fel arogl Libanus.

12 Gardd ‖ gauedic [yw] fy chwaer, a'm dyweddi: ffynnon gloedic, ffynnon seliedic [yw.]

13 Dy blanhigion [sydd] berllan o bomgranadau, a ffrwyth peraidd, Camphir, a Nardus.

14 [Je] Nardus, a saphrwn, Calamus a Synamwn, a phob pren Thus, Myrrh, ac Aloes, ynghyd â phob rhagorol ber-lysiau.

15 Ffynnon y gerddi, ffynnon y dyfroedd byw, a ffrydiau o Libanus.

16 Deffro di ogledd-wynt, a thyred ddeheuwynt, chwyth [ar] fy ngardd, [fel y] gwascarer ei phêr-aroglau: deued fy anwylyd i'w ardd, a bwyttaed ei ffrwyth peraidd ei hun.

PEN. V.

1 Christ yn deffroi yr Eglwys â'i alwad. 2 yr Eglwys, wedi profi cariad Christ, yn glâf o gariad. 9 Portreiadu Christ wrth ei radau.



Euthym i'm gardd, fy chwaer [a'm] dyweddi, cesclais fy Myrrh gyd â'm pêr-arogl, bwytteais fy nil gyd â'm mêl, yfais fy ngwin gyd â'm llaeth: bwytewch gyfeillion, yfwch, ie ‖ yfwch yn helaeth [fy] rhai anwyl.

2 Myfi [sydd] yn cyscu, a'm calon yn neffro; llais fy anwylyd yw, yn curo [gan ddywedyd]: fy chwaer, fy anwylyd, fy nghholomen, fy nihalog, agor i mi; canys llanwyd fy mhen â gwlith, a'm gwallt â defnynnau'r nôs.

3 Dioscais fy mhais, pa fodd y gwiscaf hi? golchais fy nhraed, pa fodd y diwynaf hwynt?

4 Fy anwylyd a estynnodd ei law drwy'r twll, a'm ymyscaroedd a gyffrôdd ‖ er ei fwyn.

Margin notes: * Pen.2.7. & 8.4. — * Pen.8.5. — ‖ Neu, wely. — * Pen.1.15. & 5.12. — * Pen.6.5, 6. ‖ Neu, ymborthant o fynydd, &c. — * Pen.6.5. & 7.12. — * Pen.4.6. — * Pen.7.3. — * Pen.2.17. ‖ Heb. anadlo. — * Eph.5.27. — * Deu.3.9. — * Pen.1.2. — ‖ Heb. gloedic, neu, wedi ei barrio. — ‖ Neu, a meddwer chwi [gan] gariad. — ‖ Neu, ynof.

5 Mi a gyfodais i agori i'm anwylyd, a'm dwylo a ddiferasant gan fyrrh, a'm bysedd gan fyrrh yn diferu ar hyd hespennau y clô.

6 Agorais i'm anwylyd, ond fy anwylyd a giliasei, ac a aethei ymaith, fy enaid a lewygodd pan lefarodd, ceisiais, ac nis cefais; gelwais ef, ond ni'm hattebodd.

7 Y gwil-wyr y rhai a aent o amgylch y ddinas a'm cawsant, a'm tarawsant, a'm harchollasant: gwil-wyr y caerau a ddygasant fy ngorchudd oddi arnaf.

8 Merched Jerusalem, gorchymynnaf i chwi, os cewch fy anwylyd, fynegi iddo fy mod yn glaf o gariad.

9 Beth [yw] dy anwylyd rhagor anwylyd [arall,] y deccaf o'r gwragedd? beth [yw] dy anwylyd rhagor anwylyd [arall,] pan orchymynni i ni felly?

10 Fy anwylyd [sydd] wynn a gwridoc, yn || rhagori ar ddeng-mil;

|| Heb. fanerog.

11 Ei ben [fel] aur coeth, ei wallt yn || grych, yn ddu fel y fran.

|| Neu, yn gudynnog.

12 * Ei lygaid fel [llygaid] colomennod wrth afonydd dyfroedd, wedi eu golchi â llaeth, || wedi eu gosod yn gymmwys.

Pen. 1. 15. & 4. 1.

|| Heb. yn eistedd mewn cyflawnder.

13 Ei ruddiau fel gwely per-lysiau, fel blodau peraidd: ei wefusau [fel] lili yn diferu Myrrh diferol.

14 Ei ddwylo [sydd fel] modrwyau aur, wedi ei llenwi o Beril: ei fol [fel] disclair Ifori, wedi ei wisco a Saphyr.

15 Ei goesau fel colofnau Marmor, wedi eu gosod ar wadnau o aur coeth; ei wynebpryd fel Libanus, mor ddewisol a chedrwydd.

16 Melus odiaeth [yw] || ei enau, ie y mae efe oll yn hawdd-gar. Dymma fy anwylyd, dymma fy nghyfaill, (ô ferched Jerusalem.)

|| taflod ei enau.

## PEN. VI.

1 Yr Eglwys yn gwneuthur proffess o'i ffydd ynGhrist. 4 Christ yn dangos hawddgar ddoniau yr Eglwys, 10 A'i gariad ef tuac atti.

I Ba le'r aeth dy anwylyd, y deccaf o'r gwragedd? i ba le y troawdd dy anwylyd, fel y ceisiom ef gyda thi?

2 Fy anwylyd aeth i wared i'w ardd, i welâu y per-lysiau, i ymborth yn y gerddi, ac i gasclu lili.

3 * Myfi [wyf] eiddo fy anwylyd, a'm hanwylyd yn eiddo finneu, yr hwn sydd yn bugeilio ym mysc y lili.

Pen. 2. 16. & 7. 10.

4 Têg [ydwyt] ti fy anwylyd, megis Tirzah, gweddus megis Jerusalem, ofnadwy megis [llu] baneroc.

5 Tro dy lygaid oddi wrthif, canys hwy a'm || gorchfygasant; dy wallt [sydd] * fel diadell o eifr, y rhai a ymddangosant o Gilead.

|| neu, chwyddasant.

Pen. 4. 1. 2.

6 Dy ddannedd sydd fel diadell o ddefaid a ddaw i fynu o'r olchfa; y rhai sydd bob vn yn dwyn dau oen, ac heb [vn] yn ddi-heppil yn eu mysc.

7 Dy arleisiau rhwng dy lywethau [sydd] fel darn o bom-granad.

8 Y mae tri vgain o frenhinesau, ac o orddercb-wragedd bedwar vgain; a llangcesau heb rifedi.

9 Vn [ydyw] hi fy ngholomen, fy nihalog, vnic ei mam [yw] hi, dewisol [yw] hi gan yr hon a'i hescorodd: y merched a'i gwelsant, ac a'i galwasant yn ddedwydd, y brenhinesau a'r gordderch-wragedd, a hwy a'i canmolasant hi.

10 Pwy [yw] hon a welir fel y wawr; yn dêg fel y lleuad, yn bûr fel yr haul, yn ofnadwy fel [llu] baneroc?

11 Euthum i wared i'r ardd gnau, i edrych am ffrwythydd y dyffryn, i weled a flodeuasei y win-wydden, a flodeuasei y pom-granadau.

12 Heb wybod i mi || i'm gwnaeth fy enaid megis cerbydau Ammi-nadib.

|| Heb. ni wyddwn. || Neu, fy enaid a'm gosododd ar gerbydau fy mhobl ewyllysgar.

13 Dychwel, dychwel, y Sulamithes: dychwel, dychwel, fel yr edrychom arnat: beth a welwch chwi yn y Sulamithes: megis tyrfa || dau lu.

|| Mahanaim.

## PEN. VII.

1 Yspysrwydd pellach o radau'r Eglwys. 10 Yr Eglwys yn gwneuthur proffess o'i ffydd ac o'i dymuniad.

Mor deg [yw] dy draed mewn escidiau, ferch pendefig! cymmalau dy forddwydydd [sydd] fel tlysau, gwaith dwylo'r cywraint.

2 Dy fogel [sydd fel] gorflwch crwn, heb eisieu || lleithder: dy fru fel twr gwenith wedi ei amgylchu â lili.

|| Heb. gymysc.

3 * Dy ddwyfron megis dau lwdn iwrch o efelliaid.

*Pen. 4. 5.

4 Dy wddf fel twr o Ifori, dy lygaid [fel] pyscod-lynnoedd yn Hesbon, wrth borth Bath-rabbim; dy drwyn fel twr Libanus yn edrych tua Damascus.

5 Dy ben [sydd] arnat fel || Carmel, a gwallt dy ben fel porphor, y brenin sy wedi ei rwymo yn y rhodfeydd!

|| Neu, fioled.

6 Mor dêg ydwyt, ac mor hawddgar, fy nghariad, am hyfrydwch!

7 Dy vchder ymma sydd debyg i balmwydden, a'th fronnau i'r grawn-syppiau.

8 Dywedais, dringaf i'r balm-wydden, ymaflaf yn ei cheingciau; ac yn awr dy fronnau fyddant megis grawn-ganghennau y win-wydden: ac arogl dy ffroenau megis afalau;

9 A thaflod dy enau megis y gwin goreu i'm anwylyd, yn myned i wared yn || felus, ac yn peri i wefusau y rhai a fyddo yn || cyscu, lefaru.

|| Heb. yn iawn. || Neu, hen.

10 * Eiddo fy anwylyd [ydwyf] fi, ac attaf [y mae] ei ddymuniad ef.

*Pen. 2. 16. & 6. 3.

11 Tyret, fy anwylyd, awn i'r maes, a lletteuwn yn y pen-trefydd.

12 Boreu-godwn i'r gwinllannoedd, edrychwn a flodeuodd y win-wydden, a || agorodd egin y grawn-win, a flodeuodd y pomgranadau; yno y rhoddaf fy nghariad i ti.

|| Neu, ddangosodd.

13 Y

Gen.30.14.

23 * Y Mandragorau a roddasant arogledd, ac wrth ein drysau y mae pob rhyw odidawg ffrwythau newydd a hên, y rhai a rois i gadw iti, fy anwylyd.

PEN. VIII.

1 Cariad yr Eglwys tuac at Ghrist. 6 Mor angerddol yw cariad. 8 Galwad y cenhedloedd. 14 Yr Eglwys yn gweddio am ddyfodiad Christ.



Na bait megis brawd i'm, yn sugno bronnau fy mam: [pan] i'th gawn allan, cussanwn di, etto ni'm || dirmygid.

|| Heb. dirmygent.

2 Arweiniwn a dygwn di i dŷ fy mam, yr hon a'm dyscei: parwn it yfed *gwin llysieuog, sugn fy mhomgranadau.

* Dih.9.2.

3 * Ei law asswy [fyddei] tan fy mhen, a'i law ddehau a'm cofleidiai.

* pen.2.6.

4 * Cynghedaf chwi ferched Jerusalem; || na chyffrôch, ac na ddeffrôch fy nghariad, hyd oni fynno ei hun:

* pen.3.5. & 2.7. || Heb. pa ham y cyffrowch, a pha ham y deffrowch?

5 *(Pwy [yw] hon sydd yn dyfod i fynu o'r anialwch, [ac] yn pwyso ar ei hanwylyd?) tan yr afallen i'th gyfodais, yno i'th escorodd dy fam, yno i'th escorodd yr hon a'th ymddug.

* pen.3.6.

6 Gosod fi megis sêl ar dy galon, fel sêl ar dy fraich; canys cariad [sydd] gryf fel angeu, eiddigedd sydd || greulon fel y bedd: ei farwor [sydd] farwor tanllyd, [a] fflam angerddol iddynt.

|| Heb. galed.

7 Dyfroedd lawer ni allant ddiffoddi cariad, ac afonydd nis boddant: pe rhoddei wr holl gyfoeth ei dŷ am gariad, gan ddirmygu y dirmygid hynny.

8 [Y mae] i ni chwaer fechan, ac nid [oes] fronnau iddi, beth a wnawn i'n chwaer, y dydd y dyweder am dani?

9 Os caer [yw] hi, ni a adeiladwn arni balâs arian; ac os drws [yw] hi, ni a'i caewn hi ag ystyllod cedr-wŷdd.

10 Caer [ydwyf,] a'm bronnau fel tyrau; yna'r oeddwn yn ei olwg ef, megis wedi cael || tangneddyf.

|| ffafor.

11 Yr oedd gwin-llan i Salomon yn Baal-hamon, efe a osododd y winllan i warcheidwaid; pob vn a ddygei am ei ffrwyth, fil o [ddarnau] arian.

Matth.21.33.

12 Fy ngwinllan [sydd] ger fy mron, mil [a roddir] i ti Salomon, a dau cant i'r rhai a gadwant ei ffrwyth hi.

13 Oh yr hon a drigi yn y gerddi, y cyfeillion a wrandawant ar dy lais: par i mi ei glywed.

14 || Brysia fy anwylyd, a bydd debyg i iwrch neu lwdn hydd, ar fynyddoedd y perlysiau.

|| Heb. Ffo ymaith.



# LLYFR Y PROPHWYD ESAY.

PENNOD. I.

1 Esay yn achwyn ar Iuda am ei hanufydd-dod: 5 Yn gofidio am ei barnedigaeth hi: 10 Yn edliw iddynt eu holl wasanaeth; 16 Yn annog i edifeirwch, trwy addewidion a bygythiau: 21 Yn cwyno eu hannuwioled hwy, ac yn datcan barnedigaethau Duw: 25 Yn addo grâs: 28 Ac yn bygwth dinistr ar yr annuwiol.

Num.12.6. 2 Bren.15.32.



Weledigaeth Esay fab Amos, yr hon a welodd efe am Juda, a Jerusalem, * yn nyddiau Uzziah, Jotham, Ahaz, [a] Hezeciah brenhinoedd Juda.

Deut.32.1.

2 * Gwrandewch nefoedd, clyw ditheu ddaiar; canys yr Arglwydd a lefarodd; megais, a meithrinais * feibion, a hwy a wrthryfelasant i'm herbyn.

Deut.10.15.

3 * Yr ŷch a edwyn ei feddiannudd, a'r assyn breseb ei berchennog: [ond] Israel nid edwyn, fy mhobl ni ddeall.

Ier.8.7.

4 Oh genhedlaeth bechadurus, pobl lwythoc o anwiredd, hâd y rhai drygionus, meibion yn llygru; gwrthodasant yr Arglwydd, digiasant Sanct Israel, || ciliasant yn ôl.

|| Heb. ymddieithrasant, neu ymwahanasant.

5 I ba beth i'ch tarewir mwy? cildynrwydd a chwanegwch: y pen oll [sydd] glwyfus, ar holl galon yn llesc.

6 O wadn y troed hyd y pen, nid [oes] dim || cyfan ynddo; [ond] archollion, a chleisiau, a gweliau crawnllyd: ni wascwyd hwynt, ac ni rwymwyd, ac ni thynerwyd ag olew.

|| iach.

7 * Y mae eich gwlàd yn anrheithiedic, eich dinasoedd wedi eu llosci â thân; eich tir a dieithriaid yn ei yssu yn eich gŵydd, ac wedi ei anrheithio fel || ped ymchwelei estroniaid ef.

pen.5.5. deut.28.51.52.

|| Heb. dymchweliad estroniaid.

8 A merch Sion a adewir megis lluesty mewn gwinllan, megis llety mewn gardd cucumerau, megis dinas warchaedic.

Galar.3.22. rhuf.9.29. * Gen.9.24.

9 Oni buase i Arglwydd y lluoedd * adel i ni ychydig iawn weddill; fel * Sodoma y buasem, a chyffelyb fuasem i Gomorrah.

10 Gwrandewch air yr Arglwydd, tywysogion Sodoma: clywch gyfraith ein Duw ni, pobl Gomorrah.

Dihar.15.8. & 21.7. pen.66.3. psal.50.13. ierem.6.20. amos 5.21. mich.6.7. || Heb. i'ch gweled.

11 Beth [yw] * lluosogrwydd eich aberthau i mi, medd yr Arglwydd? llawn ydwyf o boeth aberthau hyrddod, ac o frasder [anifeiliaid] breision: gwaed bustych hefyd, ac wyn, a bychod, nid ymhyfrydais ynddynt.

12 Pan ddeloch || i ymddangos ger fy mron, pwy a geisiodd hyn ar eich llaw, [sef] sengi fy nghynteddau?

|| neu, gofid.

13 Na chwanegwch ddwyn offrwm ofer, arogl-darth sydd ffiaidd gennif: ni allaf oddef [y] newydd-loerau na'r Sabbothau, cyhoeddi cymanfa ||; anwiredd [ydyw], sef yr uchelwyl gyfarfod.

14 Eich lleuadau newydd, a'ch gwyliau gosodedic, a gasaodd fy enaid; y maent yn faich arnaf, blinais yn eu dwyn.

Dihar.1.28. ier.14.12. mic.3.4. || Heb. amlhaoch weddi. * Esai.59.3.

15 A phan estynnoch eich * dwylo, mi a guddiaf fy llygaid rhagoch: hefyd pan || weddioch lawer ni wrandawaf: * eich dwylo sydd lawn o waed.

* 1.Pet.3.11

16 Ymolchwch, ymlanhewch, bwriwch ymmaith ddrygioni eich gweithredoedd oddi ger bron fy llygaid; * peidiwch a gwneuthur drwg,

17 Dyscwch wneuthur daioni, ceisiwch farn, gwnewch uniondeb i'r gorthrymmedic, gwnewch farn i'r ymddifad, dadleuwch [tros] y weddw.

18 Deuwch yr awr hon, ac ymresymmwn, medd yr Arglwydd, pe byddei eich pechodau fel yscarlad, ânt cyn wynned a'r eira, pe cochent fel porphor, byddant fel gwlân.

19 Os byddwch ewyllysgar ac ufydd; daioni y tîr a fwyttewch.

20 Ond os gwrthodwch, ac [os] anufyddhewch, â chleddyf i'ch yssir: canys genau yr Arglwydd a'i llefarodd.

21 Pa wedd yr aeth y ddinas ffyddlawn yn buttain? cyflawn [fu] o farn, lletteuodd cyfiawnder ynddi; ond yr awr hon lleiddiaid.

22 Dy arian a aeth yn sothach, dy win sydd wedi ei gymmyscu â dwfr.

23 Dy dywysogion [sydd] gyndyn, ac yn gyfrannogion â lladron; pob un yn caru rhoddion, ac yn dilyn gwobrau: * ni farnant yr ymddifad, a chwyn y weddw ni chaiff ddyfod attynt.

Ier.5.28. zac.7.10.

24 Am hynny, medd yr Arglwydd, Arglwydd y lluoedd, cadarn [Dduw] Israel: Aha, ymgyssuraf ar fy ngwrthwyneb-wyr, ac ymddialaf ar fy ngelynion.

|| Heb. buraf fel puraiddiad.

25 Ac mi a ddychwelaf fy llaw arnat, ac a || lân-buraf dy sothach; ac a dynnaf ymmaith dy holl alcam.

26 Adferaf hefyd dy farn-wyr fel cynt, a'th gynghoriaid megis yn y dechreu: wedi hynny i'th elwir yn ddinas cyfiawnder, yn ddinas ffyddlon.

27 Sion a waredir â barn, a'r rhai a ddychwelant ynddi â chyfiawnder.

Iob.31.3. psal.1.6.& 5.6.& 73.27.& 92.10.& 104.35.

28 * A || dinistr y troseddwyr, a'r pechaduriaid [fydd] ynghyd: a'r rhai a ymadawant â'r Arglwydd, a ddifethir.

|| Heb. dryllied.

29 Canys cywilyddiant o achos y derw a chwennychasoch: a gwarthruddir chwi am y gerddi a ddetholasoch.

30 Canys byddwch fel derwen a'i dail yn syrthio, ac fel gardd heb ddwfr iddi.

|| neu, waith.

31 A'r cadarn fydd fel carth, a'i || weithydd fel gwreichionen: a hwy a loscant ill dau ynghyd, ac ni [bydd] a'i diffoddo.

PEN. II.

1 Esay yn prophwydo dyfodiad brenhiniaeth Christ. 6 Annuwioldeb yw 'r achos y mae Duw yn gwrthod dyn. 10 Y mae 'yn annog i ofni, o herwydd maint yw gallu mawrhydi Duw.

Y Gair yr hwn a welodd Esay mab Amos, am Iuda, a Ierusalem.

Mic.4.1.

2 A * bydd yn y dyddiau diwethaf, fod mynydd tŷ 'r Arglwydd wedi ei || barattoi ym mhen y mynyddoedd, ac yn dderchafedic goruwch y bryniau; a'r holl genhedloedd a ddylifant atto.

|| neu, sicrhau.

3 A phobloedd lawer a ânt, ac a ddywedant, deuwch, ac escynnwn i fynydd yr Arglwydd, i dŷ Duw Iacob, ac efe a'n dysc ni yn ei ffyrdd, ac ni a rodiwn yn ei lwybrau ef: canys y gyfraith a â allan o Sion, a gair yr Arglwydd o Ierusalem:

4 Ac efe a farna rhwng y cenhedloedd, ac a gerydda bobloedd lawer: a hwy a gurant eu cleddyfau yn sychau, a'i gwaywffyn yn bladuriau: ni chyfyd cenhedl gleddyf yn erbyn cenhedl, ac ni ddyscant ryfel mwyach.

5 Tŷ Iacob, deuwch, a rhodiwn yngoleuni yr Arglwydd.

|| neu, yn fwy na'r dwyrain.

6 Am hynny y gwrthodaist dy bobl, tŷ Iacob; am eu bod wedi eu llenwi || allan o'r dwyrain, a'i bod yn swyn-wyr, megis y Philistiaid: ac mewn plant dieithriaid yr || ymfodlonant.

|| neu, yn ddigonant.

7 A'i tir sydd gyflawn o arian, ac aur, ac nid oes diben ar eu trysorau; a'i tir sydd lawn o feirch, ac nid oes diben ar eu cerbydau.

8 Eu tîr hefyd sydd lawn o eulynnod; i waith eu dwylo eu hun yr ymgrymmant, i'r hyn a wnaeth eu bysedd eu hun.

9 A'r gwrêng sydd yn ymgrymmu, a'r bonheddig yn ymostwng: am hynny na faddeu iddynt.

10 Dôs i'r graig, ac ymgudd yn y llwch, rhac ofn yr Arglwydd, a rhac gogoniant ei fawredd ef.

Pen.5.15.

11 * Uchel-drem dŷn a iselir, ac uchder dynion

dynion a ostyngir: a'r Arglwydd yn unic a dderchesir, yn y dydd hwnnw.

12 Canys dydd Arglwydd y lluoedd[sydd] ar bôb balch, ac uchel, ac ar bôb derchafedic, ac efe a ostyngir:

13 Ac ar holl uchel, a derchafedic gedrwydd Libanus; ac ar holl dderi Basan;

14 Ac ar yr holl fynyddoedd uchel; ac ar yr holl fryniau derchafedic;

15 Ac ar bôb twr uchel; ac ar bôb magwyr gadarn;

16 Ac ar holl longau Tarsis; ac ar yr holl lumiau dymunol.

17 Yna yr iselir uchelder dŷn, ac y gostyngir uchder dynion: a'r Arglwydd yn unic a dderchesir yn y dydd hwnnw.

18 A'r eulynnod || a fwrw efe ymmaith yn hollawl.

19 A hwy a ânt i * dyllau y creigiau, ac i ogofau || llychlyd, rhac ofn yr Arglwydd, a rhac gogoniant ei fawredd ef; pan gyfodo efe i gynnhyrfu y ddaiar.

20 Yn y dydd hwnnw y teifl dyn || ei eulynnod arian, a'i eulynnod aur, (y rhai a wnaethant || iddynt i'w haddoli) i'r wâdd, ac i'r ystlummod:

21 I fyned i agennau y creigiau, ac i gopâu y clogwyni, rhac ofn yr Arglwydd, a rhac gogoniant ei fawredd ef; pan gyfodo efe i gynnhyrfu y ddaiar.

22 Peidiwch chwithau â'r dŷn, yr hwn [sydd] a'i anadl yn ei ffroenau: canys ym mha beth y gwneir cyfrif o honaw.

Hosea 10. 8. luc. 23. 30. dat. 6. 16. & 9. 6.

## PEN. III.

1 Y mawr wradwydd sydd yn dyfod o bechu. 9 Digywilydd-dra 'r bobl. 12 Traha a chybydd-dod y llywodraethwyr. 16 Pa ddialedd a ddaw am falchder y gwragedd.



Canys wele yr Arglwydd, Arglwydd y lluoedd, a dynn ymmaith o Jerusalem, ac o Juda y cynhaliaeth, a'r ffon: holl gynhaliaeth bara, a holl gynhaliaeth dwfr,

2 Y cadarn, a'r rhyfelwr, y brawd-wr, a'r prophwyd, y synhwyrol, a'r hen-wr,

3 Y tywysog dêc a deugain, a'r || anrhydeddus, a'r cynghor-wr, a'r crefftwr celfydd, a'r araithi-wr hyawdl.

4 A rhoddaf * blant yn dywysogion iddynt, a bechgyn a arglwyddiaetha arnynt.

Eccles. 10. 16.

5 A'r bobl a orthrymmir y naill gan y llall, a phob un gan ei gymmydog: y bachgen yn erbyn yr hen-wr, a'r gwael yn erbyn yr anrhydeddus, a ymfalchia.

6 Pan ymaflo gwr yn ei frawd o dŷ ei dâd, [gan ddywedyd,] y mae dillad gennit, bydd dywysog i ni; a bydded y cwymp hwn tan dy law di.

7 Yntef a || dwng yn y dydd hwnnw, gan ddywedyd, ni byddaf || iachawr; canys yn fy nhŷ nid [oes] bwyd, na dillad, na osodwch fi yn dywysog i'r bobl.

8 Canys cwympodd Jerusalem, a syrthiodd Juda; o herwydd eu tafod hwynt, a'i gweithredoedd[sydd] yn erbyn yr Arglwydd, i gyffroi llygaid ei ogoniant ef.

9 Dull eu hwynebau hwynt a dystiolaetha yn eu herbyn, a'i pechod fel * Sodoma a fynegant,[ac] ni chelant: gwae eu henaid, canys talasant ddrwg iddynt eu hunain.

Gen. 13. 13 & 18. 21 & 19. 5.

10 Dywedwch mai da [fydd] i'r cyfiawn: canys ffrwyth eu gweithredoedd a fwytânt.

11 Gwae yr anwir, drwg [fydd iddo:] canys gwobr ei ddwy-law ei hun a || fydd iddo.

|| neu, roddir. Heb. wneir.

12 Fy mhobl [sydd] a'i treis-wyr yn fechgyn: a gwragedd a arglwyddiaetha arnynt: ô fy mhobl, y rhai a'th || dywysant sy'n peri it gyfeiliorni, a ffordd dy lwybrau a || ddistrywiant.

|| neu, fendithiant.
|| Heb. lyncant.

13 Yr Arglwydd sy yn sefyll i ymddadleu: ac yn sefyll i farnu y bobloedd.

14 Yr Arglwydd a ddaw i farn â henuriaid ei bobl, a'i tywysogion: canys chwi a || borasoch y winllan; anrhaith y tlawd [sydd] yn eich tai.

|| neu, loscasoch.

15 Beth [sydd] i chwi a guroch ar fy mhobl? ac a faloch ar wynebau y tlodion, medd Arglwydd Dduw y lluoedd?

16 A'r Arglwydd a ddywedodd, o herwydd balchio o ferched Sion, a rhodio â gwddf estynnedic, ac â llygaid || gwammal, gan rodio a rhygyngu wrth gerdded, a thrystio â'i traed,

|| neu, ynhudo.

17 Am hynny y clafra yr Arglwydd gorynnau merched Sion: a'r Arglwydd a ddinoetha eu gwarthle hwynt.

18 Yn y dydd hwnnw y tynn yr Arglwydd ymmaith addurn yr escidiau, y rhwydwaith hefyd, a'r lloerawc wiscoedd,

19 Y || cadwynau, a'r breichledau, a'r moledau,

|| neu, pêr-aroglau.

20 Y pen-guwch, ac addurn y coesau, a'r snodennau, a'r || dwyfronnegau, a'r clust-dlysau,

|| Heb. tai yr enaid.

21 Y modrwyau, ac addurn y trwyn,

22 Y gwiscoedd symmud-liw, a'r mentyll, a'r misyrnau, a'r crych-nodwyddau,

23 Y drychau hefyd, a'r lliain main-wych, a'r coccyllau, a'r gynau.

24 A bydd yn lle per-arogl ddrewi, bydd hefyd yn lle gwregys rwygiad; ac yn lle iawn drefn [gwallt], foelni; ac yn lle dwyfronnec, gwregys o sach-liain; [a] llosca, yn lle prydferthwch.

25 Dy wyr a syrthiant gan y cleddyf: a'th || gadernid drwy ryfel.

|| neu, gedyrn.

26 A'i phyrth hi a ofidiant, ac a alarant: a hithau yn || anrheithiedig a eistedd ar y ddaiar.

|| neu, yn wâg. Heb. wedi ei glanhau.

## PEN. IIII.

Mewn dygn adfyd, teyrnas Christ a fydd nodded.



Ac yn y dydd hwnnw, saith o wragedd a ymaflant mewn un gwr, gan ddywedyd, ein bara ein hun a fwyttawn, a'n dillad ein hun a wiscwn, yn unic galwer

galwer dy enw di arnom ni; ||cymmer ymmaith ein gwarth ni.

2 Y pryd hynny y bydd Blaguryn yr Arglwydd yn brydferth wych, ac yn ogoniant: a ffrwyth y ddaiar yn rhagorol, ac yn hardd ||i'r rhai a ddiangasant o Israel.

3 A bydd, [am] yr hwn a adewir yn Sion, ac a weddillir yn Jerusalem, y dywedir wrtho, ô sanct: [sef] pob un a'r a scrifennwyd* ||ym mhlith y rhai byw yn Jerusalem:

4 Pan ddarffo i'r Arglwydd olchi budreddi merched Sion, a charthu gwaed Jerusalem o'i chanol, mewn yspryd barn, ac mewn yspryd llosca.

5 A'r Arglwydd a grea ar bôb trigfa o fynydd Sion, ac ar ei gymanfaoedd, * gwmwl a mwg y dydd, a llewyrch tân fflamllyd y nôs: canys || ar yr holl ogoniant [y bydd] || amddeffyn.

6 A phabell fydd yn gyscod y dydd rhac gwrês, ac yn noddfa, ac yn ddiddos rhac temestl, a rhac glaw.

|| neu, i gymmeryd ymaith.
|| Heb. i ddiangfa Israel.
Exod. 32. 32. || neu, mewn bywyd.
Exod. 13. 21.
|| neu, y uch ben
|| Heb. gorchudd

## PEN. V.

Trwy ddammeg y winllan, y mae Duw yn escusodi bod ei farnedigaethau cyn dosted. 8 Ei farnedigaethau ef yn erbyn cybydd-dod; 11 a thrythyllwch, 13 ac annuwioldeb, 20 ac anghyfiawnder. 29 Y rhai a ddialedda tros Dduw.



Canaf yr awr hon i'm hanwylyd ganiad fy anwylyd am ei winllan: *gwinllan sydd i'm hanwylyd ||mewn bryn tra ffrwythlon:

2 Ac efe a'i ||cloddiodd hi, ac a'i digarregodd, ac a'i plannodd o'r winwydden orau, ac a adeiladodd dŵr yn ei chanol, ac a dorrodd win-wryf ynddi: ac efe a ddisgwiliodd [iddi] ddwyn grawn-win, hithau a ddûg rawn gwylltion.

3 Ac yr awr hon preswylwyr Jerusalem, a gwŷr Juda, bernwch attolwg rhyngofi a'm gwinllan.

4 Beth [oedd] i'w wneuthur ychwaneg i'm gwinllan, nag a wneuthum ynddi? paham, a mi yn disgwil iddi ddwyn grawn-win, y dûg hi rawn gwylltion?

5 Ac yr awr hon, mi a hyspysaf i chwi yr hyn a wnâf i'm gwinllan: tynnaf ymmaith ei chae; fel y porer hi, torraf ei magwyr, fel y byddo hi yn sathrfa.

6 A mi a'i gosodaf hi yn ddifrod, nid yscythrir hi, ac ni chloddir hi, onid mieri a drain a gyfyd; ac i'r cwmylau y gorchymynnaf na lawiont law arni.

7 Diau, gwinllan Arglwydd y lluoedd [yw] tŷ Israel, a gwŷr Juda [yw] || ei blanhigyn hyfryd ef: ac efe a ddisgwiliodd am farn, ac wele ||drais, am gyfiawnder, ac wele lef.

8 *Gwae y rhai sy yn cyssylltu tŷ at dŷ, ac yn cydio maes wrth faes; hyd oni byddo eisieu lle, ac y trigoch chwi yn unic ynghanol y tir.

* Iere. 2. 21. matt. 21. 33. mar. 12. 1. luc. 20. 9.
|| Heb. ynghorn mab yr olew.
|| neu, caeodd.
|| Heb. planhigyn ei hyfrydwch ef.
|| Heb. grammen.
* Mic. 2. 2.

9 || Lle y clywais [y dywedodd] Arglwydd y lluoedd, || yn ddiau bydd tai lawer, mawrion, a thêg, yn anghyfannedd heb drigiannudd.

10 Canys dêc cyfeir o winllan a ddygant un Bath, a lle Gomer a ddwg Ephah.

11 Gwae y rhai a gyfodant yn foreu, * i ddilyn diod gadarn, a arhosant hyd yr hwyr, [hyd oni] || enynno y gwîn hwynt.

12 Ac yn eu gwleddoedd hwynt, y mae y delyn, a'r nabl, y tympan, a'r bibell, a'r gwin: ond am waith yr Arglwydd nid edrychant, a gweithred ei ddwy-law ef nid ystyriant.

13 Am hynny y caeth-gludwyd fy mhobl, am nad oes ganddynt wybodaeth, a'i || gwŷr anrhydeddus sydd newynog, a'i lliaws a wywodd gan syched.

14 Herwydd hynny 'r ymehangodd uffern, ac yr agorodd ei safn yn anferth, ac yno y disgyn eu gogoniant, a'i lliaws, a'i rhwysc, a'r hwn a lawenycha ynddi.

15 *A'r gwrêng a grymmir, a'r galluog a ddarostyngir: a llygaid y rhai uchel a issellir.

16 Ond Arglwydd y lluoedd a dderchefir mewn barn; a'r Duw ||sanctaidd a sancteiddir mewn cyfiawnder.

17 Yr ŵyn hefyd a borant yn ôl eu harfer: a dieithriaid a fwyttânt ddiffaithfaoedd y breision.

18 Gwae y rhai a dynnant anwiredd â rheffynnau oferedd; a phechod megis â rhaffau menn:

19 *Y rhai a ddywedant, brysied, a phryssured ei orchwyl, fel y gwelom: nesaed hefyd, a deued cyngor Sanct yr Israel, fel y gwypom.

20 Gwae y rhai a ddywedant am y drwg, da [yw;] ac am y da, drwg [yw:] gan osod tywyllwch am oleuni, a goleuni am dywyllwch; y rhai a osodant chwerw am felys, a melys am chwerw.

21 Gwae y rhai *sydd ddoethion yn eu golwg eu hun; a'r rhai deallgar yn eu golwg eu hun.

22 Gwae y rhai cryfion i yfed gwin, a'r dynion nerthol i gymmyscu diod gadarn.

23 *Y rhai a gyfiawnhânt yr anwir er gobr, ac a gymmerant ymmaith gyfiawnder y rhai cyfiawn oddi ganddynt.

24 Am hynny megis ac yr ysa y || flagl dân y sofl, ac y difa y fflam y mân-us: [felly] y bydd eu gwreiddyn hwynt yn bydredd, a'i blodeuyn a gyfyd i fynu fel llwch; am iddynt ddiystyru cyfraith Arglwydd y lluoedd, a dirmygu gair Sanct yr Israel.

25 Am hynny 'r enynnodd llid yr Arglwydd yn erbyn ei bobl, ac yr estynnodd efe ei law arnynt, ac a'i tarawodd hwynt; a chrynodd y mynyddoedd, a bu eu celanedd hwynt || yn rhwygedic ynghanol yr heolydd: *er hyn oll ni ddychwelodd ei lid ef, ond etto [y mae] ei law ef wedi ei hestyn allan.

26 Ac efe a gyfyd faner i'r cenhedloedd o bell, ac a chwibiana arnynt hwy o eithaf y ddaiar; ac wele, ar frŷs yn fuan y deuant.

27 Ni

Diar. 23. 29.
Esa. 2. 11. 17.
|| Heb. y sanctaidd.
2 pet. 3. 4.
Dih. 3. 7. rhuf. 12. 16.
Dih. 17. 15.
|| Heb. tafod tân.
pen. 9. 12. 16. 21. & 10. 4.

27 Ni [bydd un] blin, na thramgwyddedic yn eu plith; ni huna 'r un ac ni chwsc, ac ni ddattodir gwregys ei lwynau; ac ni ddryllir carrei ei escidiau.

28 Yr hwn [fydd] a'i saethau yn llymion, a'i holl fwâu yn anneloc: carnau ei feirch ef a gyfrifir fel callestr, a'i olwynion fel corwynt.

29 Ei ruad [fydd] fel llew, efe a rua fel cenawon llew; efe a chwyrna hefyd, ac a ymeifl yn yr ysclyfaeth, efe a ddiangc hefyd, ac a'i dwg ymmaith yn ddiogel, ac ni bydd achubudd.

30 Ac efe a rua arnynt y dydd hwnnw, fel rhuad y môr: os edrychir ar y tir, wele dywyllwch, [a] chyfyngder, || a'r goleuni a dywyllir yn ei nefoedd.

|| neu, a phan fo goleu, tywyll fydd yn eu dinystr.

## PEN. VI.

1 Esay mewn gweledigaeth yn gweled Duw yn ei ogoniant, 5 a chwedi ofni, yn cael ei gadarnhau i'w gennadwri. 9 Y mae'n dangos gwrthnysigrwydd y bobl, nes eu dinistrio. 13 Y gweddill a fydd cadwedig.



N y flwyddyn y bu farw y brenin Uzziah, y * gwelais hefyd yr Arglwydd yn eistedd ar eisteddfa uchel, a derchafedic; a'i odrau yn llenwi y Deml.

Ioan 12. 41.

2 Y Seraphiaid oedd yn sefyll oddi ar hynny: chwech aden ydoedd i bôb un; â dwy y cuddiai ei wyneb, ac â dwy y cuddiei ei draed, ac â dwy yr ehedai.

3 A llefodd || y naill wrth y llall, ac a ddywedodd: * Sanct, Sanct, Sanct, yw Arglwydd y lluoedd, || yr holl ddaiar sydd lawn o'i ogoniant ef.

|| Heb. hwn ar hwn.
* Datc. 4. 8.
|| Heb. llonaid yr holl ddaiar yw ei ogoniant.

4 A physt y rhiniogau a symmudasant, gan lef yr hwn oedd yn llefain: a'r tŷ a lanwyd gan fŵg.

5 Yna y dywedais, gwae fi, canys || darfu am danaf, o herwydd gŵr halogedic [ei] wefusau [ydwyf,] ac ym mysc pobl halogedic o wefusau yr ydwyf yn trigo: canys fy llygaid a welsant y brenin, Arglwydd y lluoedd.

|| Heb. torrwyd fi ymaith.

6 Yna yr ehedodd attaf un o'r Seraphiaid, ac yn ei law farworyn a gymerasei efe oddi ar yr allor mewn gefail;

7 Ac a'i rhoes i gyffwrdd â'm genau, ac a ddywedodd, wele, cyffyrddodd hwn â'th wefusau, ac ymadawodd dy anwiredd, a glanhawyd dy bechod.

8 Clywais hefyd lêf yr Arglwydd yn dywedyd, pwy a anfonaf? a phwy a â trosom * ni? yna y dywedais, wele fi, anfon fi.

Gen. 1. 26.

9 Ac efe a ddywedodd, dôs, a dywed wrth y bobl hyn, * gan glywed clywch, ond na ddeellwch; a chan weled gwelwch, ond na wybyddwch.

* Mat. 13. 14. mar. 4. 12. luc. 8. 10. ioan 12. 40. act. 28. 26. rhuf. 11. 8.

10 Brasshâ galon y bobl hyn, a thrymhâ eu clustiau, a chae eu llygaid: rhag iddynt weled â'i llygaid, a chlywed â'i clustiau, a deall â'i calon, a dychwelyd, a'i meddiginiaethu.

11 Yna y dywedais, pa hyd Arglwydd? ac efe a attebodd, hyd oni anrheithier y dinasoedd heb drigiannudd, a'r tai heb ddyn, a gwneuthur y wlâd yn gwbl anghyfannedd;

12 Ac i'r Arglwydd bellhau dynion, a bod ymadawiad mawr ynghanol y wlâd.

13 Ac etto [bydd] ynddi ddegwm, || a hi a ddychwel, ac a borir: fel y llwyfen a'r dderwen, y rhai wrth fwrw eu [dail, y mae] || sylwedd ynddynt; felly yr hâd sanctaidd fydd ei sylwedd hi.

|| neu, wedi ei dychwelyd, a'i phori.
|| neu, bôn-cyff.

## PEN. VII.

1 Ahaz, pan oedd ofn Rezin a Phecah yn ei flino ef, yn cael cyssur gan Esay. 10 Ahaz, wedi cael cennad i ddewis argoel, yn ei wrthod; ac yn cael yn lle arwydd, addewid o Grist. 17 Prophwydo y daw dialedd arno efo Assyria.



Bu yn nyddiau * Ahaz fab Jotham, fab Uzziah frenin Juda, ddyfod o Rezin brenin Syria, a Phecah mab Remaliah, brenin Israel, i fynu [tu â] Jerusalem, i ryfela arni: ond ni allodd ei gorchfygu.

2. Bren. 16. 5.

2 A mynegwyd i dŷ Ddafydd, gan ddywedyd, Syria a || gydsyniodd ag Ephraim; a'i galon ef a gyffrôdd, a chalon ei bobl, megis y cynnhyrfa prennau y coed o flaen y gwynt.

|| neu, orphwys ar Ephraim.

3 Yna y dywedodd yr Arglwydd wrth Esay, dôs allan yr awr hon i gyfarfod Ahaz, ti a || Sear-Jasub dy fâb, * wrth ymyl pistyll y llynn uchaf, || ymmhriffordd maes y pann-wr:

|| sef, y gweddill a ddychwel.
2 Bren. 18. 17.
|| neu, yn sarn.

4 A dywed wrtho, ymgadw a bydd lonydd; nac ofna, ac na feddalhaed dy galon, rhag dwy gloren y pentewynion myglyd hyn; rhag angerdd llid Rezin, a Syria, a mab Remaliah.

5 Canys Syria, ac Ephraim, a mab Remaliah, a ymgynghorodd gyngor drwg yn dy erbyn, gan ddywedyd;

6 Escynnwn yn erbyn Juda, a || blinwn hi, torrwn hi hefyd attom, a gosodwn frenin yn ei chanol hi; sef mab Tabeal.

|| neu, deffrown.

7 Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, ni saif, ac ni bydd [hyn.]

8 Canys pen Syria [yw] Damascus, a phen Damascus yw Rezin; ac o fewn pum mhlynedd a thri ugain y torrir Ephraim rhac bod yn bobl.

9 Hefyd pen Ephraim [yw] Samaria, a phen Samaria [yw] mab Remaliah: || oni chredwch, diau ni siccrheir chwi.

|| neu, oni chredwch? am na'ch siccrhawyd [y mae.]

10 A'r Arglwydd a chwanegodd lefaru wrth Ahaz, gan ddywedyd,

11 Gofyn it arwydd gan yr Arglwydd dy Dduw; gofyn o'r dyfnder, neu o'r uchelder oddi arnodd.

12 Ond Ahaz a ddywedodd, ni ofynnaf, ac ni themptiaf yr Arglwydd.

13 A dywedodd yntef, gwrandewch yr awr hon tŷ Ddafydd, ai bychan gennwch flino dynion, oni flinoch hefyd fy Nuw?

14 Am hynny yr Arglwydd ei hun a ddyry i chwi arwydd: * wele, morwyn a fydd feichiog, ac a escor ar fab, || ac a eilw ei enw ef, Immanu-El.

*Mat.1.23. luc.1.31. ||neu, a thi [forwyn] a elwi.

15 Ymenyn a mêl a fwytty efe, fel y medro ymwrthod â'r drwg, ac ethol y da.

16 Canys cyn medru o'r bachgen ymwrthod â'r drwg, ac ethol y da; y gwrthodir y wlâd a ffieiddiaist, gan ei dau frenin.

17 Yr Arglwydd a ddwg arnat ti, ac ar dy bobl, ac ar dŷ dy dadau, ddyddiau ni ddaethant er y dydd yr ymadawodd Ephraim oddi wrth Iuda, sef brenin Assyria.

18 A bydd, yn y dydd hwnnw i'r Arglwydd chwibianu am y gwybedyn [sydd] yn eithaf afonydd yr Aipht, ac am y wenynen [sydd] yn nhir Assyria:

19 A hwy a ddeuant, ac a orphywysant oll yn y dyffrynnoedd anghyfanneddol, ac ynghromlechydd y creigiau; ac yn yr yspyddeid oll, ac yn y perthi oll.

20 Yn y dydd hwnnw yr eillia 'r Arglwydd â'r *ellyn a gyflogir, sef â'r rhai o'r tu hwnt i'r afon, [sef] â brenin Assyria, y pen, a blew 'r traed; a'r farf hefyd a ddifa efe.

*2.Bren.19.35.

21 A bydd yn y dydd hwnnw i wr fagu anneir-fuwch, a dwy ddafad.

22 Bydd hefyd o amlder y llaeth a roddant, iddo fwytta ymenyn; canys ymenyn a mêl a fwytty pawb a adewir || o fewn y tir.

||Heb, ynghanol y tir.

23 A bydd y dydd hwnnw, fod pob lle yr hwn y bu ynddo fil o win-wydd, [er] mil o arian [bathol], yn fieri ac yn ddrain y bydd.

24 A saethau, ac â bwâu y daw yno: canys yn fieri ac yn ddrain, y bydd yr holl wlâd.

25 Eithr yr holl fynyddoedd, y rhai a geibir â cheibiau, ni ddaw yno ofn mieri na drain: ond bydd yn hebryngfa gwarthec, ac yn sathrfa defaid.

## PEN. VIII.

1 Ym Maher-shalal-hash-baz, y mae efe yn prophwydo y darostyngir Syria ac Israel gan Assyria; 5 A Iuda hefyd, am eu hanffyddlondeb. 9 Nas gellir gwrthynebu barnedigaeth Duw. 11 Y bydd cyssur i'r rhai a ofno Dduw. 19 Trallod blin ar ddelw-addolwyr.



'R Arglwydd a ddywedodd wrthif, cymmer it rol fawr, ac scrifenna arni â phîn dyn, || am Maher-shalal-hash-baz.

||Bryssia i'r yspail, pryssura i'r anrhaith.

2 A chymmerais yn dystiolaeth i mi dystion ffyddlon, Uriah yr offeiriad, a Zechariah fab Ieberechiah.

3 Ac mi a nesseais at y brophwydes, a hi a feichiogodd, ac a escorodd ar fab: yna y dywedodd yr Arglwydd wrthif, galw ei enw ef, || Maher-shalal-hash-baz.

||Bryssia i'r yspail, pryssura i'r anrhaith.

4 Canys cyn y medro 'r bachgen alw fy nhâd, neu fy mam, || golud Damascus, ac yspail Samaria, a ddygir ymaith o flaen brenin Assyria.

5 A chwanegodd yr Arglwydd lefaru wrthif drachefn, gan ddywedyd,

6 O herwydd i'r bobl hyn wrthod dyfroedd Siloah, y rhai sy yn cerdded yn araf, [a chymmeryd] llawenydd o Rezin, a mab Remaliah:

7 Am hynny wele y mae 'r Arglwydd yn dwyn arnynt ddyfroedd yr afon, yn gryfion, ac yn fawrion, [sef] brenin Assyria, a'i holl ogoniant; ac efe a escyn ar ei holl afonydd, ac ar ei holl geulennydd ef.

8 Ie trwy Iuda y treiddia efe, efe a lifa, ac â trosodd, efe a gyrhaedd hyd y gwddf; ac estynniad ei adenydd ef, fydd lloneid llêd dy dir di, ô Immanu-El.

9 Ymgyfeillechwch bobloedd, || a chwi a ddrylir; gwrandewch holl belledigion y gwledydd: ymwregyswch, a chwi a ddrylir, ymwregyswch, a chwi a ddrylir.

10 Ymgynghorwch gyngor, ac fe a ddiddymmir: dywedwch y gair, ac ni saif: canys y mae Duw gyd â ni.

11 Canys fel hyn y dywedodd yr Arglwydd wrthif || â llaw grêf: ac efe a'm dyscodd na rodiwn yn ffordd y bobl hyn, gan ddywedyd;

12 Na ddywedwch, Cydfwriad, wrth y rhai oll y dywedo y bobl hyn, Cydfwriad: nac ofnwch ych waith eu hofn hwynt, ac nac arswydwch.

13 Arglwydd y lluoedd ei hun a sancteiddiwch, a bydded ef yn ofn i chwi, a bydded ei yn arswyd i chwi;

14 Ac efe a fydd yn noddfa; * ond yn faen tramgwydd, ac yn graig rhwystr, i ddau dŷ Israel; yn fagl, ac yn rhwyd i breswylwyr Ierusalem.

15 *A llawer yn eu mysc a dramgwyddant, ac a syrthiant, ac a ddrylir, ac a rwydir, ac a ddelir.

16 Rhwym y dystiolaeth, selia y gyfraith ymmhlith fy nisgyblion.

17 A minneu a ddisgwiliaf am yr Arglwydd sydd yn cuddio ei wyneb oddi wrth dŷ Iacob, ac a wiliaf am dano.

18 *Wele fi a'r plant a roddes yr Arglwydd i mi, yn arwyddion ac yn rhyfeddodau yn Israel; oddi wrth Arglwydd y lluoedd, yr hwn sydd yn trigo ym mynydd Sion.

19 A phan ddywedant wrthych, ymofynnwch â'r swynyddion, ac â'r dewiniaid, y rhai sy yn bustyng, ac yn sibrwd: onid â'i Duw 'r ymofyn pobl? tros y byw at y meirw?

20 *At y gyfraith, ac at y dystiolaeth: oni ddywedant yn ôl y gair hwn, hynny sydd am nad oes || oleuni ynddynt.

21 A hwy a dramwyant drwyddi, yn galed arnynt, ac yn newynoc: a bydd pan newynont, yr ymddigiant ac y melldigant eu brenin, a'i Duw, ac a edrychant i fynu.

22 A hwy a edrychant ar y ddaiar, ac wele drallod, a thywyllwch, niwl cyfyngder: a byddant wedi ei gwthio i dywyllwch.

PEN.

PEN. IX.

1 Pa lawenydd a fydd ynghanol blinderau, trwy frenhiniaeth a genedigaeth Christ. 8 Barnedigaethau yn erbyn Israel am eu balchder, 13 am eu rhagrith, 18 ac am eu hanedifeirwch.

Etto ni [bydd] y tywyllwch yn ôl yr hyn a fu yn y gofid; megis yn yr amser cyntaf y cyffyrddodd yn yscafn â thir Zabulon, a thir Nephtali, ac wedi hynny yn ddwysach y cystuddiodd hi [wrth] ffordd y môr, tu hwnt i'r Iorddonen, yn Galilee || y cenhedloedd.

||Neu, holliog.

2 Y *bobl a rodiasant mewn tywyllwch, a welsant oleuni mawr: y rhai sydd yn aros yn nhir cyscod angeu, y llewyrchodd goleuni arnynt.

*Mat.4.15. Eph.5.14.

3 Amlheaist y genhedlaeth, || ni chwanegaist lawenydd, llawenychasant ger dy fron, megis y llawenydd amser cynhaiaf, [ac] megis y llawenychant wrth rannu yspail.

||Neu, iddo y chwanegaist &c.

4 ||Canys drylliaist iau ei faich ef, a ffon ei yscwydd ef, gwialen ei orthrymmwr, megis yn nydd *Midian.

||Neu, Pan dorraist.
*Barn.7.22. Pen.10.26.

5 ||Canys pôb câd y rhyfel-wyr sydd mewn trwst, a dillad wedi eu trybaeddu mewn gwaed: || ond bydd hwn drwy losciad [ac] ||chynnyd tân.

||Neu, Pan oedd holl ryfel y rhyfelwyr mewn &c
||Neu, a bu.
||Heb. ymborth.

6 Canys bachgen a aned i ni, *mab a roddwyd i ni, a bydd y llywodraeth ar ei yscwydd ef: a gelwir ei enw ef, Rhyfeddol, Cynghor-wr, y Duw cadarn, Tad tragywyddoldeb, Tywysog tangneddyf.

*Io.3.16.

7 Ar helaethrwydd ei lywodraeth, a'i dangneddyf *ni [bydd] diwedd ar orseddfa Dafydd, ac ar ei frenhiniaeth ef, i'w threfnu hi, ac i'w chadarnhau, â barn, ac â chyfiawnder, o'r pryd hyn, a hyd byth: *zêl Arglwydd y lluoedd a wna hyn.

*Luc.1.32,33.
*2.Bren.19.31. Pen.37.32.

8 Yr Arglwydd a anfonodd air i Iacob; ac efe a syrthiodd ar Israel.

9 A'r holl bobl a wybydd, sef Ephraim a thrigiannudd Samaria, y rhai a ddywedant mewn balchder, ac mewn mawredd calon;

10 Y priddfeini a syrthiasant, ond â cherric nâdd yr adeiladwn: y sycomor-wŷdd a dorrwyd, ond ni a'i newidiwn yn gedrwydd.

11 Am hynny 'r Arglwydd a dderchafa wrthwyneb-wŷr Rezin yn ei erbyn ef, ac a ||gyssyllta ei elynion ef ynghyd.

||Heb. ymyscu.

12 Y Syriaid o'r blaen, a'r Philistiaid hefyd o'r ôl, a hwy a yssant Israel yn safn-rhwth: *er hyn i gyd, ni ddychwelodd ei lid ef, onid etto [y mae] ei law ef yn estynnedic.

*Pen.5.25. & 10.4.

13 A'r bobl ni ddychwelant at yr hwn a'i tarawodd; ac ni cheisiant Arglwydd y lluoedd.

14 Am hynny y tyrr yr Arglwydd oddiwrth Israel, ben a chynffon, cangen a brwynen, yn yr vn dydd.

15 Yr hen-wr, a'r anrhydeddus yw 'r pen; a'r prophwyd sydd yn dyscu celwydd, efe yw 'r gynffon.

16 Canys || cyfarwydd-wŷr y bobl hyn sy'n peri iddynt gyfeiliorni; a llyngcwyd y rhai a ||gyfarwyddir ganddynt.

||neu, bendich-wyr.
||neu, fendithir.

17 Am hynny nid ymlawenhâ 'r Arglwydd yn eu gwŷr ieuaingc hwy, ac wrth ei hymddifaid a'i gweddwon ni thosturia: canys pob vn o honynt [sydd] ragrithi-wr, a drygionus, a phob genau yn traethu ||ynfydrwydd: er hyn oll ni ddychwelodd ei lid ef, onid etto [y mae] ei law ef yn estynnedic.

||Neu, rhegni.

18 O herwydd anwiredd a lysc fel tân; y mieri a'r drain a yssa efe, ac a gynneu yn nrysni y coed; a hwy a dderchafant, [fel] ymdderchafiad mwg.

19 Gan ddigofaint Arglwydd y lluoedd y tywylla 'r ddaiar, ac y bydd y bobl fel ymborth tân: nid arbed neb ei frawd.

20 Ac efe a ||gippia ar y llaw ddehau, ac a newyna; bwytty hefyd ar y llaw asswy, ac ni's digonir hwynt: bwytânt bawb gig ei fraich ei hun.

||Heb. tyrr.

21 Manasseh Ephraim; ac Ephraim Manasseh, hwythau ynghyd yn erbyn Iuda: er hyn oll ni ddychwelodd ei lid ef, ond etto [y mae] ei law ef yn estynnedic.

PEN. X.

1 Gwae y rhai trawsion. 5 Assyria, gwialen rhagrithwyr, am ei falchder a dorrir. 20 Yr achubir gweddill o Israel. 25 Cyssuro Israel, trwy addo iddynt gael eu gwared oddiwrth Assyria.

Gwae y rhai sy yn gwneuthur deddfau anwir, a'r scrifennyddion sydd yn scrifennu blinder;

2 I ymchwelyd y tlodion oddi wrth farn, ac i ddwyn barn anghenogion fy mhobl: fel y byddo gweddwon yn yspail iddynt, ac yr anrheithiont yr ymddifaid.

3 A pha beth a wnewch yn nydd yr ymweliad, ac yn y destryw a ddaw o bell? at bwy y ffowch am gynhorthwy? a pha le y gedwch eich gogoniant?

4 Heb osi y crymmant tan y carcharorion, a than y rhai a laddwyd y syrthiant: *er hyn oll ni ddychwelodd ei lid ef, onid etto [y mae] ei law ef yn estynnedic.

*Pen.5.25.& 9.12.

5 ||Gwae Assur, gwialen fy llid, a'r ffon yn eu llaw hwynt [yw] fy nigofaint.

||Neu, Oh.

6 At genhedl ragrithiol yr anfonaf ef, ac yn erbyn pobl fy nigter y gorchymynnaf iddo yspeilio yspail, ac ysclyfaethu ysclyfaeth; a'i gosod hwynt yn sathrfa, megis tom yr heolydd.

7 Ond nid felly yr amcana efe, ac nid felly y meddwl ei galon, eithr [y mae] yn ei fryd ddifetha, a thorri ymmaith, genhedloedd nid ychydig.

8 *Canys efe a ddywed, onid [yw] fy nhywysogion i gyd yn frenhinoedd?

*2.Bren.18.34. 33.& 19.10. &c.

9 Onid fel Carchemis [yw] Calno? onid fel Arpad [yw] Hamath? onid fel Damascus [yw] Samaria?

10 Megis y cyrhaeddodd fy llaw deyrnasoedd yr eulynnod; a'r rhai yr oedd eu delwau cerfiedig yn rhagori ar yr eiddo Jerusalem, a Samaria:

11 Ond megis y gwneuthum i Samaria, ac i'w heulynnod, felly y gwnaf i Jerusalem ac i'w delwau hitheu?

12 A bydd pan gyflawno'r Arglwydd ei holl waith ym * mynydd Sion, ac yn Jerusalem; yr ymwelaf â ffrwyth mawredd calon brenin Assur, ac â gogoniant uchelder ei lygaid ef:

2.Bren.19.31.

13 Canys dywedodd, drwy nerth fy llaw y gwneuthum [hyn,] a thrwy fy noethineb, o herwydd doeth ydwyf: ac mi a symmudais derfynau pobloedd, a'i tryssorau a yspeiliais, ac a fwriais i'r llawr y trigolion fel ‖ gwr grymmus.

‖neu, pobl lawer

14 A'm llaw a gafodd gyfoeth y bobloedd, fel nyth; ac megis y cesclir wyau wedi eu gado, y cesclais yr holl ddaiar, ac nid oedd a symmudei aden, nac a agorei safn, nac a yngenei.

15 A ymffrostia'r fwyall yn erbyn yr hwn a gymmyno â hi? a ymfawrhaa y llif yn erbyn yr hwn a'i tynno? megis ‖ pe ymdderchafei y wialen yn erbyn y rhai a'i codei hi i fynu, [neu] megis pe ‖ ymdderchafei y ffon, fel pe na [byddei] yn bren.

‖neu, ped yscydwai y wialen y rhai, &c.

‖neu, derchafai y ffon yr hyn nid yw bren.

16 Am hynny 'r hebrwng yr Arglwydd, Arglwydd y lluoedd, ym mhlith ei freision ef gulni; a than ei ogoniant ef y llysc llosciad, megis llosciad tân.

17 A bydd goleuni Israel yn dân, a'i Sanct ef yn fflam: ac efe a lysc, ac a ysa ei ddrain, a'i fieri mewn un dydd.

18 Gogoniant ei goed hefyd, a'i ddol-dir, a ysa efe, ‖ enaid a chorph: a byddant megis pan lesmeirio baner-wr.

‖Heb. o'r enaid hyd y cnawd.

19 A phrennau gweddill ei goed ef a fyddant [o] rifedi, fel y rhifo plentyn hwynt.

20 A bydd yn y dydd hwnnw, na chwanega gweddill Israel, a'r rhai a ddiangodd o dy Jacob, ymgynnal mwyach ar yr hwn a'i tarawodd: onid pwysant ar yr Arglwydd, Sanct Israel, mewn gwirionedd.

21 Y gweddill a ddychwel, [sef] gweddill Jacob, at y Duw cadarn.

22 * Canys pe byddei dy bobl di Israel fel tywod y môr, gweddill o honynt a ddychwel: darfodiad terfynedic a lifa drosodd [mewn] cyfiawnder.

Pen.28.22. rhuf.9.27.

23 * Canys darfodedigaeth, a [honno] yn derfynedic, a wna Arglwydd Dduw y lluoedd, ynghanol yr holl dir.

Pen.28.22.

24 Am hynny fel hyn y dywed Arglwydd Dduw y lluoedd, fy mhobl yr hwn a breswyli yn Sion, nac ofna rhag yr Assyriad: â gwialen i'th dery di, ac efe a gyfyd ei ffon ‖ i'th erbyn, yn ôl ffordd * yr Aipht.

‖Neu, trosot. Exod.14.

25 Canys etto ychydig bach, ac fe a dderfydd y llid, a'm digofaint yn eu dinystr hwy.

26 Ac Arglwydd y lluoedd a gyfyd ffrewyll yn ei erbyn ef, megis * lladdfa Midian ynghraig Oreb: ac fel [y bu] ei wialen * ar y môr, felly y cyfyd efe hi yn ôl ffordd yr Aipht.

Barn.7.25. esa.9.4. * Exod.14.28.

27 A bydd, yn y dydd hwnnw y symmudir ei faich ef oddi ar dy yscwydd di; a'i iau ef oddi ar dy warr di: a dryllir yr iau, o herwydd yr enneiniad.

28 Daeth at Aiath, tramwyodd i Migron, ym Michmas y rhoddes ei ddodrefn i gadw.

29 Aethant trwy y rhŷd, yn Geba y lletteuasant: dychrynodd Ramah; Gibeah Saul a ffoes.

30 Bloeddia [â'th] lêf, merch Galim: par ei chlywed hyd Lais, ô Anathoth dlawd.

31 Ymbellâodd Madmenah, trigolion Gebim a ymgasclasant i ffoi.

32 Etto y dydd hwnnw y saif efe yn Nob, efe a gyfyd ei law [yn erbyn] mynydd merch Sion, bryn Jerusalem.

33 Wele, yr Arglwydd, Arglwydd y lluoedd, yn yscythru y gangen â dychryn: a'r rhai uchel o gorph a dorrir [illegible], a'r rhai goruchel a ostyngir.

34 Ac efe a dyrr ymmaith fryscłwyni y coed â haiarn: a Libanus drwy un cryf, a gwymp.

## PEN. XI.

1 Heddychol frenhiniaeth y Blaguryn a dardda o wreiddyn Iesse. 10 Gorfodus adnewyddiad Israel, a galwedigaeth y cenhedloedd.



YNA y daw allan wialen o gyff * Jesse: a blaguryn a dŷf o'i wraidd ef:

*Act.13.23.

2 Ac Yspryd yr Arglwydd a orphywys arno ef; Yspryd doethineb a deall, Yspryd cyngor a chadernid, Yspryd gwybodaeth ac ofn yr Arglwydd:

3 Ac a wna ei ‖ ddeall ef yn fywiog yn ofn yr Arglwydd, ac nid wrth olwg ei lygaid y barn efe, nac wrth glywed ei glustiau y cerydda efe.

‖Heb. arogl.

4 Ond efe a farn y tlodion mewn cyfiawnder, ac a argyoedda tros rai llariaidd y ddaiar, mewn uniondeb; ac * efe a dery y ddaiar â gwialen ei enau, ac ag anadl ei wefusau y lladd efe yr anwir.

*Io.4.4. 2.Thes.2.8.

5 A chyfiawnder fydd gwregys ei lwynau ef, a ffyddlondeb yn wregys ei arennau.

6 * A'r blaidd a drig gyd â'r oen, a'r llewpard a orwedd gyd â'r mynn: y llô hefyd, a chenau y llew, a'r anifail brâs, fyddant ynghyd, a bachgen bychan a'i harwain.

*Pen.65.25.

7 Y fuwch hefyd a'r arth a borant ynghyd, eu llydnod a [gyd] orweddant: y llew, fel yr ŷch, a bawr wellt.

8 A'r plentyn sugno a chwery wrth dwll yr asp; ac ar ffau y wiber yr estyn yr hwn a ddiddyfnwyd ei law.

9 Ni ddrygant, ac ni ddifethant, yn holl fynydd fy sancteiddrwydd: canys y ddaiar a fydd llawn o wybodaeth yr Arglwydd, megis y mae y dyfroedd yn toi y môr.

10 * Ac yn y dydd hwnnw y bydd gwreiddyn Jesse, yr hwn a saif yn arwydd i'r bobloedd, ag ef a ymgais a'r cenhedloedd, a'i orphywysfa [fydd] yn ogoniant.

*Rhuf.15.12.

11 Bydd

11 Bydd hefyd yn y dydd hwnnw, i'r Arglwydd estyn eilwaith ei law i feddiannu gweddill ei bobl, y rhai a weddillir gan Assyria, a chan yr Aipht, a chan Pathros, a chan Ethiopia, a chan Elam, a chan Sinar, a chan Hamath, a chan ynysoedd y môr.

12 Ac efe a gyfyd faner i'r cenhedloedd, ac a gynull grwydriaid Israel; ac a gasgl wasgaredigion Juda, o bedair || congl y ddaiar.

|| Heb. esgyll.

13 Cenfigen Ephraim a ymedy hefyd, a gwrthwynebwyr Juda a dorrir ymmaith: ni chenfigenna Ephraim wrth Juda, ac ni chyfynga Juda ar Ephraim.

14 Ond hwy a ehedant ar yscwyddau y Philistiaid tua'r gorllewin, ynghyd yr yspeiliant feibion y dwyrain: || hwy a osodant eu llaw ar Edom a Moab, a meibion Ammon || fydd [mewn] ufydd-dod iddynt.

|| Heb. Edom a Moab fydd estyniad eu dwylo hwynt.
|| Heb. eu hufydd-dod hwy.

15 Yr Arglwydd hefyd a ddifroda dafod môr yr Aipht, ac â'i wynt nerthol efe a gyfyd ei law ar yr afon; ac a'i tery hi yn y saith ffrwd, ac a wna fyned trosodd yn || droed-sych.

|| Heb. mewn esgidiau.

16 A hi a fydd yn briffordd i weddill ei bobl ef, y rhai a adewir o Assyria, megis ac y bu i Israel, yn y dydd y daeth efe i fynu o dir yr * Aipht.

* Exod.14.29

## PEN. XII.

Llawen ddiolch y ffyddloniaid am drugareddau Duw.

Y Na y dywedi yn y dydd hwnnw, molaf di ô Arglwydd: er it sorri wrthif, dychwelir dy lid, a thi a'm cyssuri.

2 Wele, Duw [yw] fy iechydwriaeth, gobeithiaf, ac nid ofnaf, canys yr Arglwydd Dduw [yw] fy * nerth a'm cân; efe hefyd yw fy iechydwriaeth.

* Exod.15.2. Psal.118.14.

3 Am hynny mewn llawenydd y tynnwch ddwfr o ffynhonnau iechydwriaeth.

4 A chwi a ddywedwch yn y dydd hwnnw, * moliwch yr Arglwydd, || gelwch ar ei enw, hyspyswch ei weithredoedd ef ym mhlith y bobloedd, coffewch mai derchafedig yw ei enw ef.

* Exod.15.2. 1 Cron.16.8. Psal.111.4. & 105.1.
|| Neu, cyhoeddwch ei enw.

5 Cenwch i'r Arglwydd, canys godidawgrwydd a wnaeth efe; hyspys yw hyn yn yr holl dir.

6 Bloeddia, a chrioch-lefa, preswyl-ferch Sion; canys mawr [yw] Sanct Israel o'th fewn di.

## PEN. XIII.

1 Duw yn byddino lluoedd ei ddigofaint: 6. yn bygwth distrywio Babilon trwy y Mediaid. 19 Difrod Babilon.

B Aich Babilon, yr hwn a welodd Esay mab Amoz.

2 Derchefwch faner ar y mynydd uchel, derchefwch lef attynt, ysgydwch law fel yr elont i fewn pyrth y pendefigion.

3 Myfi a orchymynnais i'm rhai sanctaidd: gelwais hefyd fy nghedyrn i'm digter, y rhai a ymhyfrydant yn fy nerchafiad.

4 Llef tyrfa yn y mynyddoedd, || yn gyffelyb i bobl lawer; swn twrwf teyrnasoedd y cenhedloedd wedi ymgynnull; Arglwydd y lluoedd sydd yn cyfrif llu y rhyfel.

|| Heb. cyffelybrwydd pobl.

5 Dyfod y maent o wlâd bell, o eithaf y nefoedd; [sef] yr Arglwydd, ac arfau ei lidiawgrwydd, i ddifa'r holl dir.

6 Udwch, canys agos yw diwrnod yr Arglwydd; megis anrhaith oddi wrth yr Hollalluog y daw.

7 Am hynny 'r holl ddwylo a || laesa; a chalon pob dyn a dawdd.

|| Neu, gwympo.

8 A hwy a ofnant; gwewyr a doluriau a'i deil hwynt; megis [gwraig] yn escor yr ymofidiant; pawb wrth ei || gyfaill a ryfedda; eu hwynebau [fyddant] wynebau fflamllyd.

|| Neu, gilydd.

9 Wele ddydd yr Arglwydd yn dyfod yn greulon, a digofaint, a digter llidiog, i osod y wlâd yn ddiffaethwch; a'i phechaduriaid a ddifa efe allan o honi.

10 Canys sêr y nefoedd a'i planedau, ni roddant eu llewyrch: * yr haul a dywyllir yn ei godiad, a'r lloer ni oleua â'i llewyrch.

* Ezec.32.7. Ioel.3.15. & 2.31. Matt.24.29. Marc.13.24. Luc.21.25.

11 A mi a ymwelaf â'r byd [am ei] ddrygioni, ac â'r annuwiolion [am] eu hanwiredd: a gwnaf i falchder y rhai rhyfygus beidio: gostyngaf hefyd uchder y rhai ofnadwy.

12 Gwnaf ddyn yn werthfawroccach nag aur coeth; ie dyn, nâ chynn o aur Ophir.

13 Am hynny yr ysgydwaf y nefoedd, a'r ddaiar a gryn o'i lle, yn nigofaint Arglwydd y lluoedd, ac yn nydd llid ei ddigter ef.

14 A hi a fydd megis ewig wedi ei tharfu, ac fel dafad heb neb a'i coleddo; pawb a wynebant at eu pobl eu hun, a phawb i'w gwlad eu hun a ffoant.

15 Pob un a gaffer [ynddi,] a drywenir; a phawb a chwaneger [atti,] a syrth drwy 'r cleddyf.

16 Eu * plant hefyd a ddryllir o flaen eu llygaid; eu tai a yspeilir, a'i gwragedd a dreisir.

* Psal.137.9.

17 Wele fi yn cyfodi y Mediaid yn eu herbyn hwy; y rhai ni roddant fri ar arian; a'r aur nid ymhyfrydant ynddo.

18 Eu bwâu hefyd a ddryllia y gwyr ieuaingc, ac [wrth] ffrwyth bru ni thosturiant; eu llygad nid eiriach y rhai bach.

19 A Babilon, prydferthwch y teyrnasoedd, gogoniant godidowgrwydd y Caldeaid, fydd megis dinistr Duw * ar Sodoma, a Gomorrah.

* Gen.19.24. Ier.50.40.

20 Ni chyfanneddir hi yn dragywydd, ac ni phreswylir hi o genhedlaeth i genhedlaeth: ac ni phabella yr Arabiad yno, a'r bugeiliaid ni chorlannant yno.

21 Ond * || anifeiliaid gwylltion yr anialwch a orweddant yno, a'i tai hwynt a lenwir o || ormesiaid, a || chywion yr estris a drigant yno; a'r ellyllon a lammant yno.

* Esa.34.14. ier.50.39. zeph.2.14.
|| Heb. Zijm.
|| Heb. Ochim.
|| Heb. merched.

22 A'r || cathod a gydattebant yn ei gweddwdai hi, a'r dreigiau yn y palasoedd hyfryd:

|| Heb. Iim.

fryd: a'i hamser [sydd] yn agos i ddyfod, a'i dyddiau nid oedir.

## PEN. XIIII.

1 Duw yn drugarog yn adnewyddu Iſrael: 4 A'i gorfoledd hwythau yn erbyn Babilon. 24 Amcan Duw yn erbyn Aſſyria. 29 Bygwth Paleſtina.

Canys yr Arglwydd a dosturia wrth Jacob, ac a ddethol Israel etto, ac a bair iddynt orphwys yn eu tir eu hunain: a'r dieithr a ymgyssylltâ â hwynt, a hwy a lynant wrth dŷ Jacob.

2 Y bobl hefyd a'i cymmer hwynt, ac a'i dygant i'w llê, a thŷ Israel a'i meddianna hwynt yn *nhir yr Arglwydd, yn weision, ac yn forwynion: a hwy a gaethiwant y rhai a'i caethiwodd hwythau, ac a lywodraethant ar eu gorthrym-wŷr.

3 A bydd yn y dydd y rhoddo 'r Arglwydd lonyddwch i ti oddi wrth dy ofid, ac oddi wrth dy ofn, ac oddi wrth y caethiwed caled y gwasanaethaist ynddo;

4 I ti gymmeryd y ddihareb hon yn erbyn brenin Babilon, a dywedyd, pa wedd y peidiodd y gorthrymmwr? ac y peidiodd y drefaur?

5 Yr Arglwydd a ddrylliodd ffon yr anwiriaid, [a] theyrn wialen y llywiawd-wŷr:

6 Yr hwn sydd yn taro y bobloedd mewn digllonedd â ||phlâ ||gwastadol, yr hwn sydd yn llywodraethu y cenhedloedd mewn llidiawgrwydd, a erlidir heb [neb] yn lluddias.

7 Gorphywysodd, [a] llonyddodd yr holl ddaiar, canasant o lawenydd.

8 Y ffynnid-wydd hefyd [a] chedr-wydd Libanus a lawenhasant yn dy erbyn, [gan ddywedyd; er pan orweddaist, nid escynnodd cymmynydd i'n herbyn.

9 ||Uffern oddi tanodd a gynnhyrfodd o'th achos, i gyfarfod â thi wrth dy ddyfodiad; hi a gyfododd y meirw i ti; [sef] holl ||dywysogion y ddaiar, cyfododd holl frenhinoedd y cenhedloedd o'i gorseddfaoedd.

10 Y rhai hynny oll a lefarant, ac a ddywedant wrthit; a wanhawyd titheu fel ninnau? a aethost ti yn gyffelyb i ni?

11 Discynnwyd dy falchder i 'r bedd, a thrwst dy nablau: tanat y tenir pryf, pryfed hefyd a'th doant.

12 Pa fodd y syrthiaist o'r nefoedd ||Luciffer, mab y wawr ddydd? pa fodd i'th dorrwyd ti i lawr, yr hwn a wanheaist y cenhedloedd?

13 Canys ti a ddywedaist yn dy galon, mi a ddringaf *i'r nefoedd, oddi ar sêr Duw y derchafaf fy ngorseddfa. ac mi a eisteddaf ym mynydd y gynnulleidfa, yn ystlysau y gogledd.

14 Dringaf yn uwch na'r cwmylau, tebyg fyddaf i'r Goruchaf.

15 Er hynny i uffern i'th ddescynnir, i ystlysau yr ffôs.

16 Y rhai a'th welant a edrychant arnat yn graff, [ac] a'th ystyriant, [gan ddywedyd,] ai dymma y gwr a wnaeth i'r ddaiar grynu, ac a gynhyrfodd deyrnasoedd?

17 A osododd y byd fel anialwch, ac a ddinistriodd ei ddinasoedd, heb ollwng ei garcharorion yn rhydd tuag adref?

18 Holl frenhinoedd y cenhedloedd, ie hwy oll a orweddasant mewn gogoniant, bob un yn ei dŷ ei hun.

19 Eithr tydi a fwriwyd allan o'th fedd, fel cangen ffiaidd, [neu] wisc y lladdedigion, y rhai a drywanwyd â chleddyf; y rhai a ddescynnent i gerric y ffôs, fel celain wedi ei mathru.

20 Ni byddi mewn un bedd â hwynt, o herwydd dy dîr a ddifethaist, a'th bobl a leddaist; *ni bydd hâd yr annuwiol enwog byth.

21 Darperwch laddfa i'w feibion ef, *am anwiredd eu tadau, rhac codi o honynt a goresgyn y tîr, a llenwi wyneb y byd â dinasoedd.

22 Minneu a gyfodaf yn eu herbyn hwynt, medd Arglwydd y lluoedd, ac a dorraf allan o Babilon henw a gweddill, a mab, ac wŷr, medd yr Arglwydd:

23 Ac a'i gosodaf hi yn feddiant i aderyn y bwn, ac yn byllau dyfroedd: yscubaf hi hefyd ag yscubau destryw, medd Arglwydd y lluoedd.

24 Tyngodd Arglwydd y lluoedd, gan ddywedyd; diau megis yr amcenais, felly y bydd; ac fel y bwriedais, hynny a saif;

25 Am ddryllio Assur yn fy nhir, canys mathraf ef ar fy mynyddoedd, yna y cilia ei iau ef oddi arnynt, ac y symmudir ei faich ef oddi ar eu hyscwyddau hwynt.

26 Dymma y cyngor a gymmerwyd am yr holl ddaiar, ac dymma y llaw a estynnwyd ar yr holl genhedloedd.

27 O herwydd Arglwydd y lluoedd *a'i bwriadodd, a phwy a'i diddymma? ei law ef hefyd a estynnwyd, a phwy a'i try yn ôl?

28 Yn y flwyddyn y bu farw brenin Ahaz, y bu *y baich hwn.

29 Palestina, na lawenycha di oll, er torri gwialen dy darawudd: o herwydd o wreiddyn y sarph y daw gwiber allan, a'i ffrwyth hi fydd sarph danllyd hedegoc.

30 A chyn-blant y tlodion a ymborthant, a'r rhai anghenus a orweddant mewn diogelwch: ac mi a laddaf dy wreiddyn â newyn, yntef a ladd dy weddill.

31 Uda borth, gwaedda ddinas; Palestina, ti oll a doddwyd; canys mwg sydd yn dyfod o'r gogledd, ac ni [bydd] unic yn ei ||amseroedd nodedic ef.

32 A pha beth a attebir i gennadau y genhedl? *seilio o'r Arglwydd Sion, ac y ||gobeithia trueniaid ei bobl ef ||ynddi.

## PEN. XV.

Tostur gyflwr Moab.

Baich Moab: o herwydd y nôs y dinistriwyd Ar Moab, ac y ||distawyd hi; o herwydd y nôs y dinistriwyd Cir Moab, ac y distawyd hi.

2 Aeth i fynu i Baith, ac i Dibon, i'r uchelfeydd i wylo: am Nebo, ac am Medeba y uda

*2.Cor.10.5.
||Neu, dernod. ||Heb. heb symmud.
||Neu, Y bedd.
||Heb. fychod mawr.
||Neu, dyseren ddydd.
*Psal.48.2.
*Iob 18.19. psal.21.11. & 37.28. & 109.13. *Exod.20.5. matth.23.35.
*2.Cro.20.6. iob 9.12. dihar.21.30. Dan.4.32.
*Pen.13.1.
||Neu, gymanfaoedd.
*Psal.87.1.5. & 102.16.
||Neu, gwel.
||Neu, ddi.

udda Moab; *[bydd] moelni ar eu holl bennau, a phob barf wedi ei heillio.

*Ier.48.37. ezec.7.18.*

3 Yn eu heolydd yr ymwregysant â sachliain; ar bennau eu tai, ac yn eu heolydd yr udda pob vn, || gan wylo yn hidl.

*||Heb. gan ddescyn i wylo, neu, gydag wylofain.*

4 Gwaeddâ Hesbon hefyd, ac Elealeh: hyd Iahaz y clywir eu llefain hwynt: am hynny arfogion Moab a floeddiant, [pob vn] a flina ar ei einioes.

5 Fy nghalon a waedda am Moab, || ei ffoaduriaid hi [a ânt] hyd Zoar, * [fel] anner deir-blwydd; mewn wylofain y dringant hyd allt Luith: canys codant waedd || dinistr [ar hyd] ffordd Horonaim.

*||Neu, hyd ei therfynau, sef hyd Zoar. *Ier.48.5,34. ||Heb. torriad.*

6 O herwydd dyfroedd Nimrim a fyddant yn anrhaith; canys gwywodd y llysiau; darfu y gwellt; nid oes gwyrdd-lesni.

7 Am hynny yr helaethrwydd a gawsant, a'r hyn a roesant i gadw, a ddygant i || afon yr helyg.

*||Neu, ddyffryn yr Arabiaid.*

8 Canys y gweiddi a amgylchynodd derfyn Moab, eu hudfa hyd Eglaim, a'i hochain [hyd] Beer-Elim.

9 Canys dyfroedd Dimon a lenwir o waed, canys gosodaf ychwaneg ar Dimon, llewod ar yr hwn a ddiango ym Moab, ac ar weddill y wlad.

## PEN. XVI.

1 Annog Moab i vfyddhau i frenhiniaeth Christ. 6 Bygwth Moab am ei balchder. 9 Y Prophwyd yn cwynfan trosti. 12 Barnedigaeth Moab.

ANfonwch oen i lywodraethwr y tir, || o Sela i'r anialwch, i fynydd merch Sion.

*||Heb. o'r graig.*

2 Bydd fel aderyn yn gwibio, || wedi ei fwrw allan [o'r] nyth: felly y bydd merched Moab [wrth] rydau Arnon.

*||Neu, [fel] nyth wedi ei ado.*

3 || Ymgynghora, gwna farn, gwna dy gyscod fel nôs ynghanol hanner dydd: cuddia y rhai gwascaredic, na ddatcuddia y crwydrad.

*||Heb. Dwg gyngor.*

4 Triged fy ngwascaredigion gydâ thi; Moab, bydd di loches iddynt rhag y dinistrudd; canys diweddwyd y gorthrymmudd; yr anrheithiwr a beidiodd, y mathr-wŷr a ddarfuant o'r tir.

5 A gorsedd-faingc a ddarperir mewn trugaredd, ac arni yr *eistedd efe mewn gwirionedd, o fewn pabell Dafydd, yn barnu, ac yn ceisio barn, ac yn prysuro cyfiawnder.

**Dan.7.14. mic.4.7. luc.1.33.*

6 Clywsom * am falchder Moab, (balch iawn yw,) am ei falchder, a'i draha, a'i ddigllonedd: ond nid felly [y bydd] ei gelwyddau.

**Ier.48.29.*

7 Am hynny 'r * udda Moab am Moab: pob vn a udda: am sylfeini Cir-Hareseth y griddfenwch, yn ddiau hwy a darawyd.

**Ier.48.20.*

8 Canys || gwin-wydd Hesbon a wanhasant; [ac am] win-wydden Sibmah, arglwyddi y cenhedloedd a escydwasant ei phêr-winwydd hi; hyd Iazer y cyrhaeddasant; crwydrasant ar hyd yr anialwch; ei changhennau a || ymestynnasant, [ac] a aethant tros y môr.

*||meysydd. ||Neu, ymgrwydrasant.*

9 Am hynny y galaraf ag wylofain Iazer, gwin-wydden Sibmah; dyfrhâf di Hesbon, ac Elealeh â'm dagrau: canys || ar dy ffrwythydd hâf, ac || ar dy gynhaiaf y syrthiodd || bloedd.

*||am. ||am. ||y floedd.*

10 *Y llawenydd hefyd a'r gorfoledd a ddarfu o'r dolydd; ni chenir, ac ni floeddir yn y gwinllannoedd; ni sathr sathrudd win yn y gwryfoedd: gwnaethym i'w bloedd [gynhayaf] beidio.

**Ier.48.33.*

11 Am hynny y rhûa fy ymyscaroedd am Moab, fel telyn; a'm perfedd am Cir-Hares.

12 A phan weler flino o Moab ar yr uchelfan, yna y daw efe i'w gyssegr i weddio, ond ni thyccia iddo.

13 Dymma yr gair a lefarodd yr Arglwydd am Moab, er yr amser hwnnw.

14 Ond ynawr y llefarodd yr Arglwydd, gan ddywedyd; o fewn tair blynedd, fel blynyddoedd gwâs cyflog, y dirmygir gogoniant Moab, a'r holl dyrfa fawr, a'r gweddill, [fydd] ychydig bach, [ || a ] dirym.

*||Neu, ac nid llawer.*

## PEN. XVII.

1 Bygwth Syria, ac Israel. 6 Gweddill a ymwrthyd â delw-addoliaeth: 9 A'r lleill a gânt ddialedd am eu hannuwioldeb. 12 Gwae gelynion Israel.

*BAich Damascus. Wele Ddamascus wedi ei symmud o [fod] yn ddinas, a charnedd wedi syrthio, a fydd hi.

**Pen.13.1.*

2 Gwrthodwyd dinasoedd Aroer: i ddiadellau y byddant, y rhai a orweddant, ac ni [bydd] a'i dychryno.

3 A derfydd amddeffynfa o Ephraim, a brenhiniaeth o Ddamascus, a gweddill Syria: fel gogoniant meibion Israel y byddant, medd Arglwydd y lluoedd.

4 Ac ar y dydd hwnnw y bydd i ogoniant Iacob feinhau, a brasder ei gig ef a gulhâ.

5 Ac efe a fydd fel pan gasclo y cynhaiafwr yr ŷd, a medi â'i fraich y twysennau: a bydd fel casgludd twysennau ynglynn Rephaim.

6 (Etto ynddo y gadewir lloffion grawnwin, fel escydwad oliwŷdden, [sef] dau [neu] dri o rawn ymlaen y brîg, [a] phedwar [neu] bump yn ei changhennau ffrwythlawn eithaf, medd Arglwydd Dduw Israel.

7 Yn y dydd hwnnw yr edrych dŷn at ei wneuthur-wr, a'i lygaid a edrychant ar Sanct Israel:

8 Ac nid edrych am yr allorau, [y rhai ydynt] waith ei ddwylo; se nid edrych am yr hyn a wnaeth ei fyssedd, na'r llwyni, na'r || delwau.)

*||Neu, haul-ddelwau.*

9 Yn y dydd hwnnw y bydd eu dinasoedd cedyrn, fel cangen wrthodedic, a'r brîg, y rhai a adawsant o herwydd meibion Israel: felly y bydd anghyfannedd-dra.

10 O herwydd anghofio o honot Dduw dy iechydwriaeth, ac na chofiaist graig dy gadernid; am hynny y plenni blanhigion hyfryd, ac yr impi hwynt â changhennau dieithr.

11 Y dydd y gwnei i'th blanhigyn dyfu, a'r

borau y gwnei i'th hâd flodeuo, ond bydd y cynhaiaf [|| yn ben-twrr] ar ddydd llescedd, a dolur gofidus.

12 Gwae || dyrfa pobloedd lawer, fel twrwf y môr y trystiant, ac i dwrwf y bobloedd a drystiant fel sŵn dyfroedd lawer.

13 Fel sŵn dyfroedd lawer y trystia y bobl; a [Duw] a'i cerydda hwynt, a hwy a ffoant ym mhell, ac a erlidir fel peiswyn mynydd o flaen y gwynt, ac fel || peth yn treiglo ym mlaen corwynt.

14 Ac wele drallod ar hyd nawn, a chyn y borau ni bydd. Dymma ran y rhai a'n hanrheithiant ni, a choel-bren y rhai a'n hyspeiliant ni.

|| Neu, wedi ei symudo ar ddydd etifeddiaeth, [a bydd] dolur gofidus.
|| Neu, dwrf.
|| Neu, plu yr gwenynydd.

PEN. XVIII.

1 Duw o ofal tros ei bobl, yn addo distrywio yr Ethiopiaid: 7 Ac o hynny y daw cynnydd i'r Eglwys.



Gwae 'r tir sy yn cyscodi ag adenydd, yr hwn [sydd] tu hwnt i afonydd Ethiopia.

2 Yr hwn a hebrwng gennadau hyd y môr, ac ar hyd wyneb y dyfroedd, mewn llestri brwyn [gan ddywedyd,] ewch gennadon cyflym, at genhedlaeth wascaredic, ac yspailiedic, * at bobl ofnadwy, er pan ydynt, ac etto: || cenhedlaeth wedi ei mesur a'i sathru, yr hon || yr yspeiliodd yr afonydd ei thir.

3 Holl drigolion y byd, a phresswyl-wŷr y ddaiar, gwelwch pan gyfodo efe faner [ar] y mynyddoedd, a chlywch pan udcano ag udcorn.

4 Canys fel hyn y dywedodd yr Arglwydd wrthif, byddaf lonydd, a mi a ystyriaf || yn fy annedd, megis gwrês eglur || ar lysiau, fel niwl gwlith yng wrês cynhaiaf.

5 Canys o flaen cynhaiaf, pan fyddo y blodeun yn berffaith, a'r grawn-win surion yn addfedu yn y blodeuyn; efe a dyr y brig â chrymmanau, ac a dynn ymmaith, [ac] a dyr y canghennau.

6 Gadewir hwynt ynghyd i adar y mynyddoedd, ac i anifeiliaid y ddaiar, ac arnynt y bwrw yr adar yr hâf, a holl anifeiliaid y ddaiar a aiafa arnynt.

7 Yr amser hwnnw y dygir rhodd i Arglwydd y lluoedd, [gan] bobl wascaredic, ac yspailiedic; a chan bobl ofnadwy, er pan ydynt ac etto: cenedl wedi ei mesur a'i sathru, yr hon yr yspeiliodd yr afonydd ei thir, i le enw Arglwydd y lluoedd, [sef i] fynydd Sion.

*Deut. 28. 37.
|| Neu, cen. yn mesur ac yn sathru. Heb. cen. llinyn [a] llinyn, a mathrad.
|| Neu, y dirmygodd.
|| Neu, fy annedd le.
|| Neu, ar ôl glaw.

PEN. XIX.

1 Gwradwydd yr Aipht. 11 Ynfydrwydd eu pendefigion hwy. 18 Galw 'r Aipht at yr Eglwys. 23 Cyngrair yr Aipht, Assyria, ac Israel.



Baich yr Aipht. * Wele 'r Arglwydd yn marchogaeth ar gwmmwl yscafn, ac efe a ddaw i'r Aipht, ac eulynnod yr Aipht a gynnhyrfant rhagddo ef: a chalon yr Aipht a dawdd yn ei chanol.

* Pen. 13. 1.

2 || Cyrraf hefyd yr Aiphtiaid yn erbyn yr Aiphtiaid, a hwy a * ymladdant bob un yn erbyn ei frawd, a phob un yn erbyn ei gymmydog; dinas yn erbyn dinas, [a] theyrnas yn erbyn teyrnas.

3 Ac yspryd yr Aipht a || balla yn ei chanol, ac mi a || ddiddymmaf ei chyngor hi: yna 'r ymofynnant ag eulynnod, ac â swynyddion, ac â dewiniaid, ac â brud-wŷr.

4 Ac mi a gaeaf yr Aipht yn llaw Arglwydd caled, a brenin cadarn a lywodraetha arnynt, medd yr Arglwydd, Arglwydd y lluoedd.

5 A'r dyfroedd a ddarfyddant o'r môr, yr afon hefyd a â yn hesb, ac yn sych.

6 A hwy a droant yr afonydd ym mhell, y ffrydiau ymddiffyn a ddiyspyddir, ac a sychant: torrir ymmaith [bob] corsen, a hescen.

7 Y papur-frwyn wrth yr afon, ar fin yr afon, a phob peth a hauwyd wrth yr afon, a wywa, a chwelir, ac ni bydd [mwy.]

8 Y pyscod-wŷr hefyd a drist ânt, a'r rhai oll a fwriant fachau i'r afonydd a alarant: felly y rhai a danant rwydau ar hŷd wyneb y dyfroedd, a lescânt.

9 Gwradwyddir hefyd y rhai a weithiant fein-llin, a'r rhai a weuant || rwyd-waith.

10 A hwy a dorrir yn eu || bwriadau, y rhai oll a wnânt argaeau a || physcod-lynnau.

11 Diau ynfydion yw tywysogion Zoan, cyngor doethion gyngor-wŷr Pharao aeth yn ynfyd: pa fodd y dywedwch wrth Pharao, mab y doethion [ydwyfi,] mab hên frenhinoedd?

12 Mae hwynt? mae dy ddoethion? a mynegant it yr awr hon, a gwybyddant pa gyngor a gymerodd Arglwydd y lluoedd yn erbyn yr Aipht.

13 Tywysogion Zo[illegible] a ynfydasant, twyllwyd tywysogion [illegible], a || phennaethiaid eu llwythau a hudasant yr Aipht.

14 Cymmyscodd yr Arglwydd ynddi yspryd gwrthnyssigrwydd, a hwy a wnaethant i'r Aipht gyfeiliorni yn ei holl waith, fel y cyfeiliorna meddwyn yn ei chwdfa.

15 Ac ni bydd gwaith i'r Aipht, yr hwn a wnelo y pen na'r gloren, y gangen na'r frwynen.

16 Y dydd hwnnw y bydd yr Aipht fel gwragedd; canys hi a ddychryna, ac a ofna rhag escydwad llaw Arglwydd y lluoedd, yr hon a yscydwa efe arni hi.

17 A bydd tir Juda yn arswyd i'r Aipht; pwy bynnac a'i cofio hi, a ofna ynddo ei hun, o herwydd cyngor Arglwydd y lluoedd, yr hwn a gymmerodd efe yn ei herbyn hi.

18 Y dydd hwnnw y bydd pum dinas yn nhir yr Aipht yn llefaru || iaith Canaan, ac yn tyngu i Arglwydd y lluoedd: dinas || destryw y gelwir un.

19 Y dydd hwnnw y bydd allor i'r Arglwydd ynghanol tir yr Aipht, a cholofn i'r Arglwydd ger llaw ei therfyn hi.

20 Yn arwydd hefyd ac yn destiolaeth y bydd, i Arglwydd y lluoedd yn nhir yr Aipht: canys llefant ar yr Arglwydd o herwydd y gorthrymwŷr, ac efe a enfyn iddynt Jachawdwr,

|| Heb. Cymmyscaf.
* 2 Cron. 20. 22.
Pen. 49. 26.
|| Neu, rwyd-waith.

17 Nes i'm ddyfod a'ch dwyn chwi i wlad megis eich gwlad eich hun; gwlad ŷd, a gwin; gwlad bara, a gwinllannoedd;

18 [Gwiliwch] rhac i Hezeciah eich hudo chwi, gan ddywedyd; yr Arglwydd a'n gwared ni. A waredodd un o dduwiau y cenhedloedd, ei wlad o law brenin Assyria?

19 Mae duwiau Hamath, ac Arphad? mae duwiau Sepharfaim? a waredasant hwy Samaria o'm llaw i?

20 Pwy [sydd] ym mhlith holl dduwiau y gwledydd hyn, a'r a waredasant eu gwlad o'm llaw i; fel y gwaredai yr Arglwydd Jerusalem o'm llaw?

21 Eithr hwy a dawsant, ac nid attebasant air iddo: canys gorchymyn y brenin [oedd] hyn, gan ddywedyd, nac attebwch ef.

22 Yna y daeth Eliacim mab Helciah, yr hwn [oedd] ben-teulu, a Sobna 'r scrifennydd, a Joah mab Asaph y cofiadur, at Hezeciah, a'i dillad yn rhwygedic, ac a fynegasant iddo eiriau Rabsaceh.

## PEN. XXXVII.

1 Hezeciah yn ei dristwch yn gyrru at Esay, i gael gantho weddio trosto ef a'i bobl. 6 Esay yn eu cyssuro hwy. 8 Senacherib yn myned i ymladd a Thirhacah, ac yn anfon llythyrau cablaidd at Hezeciah. 14 Gweddi Hezeciah. 21 Esai yn prophwydo balchder a chwymp Senacherib, a llwyddiant Sion. 36 Angel yn lladd yr Assyriaid. 37 Lladd Sennacherib yn Ninevech gan ei feibion ei hun.

A Phan glybu y brenin Hezeciah [hynny,] efe a rwygodd ei ddillad, ac a ymwiscodd mewn sachliain, ac a aeth i dŷ yr Arglwydd;

2 Ac a anfonodd Eliacim y pen-teulu, a Sobna 'r scrifennydd, a henuriaid yr offeiriaid, wedi ymwisco mewn sach-liain, at Esay y prophwyd, fab Amoz.

3 A hwy a ddywedasant wrtho, fel hyn y dywedodd Hezeciah, diwrnod cyfyngder, a cherydd, a ‖ chabledd, [yw] 'r dydd hwn: canys y plant a ddaethant hyd yr anedigaeth, ond nid [oes] grym i escor.

4 Fe allai y gwrendy yr Arglwydd dy Dduw eiriau Rabsaceh, yr hwn a anfonodd brenin Assyria ei feistr, i gablu y Duw byw, ac y cerydda efe y geiriau a glybu yr Arglwydd dy Dduw: am hynny dercha dy weddi dros y gweddill sydd i'w gael.

5 Felly gweision y brenin Hezeciah a ddaethant at Esay.

6 A dywedodd Esay wrthynt, fel hyn y dywedwch wrth eich meistr; fel hyn y dywed yr Arglwydd, nac ofna y geiriau a glywaist, [drwy] y rhai y cablodd gweision brenin Assyria fi.

7 Wele fi yn rhoddi ‖ arno ef wynt, ac efe a glyw sôn, ac a ddychwel i'w wlad: gwnaf hefyd iddo syrthio gan y cleddyf, yn ei wlad ei hun.

8 Yna y dychwelodd Rabsaceh, ac a gafodd frenin Assyria yn rhyfela yn erbyn Libnah; canys efe a glywsei ddarfod iddo fyned o Lachis.

9 Ac efe a glywodd [sôn] am Tirhacah frenin Ethiopia, gan ddywedyd; efe a aeth allan i ryfela â thi; a phan glywodd [hynny,] efe a anfonodd gennadau at Hezeciah, gan ddywedyd;

10 Fel hyn y dywedwch wrth Hezeciah brenin Juda, gan ddywedyd; na thwylled dy Dduw di, yr hwn yr wyt yn ymddiried ynddo, gan ddywedyd; ni roddir Jerusalem yn llaw brenin Assyria.

11 Wele, ti a glywaist yr hyn a wnaeth brenhinoedd Assyria, i'r holl wledydd, gan eu difrodi hwynt; ac a waredir di?

12 A waredodd duwiau y cenhedloedd hwynt, y rhai a ddarfu i'm tadau eu dinistrio, sef Gosan, a Haran, a Rezeph, a meibion Eden, y rhai [oedd] o fewn Telassar.

13 Mae brenin Hamath? a brenin Arphad? a brenin dinas Sepharfaim, Hena, ac Ifah?

14 A chymmerth Hezeciah y llythyr o law y cennadau, ac a'i darllenodd; a Hezeciah a aeth i fynu i dŷ 'r Arglwydd, ac a'i lledodd ger bron yr Arglwydd.

15 A Hezeciah a weddiodd at yr Arglwydd, gan ddywedyd,

16 Arglwydd y lluoedd, Duw Israel, yr hwn wyt yn trigo [rhwng] y Cerubiaid, ti ydwyt Dduw, ie tydi yn unic, i holl deyrnasoedd y ddaiar; ti a wnaethost y nefoedd a'r ddaiar.

17 Gogwydda Arglwydd, dy glust, a gwrando; agor dy lygaid Arglwydd, ac edrych; gwrando hefyd holl eiriau Senacherib, yr hwn a anfonodd i ddifenwi y Duw byw.

18 Gwir [yw], ô Arglwydd, i frenhinoedd Assyria ddifa 'r holl ‖ genhedloedd a'i gwledydd,

‖Heb. direidd.

19 A rhoddi eu duwiau hwy yn tân: canys nid [oeddynt] hwy dduwiau, onid gwaith dwylo dyn, [o] goed, a maen; am hynny y dinistriasant hwynt.

20 Yr awr hon gan hynny, ô Arglwydd ein Duw, achub ni o'i law ef; fel y gwypo holl deyrnasoedd y ddaiar, mai ti [yw] 'r Arglwydd, tydi yn unig.

21 Yna Esay mab Amoz a anfonodd at Hezeciah, gan ddywedyd; fel hyn y dywed Arglwydd Dduw Israel, o herwydd it weddio attaf yn erbyn Senacherib brenin Assyria,

22 Dymma 'r gair a lefarodd yr Arglwydd yn ei erbyn ef; y forwyn merch Sion a'th ddirmygodd, [ac] a'th watwarodd; merch Jerusalem a escydwodd ben ar dy ôl.

23 Pwy a ddifenwaist, ac a geblaist; ac yn erbyn pwy y dyrchefaist [dy] lef; ac y codaist yn uchel dy lygaid? yn erbyn Sanct Israel.

24 Trwy law dy weision y ceblaist yr Arglwydd, ac y dywedaist, â lliaws fy ngherbydau y daethum i fynu i uchelder y mynyddoedd, [i] ystlysau Libanus: ac mi a dorraf uchelder ei gedr-wydd, a'i ddewis ffynnid-

wydd; âf hefyd i'w gwrr uchaf [ac i] goed ei || ddol-dir.

|| Carmel.

25 Mysi a gloddiais, ac a yfais ddwfr; â gwadnau fy nhraed hefyd y sychais holl afonydd y gwarchaedic.

26 Oni chlywaist wneuthur o honof hyn er ystalm, a'i lunio er y dyddiau gynt? || yn awr y dugym hynny i ben, fel y byddit i ddestrywio dinasoedd caeroc yn garneddau dinistriol.

|| Neu, a ddygum hynny yn awr i'w ddestrywio, a din. caer. [i fod] yn gar. &c.

27 Am hynny eu trigolion yn gwttoglaw a ddychrynnwyd, ac a gywilyddiwyd: oeddynt [megis] gwellt y maes, fel gwyrdd lyssiau, a glas-wellt a'r pennau [tai,] neu ŷd wedi deifio cyn addfedu.

28 Dy eisteddiad hefyd, a'th fynediad allan, a'th ddyfodiad i mewn, a adnabûm; a'th gynddeiriogrwydd i'm herbyn.

29 Am it ymgynddeiriogi i'm herbyn, ac i'th ddadwrdd ddyfod i fynu i'm clustiau; am hynny y rhoddaf fy mâch yn dy ffroen di, a'm ffrwyn yn dy weflau, ac a'th ddychwelaf di ar hyd yr un-ffordd ac y daethost.

30 A hyn [fydd] yn arwydd i ti [Hezeciah,] y flwyddyn [hon] y bwyttei a dyfo o honaw ei hun, ac yn yr ail flwyddyn yr attwf, ac yn y drydedd flwyddyn, hauwch, a medwch, plennwch winllannoedd hefyd, a bwytewch eu ffrwyth hwynt.

31 A'r gweddill o dŷ Juda, [yr hwn] a adewir, a wreiddia eilwaith i wared, ac a ddwg ffrwyth i fynu.

32 Canys gweddill â allan o Jerusalem, a'r rhai diangol o fynydd Sion: * zêl Arglwydd y lluoedd a wna hyn.

* 2.Bren.19.31 Pen.9.6.

33 Am hynny, fel hyn y dywed yr Arglwydd am frenin Assyria, ni ddaw efe i'r ddinas hon, ac nid ergydia efe saeth yno: hefyd ni ddaw o'i blaen â tharian, ac ni fwrw glawdd i'w herbyn.

34 Ar hŷd yr un-ffordd ac y daeth y dychwel, ac ni ddaw i mewn i'r ddinas hon, medd yr Arglwydd.

35 * Canys mi a ddeffynnaf y ddinas hon, i'w chadw hi er fy mwyn fy hun, ac er mwyn Dafydd fy ngwâs.

* 2.Bren.20.6.

36 * Yna'r aeth Angel yr Arglwydd, ac a darawodd yngwerssyll yr Assyriaid gant a phedwar ugain, a phump o filoedd: a phan gyfodasant yn foreu dranoeth, wele hwynt oll yn gelaneddau meirwon.

* 2.Bren.19.35

37 Felly Senacherib brenin Assyria a ymadawodd, ac a aeth, ac a ddychwelodd, ac a drigodd yn Ninefeh.

38 A bu fel yr ydoedd efe yn addoli yn nhŷ Nisroch ei dduw, i Adrammelech, a Sarezer ei feibion, ei daraw ef â'r cleddyf; a hwy a ddiangasant i wlad || Armenia: ac Esarhadon ei fâb a deyrnasodd yn ei le ef.

|| Heb. Ararat.

PEN. XXXVIII.

1 Hezeciah wedi cael cennadwri o'i farwolaeth, trwy weddi yn cael ystyn ei einioes. 8 Yr haul yn myned ddeg o raddau yn ei ôl, yn argoel o'r addewid hwnnw. 9 Cân diolch Hezeciah.



* N y dyddiau hynny y clafychodd Hezeciah hyd farw: ac Esay y Prophwyd mab Amoz a ddaeth atto ef, ac a ddywedodd wrtho; fel hyn y dywed yr Arglwydd; || trefna dy dŷ, canys marw fyddi, ac ni byddi byw.

2 Yna Hezeciah a droes ei wyneb at y pared, ac a weddiodd at yr Arglwydd;

3 A dywedodd, attolwg Arglwydd, cofia, yr awr hon i mi rodio ger dy fron di, mewn gwirionedd, ac â chalon berffaith, a gwneuthur o honof yr hyn [oedd] dda yn dy olwg: a Hezeciah a wylodd ag wylofain mawr.

4 Yna y bu gair yr Arglwydd wrth Esay, gan ddywedyd,

5 Dôs, a dywed wrth Hezeciah, fel hyn y dywed Arglwydd Dduw Dafydd dy dâd; clywais dy weddi di, gwelais dy ddagrau, wele mi a chwanegaf at dy ddyddiau di bymtheng mhlynedd.

6 Ac o law brenin Assyria i'th waredaf di, a'r ddinas: ac mi a ddeffynnaf y ddinas hon.

7 A hyn [fydd] i ti yn arwydd oddi wrth yr Arglwydd, y gwna'r Arglwydd y gair hwn, a lefarodd.

8 Wele fi yn dychwelyd cyscod y graddau, yr hwn a ddescynnodd || yn neial Ahaz gyd â'r haul, ddêc o raddau yn ei ôl: felly'r haul a ddychwelodd ddêc o raddau, ar hŷd y graddau y descynnasei [ar hyd-ddynt.]

9 Scrifen Hezeciah brenin Juda, pan glafychasei a byw o honaw o'i glefyd.

10 Mysi a ddywedais yn nhorriad fy nyddiau, âf i byrth y bedd; difuddiwyd fi o weddill fy mlynyddoedd.

11 Dywedais, ni chaf weled yr Arglwydd Jor, yn nhir y rhai byw; ni welaf ddyn mwyach ym mysc trigolion y byd.

12 Fy || nrhigfa a aeth, ac a symmudwyd oddi wrthif, fel lluest bugail: torrais ymaith fy hoedl megis gwehydd, || â nychdod i'm tyrr ymaith: o ddydd hyd nos y gwnei ben am danaf.

13 Cyfrifais hyd y boreu, mai megis llew y dryllia efe fy holl escyrn: o ddydd hyd nos y gwnei ddiben arnaf.

14 Megis garan [neu] wennol, felly trydar a wneuthum; griddfenais megis colommen: fy llygaid a dderchafwyd i fynu; ô Arglwydd gorthrymmwyd fi; esmwythâ arnaf.

15 Beth a ddywedaf? canys dywedodd wrthif, ac efe a'i gwna: mi a gerddaf yn araf fy holl flynyddoedd, yn chwerwedd fy enaid.

16 Arglwydd, drwy y pethau hyn yr ydys yn byw, ac yn yr holl bethau hyn y mae bywyd fy yspryd i, felly yr iachei, ac y bywhei fi.

17 Wele || yn lle heddwch i mi chwerwder chwerw: ond || o gariad ar fy enaid y gwaredaist ef, o bwll llygredigaeth: canys ti a deflaist fy holl bechodau o'r tu ôl i'th gefn.

18 Canys y bedd ni'th fawl di, angeu [ni'th] glodfora: y rhai sy yn descyn i'r pwll ni obeithiant am dy wirionedd.

19 Y byw, y byw, efe a'th fawl di, fel yr wyf

wyf heddyw: y tâd a hyspyssa i'r plant dy wirionedd.

20 Yr Arglwydd [sydd] i'm cadw: am hynny y canwn fy nghaniadau, holl ddyddiau ein heinioes, yn nhŷ 'r Arglwydd.

21 Canys Esay a ddywedasai, cymmerant swp o ffigys, a rhwymant yn blastr ar y cornwyd, ac efe a fydd byw.

22 A dywedasai Hezeciah, pa arwydd sydd, y caf fyned i fynu i dŷ 'r Arglwydd?

## PEN. XXXIX.

1 Merodach Baladan yn anfon i ymweled a Hezeciah, o herwydd y rhyfeddod, ac wrth hynny yn cael gwybodaeth o'i drysorau ef: 3 Ac Esay yn cael gwybod hynny, ac yn rhagfynegi y caethglud i Babilon.



YN * yr amser hwnnw Merodach Baladan, mab Baladan brenin Babilon, a anfonodd lythyrau, ac anrheg, at Hezeciah: canys efe a glywsei ei fod ef yn glaf, a'i fyned yn iach.

2 A Hezeciah a lawenychodd o'i herwydd hwynt, ac a ddangosodd iddynt || dŷ ei dryssorau, yr arian, a'r aur, a'r llysieuau, a'r olew gwerthfawr, a holl dŷ ei || arfau, a'r hyn oll a gafwyd yn ei dryssorau ef: nid oedd dim yn ei dŷ ef, nac yn ei holl gyfoeth ef, a'r na's dangosodd Hezeciah iddynt.

3 Yna y daeth Esay y prophwyd at y brenin Hezeciah, ac a ddywedodd wrtho, beth a ddywedodd y gwŷr hyn? ac o ba le y daethant attat? a dywedodd Hezeciah, o wlâd bell y daethant attaf, [sef] o Babilon.

4 Yntef a ddywedodd, beth a welsant hwy yn dy dŷ di? a dywedodd Hezeciah, yr hyn oll [oedd] yn fy nhŷ i a welsant, nid oes dim yn fy nhryssorau a'r na's dangosais iddynt.

5 Yna Esay, a ddywedodd wrth Hezeciah, gwrando air Arglwydd y lluoedd.

6 Wele y dyddiau 'n dyfod, pan ddygir i Babylon yr hyn oll [sydd] yn dy dŷ di, a'r hyn a gynhilodd dy dadau di hyd y dydd hwn: ni adewir dim, medd yr Arglwydd.

7 Cymmerant hefyd o'th feibion di, y rhai a ddaw o honot, [sef] y rhai a genhedli, fel y byddont stafellyddion yn llys brenin Babilon.

8 Yna y dywedodd Hezeciah wrth Esay, da [yw] gair yr Arglwydd, yr hwn a lefaraist: dywedodd hefyd, canys bydd heddwch a gwirionedd yn fy nyddiau i.

## PEN. XL.

1 Cyhoeddi yr Efengyl. 3 Pregeth Ioan Fedyddiwr: 9 A'r Apostolion. 12 Y Prophwyd, trwy ddangos fod Duw yn Holl-alluog, ac nad oes dim cyffelyb na chyfartal iddo, 26 yn cyssuro 'r bobl.



CYssurwch, cyssurwch fy mhobl, medd eich Duw.

2 Dywedwch || wrth fodd calon Jerusalem, llefwch wrthi hi, gyflawni ei || milwriaeth; ddileu ei hanwiredd; o herwydd derbyniodd o law 'r Arglwydd yn ddau ddyblyg am ei holl bechodau.

3 * Llef un yn llefain yn yr anialwch, paratowch ffordd yr Arglwydd, uniownwch lwybr i'n Duw ni, yn y diffaethwch.

4 Pob pant a gyfodir, a phob mynydd a bryn a ostyngir, y gŵyr a wneir yn uniawn, a'r anwastad yn wastadedd.

5 A gogoniant yr Arglwydd a ddatcuddir, a phob cnawd ynghyd a'i gwel: canys genau 'r Arglwydd a lefarodd [hyn.]

6 Y llef a ddywedodd, gwaedda; yntef a ddywedodd, beth a waeddaf? * pob cnawd sydd wellt, a'i holl odidawgrwydd fel blodeuyn y maes.

7 Gwywa y gwelltyn, syrth y blodeuyn; canys Yspryd yr Arglwydd a chwythodd arno; gwellt yn ddiau [yw] 'r bobl.

8 Gwywa y gwelltyn, syrth y blodeuyn, * ond gair ein Duw ni a saif byth.

9 Dring rhagot, yr || efangyles Sion, i fynydd uchel; derchafa dy lef trwy nerth, ô efangyles Jerusalem: derchafa, nac ofna; dywed wrth ddinasoedd Juda, wele eich Duw chwi.

10 Wele 'r Arglwydd Dduw a ddaw || yn erbyn y cadarn, a'i fraich a lywodraetha trosto: wele * ei wobr gyd ag ef, a'i || waith o'i flaen.

11 * Fel bugail y portha efe ei braidd, â'i fraich y casgl ei wyn, ac [a'i] dwg yn ei fonwes, ac a goledda y || mammogiaid.

12 Pwy a fessurodd y dyfroedd yn ei ddwrn? ac a fessurodd y nefoedd â'i rychwant, ac a gymhwysodd bridd y ddaiar mewn messur, ac a bwysodd y mynyddoedd mewn pwysau, a'r bryniau mewn cloriannau?

13 * Pwy a gyfarwyddodd Yspryd yr Arglwydd? ac yn wr o'i gyngor a'i cyfarwyddodd ef?

14 A phwy 'r ymgynghorodd efe, ie [pwy] || a'i cyfarwyddodd, ac a'i dyscodd yn llwybr barn? ac a ddyscodd iddo wybodaeth, ac a ddangosodd iddo ffordd dealldwriaeth?

15 Wele, y cenhedloedd a gyfrifwyd fel defnyn o gelwrn, ac fel mân-lwch y cloriannau: wele, fel brychewyn y cymmer efe yr ynysoedd i fynu.

16 Ac nid digon Libanus i gynneu [tân;] nid digon ei fwyst-filod chwaith, yn boeth offrwm.

17 Yr holl genhedloedd [ydynt] megis * diddim ger ei fron ef; yn llai nâ dim, ac [nâ] gwagedd y cyfrifwyd hwynt || ganddo.

18 I bwy gan hynny y * cyffelybwch Dduw? a pha ddelw a osodwch iddo?

19 Y crefftwr a dawdd gerf-ddelw, a'r eurych a'i goreura, ac a dawdd gadwyni arian.

20 Yr hwn sydd dlawd ei offrwm a ddewis bren ni phydra; efe a gais atto saer cyfrwaint, i baratoi cerf-ddelw, yr hon ni syfl.

21 Oni wybuoch? oni chlywsoch? oni fynegwyd i chwi o'r dechreuad? oni ddeallasoch er seiliad y ddaiar?

22 Efe sydd yn eistedd ar amgylchoedd y ddaiar, a'i thrigolion sydd fel locustiaid: yr hwn a * dana y nefoedd fel llen, ac a'i lleda fel pabell i drigo [ynddi.]

Marginal notes: 2.Bren.20.12. || Neu, dŷ ei dryssorau. || Neu, dryssorau. || Neu, yn ei ddyddiau. || Neu, wrth galon. || Heb. amser cyfyngder. || Mat.3.3. marc.1.3. luc.3.4. io.1.23. Iob.14.2. psal.90.5. & 103.15. iac.1.10. 1.pet.1.24. Io.12.34. 1.pet.1.25. || Neu, hon wyt yn efangylu i Sion, &c. || Neu, â [llaw] gadarn. Pen.62.11. || Neu, dâl am ei waith. Ezec.34.23. io.10.11. || Neu, y sebrwi. Doeth.9.13. Rhuf.11.34. 1.Cor.2.16. || Heb. a wnaeth iddo ddeall. Dan.4.32. || wrtho. Act.17.29. Psal.104.2.

23 Yr hwn a wna * lywodraeth-wŷr yn ddiddim, fel gwagedd y gwna efe farnwŷr y ddaiar.

24 Ie ni phlennir hwynt, ni's hauir ychwaith; ei foncyff hefyd ni wreiddia yn y ddaiar; ac efe a chwyth arnynt, a hwy a wywant, a chorwynt a'i dwg hwynt ymmaith fel sofl.

25 I bwy gan hynny i'm cyffelybwch, ac i'm cystedlir, medd y Sanct?

26 Dyrchefwch eich llygaid i fynu, ac edrychwch pwy a greawdd y rhai hyn, a ddwg eu llu hwynt allan mewn rhifedi; efe a'i geilw hwynt oll wrth eu henwau: gan amlder [ei] rym [ef,] a'i gadarn allu, ni phalla un.

27 Pa ham y dywedi Iacob, ac y lleferi Israel; cuddiwyd fy ffordd oddi wrth yr Arglwydd, a'm barn aeth heibio i'm Duw?

28 Oni wyddost? oni chlywaist na ddeffygia, ac na flina Duw tragywyddoldeb, yr Arglwydd creawdr cyrrau 'r ddaiar? * ni ellir chwilio allan ei synhwyr ef.

29 Yr hwn a rydd nerth i'r deffygiol, ac a amlhâ gryfder i'r dirym.

30 Canys yr ieuengtid a ddeffygia, ac a flina, a'r gwŷr ieuaingc gan syrthio a syrthiant:

31 Eithr y rhai a obeithiant yn yr Arglwydd a || adnewyddant eu nerth, ehedant fel eryrod, rhedant ac ni flinant, rhodiant ac ni ddeffygiant.

* Iob. 12.21. Psal. 107.40.
* Psal. 147. 5.
|| Heb. newidiant.

## PEN. XLI.

1 Duw yn ym-ymliw â'i bobl, ynghylch ei drugareddau iw Eglwys, 10 a'i addewidion; 21 Ac ynghylch oferedd delwau ac eulynnod.

Distewch ynysoedd, ger fy mron, adnewydded y cenhedloedd eu nerth; deuant yn nês, yna llefarant; cydnessawn i farn.

2 Pwy a gyfododd || y cyfiawn o'r dwyrain, a'i galwodd at ei droed, a roddodd y cenhedloedd o'i flaen ef, ac a wnaeth iddo lywodraethu ar frenhinoedd? efe a'i rhoddodd [hwynt] fel llwch i'w gleddyf, [ac] fel sofl gwascaredic i'w fwa ef.

3 Y mae efe yn eu herlid hwynt, [ac] yn myned || yn ddiogel, [ar hyd] llwybr ni cherddasai efe â'i draed.

4 Pwy a weithredodd, ac a wnaeth [hyn?] gan alw y cenhedlaethau o'r dechreuad? myfi 'r Arglwydd * y cyntaf, myfi hefyd fydd gyd â'r diweddaf.

5 Yr ynysoedd a welsant, ac a ofnasant, eithafoedd y ddaiar a ddychrynasant, a nesasant, ac a ddaethant.

6 Pôb un a gynnorthwyodd ei gymmydog, ac a ddywedodd wrth ei frawd, ymgryfhâ.

7 Felly y saer a gysurodd yr || eurych, [a'r] morthwyl-wr, yr hwn oedd yn taro ar yr einion, || gan ddywedyd; y mae yn barod i'w asio, ac efe a'i sicrhaodd â hoelion, fel nad yscogir.

8 Eithr ti Israel, fy ngwâs ydwyt ti, Iacob * yr hwn a etholeis, hâd Abraham fy * anwylyd.

9 Ti yr hwn a gymmerais o eithafoedd y ddaiar, ac i'th elwais oddi wrth ei phendefigion, ac y dywedais wrthit, fy ngwâs [wyt] ti, dewisais di, ac ni'th wrthodais.

10 Nac ofna, canys yr [ydwyf] gyd â thi; na lwfrha, canys myfi [yw] dy Dduw: cadarnhâf di, cynnorthwyaf di hefyd, a chynhaliaf di â deheulaw fy nghyfiawnder.

11 Wele * cywilyddir, a gwradwyddir y rhai oll a lidiasent wrthit; || dy wrthwynebwŷr a fyddant megis diddim, ac a ddifethir.

12 Ti a'i ceisi, ac ni's cei hwynt, [sef] || y dynion a ymgynhennasant â thi: || y gwŷr a ryfelant â thi, fyddant megis diddim, a megis peth heb ddim.

13 Canys myfi 'r Arglwydd dy Dduw, a ymaflaf yn dy ddeheulaw, a ddywed wrthit, nac ofna, myfi a'th gynnorthwyaf.

14 Nac ofna, di bryf Iacob, gwŷr Israel; myfi a'th gynnorthwyaf, medd yr Arglwydd, a'th waredydd, Sanct Israel.

15 Wele, gosodaf di yn fenn ddyrnu newydd || ddanheddoc; y mynyddoedd a ddyrni, ac a fâli, gosodi hefyd y bryniau fel || mwlwg.

16 Nithi hwynt, a'r gwynt a'i dwg ymmaith, a'r corwynt a'i gwascar hwynt; a thi a lawenychi yn yr Arglwydd, yn Sanct Israel y gorfoleddi.

17 Pan geisio y trueniaid a'r tlodion ddwfr, ac ni's [cânt: pan] ballo eu tafod o syched, myfi 'r Arglwydd a'i gwrandawaf hwynt, [myfi] Duw Israel ni's gadawaf hwynt.

18 Agoraf * afonydd ar leoedd uchel, a ffynhonnau ynghanol y dyffrynnoedd: gwnaf y * diffaethwch yn llynn dwfr, a'r craſdir yn ffrydiau dyfroedd.

19 Gosodaf yn yr anialwch y cedr-wydd, Shittah, myrt-wydd, ac oliwydd; gosodaf yn y diffaethwch ffynnidwydd, ffawydd, a'r pren box ynghyd:

20 Fel y gwelont, ac y gwybyddont, ac yr ystyriont, ac y deallont ynghyd mai llaw 'r Arglwydd a wnaeth hyn, a Sanct Israel a'i creawdd.

21 Deuwch yn nês a'ch cwyn, medd yr Arglwydd, dygwch eich [rhesymmau] cadarnaf, medd Brenin Iacob.

22 Dygant hwynt allan, a mynegant i ni y pethau a ddigwyddant; mynegwch y pethau gynt beth ydynt, fel || yr ystyriom, ac y gwypom eu diwedd hwynt; neu draethwch i ni y pethau a ddaw.

23 Mynegwch y pethau a ddaw yn ôl [hyn,] fel y gwypom mai duwiau [ydych] chwi; gwnewch hefyd dda neu ddrwg, fel y synno arnom, ac y gwelom ynghyd.

24 Wele, peth heb ddim ydych chwi, a'ch gwaith sydd || ddiddim: ffiaidd [yw'r gŵr] a'ch dewiso chwi.

25 Cyfodais [un] o'r gogledd, ac efe a ddaw: o gyfodiad haul y geilw efe ar fy enw, ac efe a ddaw ar dywysogion fel ar glai, ac fel y sathr crochenydd bridd.

|| Heb gyfiawnder.
|| Heb. mewn heddwch.
* Pen. 43.10. & 44.6. & 48. 12. datc. 1.17. & 22.13.
|| Neu, toddwr.
|| Neu, gan ddywedyd am yr assiad, Da yw.
* Deut. 7.6. & 10.15. & 14.2. Psal. 135.4. Pen. 43.1. & 44.1. * 2 Cron. 20.7. Iac. 2.23.
* Exod. 23.22. Pen. 60.12. Zech. 12.3.
* Pen. 35.7. & 44.3.
* Psal. 107.35.

26 Pwy a fynegodd o'r dechreuad, fel y gwybyddom? ac ym mlaen llaw, fel y dywedom, cyfiawn [yw?] nid oes a fynega, nid oes a ddangosa y chwaith, ac nid oes a glyw eich ymadroddion.

27 Y cyntaf [a ddywed] wrth Sion, wele, wele hwynt, rhoddaf hefyd efangyl-wr i Jerusalem.

28 Canys edrychais, ac nid oedd neb, ie yn eu plith, ac nid [oedd] gyngor-wr, pan ofynnais iddynt, a fedrai || atteb gair.

|| Heb. ddychwelyd.

29 Wele, hwynt oll ydynt wagedd, a'i gweithredoedd yn ddiddim; gwynt a gwagedd yw eu tawdd-ddelwau.

PEN. XLII.

1 Swydd Christ, ynghyd â'i larieidd-dra a'i ddianwadalwch. 5 Addewid Duw iddo ef. 10 Y mae yn annog i foliannu Duw am ei Efengyl: 17 Ac yn beio ar y bobl am eu hanghredyniaeth.

Wele fy ngwâs, yr hwn yr ydwyf yn ei gynnal, fy etholedig, *i'r hwn y mae fy enaid yn fodlon: rhoddais fy Yspryd arno: efe a ddwg allan farn i'r cenhedloedd.

* Mat. 12.18.
* Mat. 3.17. & 17.5. Ephe. 1.6.

2 Ni waedda, ac ni dderchafa, ac ni phair glywed ei lef yn yr heol.

3 Ni ddryllia gorsen yssig, ac ni ddiffydd lin yn || mygu: efe a ddwg allan farn at wirionedd.

|| Neu, yn llosgi yn bwyll.

4 Ni phalla efe, ac ni ddigalonna, hyd oni osodo farn ar y ddaiar; yr ynysoedd hefyd a ddisgwiliant am ei gyfraith ef.

5 Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, creawdudd y nefoedd a'i hestynnudd, lledudd y ddaiar a'i chnwd, rhoddudd anadl i'r bobl arni, ac yspryd i'r rhai a rodiant ynddi.

Pen. 55.5. & 44.3. Psal. 107.3.

6 Myfi'r Arglwydd a'th elwais mewn cyfiawnder, ac ymaflaf yn dy law, cadwaf di hefyd, a rhoddaf di yn gyfammod pobl, [ac] yn *oleuni cenhedloedd:

7 I agoryd llygaid y deillion, i * ddwyn allan y carcharor o'r carchar, a'r rhai a eisteddant [mewn] * tywyllwch o'r carchar-dŷ.

* Pen. 49.6. Luc. 2.32. Act. 13.47.
* Pen. 61.1.
* Luc. 4.18. Heb. 2.14, 15.
Pen. 9.2.

8 Myfi [yw] yr Arglwydd; dymma fy enw, *a'm gogoniant ni roddaf i arall; na'm mawl i ddelwau cerfiedic.

* Pen. 48.11.

9 Wele y pethau o'r blaen a ddaethant i ben, a mynegi 'r ydwyf fi bethau newydd; traethaf [hwy] i chwi cyn eu tarddu allan.

10 Cenwch i'r Arglwydd gân newydd, a'i fawl ef o eithaf y ddaiar: y rhai a ddescynnwch i'r môr, || ac sydd ynddo; yr ynysoedd a'i trigolion.

|| Heb. a'i gyflawnder.

11 Y diffaethwch a'i ddinasoedd, derchafant [eu llef, y] maes-dref a breswylia Cedar: caned preswyl-wyr y graig, bloeddiant o ben y mynyddoedd.

12 Rhoddant ogoniant i'r Arglwydd, a mynegant ei fawl yn yr ynysoedd.

13 Yr Arglwydd â allan fel cawr, fel rhyfel-wr y cyffry eiddigedd: efe a waedda, ie efe a rua, [ac] a || fydd trech nâ'i elynion.

|| Heb. ymgryfha yn erbyn ei elynion.

14 Tewais er ystalm, distewais, ymattaliais; llefaf fel gwraig yn escor, distrywiaf, a || difethaf ar un-waith.

|| Heb. llyncaf.

15 Mi a wnaf y mynyddoedd a'r bryniau yn ddiffaethwch, a'i holl wellt a wywaf; ac a wnaf yr afonydd yn ynysoedd, a'r llynnoedd a sychaf.

16 Arweiniaf y deilliaid ar hyd ffordd nid adnabuant, a gwnaf iddynt gerdded ar hyd llwybrau ni adnabuant, gwnaf dywyllwch yn oleuni o'i blaen hwynt, a'r pethau ceimion yn uniawn. Dymma y pethau a wnaf iddynt, ac ni's gadawaf hwynt.

17 *Troir yn eu hôl, [a] llwyr wradwyddir y rhai a ymddiriedant mewn delwau cerfiedic, y rhai a ddywedant wrth y delwau tawdd, chwi [yw] ein duwiau ni.

* Psal. 97.7. Pen. 1.29. & 44.11. & 45.16.

18 O fyddariaid, gwrandewch, a'r deillion, edrychwch i weled.

19 Pwy [sydd] ddall onid fy ngwâs i? neu fyddar fel fy nghennad a anfonais? pwy mor ddall a'r perffaith, a dall fel gwâs yr Arglwydd?

20 [Er] gweled llawer, * etto nid ystyri; [er] agoryd clustiau, etto ni wrendy.

* Rhuf. 2.21.

21 Yr Arglwydd sydd fodlon, er mwyn ei gyfiawnder, efe a fawrhâ y gyfraith, ac a'i gwna yn anrhydeddus.

22 Etto dymma bobl a yspeiliwyd, ac a anrheithiwyd, || hwy a faglwyd oll mewn tyllau, mewn carchar-dai hefyd y cuddiwyd hwynt; y maent yn yspail, ac heb waredudd; yn || anrhaith, ac heb a ddywedei, dyro yn ei ôl.

|| Neu, yn maglu eu holl wyr ieuaingc hwynt, mewn carch. &c.
|| Heb. sathrfa.

23 Pwy o honoch a wrendy hyn? [pwy] a ystyr, ac a glyw erbyn || yr amser a ddaw?

|| Heb. [yr amser] yn ôl.

24 Pwy a roddes Jacob yn anrhaith, ac Israel i'r yspeil-wŷr? onid yr Arglwydd, yr hwn y pechasom iw erbyn? canys ni fynnent rodio yn ei ffyrdd, ac nid ufyddhaent iw gyfraith.

25 Am hynny y tywalltodd efe arno lidiawgrwydd ei ddigter, a chryfder rhyfel: efe a'i henynnodd oddi amgylch, ond ni wybu efe; llosgodd ef hefyd, ond nid ystyriodd.

PEN. XLIII.

1 Yr Arglwydd yn cysuro ei Eglwys â'i addewidion: 8 yn appelio at y bobl, i fod yn dystion o'i Holl-alluogrwydd: 14 yn rhagfynegi iddynt ddinistr Babilon, 18 a rhyfeddol ymwared ei bobl: 22 Yn argyoeddi 'r bobl megis rhai diesgus.



Ond yr awr hon, fel hyn y dywed yr Arglwydd, dy greawdr di, Jacob; a'th luniwr di, Israel, nac ofna, canys gwaredais di: gelwais [di] erbyn dy enw, eiddo fi [ydwyt.]

2 Pan elych trwy 'r dyfroedd, myfi a [fyddaf] gyd â thi; a thrwy 'r afonydd, [fel] na lifant trosot: pan rodiech drwy 'r tân, ni'th loscir; ac ni ennyn y fflam arnat.

3 Canys myfi yw 'r Arglwydd dy Dduw, Sanct Israel, dy waredudd: myfi a roddais

yr

yr Aipht yn iawn trosot, Ethiopia, a Seba am danat.

4 Er pan aethost yn werthfawr yn fy ngolwg, i'th ogoneddwyd, a mi a'th hoffais; am hynny y rhoddaf ddynion am danat ti, a phobloedd tros dy einioes di.

5 * Nac ofna, canys yr ydwyf fi gyd â thi; o'r dwyrain y dygaf dy hâd, ac o'r gorllewin i'th gasclaf.

6 Dywedaf wrth y gogledd, dôd; ac wrth y dehau, nac attal: dwg fy meibion o bell, a'm merched o eithaf y ddayar:

7 [Sef] pob vn a elwir ar fy enw; canys i'm gogoniant y creais ef, y lluniais ef, ac y gwneuthum ef.

8 Dwg allan y bobl ddall sydd a llygaid iddynt; a'r byddariaid sydd a chlustiau iddynt.

9 Cascler yr holl genhedloedd ynghyd, a chynhuller y bobloedd; * pwy yn eu mysc a fynega hyn? ac a draethai i ni y pethau o'r blaen? dygant eu tystion, fel y cyfiawnhaer hwynt, neu wrandawant, a dywedant, gwir [yw.]

10 Fy nhystion i [ydych] chwi, medd yr Arglwydd, a'm gwâs yr hwn a ddewisais; fel yr adnabyddoch, ac y credoch fi, ac y dealloch mai myfi [yw:] * o'm blaen nid [oedd] || duw wedi ei ffurfio, ac ni bydd ar fy ôl.

11 * Myfi, myfi [yw'r] Arglwydd; ac nid [oes] geidwad onid myfi.

12 Myfi a fynegais, ac a achubais, ac a ddangosais, pryd nad [oedd] duw dieithr yn eich mysc; am hynny chwi [ydych] fy nhystion, (medd yr Arglwydd,) mai myfi [sydd] Dduw.

13 Ie cyn [bod] dydd yr ydwyf; ac nid [oes] a wared o'm llaw; gwnaf, * a phwy a'i || lluddia?

14 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, eich gwaredudd chwi, Sanct Israel; er eich mwyn chwi 'r anfonais i Babilon, ac y tynnais i lawr eu holl || bennaduriaid, a'r Caldeaid, sydd a'i bloedd mewn llongau.

15 Myfi 'r Arglwydd [yw] eich Sanct chwi, creawdudd Israel, eich Brenin chwi.

16 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, yr hwn a * wna ffordd yn y môr, a * llwybr yn y dyfroedd cryfion:

17 Yr hwn a ddwg allan y cerbyd a'r march, y llu a'r cryfder: cyd-orweddant, ni chodant; darfuant, fel llin y diffoddasant.

18 Na chofiwch y pethau o'r blaen, ac nac ystyriwch y pethau gynt.

19 * Wele fi yn gwneuthur peth newydd; yr awr hon y dechreu: oni chewch ei wybod? gwnâf ffordd yn yr anialwch, ac afonydd yn y diffaethwch.

20 Bwyst-fil y maes, y dreigiau, a || chywion yr Estrys, a'm gogoneddant, am roddi o honof ddwfr yn yr anialwch, ] a'r afonydd yn y diffaethwch, i roddi diod i'm pobl, fy newisedic.

21 * Y bobl hyn a luniais i'm fy hun, fy moliant a fynegant.

22 Eithr ni elwaist arnaf, Iacob; ond blinaist arnaf, Israel.

23 Ni ddygaist i'm || filod dy offrymmau poeth, ac ni'm anrhydeddaist a'th ebyrth: ni pherais it fy ngwasanaethu ag offrwm, ac ni'th flinais ag arogl-darth.

24 Ni phrynaist i'm Galamus ag arian, ac ni'm || llenwaist â braster dy ebyrth; eithr ti a wnaethost i mi wasanaethu a'th bechodau, blinaist fi â'th anwireddau.

25 * Myfi, myfi [yw]'r hwn a ddilea dy gamweddau, er fy mwyn fy hun, ac ni chofiaf dy bechodau.

26 Dwg ar gof i'm, cyd-ymddadleuwn, adrodd di, fel i'th gyfiawnhaer.

27 Dy dâd cyntaf a bechodd, a'th || athrawon a wnaethant gamwedd i'm herbyn.

28 Am hynny yr halogais || dywysogion y cyssegr, ac y rhoddais Iacob yn ddiofrydbeth, ac Israel yn wradwydd.

Marginal notes: * Pen. 44. 1. Ier. 30. 10. & 46. 27. — Pen. 41. 22. — Pen 41. 4. & 44. 8. || Neu, dim wedi ei ffurfio gan Dduw. Pen. 45. 21. hos. 13. 4. — Iob 9. 12. Pen. 14. 17. || Heb. dychwel. — || Heb. barrau, neu, ffoaduriaid. — Exod. 14. * Ios. 3. — 2. Cor. 6. 17. Datc. 21. 5. — || Heb. merched. — Luc. 1. 74. 75. — || Heb. oen, neu, fynn. — || Heb. mwydaist, neu, feddwaist. — Ezec. 36. 22. &c. — || Heb. lefarwyr, neu, ddeonglwyr. — || Neu, dywysogion sanctaidd.

## PEN. XLIIII.

1 Duw yn cyssuro ei Eglwys â'i addewidion. 7 Gwagedd ac oferedd Eulynnod: 9 ac ynfydrwydd y rhai a'i gwna. 21 Y mae yn annog i foliannu Duw am ei ymwared, ac am ei Hollgalluogrwydd.



AC yn awr gwrando, * Iacob fy ngwâs, ac Israel yr hwn a ddewisais.

2 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, yr hwn a'th wnaeth, ac a'th luniodd o'r grôth, efe a'th gynnorthwya; nac ofna, fy ngwâs Iacob, a thi Iesurun, yr hwn a ddewisais.

3 * Canys tywalldaf ddyfroedd ar y sychedic, a ffrydiau ar y sych-dir; tywalldaf fy Yspryd ar dy hâd, a'm bendith ar dy hiliogaeth.

4 A hwy a dyfant megis ym mysc glas-wellt, fel helyg wrth ffrydiau dyfroedd.

5 Hwn a ddywed, eiddo 'r Arglwydd ydwyf, a'r llall a'i geilw ei [hun] ar enw Iacob, ac arall a scrifenna â'i law, eiddo'r Arglwydd [ydwyf,] ac a ymgyfenwa ar enw Israel.

6 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Brenin Israel a'i waredudd, Arglwydd y lluoedd, * myfi [yw y] cyntaf, diweddaf [ydwyf] fi hefyd, ac nid [oes] Duw onid myfi.

7 Pwy hefyd fel fi, a eilw, a fynega, ac a esyd hyn yn drefnus i mi, er pan osodais yr hên bobl? neu mynegant iddynt y pethau sy ar ddyfod, a'r pethau a ddaw.

8 Nac ofnwch, ac nac arswydwch; oni er hynny o amser y treuthais it, ac y mynegais? a'm tystion [ydych] chwi: a oes Duw onid myfi? ie * nid [oes] || duw: nid adwen i yr vn.

9 Oferedd ydynt hwy oll, y rhai a luniant ddelw gerfiedic, ni wna eu pethau || dymunol lesâd: tystion ydynt iddynt eu hun, * na welant, ac na wyddant, fel y byddo cywilydd arnynt.

10 Pwy a luniei dduw, neu a fwriei ddelw

Marginal notes: Pen. 41. 8. 43. 1. ieremi. & 46. 27. — || Neu, graig. — || Heb. ofn, a galon. — Pen. 35. 7. ioel. 2. 28. ioan. 7. 38. act. 2. 18. — || Heb. hiliogaeth. — Pen. 41. 4. & 48. 12. datc. 1. 8. 17. & 22. 13. — Pen. 45. 5. deut. 4. 35. & 32. 39. 1. Sam. 2. 2. — || Heb. graig. — || Neu, hyfryd. Psal. 115. 4. &c.

lw gerfiedic, heb wneuthur dim lles?

11 Wele, ei holl gyfeillion a *gywilyddir, y seiri hefyd o ddynion y maent: casgler hwynt oll, safant i fynu; etto hwy a ofnant, [ac] a gyd-gywilyddiant.

* Psal. 97. 7. Pen. 1. 29. & 42. 17. & 45. 16.

12 *Y gôf || â'r efail a weithia yn y glô, ac a'i llunia â morthwylion, ac â nerth ei fraich y gweithia efe hi: newynog [yw] hefyd, a'i nerth a balla, nid yf ddwfr, ac y mae yn deffygio.

* Jer. 10. 3. Doeth. 13. 11.
|| Neu, a'r wdhis fwyell.

13 Y saer pren a estyn ei linyn, efe a'i llunia hi wrth linyn côch, efe a'i cymmhwysa hi â bwyill, ac a'i gweithia wrth gwmpas, ac a'i gwna ar ôl delw ddyn, fel prydferthwch dyn, i aros [mewn] tŷ.

14 Efe a dyrr iddo gedr-wŷdd, ac a gymmer y cypres-wydden a'r dderwen, ac || a ymegnia ymmysg prenni 'r coed: efe a blanna onnen, a'r glaw a'i maetha.

|| Neu, a'i cadarnha.

15 Yna y bydd i ddyn i gynneu [tân;] canys efe a gymmer o honi, ac a ymdwymna; ie efe a'i llysc ac a boba fara; gwna hefyd dduw, ac a'i haddola ef, gwna ef yn ddelw gerfiedic, ac a ymgrymma iddo.

16 Rhan o honaw a lŷsc efe yn tân, wrth ran o honaw y bwytty gig, y rhostia rost, fel y diwaller ef: efe a ymdwymna hefyd, ac a ddywed, aha, ymdwymnais, gwelais dân.

17 A'r rhan arall yn dduw y gwna, yn ddelw gerfiedic iddo, efe a ymgrymma iddo, ac a'i haddola, ac a weddia arno, ac a ddywed, gwared fi, canys fy nuw ydwyt.

18 Ni wyddant, ac ni deallant, canys [Duw] a || gaeodd eu llygaid hwynt rhag gweled, a'i calonnau rhag deall.

|| Neu, ddwbiodd.

19 Ie ni || feddwl [neb] yn ei galon, ie nid [oes] wybodaeth, na deall i ddywedyd, llosgais ran o hono yn tân, ac ar ei farwor y pobais fara, y rhostiais gig, ac y bwytteais; ac a wnaf fi y rhan arall yn ffiaidd-beth? a ymgrymmaf || i foncyff o bren?

|| Heb. ni fydd neb i galon.
|| Heb. i'r hyn sydd o bren.

20 Ymborth ar ludw y mae, calon siommedic a'i gŵyr-drôdd ef, fel na waredo ei enaid, ac na ddywedo, onid oes celwydd yn fy neheu-law?

21 Meddwl hyn, Jacob, ac Israel, canys fy ngwâs [ydwyt] ti: lluniais di, gwâs i mi [ydwyt,] Israel, ni'th anghofir gennif.

22 Deleais dy gamweddau fel cwmwl, a'th bechodau fel niwl: dychwel attaf fi, canys myfi a'th waredais di.

23 Cenwch nefoedd, canys yr Arglwydd a wnaeth [hyn,] bloeddiwch gwaelodion y ddaiar, bloeddiwch ganu fynyddoedd, y coed a phob pren ynddo: canys gwaredodd yr Arglwydd Jacob, ac yn Israel yr ymogonedda efe.

24 Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd dy waredydd, a'r hwn a'th luniodd o'r grôth; myfi yw 'r Arglwydd sydd yn gwneuthur pob peth, yn estyn y nefoedd fy hunan, yn lledu y ddaiar o honof fy hun:

25 Yn diddymmu arwyddion y rhai celwyddog, ac yn ynfydu dewiniaid, yn troi y doethion yn eu hôl, ac yn gwneuthur eu gwybodaeth yn ynfyd:

26 Yr hwn a gyflawna air ei wâs, ac a gwplhâ gyngor ei gennadon, yr hwn a ddywed wrth Jerusalem, ti a breswylir; ac wrth ddinasoedd Juda, chwi a adeiledir; a chyfodaf ei || hadwyau:

|| Heb. diffaethfaodd.

27 Yr hwn wyf yn dywedyd wrth y dyfnder, bydd sych; ac mi a sychaf dy afonydd:

28 Yr hwn wyf yn dywedyd wrth Cyrus, fy mugail yw, ac efe a gyflawna fy holl ewyllys, gan ddywedyd wrth Jerusalem, *ti a adeiledir, ac wrth y deml, ti a sylfeinir.

* 2. Cron. 36. 22. Ezra 1. 1. Pen. 45. 13.

## PEN. XLV.

1 Duw yn galw Cyrus er mwyn ei Eglwys: 5 Yn gofyn ufydd-dod am ei fod yn Hollalluog: 20 Yn dangos ofered ydyw Eulynnod, wrth ei allu yn ymwared.

Fel hyn y dywed yr Arglwydd wrth ei enneiniog, wrth Cyrus, yr hwn || yr ymaflais i yn ei ddehau-law, i ddarostwng cenhedloedd o'i flaen ef: ac mi a ddattodaf lwyni brenhinoedd, i agoryd y dôrau o'i flaen ef, a'r pyrth ni cheuir.

|| Neu, y cryfhais ei ddeheulaw.

2 Mi âf o'th flaen di, ac a uniônaf y gŵyrgeimion, y dorau prês a dorraf, a'r barrau heirn a ddrylliaf:

3 Ac a roddaf it dryssorau cuddiedic, a chuddfeydd dirgel, fel y gwypech, mai myfi yr Arglwydd, yr hwn a'th alwodd erbyn dy enw, yw Duw Israel.

4 Er mwyn Jacob fy ngwâs, ac Israel fy etholedic i'th elwais erbyn dy enw; mi a'th gyfenwais er na'm hadwaenit.

5 *Myfi [ydwyf] yr Arglwydd, ac nid arall, nid [oes] Duw onid myfi; gwregysais di er na'm hadwaenit.

* Deut. 4. 35. 39. & 32. 39. Pen. 44. 8.

6 Fel y gwypont o godiad haul, ac o'r gorllewin, nad neb onid myfi; myfi [yw'r] Arglwydd, ac nid arall:

7 Yn llunio goleuni, ac yn creu tywyllwch, yn gwneuthur llwyddiant, ac yn creu drygfyd: myfi 'r Arglwydd sydd yn gwneuthur hyn oll.

8 Defnynnwch nefoedd oddi uchod, a thywallted yr wybrennau gyfiawnder, ymagored y ddaiar, ffrwythed iechydwriaeth a chyfiawnder, cyd-tarddant; myfi 'r Arglwydd a'i creais.

9 Gwae a ymrysono â'i luni-wr, [ymrysoned] priddell â phriddellau 'r ddaiar; *a ddywed y clai wrth ei luni-wr, beth a wnei? neu [y] mae dy waith heb ddwylo iddo?

* Jer. 18. 6. Rhuf. 9. 20.

10 Gwae a ddywedo wrth [ei] dâd, beth a genhedli? neu wrth y wraig, beth a escoraist?

11 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Sanct Israel, a'i luni-wr, gofynnwch i mi y pethau a ddaw am fy meibion, a gorchymynnwch fi am waith fy nwylo.

12 Myfi a wneuthum y ddaiar, ac a greais ddŷn arni; myfi, ie fy nwylo i a estynnasant y nefoedd, ac a orchymynnais eu holl luoedd.

13 Mysi a'i cyfodais ef mewn cyfiawnder, a'i holl ffyrdd a *|| gyfarwyddaf; efe a adeilada fy ninas, efe a ollwng fy ngharcharorion, heb na gwerth na gobrwy, medd Arglwydd y lluoedd.

|| neu, vniawnaf.
* 2.Cron.36. 22. Ezra 1.1. Pen.44.28.

14 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, llafur yr Aipht, a marsiandiaeth Ethiopia, a'r Sabeaid hirion a ddeuant attat ti, ac eiddo ti fyddant, ar dy ôl y deuant, mewn cadwyni y deuant trosodd; ac ymgrymmant i ti, attat y gweddiant [gan ddywedyd:] yn ddiau ynot ti [y mae] Duw, ac nid [oes] arall, nac oes duw.

15 Ti yn ddiau wyt Dduw yn ymguddio, ô Dduw Israel yr achubwr.

16 Cywilyddir a gwradwyddir hwynt oll; * seiri delwau a ânt ynghyd i wradwydd.

Pen. 44.11.

17 Israel a achubir yn yr Arglwydd [ag] iechydwriaeth dragywyddol: ni'ch cywilyddir, ac ni'ch gwradwyddir byth bythoedd.

18 Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd, creawdudd y nefoedd, y Duw ei hun a luniodd y ddaiar, ac a'i gwnaeth; efe a'i sicrhaodd hi, ni chreawdd hi yn ofer, iw phreswylio y lluniodd hi; mysi [yw 'r] Arglwydd, ac nid neb amgen.

19 Nilleferais * mewn dirgelwch, mewn man tywyll o'r ddaiar, ni ddywedais wrth hâd Jacob, ceisiwch fi yn ofer: mysi ['r] Arglwydd wyf yn llefaru cyfiawnder, [ac] yn mynegi pethau vnion.

Deut.3.11.

20 Ymgesclwch, a dewch, cyd-nessewch, rai diangol y cenhedloedd, nid oes gwybodaeth gan y rhai a dderchafant goed eu cerf-ddelw, ac a weddiant Dduw nid all achub.

21 Mynegwch, a nessewch [hwynt,] cyd-ymgyngho rant hefyd, pwy a draethodd hyn er cynt: [pwy] a'i mynegodd er y pryd hynny? onid mysi 'r Arglwydd? ac nid oes Duw arall onid mysi: yn Dduw cyfiawn, ac yn achubudd, nid [oes] onid mysi.

22 Trowch eich wynebau attafi, holl gyrrau 'r ddaiar, fel i'ch achuber: canys mysi [wyf] Dduw, ac nid neb arall.

23 I'm fy hun y tyngais, aeth y gair o'm genau [mewn] cyfiawnder, ac ni ddychwel, mai * i mi y plyga pob glin, y twng pob tafod.

24 Yn ddiau || yn yr Arglwydd (medd vn) [y mae] i mi gyfiawnder, a nerth; atto ef y deuir, a chywilyddir pawb a ddigiant wrtho.

25 Yn yr Arglwydd y cyfiawnheir, ac yr ymogonedda holl hâd Israel.

Rhuf. 14.11. Phil.2.10.
|| neu, efe a ddywed am danaf, yn yr Arg. y mae pob cyfiawnder. Heb. cyfiawnderau.

PEN. XLVI.

1 Na allai eulynnod Babylon eu hachub eu hunain. 3 Bod Duw yn achub ei bobl hyd y diwedd. 5 Nad yw eulynnod gyffelyb i Dduw mewn gallu, 12 nac mewn ymwared presennol.



Crymmodd Bel, plygodd Nebo; eu delwau oedd ar swystfilod, ac ar anifeiliaid: eich clud a lwythwyd yn drwm, llwyth ydynt i'r deffygiol.

2 Gostyngant, cyd-grymmant, ni allent achub y llwyth, || ond aethant mewn caethiwed eu hunain.

|| Heb. eu henaid aeth mewn, &c.

3 Tŷ Jacob, gwrandewch arnafi, a holl weddill tŷ Israel, y rhai a ddygpwyd gennif o'r groth, ac a arweddwyd o'r bru.

4 Hyd henaint hefyd mysi yw, fe mysi [a'ch] dygaf hyd oni ben-wynnoch: gwneuthum, arweddaf hefyd, ie dygaf, a gwaredaf [chwi.]

5 I bwy i'm gwnewch yn debyg, ac i'm cystedlwch, * âc i'm cyffelybwch, fel y byddom debyg.

Pen.40.18,25.

6 Hwy a wastraffant aur o'r pwrs, ac a bwysant arian mewn clorian, a gyflogant eurych, ac efe a'i gweithia yn dduw, gostyngant, ac ymgrymmant.

7 Dygant ef ar yscwyddau, dygant ef ac a'i gosodant yn ei lê, ac efe a saif; ni syfl o'i le; os llefa [vn] arno, nid etteb, ac ni's gwared ef o'i gystudd.

8 Cofiwch hyn, a byddwch wŷr; atcofiwch, droseddwyr.

9 Cofiwch y pethau gynt er ioed, canys mysi [ydwyf] Dduw, ac nid neb arall; Duw [ydwyf,] ac heb fy mâth:

10 Yn mynegi y diwedd o'r dechreuad, ac er cynt yr hyn ni wnaed [etto,] yn dywedyd, * fy nghyngor a saif, a'm holl ewyllys a wnaf:

Psal.33.11. Diar.19.21. & 21.30. Heb.6.17.
|| Heb. fy nghyngorwr.

11 Yn galw aderyn o'r dwyrain, || y gŵr a wna fy-nghyngor, o wlad bell; dywedais, ac mi a'i dygaf i ben, mi a'i lluniais, ac mi a'i gwnaf.

12 Gwrandewch arnafi, y rhai cedyrn galon, y rhai pell oddi wrth gyfiawnder.

13 Nesseais fy nghyfiawnder; ni bydd bell, a'm hiechydwriaeth nid erys: rhoddaf hefyd iechydwriaeth yn Sion, i'm gogoniant Israel.

PEN. XLVII.

1 Barnedigaethau Duw ar Babilon a Chaldæa, 6 am eu hannrhugarogrwydd, 7 a'i balchder, 10 a'i rhyfyg: 11 Ac nas gellir eu gwrthwynebu.

DEscyn, ac eistedd yn y llwch, [ti] forwyn, ferch Babilon: eistedd ar lawr, nid oes orseddfaingc, [ti] ferch y Caldeaid: canys ni'th alwant mwy yn dyner, ac yn foethus.

2 Cymmer y meini melin, a mala flawd, datcuddia dy lywethau, noetha dy sodlau, dinoetha dy forddwydydd, dôs drwy 'r afonydd.

3 Dy noethni a ddatcuddir, dy warth hefyd a welir; dialaf, ac nid fel dŷn i'th gyfarfyddaf.

4 Ein gwaredydd ni, ei enw [yw] Arglwydd y lluoedd, Sanct Israel.

5 Eistedd yn ddistaw, a dôs i dywyllwch, [ti] ferch y Caldeaid; canys ni'th alwant mwy yn arglwyddes y teyrnasoedd.

6 Digiais wrth fy mhobl; halogais fy etifeddiaeth, a rhoddais hwynt yn dy law di; ni chymmeraist drugaredd arnynt; rhoddaist dy iau yn drom iawn ar yr henuriaid.

7 A dywedaist, byth y byddaf * arglwyddes, felly nid ystyriaist hyn, ac ni chofiaist ei diwedd hi.

*Datc.18.17.

8 Am hynny yn awr gwrando hyn, y foethus, yr hon a drigi yn ddiofal, yr hon a ddywedi yn dy galon, myfi sydd, ac nid neb ond myfi: nid eisteddaf yn weddw, ac ni chaf wybod beth yw diheppiledd.

9 *Ond y ddau beth hyn a ddaw it yn ddisymmwth yr vn dydd, diheppiledd, a gweddwdod; yn gwbl y deuant arnat, am amlder dy hudoliaethau, a mawr nerth dy swynion.

*Pen.51.19.

10 Canys ymddiriedaist yn dy ddrygioni, dywedaist, ni'm gwel [neb;] dy ddoethineb, a'th wybodaeth a'th || hurtiant, a dywedaist yn dy galon, myfi [sydd,] ac nid neb arall ond myfi.

||Neu, droant ymaith.

11 Am hynny y daw arnat ddrygfyd, yr hwn ni chei wybod ei || gyfodiad; a syrth arnat ddinistr ni's gelli ei ochelyd: ie, daw arnat ddestryw yn ddisymmwth, heb wybod it.

||Heb. wawr.

12 Saf yn awr gyd â'th swynion, a chyd ag amlder dy hudoliaethau, yn y rhai 'r ymflinaist o'th ieuengctid; [i edrych] a elli wneuthur llês, [i edrych] a fyddi grymmus.

13 Ymflinaist yn amlder dy gynghorion dy hun, safed yn awr astronomyddion y nefoedd, y rhai a dremiant ar y ser, y rhai a yspysant am y misoedd, ac achubant di oddi wrth y petheu a ddeuant arnat.

14 Wele, hwy a fyddant fel sofl; y tân a'i llysc hwynt, ni waredant eu || heneioes o feddiant y fflam; ni bydd marwor yn i ymdwymno, [na] thân i eistedd ar ei gyfer.

||Heb, eneidiau.

15 Felly y byddant hwy it, gyd â'r rhai yr ymflinaist, [sef] dy farsiand-wŷr o'th ieuengtid, cyrwydrasant bob vn ar ei duedd, nid oes [vn] yn dy achub di.

## PEN. XLVIII.

1 Duw, i argyoeddi 'r bobl o'i hynod gyndynrwydd, yn datcuddio ei brophwydoliaethau. 9 Er ei fwyn ei hun y mae efe yn eu gwared hwy. 12 Y mae yn eu hannog hwy i fod yn vfydd, o herwydd ei allu a'i ragluniaeth ef: 16 Yn cwyno eu cildynrwydd hwy. 20 O'i fawr allu y mae yn gwared ei bobl o Babylon.

GWrandewch hyn tŷ Jacob, y rhai a elwir ar enw Israel, ac a ddaethant allan o ddyfroedd Juda; y rhai a dyngant i enw yr Arglwydd, ac a goffânt am Dduw Israel; nid mewn gwirionedd, nac mewn cyfiawnder.

2 Canys hwy a'i galwant eu hunain o'r ddinas sanctaidd, ac a bwysant ar Dduw Israel, enw yr hwn [yw] Arglwydd y lluoedd.

3 Y pethau gynt a fynegais er y pryd hynny, a daethant o'm genau, ac mi a'i traethais, mi a'i gwnaethum yn ddisymmwth, daethant i ben.

4 O herwydd i'm wybod dy [fod] ti yn galed, a'th warr [fel] gewyn haiarn, a'th dalcen yn brês:

5 Mi a'i mynegais i ti er y pryd hynny, adroddais it cyn ei ddyfod, rhac dywedyd o honot, fy nelw a'i gwnaeth, fy ngherf-ddelw, a'm tawdd-ddelw, a'i gorchymmynnodd.

6 Ti a glywaist, gwel hyn oll, ac oni fynegwch chwitheu [ef:] adroddais it bethau newyddion o'r pryd hyn, a phethau cuddiedic, y rhai ni wyddit oddi wrthynt.

7 Yn awr y crewyd hwynt, ac nid er y dechreuad, cyn y dydd ni chlywaist sôn amdanynt: rhac dywedyd o honot, wele gwyddwn hwynt.

8 Ie nis clywsit, ac nis gwyddit chwaith, nid agorasid dy glust y pryd hynny; canys gwyddwn y byddit lwyr anffyddlon, a'th alw o'r groth yn drosedd wr.

9 Er mwyn fy enw 'r oedaf fy llid, ac [er] fy mawl yr ymattaliaf oddi wrthit, rhag dy ddifetha:

10 Wele, myfi a'th burais, ond nid || fel arian; dewisais di mewn pair cystudd.

||Neu, i arian.

11 Er fy mwyn fy hun, er fy mwyn fy hun, y gwnaf [hyn;] canys pa fodd yr halogid [fy enw]? ac *ni roddaf fy ngogniant i arall.

*Pen.42.8.

12 Gwrando arnafi Jacob, ac Israel yr hwn a elwais; *myfi [yw,] myfi [yw] y cyntaf, a mi yw y diwethaf.

*Pen. 41.4. & 44.6. Datc.1.17. & 22.13.

13 Fy llaw i hefyd a seiliodd y ddaiar, a'm deheulaw i a || rychwantodd y nefoedd: pan alwyfi arnynt, hwy a gyd-safant.

||Neu, ddyrnfeddodd.

14 Ymgesclwch oll a gwrandewch; pwy o honynt hwy a fynegodd hyn? yr Arglwydd a'i hoffodd: ef a wna ei ewyllys ar Babilon, a'i fraich [a fydd] ar y Caldeaid.

15 Myfi, myfi a leferais, ac a'i gelwais ef: dygais ef, ac fe a lwydda ei ffordd ef.

16 Nessewch attaf, gwrandewch hyn; ni leferais o'r cyntaf yn ddirgel; er y pryd y mae hynny 'r [ydwyf] inneu yno: ac yn awr yr Arglwydd Dduw a'i Yspryd a'm hanfonodd.

17 Fel hyn y dywed yr Arglwydd dy waredudd, Sanct Israel; myfi yw 'r Arglwydd dy Dduw, yr hwn wyf yn dy ddyscu di i wellhau, gan dy arwein yn y ffordd y dylit rodio.

18 O na wrandawsit ar fy ngorchymmynion, yna y buasei dy heddwch fel afon, a'th gyfiawnder fel tonnau 'r môr.

19 A buasei dy hâd fel y tywod, ac eppil dy gorph fel ei raian ef: ni thorrasid, ac ni ddinistriasid ei enw, oddi ger fy mron.

20 Ewch allan o Babilon, ffowch oddi wrth y Caldeaid, â llef gorfoledd: mynegwch, [ac] adroddwch hyn, treuthwch ef hyd eithafoedd y ddaiar: dywedwch, * gwaredodd yr Arglwydd ei wâs Jacob.

Exod. 19.4.5.6.

21 Ac ni sychedasant pan arweiniodd hwynt yn yr anialwch, * gwnaeth i ddwfr bistyllio iddynt o'r graig: holltodd y graig hefyd, a'r dwfr a ddylifodd.

Exod.17.6. Num.20.11.

22 * Nid [oes] heddwch, medd yr Arglwydd, i'r rhai annuwiol.

Pen.57.21.

## PEN. XLIX.

1 Christ wedi ei anfon at yr Iuddewon, yn achwyn rhagddynt. 5 Ei anfon ef at y Cenhedloedd ag addewidion grasusol. 13 Bod cariad Duw tuac at ei Eglwys, yn dragwyddol.

18 Helaeth

18 Helaeth adferu yr Eglwys. 24 Y galluog ymwared allan o'r caethiwed.

GWrandewch arnaf ynysoedd, ac ystyriwch bobl o bell. Yr Arglwydd a'm galwodd o'r grôth, o ymyscaroedd fy mam y gwnaeth goffa am fy enw.

2 Gosododd hefyd fy ngenau fel cleddyf llym, ynghyscod ei law i'm cuddiodd, a gwnaeth fi yn saeth loyw; cuddiodd fi yn ei gawell saethau,

3 Ac a ddywedodd wrthif, fy ngwâs i [ydwyt] ti Israel, yr hwn yr ymogoneddaf ynot.

4 Minneu a ddywedais, yn ofer y llafuriais, yn ofer ac am ddim y treuliais fy nerth: er hynny [y mae] fy marn gyd â'r Arglwydd, a'm || gwaith gyd â'm Duw.

*|| Neu, gwobr.*

5 Ac yn awr, medd yr Arglwydd, yr hwn a'm lluniodd o'r groth yn wâs iddo, i ddychwelyd Jacob atto ef, || er nad ymgasclodd Israel, etto gogoneddus fyddafi yngolwg yr Arglwydd, a'm Duw fydd fy nerth.

*|| Neu, fel yr ymgasclo Isr. atto, ac y byddwyf yn og. yngolwg. &c.*

6 Ac efe a ddywedodd, || gwael yw dy fod yn wâs i mi, i gyfodi llwythau Jacob, ac i adferu || rhai cadwedic Israel, mi a'th roddaf hefyd yn * oleuni i'r cenhedloedd, fel y byddych yn iechydwriaeth i mi, hyd eithaf y ddaiar

*|| Neu, ai gwaelach wyt nag y byddit yn wâs &c ?*
*|| Neu, diffaethfaoedd.*
** Pen. 42. 6.*

7 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, gwaredudd Israel a'i Sanct, wrth y dirmygedic || o enaid, wrth yr hwn sydd ffiaidd gan y genhedl, wrth was llywodraeth-wyr; brenhinoedd a welant, ac a gyfodant, tywysogion hefyd a ymgrymmant, er mwyn yr Arglwydd, yr hwn [sydd] ffyddlon, Sanct Israel, ac efe a'th ddewisodd di.

*|| Neu, gan ddyn.*

8 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, * mewn amser bodlon-gar i'th wrandewais, ac yn nydd iechydwriaeth i'th gynnorthwyais, a mi a'th gadwaf yn gyfammod y bobl, i || siccrhau y ddaiar, i beri etifeddu yr etifeddiaethau anghyfaneddol;

** 1. Cor. 6. 2.*
*|| Neu, i gyfodi.*

9 Fel y dywedych wrth y * carcharorion, ewch allan; wrth y rhai [sydd] mewn tywyllwch, ymddangoswch; ar y ffyrdd y porant, ac yn yr holl uchelfannau [y bydd] ei porfa hwynt.

** Pen. 42. 8.*

10 * Ni newynant, ac ni sychedant, ac ni's tery gwrês, na haul hwynt: o herwydd yr hwn a dostur a wrthynt, a'i tywys, ac a'i harwein wrth y ffynhonnau dyfroedd.

** Datc. 7. 16.*

11 A mi a wnaf fy holl fynydd yn ffordd, a'm priffyrdd a gyfodir.

12 Wele, y rhai hyn a ddeuant o bell, ac wele, y rhai accw o'r gogledd, ac o'r gorllewin; a'r rhai ymma o dir Sinim.

13 Cenwch nefoedd; a gorfoledda ddaiar, bloeddiwch ganu y mynyddoedd; canys yr Arglwydd a gysurodd ei bobl, ac a drugarhâ wrth ei drueniaid.

14 Etto dywedodd Sion, yr Arglwydd a'm gwrthododd, a'm Arglwydd a'm anghofiodd.

15 A anghofia gwraig ei phlentyn sugno, || fel na thosturio wrth fâb ei chroth? ie hwy a allant anghofio, etto myfi nid anghofiaf di.

*|| Heb. rhag tosturio.*

16 Wele, ar gledr [fy] nwylo i'th argreffais, dy furiau [sydd] ger fy mron bob amser.

17 Dy || blant a frysiant, y rhai a'th ddinistriant, ac a'th ddestrywiant, a ânt allan o honot.

*|| Neu, adeiladwyr.*

18 * Dyrcha dy lygaid oddi amgylch, ac edrych; y rhai hyn oll a ymgasclant, [ac] a ddeuant attat: fel mai byw fi, medd yr Arglwydd, diau y gwisci hwynt oll, fel harddwisc; ac y rhwymi hwynt am danat, fel priod-ferch.

** Pen. 60. 4.*

19 Canys dy ddiffaithwch, a'th anialwch, â'th dir dinistriol, yn ddiau sydd yn awr yn rhy gyfyng gan breswyl-wŷr; a'r rhai a'th lyngcant a ymbellhânt.

20 Plant dy ddi-heppiledd, a ddywedant etto lle y clywech, cyfyng yw y lle hwn i mi; dôd le i mi fel y preswyliwyf.

21 Yna y dywedi yn dy galon, pwy a genhedlodd y rhai hyn i mi; a mi yn ddi-heppil, ac yn unic, yn gaeth, ac ar grwydr? a phwy a fagodd y rhai hyn? wele, myfi a adawyd fy hunan, || o ba le y [daeth] y rhai hyn?

*|| Neu, pa le y oedd.*

22 Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, wele, cyfodaf fy llaw at y cenhedloedd, a derchafaf fy mâner at y bobloedd; a dygant dy feibion || yn eu mynwes, a dygir dy ferched ar ysgwyddau.

*|| Neu, eu breichiau.*

23 Brenhinoedd hefyd fydd dy dadmaethod, a'i || brenhinesau dy fammaethod, crymmant it a'i hwynebau tua'r llawr, * a llyfant lwch dy draed, a chei wybod mai myfi [yw'r] Arglwydd; canys ni chywilyddir y rhai a ddisgwiliant wrthifi.

*|| Heb. tywysogesau.*
** Psal. 72. 9.*

24 A ddygir y caffaeliad oddi ar y cadarn? neu a waredir || y rhai a garcherir yn gyfiawn?

*|| Heb. caethiwed y cyfiawn.*

25 Ond fel hyn y dywed yr Arglwydd, ie || carcharorion y cadarn a ddygir, ac anrhaith y creulon a ddiangc: canys myfi a ymryssonaf â'th ymryssonudd, ac myfi a achubaf dy feibion.

*|| Heb. caethglud.*

26 Gwnaf hefyd i'th orthrym-wŷr fwytta eu cîg eu hunain, ac ar eu * gwaed eu hun y meddwant, fel ar win || melys; a gwybydd pob cnawd mai myfi 'r Arglwydd [yw] dy achubydd, a'th gadarn waredydd di Jacob.

** Datc. 14. 20 & 16. 6.*
*|| Neu, newydd.*

## PEN. L.

1 Christ yn dangos nad efe yw'r achos y gwrthodwyd yr Iuddewon, am ei fod yn abl i'w hachub hwy, 5 am ei fod yn ufydd i wneuthur hynny, 7 ac am ei fod yn ymddiried ynghymmorth Duw. 10 Anog i hyderu ar Dduw, ac nid arnom ein hunain.



FEl hyn y dywed yr Arglwydd, pa le y mae llythyr yscar eich mam, [|| trwy] 'r hwn y gollyngais hi ymmaith? neu pwy o'm dyledwyr y gwerthais chwi iddo? wele am eich anwireddau yr ymwerthasoch, ac am eich camweddau y gollyngwyd ymmaith eich mam.

*|| Trwy'r hwn i ymaith.*

2 * Pa ham pan ddeuthum, nad oedd neb [i'm derbyn?] pa alwais, nad attebodd [neb?]

** Ioan. 1. 11.*

* gan

*pan gwttogi a gwttogodd fy llaw, fel na allei ymwared? neu onid [oes] ynof nerth i achub? wele â'm cerydd y *sychaf y môr; gwnenthum yr *afonydd yn ddiffaethwch, eu pyscod a ddrewant o eisieu dwfr, ac a fyddant feirw o syched.

*Num.11.23. Pen.59.1. *Exod.14.21. *Ios.3.16.

3 Gwiscaf y nefoedd â thywyllwch, a gosodaf sach-liain yn dô iddynt.

4 Yr Arglwydd Dduw a roddes i'm dafod y dyscedic, i fedru mewn pryd lefaru gair wrth y *deffygiol; deffry fi bob boreu, deffry i'm glust i glywed fel y dyscedic.

*Matt.11.28.

5 Yr Arglwydd Dduw a agorodd fy nghlust, a minneu ni* wrthwynebais, [ac] ni chiliais yn [fy] ôl.

*Io.14.31. Heb.10.5.&c. Phil.2.8.

6 Fy nghorph *a roddais i'r cur-wyr, a'm cernau i'r rhai a dynnai'r blew, ni chuddiais fy wyneb oddi wrth wradwydd, a phoeredd.

*Matt.26.67. & 27.26.

7 O herwydd yr Arglwydd Dduw a'm cynnorth, am hynny ni'm cywilyddir; am hynny gosodais fy wyneb fel callestr, a gwn na'm cywilyddir.

8 *Agos [yw]'r hwn a'm cyfiawnha, pwy a ymryson â mi? safwn ynghyd; pwy yw ||fy ngwrthwynebwr? nessaed attaf.

*Rhuf.8.32.33. ||Heb. meistr fy nadl.

9 Wele'r Arglwydd Dduw a'm cynnorthwya, pwy [yw]'r hwn a'm bwrw yn euog? wele, hwynt oll a heneiddiant fel dilledyn, y gwyfyn a'i hyssa hwynt.

10 Pwy yn eich mysc sydd yn ofni'r Arglwydd, yn gwrandaw ar lais ei wâs ef, yn rhodio [mewn] tywyllwch, ac heb lewyrch iddo? gobeithied yn enw'r Arglwydd, ac ymddiried yn ei Dduw.

11 Wele, chwi oll y rhai ydych yn cynneu tân, [ac] yn eich amgylchu eich hunain â gwreichion; rhodiwch wrth lewyrch eich tân, ac wrth y gwreichion a gynneuasoch; *o'm llaw i y bydd hyn i chwi; mewn gofid y gorweddwch.

*Io.9.39.

## P E N. LI.

1 Cynghor i hyderu ar Grist, yn ôl esampl Abraham, 13 o herwydd ei addewidion cyssur-fawr, a'i gyfiawn ymwared, 7 a marwoldeb dyn. 9 Bod Christ â'i sanctaidd fraich, yn ymddiffyn yr eiddo rhag ofn dyn. 17 Y mae yn cwyno adfyd Ierusalem, 21 ac yn addaw ymwared.



Wrandewch arnaf i ddilyn-wyr cyfiawnder, y rhai a geisiwch yr Arglwydd: edrychwch ar y graig i'ch naddwyd, ac ar geudod y ffôs i'ch cloddiwyd [o honynt.]

2 Edrychwch ar Abraham eich tâd, ac ar Sara a'ch escorodd; canys ei hunan y gelwais ef, ac y bendithiais, ac yr amlheais ef.

3 O herwydd yr Arglwydd a gyssura Sion; efe a gyssura ei holl anghyfanneddleoedd hi, gwna hefyd ei hanialwch hi fel Eden, a'i diffaethwch fel gardd yr Arglwydd: ceir ynddi lawenydd a hyfrydwch, diolch, a llais cân.

4 Gwrandewch arnaf fy mhobl, clustymwrandewch â mi, fy nghenedl; canys cyfraith a â allan oddi wrthif, a gosodaf fy marn yn oleuni pobloedd.

5 Agos yw fy nghyfiawnder; fy iechydwriaeth aeth allan, fy mreichiau hefyd a farnant y bobloedd: yr ynysoedd a ddisgwiliant wrthif, ac a ymddiriedant [yn] fy mraich.

6 Derchefwch eich llygaid tua'r nefoedd, ac edrychwch ar y ddaiar isod; *canys y nefoedd a ddarfyddant fel mŵg, a'r ddaiar a heneiddia fel dilledyn, a'i phresswyl-wyr yr un modd a fyddant meirw: ond fy iechydwriaeth i a fydd byth, a'm cyfiawnder ni dderfydd.

*Psal.102.27. Matt.24.35.

7 Gwrandewch arnaf, y rhai a adwaenoch gyfiawnder, *y bobl sy a'm cyfraith yn eu calon: *nac ofnwch wradwydd dynion, ac nac arswydwch rhac eu difenwad.

*Psal.37.31. *Matt.10.27.

8 Canys y pryf a'i bwytty, fel dilledyn; a'r gwyfyn a'i hyssa, fel gwlân: eithr fy nghyfiawnder a fydd yn dragywydd; a'm iechydwriaeth o genhedlaeth i genhedlaeth.

9 Deffro, deffro: gwisc nerth, ô fraich yr Arglwydd, deffro fel yn y dyddiau gynt, yn [yr] oesoedd gynt: onid ti [yw]'r hwn a dorrais Rahab, [ac] a archollaist y *ddraig?

*Ps.74.13.14. Ezec.29.3.

10 Onid ti [yw]'r hwn a *sychaist y môr, dyfroedd y dyfnder mawr, yr hwn a wnaethost ddyfnderoedd y môr, yn ffordd i'r gwaredigion i fyned trwodd.

*Exod.14.21.

11 Am hynny y* dychwel gwaredigion yr Arglwydd, a hwy a ddeuant i Sion â chanu, ac â llawenydd tragywyddol ar eu pennau, goddiweddant lawenydd, a hyfrydwch: gofid a griddfan a ffy ymmaith.

*Pen.35.10.

12 Myfi, myfi, [yw] yr hwn a'ch diddana chwi; pwy [wyt] ti fel yr *ofnit ddyn, [yr hwn] sydd marw, a mab dyn [yr hwn] a wneir fel *glas-welltyn?

*Psal.118.6. 1.Pet.1.24. Pen.40.6.

13 Ac a anghofi yr Arglwydd dy wneuthurwr, yr hwn a estynnodd y nefoedd, ac a seiliodd y ddaiar? ac a ofnaist bob dydd yn wastad rhac llid y gorthrymmudd, fel pe darparei i ddinistrio? a pha le [y mae] llid y gorthrymmudd?

14 Y carcharor sydd yn brysio i gael ei ollwng yn rhydd, fel na byddo farw yn y pwll, ac na phallo ei fara ef.

15 Eithr myfi [yw] yr Arglwydd dy Dduw, yr hwn a *barthodd y môr, pan ruodd ei donnau: ei enw [yw] Arglwydd y lluoedd.

Ier.31.35.

16 Gosodais hefyd fy ngeiriau *yn dy enau, ac ynghyscod fy llaw i'th doais, fel y plannwn y nefoedd, ac y seiliwn y ddaiar, ac y dywedwn wrth Sion, fy mhobl ydwyt.

Pen.49.2.3.

17 *Deffro, deffro, cyfod Ierusalem, yr hon a yfaist o law'r Arglwydd gwppan ei lidiawgrwydd ef: yfaist waddod y cwppan erchyll, ie sugnaist ef.

Pen.52.1.

18 Nid [oes] arweinydd iddi o'r holl feibion a escorodd; ac nid [oes] a ymaflo yn ei llaw o'r holl feibion a fagodd.

19 *Y ddau beth hyn a ddigwyddasant it; pwy a ofidia trosot? dinistr, a ||destryw, a newyn, a chleddyf; [trwy] bwy i'th gyssuraf?

Pen.47.9. ||Heb. dylliad.

20 Dy feibion a lewygasant, gorweddant ym mhen pob heol, fel tarw gwyllt [mewn] magl; llawn ydynt o lidiawgrwydd yr Arglwydd, [a] cherydd dy Dduw.

21 Am hynny gwrando hyn, y druan, a'r feddw, ac nid [trwy] win.

22 Fel hyn y dywed dy Arglwydd, yr Arglwydd a'th Dduw di, [yr hwn] a ddadleu [tros] ei bobl; wele, cymmerais o'th law y cwppan erchyll, sef gwaddod cwppan fy llidiawgrwydd; ni chwanegi ei yfed mwy.

23 Eithr rhoddaf ef yn llaw dy gystuddwyr, y rhai a ddywedasant wrth dy enaid, gostwng fel yr elom trosot: a thi a osodaist dy gorph fel y llawr, ac fel heol i'r rhai a elent trosto.

## PEN. LII.

1 Christ yn perswadio ei Eglwys i gredu ei râd brynedigaeth ef; 7 I dderbyn gwenidogion yr adbrynedigaeth, 9 I lawenychu yn ei gallu hi, 11 Ac iw rhyddhau eu hunain oddiwrth gaethiwed. 13 Y derchefir teyrnas Christ.



Deffro,* deffro, gwisc dy nerth, Sion; gwisc wiscoedd dy ogoniant, sanctaidd ddinas Jerusalem: canys ni ddaw o'th fewn mwy ddienwaededic, nac aflan.

* Pen. 51.17.

2 Ymescwyd o'r llwch, cyfod, eistedd, Jerusalem; ymddattod oddiwrth rwymau dy wddf, [ti] gaeth-ferch Sion.

3 Canys fel hyn y dywedodd yr Arglwydd, yn rhâd yr ymwerthasoch, ac nid ag arian i'ch gwaredir.

4 Canys fel hyn y dywedodd yr Arglwydd Dduw, fy mhobl aeth i wared i'r *Aipht, yn y dechreuad, i ymdaith yno; a'r Assyriad a'i gorthrymmodd yn ddiachos.

* Pen. 46.6.

5 Ac yn awr beth [sydd] ymma i mi, medd yr Arglwydd; pan ddygid fy mhobl ymaith yn rhâd? eu llywodraethwyr a wna [iddynt] udo, medd yr Arglwydd: a phob dydd yn wastad, * y ceblir fy enw.

* Ezec. 36.20. 23. rhuf. 2. 24.

6 Am hynny y caiff fy mhobl adnabod fy enw, am hynny [y cânt wybod] y dydd hwnnw, mai myfi [yw] yr hwn sy'n dywedyd; wele, myfi [ydyw.]

7 * Mor weddaidd ar y mynyddoedd [yw] traed yr hwn sydd yn efangylu, yn cyhoeddi heddwch: a'r hwn sydd yn mynegi daioni, yn cyhoeddi iechydwriaeth, yn dywedyd wrth Sion, dy Dduw di sydd yn teyrnasu?

* Nahum. 1. 15. rhuf. 10.15

8 Dy wil-wyr a dderchafant lef; gyd â'r llef y cyd-ganant; canys gwelant lygad yn llygad, pan ddychwelo yr Arglwydd Sion.

9 Bloeddiwch, cyd-genwch, anialwch Jerusalem; canys yr Arglwydd a gysurodd ei bobl, [efe] a waredodd Jerusalem.

10 Dioscodd yr Arglwydd fraich ei sancteiddrwydd yngolwg yr holl genhedloedd, * a holl gyrrau 'r ddaiar a welant iechydwriaeth ein Duw ni.

* Psal. 98.3. luc. 3.6.

11 Ciliwch, ciliwch, ewch allan oddi yno, * na chyffyrddwch â dim halogedic, ewch allan o'i chanol, ymlanhewch, y rhai a ddygwch lestri 'r Arglwydd.

* 2 Cor. 6.17. dat. 18.4.

12 Canys nid ar frys yr ewch allan, ac nid ar ffô y cerddwch; canys yr Arglwydd â o'ch blaen chwi, a Duw Israel a'ch cascl chwi.

13 Wele, fy ngwâs a || lwydda, efe a godir, a dderchefir, ac a fydd uchel iawn.

|| Neu, ymdrwyadd.

14 Megis y rhyfeddodd llawer wrthit (mor llygredic [oedd] ei * wedd yn anad neb, a'i bryd yn anad meibion dynion!)

* Pen. 53.3.

15 Felly y taenella efe genhedloedd lawer, brenhinoedd a gaeant eu geneu wrtho ef; canys gwelant * yr hyn ni fynegasid iddynt, a deallant yr hyn ni chlywsent.

* Rhuf. 15.21.

## PEN. LIII.

1 Y Prophwyd yn cwyno rhag angrhredyniaeth, ac yn escusodi rhwystr y Groes, 4 trwy ddangos y daioni a ddaw o ddioddefaint Christ, 10 a ffyniant y groes.



Pwy * a gredodd i'n || ymadrodd: ac i bwy y datcuddiwyd braich yr Arglwydd.

* Ioan. 12.38. rhuf. 10.16. || Neu, addysg, Heb. clywed.

2 Canys efe a dŷf o'i flaen ef fel blaguryn, ac fel gwreiddyn o dir sych: nid oes na phryd na thegwch iddo: pan edrychom arno, ni bydd pryd fel y dymunem ef.

3 * Dirmygedic yw a diystyraf o'r gwŷr, gŵr gofidus, a chynnefin â dolur, ac [|| yr oeddym] megis yn cuddio ein wynebau oddi wrtho; dirmygedic oedd, ac ni wnaethom gyfrif o honaw.

* Pen. 52.14. marc. 9.12. || Neu, yr oedd megis yn cuddio ei wyneb oddiwrthym. Heb. megis cuddio wynebau oddiwrtho, neu, oddiwrthym.

4 Diau * efe a gymmerth ein gwendid ni, ac a ddug ein doluriau: etto ni a'i cyfrifasom ef wedi ei faeddu, ei daro gan Dduw, a'i gystuddio.

* Math. 8.17.

5 * Ond efe a || archollwyd am ein camweddau ni, efe a ddrylliwyd am ein hanwireddau ni: cospedigaeth ein heddwch ni oedd arno ef, a * thrwy ei gleisiau ef yr iachawyd ni.

* Rhuf. 4.25. 1. cor. 15.3. || Neu, ferwyd. * 1 Pet. 2.24.

6 Nyni oll a gyrwydrasom fel defaid, troesom bawb i'w ffordd ei hun; a'r Arglwydd a || roddes arno ef ein hanwiredd ni i gyd.

|| Heb. wnaeth i'n hanwireddau ni gyd gyfarfod arno ef.

7 * Efe a orthrymmwyd, ac efe a gystuddiwyd, ac nid agorei ei enau; fel oen yr arweinid ef i'r lladdfa, * ac fel y tau dafad o flaen y rhai a'i cneifiei, felly nid agorei yntau ei enau.

* Mar. 14.61. & mar. 15.5. mat. 26.63. & 27.12. ioan. 19.9. * Act. 8.32.

8 O || garchar, ac o farn y cymmerwyd ef; a phwy a draetha ei oes ef? canys efe a dorrwyd o dir y rhai byw, [rhoddwyd] pla arno ef am gamwedd fy mhobl.

|| Neu, gyfyngder.

9 Ac efe a wnaeth ei fedd gyd â'r rhai anwir, a chyd â'r cyfoethog yn ei farwolaeth; am na wnaethei gam, ac nad [oedd] * twyll yn ei enau.

* 1 Pet. 2.22. 1. Io. 3.5.

10 Eithr yr Arglwydd a fynnei ei ddryllio ef, efe a'i clwyfodd; pan || osodo efe ei enaid yn aberth dros bechod, efe a wêl hâd, efe a estyn ei ddyddiau: ac ewyllys yr Arglwydd a lwydda yn ei law ef.

|| Neu, pan osod ei enaid ef aberth.

11 O lafur ei enaid y gwêl, ac y diwellir; fy ngwâs cyfiawn a gyfiawnhâ lawer trwy ei wybodaeth; canys efe a ddwg eu hanwireddau hwynt.

12 Am hynny y rhannaf iddo ran gyda ‖ llawer, ac efe a ranna'r yspail gyda'r cedyrn; am iddo dywallt ei enaid i farwolaeth; ac efe a gyfrifwyd *gyda'r troſedd-wyr: ac efe a ddug bechodau llaweroedd, ac a *eiriolodd dros y troſedd-wyr.

‖ cedyrn. — *Marc.15.28. luc.22.37. — *Luc.23.34.

## PEN. LIIII.

1 Y Prophwyd, er mwyn cyssuro y cenhedloedd, yn prophwydo helaethrwydd yr Eglwys; 4 Eu diogelwch hwy, 6 A'i siccr ymwared allan o gystudd, 11 A'i hadeiliad dêg, 16 A'i diogel gadwedigaeth.

Can [di] amhlantadwy nid escorodd, bloeddia *ganu, a gorfoledda, [yr hon] nid escorodd: o herwydd amlach meibion yr hon a adawyd, nâ'r hon y mae gwr iddi, medd yr Arglwydd.

*Luc.23.29. Gal.4.27.

2 Helaetha lê dy babell, ac estynnant gortynnau dy bresswylfeydd; nac attal; estyn dy raffau, a siccrhâ dy hoelion.

3 Canys ti a dorri allan ar y llaw ddehau, ac ar y llaw asswy, a'th hâd a etifedda y cenhedloedd, a dinasoedd anrhaithiedic a wnant yn gyfanneddol.

4 Nac ofna; canys ni'th gywilyddir; ac na'th wradwydder, am na'th warthruddir; canys ti a anghofi wradwydd dy ieuengtid, a gwarthrudd dy weddwdod ni chofi mwyach

5 Canys dy briod [yw'r] hwn a'th wnaeth, (*Arglwydd y lluoedd [yw] ei enw:) dy waredydd hefyd, Sanct Israel, Duw'r holl ddaiar y gelwir ef.

*Luc.1.32.

6 Canys fel gwraig wrthodedic, a chystuddiedic o yspryd, i'th alwodd yr Arglwydd, a gwraig ieuengtyd, pan oeddit wrthodedic, medd dy Dduw.

7 Tros ennyd fechan i'th adewais, ond â mawr drugareddau i'th gasclaf.

8 Mewn ychydig sorriant y cuddiais fy wyneb oddi wrthit ennyd [awr,] ond â thrugaredd dragywyddol y trugarhâf wrthit, medd yr Arglwydd dy waredydd.

9 Canys [fel] dyfroedd *Noah [y mae] hyn i mi; canys [megis] y tyngais nad elei ddyfroedd Noah mwy dros y ddaiar; felly y tyngais na ddigiwn wrthit, ac na'th geryddwn.

*Gen.9.11.

10 Canys y mynyddoedd a giliant, a'r bryniau a symudant: eithr fy nhrugaredd ni chilia oddi wrthit, a chyfammod fy hedd ni syfl, medd yr Arglwydd sydd yn trugarhau wrthit.

11 Y druan, helbulus gan dymhestl, y ddigyssur, wele, mi a osodaf dy gerrig di â Charbuncl, ac a'th sylfaenaf â [meini] Saphyr.

*1.Cro.29.2.

12 Gwnaf hefyd dy ffenestri o ristial, a'th byrth o feini disclair, a'th holl derfynau o gerric dymunol.

13 Dy holl feibion hefyd [fyddant] *wedi eu dyscu gan yr Arglwydd, a mawr [fydd] heddwch dy feibion.

*Ioan.6.45.

14 Mewn cyfiawnder i'th siccrheir; byddi bell oddi wrth orthrymder, canys nid ofni; ac oddi wrth ddychryn, canys ni nessâ attat.

15 Wele, gan ymgasclu hwy a ymgasclant, ond nid o honofi: pwy bynnac o honot ti a ymgasclo i'th erbyn, efe a syrth.

16 Wele, myfi a greais y gôf, yr hwn a chwyth y marwor yn tân, ac a ddefnyddia arf i'w waith: myfi hefyd a greais y dinistrydd i ddestrywio.

17 Ni lwydda un offeryn a lunier i'th erbyn, a thi a wnei yn euog bob tafod a gyfodo i'th erbyn mewn barn: dymma etifeddiaeth gweision yr Arglwydd, a'i cyfiawnder hwy [sydd] oddi wrthifi, medd yr Arglwydd.

## PEN. LV.

1 Y Prophwyd, trwy addewidion o Grist, yn galw pawb i gredu, 6 ac i edifarhau. 8 Dedwydd lwyddiant y rhai a gredo.



Oh *deuwch i'r dyfroedd, bob un y mae syched arno, ie yr hwn nid [oes] arian ganddo; deuwch, prynwch, a bwyttewch; ie deuwch, prynwch win a llaeth, heb arian, ac heb werth.

*Io.7.37.

2 Pa ham y ‖ gweriwch arian am [yr hyn] nid [ydyw] fara? a'ch llafur am [yr hyn] nid yw yn digoni? gan wrando gwrandewch arnafi, a bwyttewch yr hyn sydd dda; ac ymhyfryded eich enaid mewn brasder.

‖ Heb. pwyswch.

3 Gogwyddwch eich clust, a deuwch attaf; gwrandewch, a bydd byw eich enaid; ac mi a wnâf gyfammod tragywyddawl â chwi, [sef] *siccr drugareddau Dafydd.

*Psal.132.11. Act.13.34.

4 Wele, rhoddais ef yn dŷst i'r bobl; yn flaenor, ac yn athro i'r bobloedd.

5 Wele, cenedl nid adweini, a elwi; a chenhedloedd ni'th adwaenai di, a rêd attat; er mwyn yr Arglwydd dy Dduw, ac o herwydd Sanct Israel; canys efe a'th ogoneddodd.

6 Ceisiwch yr Arglwydd, tra y galler ei gael ef; gelwch arno, tra fyddo yn agos.

7 Gadawed y drygionus ei ffordd, a'r gwr ‖ anwir ei feddyliau; a dychweled at yr Arglwydd, ac efe a gymmer drugaredd arno; ac at ein Duw ni; o herwydd efe a ‖ arbed yn helaeth.

‖ Heb. anwiredd. — ‖ Heb. amlhâ arbed.

8 Canys nid fy meddyliau i, yw eich meddyliau chwi; ac nid eich ffyrdd chwi, [yw] fy ffyrdd i, medd yr Arglwydd.

9 Canys [fel] y mae'r nefoedd yn uwch nâ'r ddaiar, felly uwch yw fy ffyrdd i nâ'ch ffyrdd chwi, a'm meddyliau i, nâ'ch meddyliau chwi.

10 Canys fel y descyn y glaw, a'r eira, o'r nefoedd, ac ni ddychwel yno, eithr dwfrhâ y ddaiar, ac a wna iddi darddu a thyfu, fel y rhoddo hâd i'r hau-wr, a bara i'r bwyttawr:

11 Felly y bydd fy ngair, yr hwn a ddaw o'm genau; ni ddychwel attaf yn wâg; eithr efe a wna yr hyn a fynnwyf, ac a lwydda yn y peth yr anfonais ef o'i blegid.

12 Canys mewn llawenydd yr ewch allan, ac mewn hedd i'ch arweinir; y mynyddoedd a'r brynniau a *floeddiant ganu o'ch blaen, a holl goed y maes a gurant ddwylo.

*Pen.35.1.

13 Yn lle drain y cyfyd ffynnid-wydd, yn lle mieri y cyfyd myrt-wydd; a [hyn] fydd i'r Arglwydd yn enw, ac yn arwydd tragywyddol, yr hwn ni thorrir ymaith.

## P E N. LVI.

1 Y Prophwyd yn annog i sancteiddrwydd; 3 ac yn addaw y bydd sancteiddiad yn gyffredinol, heb dderbyn wyneb neb. 9 Y mae efe yn rhoi anglod i'r gwiliwyr deillion.



Fel hyn y dywed yr Arglwydd, cedwch farn, a gwnewch gyfiawnder; canys fy iechydwriaeth [sydd] ar ddyfod, a'm cyfiawnder ar ymddangos.

2 Gwyn ei fyd y dyn a wnelo hyn, a mâb y dŷn a ymaflo ynddo: gan gadw 'r Sabboth heb ei halogi, a chadw ei law rhac gwneuthur dim drwg.

3 Ac na lefared y dieithr-fab, yr hwn a lynodd wrth yr Arglwydd, gan ddywedyd, yr Arglwydd gan doidoli a'm didolodd oddi wrth ei bobl; ac na ddyweded y dispaddedic, wele fi yn bren crîn.

4 Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd wrth y rhai dispaddedic, y rhai a gadwant fy Sabbothau, ac a ddewisant yr hyn a ewyllysiwyf, ac a ymaflant yn fy nghyfammod i,

5 Ie rhoddaf iddynt yn fy nhŷ, ac o fewn fy magwyrydd, le ac enw gwell nâ meibion, ac nâ merched: rhoddaf iddynt enw tragywyddol, yr hwn ni thorrir ymaith.

6 A'r meibion dieithr, y rhai a lynant wrth yr Arglwydd, gan ei wasanaethu ef, a chan garu enw 'r Arglwydd, i fod yn weision iddo ef, pob vn a gadwo y Sabboth heb ei halogi, ac a ymaflo yn fy nghyfammod;

7 *Dygaf hwythau hefyd i fynydd fy sancteiddrwydd, a llawenychaf hwynt yn ||nhŷ fy ngweddi: eu poeth offrymmau hefyd a'i hebyrth fyddant gymmeradwy ar fy allor: canys *fy nhŷ i a elwir yn dŷ gweddi, i'r holl bobloedd.

*Pen.2.2.

||fy nhy gweddi.

*Matt.21.13. mar.11.17. luc.19.46.

8 Medd yr Arglwydd Dduw, yr hwn a gascl wascaredigion Israel, etto mi a gasclaf [eraill] atto ef, ||gyd â'r rhai sy wedi eu casclu atto.

||Heb. at ei gascledigion ef.

9 Pob bwystfil y maes, deuwch i ddifa, a phob bwyst-fil yn y coed.

10 Deillion [yw] ei wiliedyddion: ni wyddant hwy oll [ddim.] cŵn mudion ydynt hwy oll, heb fedru cyfarth: yn ||cysgu, yn gorwedd, [ac] yn caru heppian.

||Neu, yn breuddwydio, neu, yn siarad trwy eu hun.

11 Ie cŵn gwangcus ydynt, ni chydnabyddant â'i digon, a bugeiliaid ydynt ni fedrant ddeall, wynebant oll at eu ffordd eu hun; pob vn at ei elw ei hun, ||o'i cwr.

||yn ei ddeall.

12 Deuwch [meddant,] cyrchaf win, ac ymlanwn o ddiod gref, a bydd y fory megis heddyw, a mwy o lawer iawn.

## P E N. LVII.

1 Bendigedig farwolaeth y cyfiawn. 3 Duw yn argyoeddi'r Iuddewon, am eu putteiniaidd ddelw-addoliaeth; 13 Yn rhoi addewidion Efengylaidd i'r edifeiriol.



Darfu am y cyfiawn, ac nid oes neb at ei galon; a'r *gwyr ||trugarog a gymmerir ymmaith, heb neb yn deall, mai ||o flaen drygfyd y cymmerir y cyfiawn ymmaith.

*Psal.12.1. mic.7.2.

2 [Efe] â ||i dangnheddyf, hwy a orphwysant yn eu ||stafelloedd, [sef pob vn] a rodia ||yn ei vniondeb.

3 Nessewch ymma, meibion yr hudoles, hâd y godinebus, a'r buttain.

4 Yn erbyn pwy 'r ymddigrifwch? yn erbyn pwy y lledwch safn, [ac] yr estynnwch dafod? onid meibion camwedd, a hâd ffalsedd [ydych] chwi?

5 Y rhai a ymwresogwch ||ag eulynnod, tan *bob pren deiliog, gan *ladd y plant yny glynnoedd, tan gromlechydd y creigiau.

*1.Bren.14.23.

*Lev.18.21. 2.bren.17.31.

6 Ynghabolfain yr afon [y mae] dy ran, hwynt hwy [yw] dy gwttws: iddynt hwy hefyd y tywelltaist ddiod offrwm, [ac] yr offrymmaist fwyd offrwm; ai yn y rhai hyn yr ymgysurwn?

7 Ar fynydd vchel a derchafedic, y gosodaist dy wely; dringaist hefyd yno i aberthu aberth.

8 Ynghil y drysau hefyd, a'r pŷst y gosodaist dy goffadwriaeth: canys ymddinoethaist i arall heb fy llaw i, a dringaist; helaethaist dy wely, ac ||a wnaethost ammod rhyngot â hwynt; ti a hoffaist eu gorweddle hwynt, ||pa le bynnac y gwelaist.

9 Cyfeiriaist hefyd at y brenin ag ennaint, ac amlheaist dy ber-aroglau: anfonaist hefyd dy gennadau i bell, ac ymostyngaist hyd vffern.

10 Ym maint dy ffordd yr ymflinaist, ac ni ddywedaist, nid oes obaith; cefaist fywyd dy law, am hynny ni chlafychaist.

11 Pwy hefyd a arswydaist, ac a ofnaist, fel y dywedaist gelwydd, ac na chofiaist fi, ac nad ystyriaist yn dy galon? oni thewais i â son er ystalm, a thithau heb fy ofni.

12 Mynegaf dy gyfiawnder, a'th weithredoedd, canys ni wnant it lês.

13 Pan waeddech, gwareded dy gynnulleidfaoedd dieithr y gwynt a'i dwg hwynt ymmaith oll, oferedd a'i cymmer hwynt: ond yr hwn a obeithia ynofi a etifedda y tir, ac a feddianna fynydd fy sancteiddrwydd.

14 Ac efe a ddywed, *palmentwch, palmentwch, paratowch y ffordd, cyfodwch y rhwystr o ffordd fy mhobl.

*Pen.40.3. & 62.10.

15 Canys fel hyn y dywed y Goruchel, a'r derchafedic; yr hwn a breswylia dragywyddoldeb, ac [y mae] ei enw 'n Sanctaidd: y goruchelder a'r cyssegr a breswyliaf; a chyd â'r cystuddiedic a'r issel o yspryd, i fywhau y rhai issel o yspryd, ac i fywhau calon y rhai cystuddiedig.

16 Canys

16 Canys nid byth yr ymrysonaf, ac nid yn dragywydd y digiaf; o herwydd yr yspryd a ballei o'm blaen i, a'r eneidiau a wneuthum i.

17 Am anwiredd ei gybydd-dod ef y digiais, ac y tarewais ef, ymguddiais, a digiais, ac efe a aeth rhagddo'n || gildynnus, ar hyd ffordd ei galon.

18 Ei ffyrdd a welais, ac mi a'i iachâf ef, tywysaf ef hefyd, ac adferaf gyssur iddo, ac i'w alarwyr.

19 Mysi sy'n creu ffrwyth y gwefusau, heddwch, heddwch, i bell, ac i agos, medd yr Arglwydd, ac mi a'i iachâf ef.

20 Ond y rhai anwir [sydd] fel y môr yn dygyfor, pan na allo fod yn llonydd, yr hwn y mae ei ddyfroedd, yn bwrw allan dom, a llaid.

21 * Ni [bydd] heddwch, medd fy Nuw, i'r rhai annuwiol.

## PEN. LVIII.

1 Y Prophwyd wedi ei yrru i argyoeddi rhagrith, 3 yn dangos beth yw ympryd ffuantus, a gwir ympryd, 8 yn dangos pa addewidion sy ddledus am dduwioldeb, 13 ac am gadw y Sabboth.

LLefa â'th gêg, nac arbed, derchafa dy lais fel vdcorn, a mynega i'm pobl eu camwedd, a'i pechodau i dŷ Jacob.

2 Etto beunydd i'm ceisiant, ac a ewyllysiant wybod fy ffyrdd, fel cenhedl a wnelei gyfiawnder, ac ni wrthodei farnedigaeth ei Duw: gofynnant i mi farnedigaethau cyfiawnder, ewyllysiant nessau [at] Dduw.

3 Pa ham [meddant,] yr ymprydiasom, ac ni's gwelaist? y cystuddiasom ein henaid, ac ni's gwybuost? wele yn y dydd yr ymprydioch, yr ydych yn cael gwynfyd; ac yn mynnu || eich holl ddyledion.

4 Wele, i ymryson a chynnen yr ymprydiwch, ac i daro â dwrn anwiredd: || nac ymprydiwch, fel ydydd [hwn], i beri clywed eich llais yn yr vchelder.

5 * A'i dymma 'r ympryd a ddewisais? || * dydd i ddyn i gystuddio ei enaid? ai crymmu ei ben fel brwynen, [ydyw]? a thanu sach-liain a lludw tano? ai hyn a elwi yn ympryd, ac yn ddiwrnod cymmeradwy gan yr Arglwydd?

6 Onid dymma'r ympryd a ddewisais, dattod rhwymau anwiredd, tynnu ymmaith feichiau || trymion, a gollwng y rhai || gorthrymedic yn rhyddion, a thorri o honoch bob iau?

7 * Onid torri dy fara i'r newynoc, a dwyn o honot y || crwydraid i dŷ? a phan welych noeth, ei ddilladu, ac nad ymguddiech oddi wrth dy gnawd dy hun?

8 Yna y tyrr dy oleuni allan fel y wawr, a'th iechyd a dardda yn fuan; a'th gyfiawnder â o'th flaen; gogoniant yr Arglwydd a'th || ddilyn.

9 Yna y gelwi, a'r Arglwydd a ettyb; y gweiddi, ac efe a ddywed, wele fi: os bwri o'th fysc yr iau, estyn bŷs, a dywedyd oferedd:

10 Os tynni allan dy enaid i'r newynoc, a diwallu yr enaid cystuddiedic; yna dy oleuni a gyfyd mewn tywyllwch, a'th dywyllwch [fydd] fel hanner dydd.

11 A'r Arglwydd a'th arwein yn wastad, ac a ddiwalla dy enaid ar sychder, ac a wna dy escyrn yn freision: a thi a fyddi fel gardd wedi ei dwfrhau, ac megis ffynnon ddwfr, yr hon ni || phalla ei dyfroedd.

12 A'r rhai a fyddant o honot ti, a * adeiladant yr hên ddiffaethleoedd, ti a gyfodi sylfeini llawer cenhedlaeth; a thi a elwir yn gae-wr yr adwy, yn gyweiri-wr llwybrau, i gyfanneddu ynddynt.

13 O throi dy droed oddi wrth y Sabboth, [heb] wneuthur dy ewyllys ar fy nydd sanctaidd, a galw y Sabboth yn hyfrydwch, sanct yr Arglwydd yn ogoneddus, a'i anrhydeddu ef, heb wneuthur dy ffyrdd dy hun, heb geisio dy ewyllys dy hun, na dywedyd dy eiriau dy hun,

14 Yna yr ymhyfrydi yn yr Arglwydd, ac mi a wnaf it * farchogaeth ar vchelfeydd y ddaiar, ac a'th borthaf ag etifeddiaeth Jacob dy dâd: canys genau yr Arglwydd a'i llefarodd.

## PEN. LIX.

1 Ysceler naturiaeth pechod. 3 Pechodau yr Iuddewon. 9 Am bechod y daw aflwydd. 16 O Dduw yn vnic y mae iechydwriaeth. 20 Cyfammod y Prynwr.

WEle, ni * fyrhawyd llaw'r Arglwydd, fel na allo achub, ac ni thrymhâodd ei glust ef, fel na allo glywed.

2 Eithr eich anwireddau chwi a yscarodd rhyngoch chwi a'ch Duw; a'ch pechodau a || guddiasant ei wyneb oddi wrthych, fel na chlywo.

3 * Canys eich dwylo a halogwyd â gwaed, a'ch bysedd â chamwedd; eich gwefusau a draethasant gelwydd, eich tafod a fyfyriodd anwiredd.

4 Nid [oes] a alwo am gyfiawnder, nac a ddadleu tros y gwirionedd: [y maent] yn gobeithio mewn gwagedd, ac yn dywedyd celwydd, yn * beichiogi ar flinder, ac yn escor ar anwiredd.

5 Wyau || asp a ddodwasant, a gweoedd y prŷf coppyn a weant, yr hwn a fwytty o'i hwyau a fydd marw, a'r hwn a || sathrer a dyr allan yn wiber.

6 * Eu gweoedd hwy ni byddant yn wiscoedd, ac nid ymddilladant â'i gweithredoedd; eu gweithredoedd [ydynt] weithredoedd anwiredd, a gwaith trawsder sydd yn eu dwylo.

7 * Eu traed a redant i ddrygioni, a hwy a frysiant i dywallt gwaed gwirion; eu meddyliau [sydd] feddyliau anwir, destryw a || dinistr [sydd] ar eu ffyrdd hwynt.

Margin notes: || neu, wrthnysig. — Pen. 48. 22. — || neu, y tylodion. || Heb. gyfiawnder. — || neu, nid ydych yn ymprydio. — * Zec. 7. 5. * Levit. 16. 29. || neu, y cystuddio o dyn ei enaid ond diwrnod? — || Heb. yr iau. || Heb. dryllitdic. — Ezec. 18. 8. || neu, y cystuddiol. — || Heb. gasgl. — || Heb. thwylla. — Pen. 61. 6. — Deut. 32. 13. — Num. 11. 23. pen. 50. 2. — || neu, wnaeth iddo guddio. — Pen. 1. 15. — Iob. 15. 35. psal. 7. 15. — || neu, nadroedd. — || neu, daenellir [fydd, fel pe] torrai allan wiber. — Iob. 8. 14. 15. — Dihar. 1. 15. rhuf. 3. 15. — || Heb. thorriad.

8 Ffordd heddwch nid adwaenant, ac nid [oes] || gyfiawnder yn eu llwybrau: gwnaethant iddynt lwybrau ceimion; pwy bynnac a rodio yno, nid edwyn heddwch.

|| neu, barn.

9 Am hynny y ciliodd barnedigaeth oddi wrthym, ac ni'n goddiweddodd cyfiawnder: disgwiliasom am oleuni, ac wele dywyllwch; am ddisclairdeb, [ac] yn y fagddu yr ydym yn rhodio.

10 Palfalasom fel deillion â'r pared, ie fel [rhai] heb lygaid y palfalasom: tramgwyddasom ar hanner dydd fel y cyfnos, [oeddem] mewn lleoedd anghyfannedd fel rhai meirw.

11 Nyni oll a ruasom fel eirth, a chan riddfan y griddfanasom fel colomennod: disgwiliasom am farn, ac nid [oes dim]; am iechydwriaeth, ac ymbellhaodd oddi wrthym.

12 Canys amlhâodd ein camweddau ger dy fron, a thystiolaethodd ein pechodau i'n herbyn: o herwydd ein camweddau [sydd] gydâ ni, a'n hanwireddau, ni a'i hadwaenom:

13 Camweddu, a dywedyd celwydd yn erbyn yr Arglwydd, a chilio oddi ar ôl ein Duw, dywedyd trawsder, ac anufydd-dod, mysyrio a thraethu o'r galon eiriau gau.

14 Barn hefyd a droed yn ei hôl, a chyfiawnder a safodd o hirbell; canys gwirionedd a gwympodd yn yr heol, ac uniondeb ni all ddyfod i mewn.

15 Ie gwirionedd sydd yn pallu, a'r hwn sydd yn cilio oddi wrth ddrygioni || a'i gwna ei hun yn yspail; a gwelodd yr Arglwydd [hyn,] a drwg oedd yn ei olwg, nad [oedd] barn.

|| neu, a gyfrifir yn ynfyd.

16 Gwelodd hefyd nad [oedd] wr, a rhyfeddodd nad [oedd] eiriol-wr. * Am hynny ei fraich a'i hachubodd, a'i gyfiawnder ei hun a'i cynhaliodd.

Pen.63.5.

17 * Canys efe a wiscodd gyfiawnder fel lluric, a helm iechydwriaeth am ei ben; ac a wiscodd wiscoedd dial yn ddillad; ie gwiscodd zêl fel cochl.

Eph. 6. 17. 1.thes.5.8.

18 Yn ôl y * || gweithredoedd, ie yn [eu] hôl [hwynt,] y tâl efe, llid iw wrthwyneb-wyr, taledigaeth iw elynion, taledigaeth i'r ynysoedd a dâl efe.

Pen.63.7. || neu, taledigaethau.

19 Felly 'r ofnant enw yr Arglwydd, o'r gorllewin, a'i ogoniant ef, o godiad haul: pan ddelo y gelyn * i mewn fel afon, Yspryd yr Arglwydd || a'i hymlid ef ymmaith.

Datc.12.15. || neu, a gyfyd faner yn ei erbyn ef.

20 * Ac i Sion y daw y gwaredydd, ac i'r rhai a droant [oddi wrth] anwiredd yn Iacob, medd yr Arglwydd.

21 A minneu, dymma fy nghyfammod â hwynt medd yr Arglwydd, fy yspryd yr hwn [sydd] arnat, a'm geiriau y rhai a osodais yn dy enau, ni chiliant o'th enau, nac o enau dy hâd, nac o enau hâd dy hâd, medd yr Arglwydd, o hyn allan byth.

## PEN. LX.

1 Gogoniant yr Eglwys, pan ddelo 'r cenhedloedd yn dra aml atti, 15 A'r bendithion mawr a fydd ar ol ychydig gystudd.



Cyfod, llewyrcha, canys daeth dy oleuni, a chyfododd gogoniant yr Arglwydd arnat.

2 Canys wele, tywyllwch a orchguddia y ddaiar, a'r fagddu y bobloedd: ond arnat ti y cyfyd yr Arglwydd, a'i ogoniant a welir arnat.

3 * Cenhedloedd hefyd a rodiant at dy oleuni, a brenhinoedd at ddisclairdeb dy gyfodiad.

Datc.21.24.

4 * Cyfod dy lygaid oddi amgylch, ac edrych, ymgasclasant oll, daethant attat: dy feibion a ddeuant o bell, a'th ferched a fegir wrth dy ystlys.

Pen.49.18.

5 Yna y cei weled, ac yr || ymddisclairi, dy galon hefyd a ofna ac a helaethir, am droi attat || luosogrwydd y môr, golud y cenhedloedd a ddaw i ti.

|| neu, lifeiri. || neu, dorf.

6 Lliaws y camelod a'th orchguddiant, [sef] cyflym gamelod Midian, ac Ephah: hwynt oll o Seba a ddeuant, * aur a thus a ddygant, a moliant yr Arglwydd a fynegant.

Pen.61.6.

7 Holl ddefaid Cedar a ymgasclant attat ti, hyrddod Nebaioth a'th wasanaethant: hwy a ddeuant i fynu yn gymmeradwy ar fy allor, ac mi a anrhydeddaf dŷ fy ngogoniant.

8 Pwy [yw] y rhai hyn a ehedant fel cwmwl? ac fel colomennod iw ffenestri?

9 Yn ddiau yr ynysoedd a'm disgwiliant, a llongau Tarsis yn || gyntaf, * i ddwyn dy feibion o bell, eu harian [hefyd] a'i haur gydâ hwynt, i enw 'r Arglwydd dy Dduw, ac i Sanct Israel, am iddo dy ogoneddu di.

|| gynt. Gal.4.26.

10 A meibion dieithr a adeiladant dy furiau, a'i brenhinoedd a'th wasanaethant; canys yn fy nig i'th darewais, ac o'm ewyllys da fy hun y tosturiais wrthit.

11 * Am hynny dy byrth a fyddant yn agored yn wastad, ni cheuir hwynt na dydd na nôs, i ddwyn attat olud y cenhedloedd, fel y dyger eu brenhinoedd hwynt hefyd.

Datc.21.25.

12 Canys y genedl a'r deyrnas ni'th wasanaetho di, a ddifethir; a'r cenhedloedd hynny a lwyr ddinistrir.

13 Gogoniant Libanus a ddaw attat, y ffynnid-wydd, ffawydd, a bocs ynghyd, i harddu lle fy nghyssegr; harddaf hefyd le fy nhraed.

14 A meibion dy gystudd-wyr a ddeuant attat yn ostyngedic: a'r rhai oll a'th ddirmygasant a * ymostyngant wrth wadnau dy draed, ac a'th alwant yn ddinas yr Arglwydd, yn Sion Sanct Israel.

Datc.3.9.

15 Lle y buost yn wrthodedic, ac yn gâs, ac heb gynniwerydd [trwot], gwnâf di yn ardderchowgrwydd tragywyddol, [ac] yn llawenydd i'r holl genhedlaethau.

16 Sugni hefyd laeth y cenhedloedd, ie bronnau brenhinoedd a sugni, a chei wybod mai myfi 'r Arglwydd [yw] dy achubudd, a'th waredudd [yw] cadarn [Dduw] Iacob.

17 Yn lle prês y dygaf aur, ac yn lle haiarn y dygaf arian, ac yn lle coed, prês, ac yn lle cerrig, haiarn; a gwnaf dy swyddogion

gion yn heddychol, a'th dreth-wyr yn gyfiawn.

18 Ni chlywir mwy [sôn am] drais yn dy wlâd, [na] destryw, na dinistr yn dy derfynau: eithr ti a elwi dy fagwyrydd yn iechydwriaeth, a'th byrth yn foliant.

19 *Ni bydd yr haul it mwyach yn oleuni y dydd, a'r lleuad ni oleua yn llewyrch i ti: eithr yr Arglwydd fydd it yn oleuni tragywyddol, a'th Dduw yn ogoniant it.

Dat.21.23. & 22.5.

20 Ni fachluda dy haul mwyach, a'th leuad ni phalla; o herwydd yr Arglwydd fydd it yn oleuni tragywyddol, a dyddiau dy alar a ddarfyddant.

21 *Dy bobl hefyd fyddant gyfiawn oll, etifeddant y tir byth, sef blaguryn fy mhlanhigion, gwaith fy nwylo, fel i'm gogonedder.

22 Y bychan a fydd yn fil, a'r gwael yn genedl gref; myfi 'r Arglwydd a bryssuraf hynny yn ei amser.

PEN. LXI.

1 Swydd Chriſt. 4 Parodrwydd, 7 a bendithion y ffyddloniaid.

YSpryd yr* Arglwydd Dduw [sydd] arnaf, o herwydd yr Arglwydd a'm heneiniodd, i efangylu [i'r] rhai llariaidd, efe a'm hanfonodd i rwymo y rhai yssig eu calon, i gyhoeddi rhydd-did i'r caethion, ac agoriad carchar i'r rhai sy 'n rhwym:

Luc.4.18.

2 I gyhoeddi blwyddyn gymmeradwy yr Arglwydd, a dydd dial ein Duw ni, i gyssuro pob galarus;

3 Osod i alarwyr Sion, [ac] i roddi iddynt ogoniant yn lle lludw, olew llawenydd yn lle galar, gwisc moliant yn lle yspryd cystuddiedic; fel y gelwid hwynt* yn brennau cyfiawnder, yn blanhigyn yr Arglwydd, fel y gogonedder ef.

Ma.3.8.

4 *Adeiladant hefyd yr hên ddiffaethfa, cyfodant yr anghyfanneddfa gynt, ac adnewyddant ddinasoedd diffaeth, ac anghyfannedd-dra llawer oes.

Pen.58.12.

5 A dieithriaid a safant, ac a borthant eich praidd, a meibion dieithr [fydd] arddwyr a gwin-llanwyr i chwi.

6 Chwithau a elwir yn offeiriaid i'r Arglwydd, gwenidogion ein Duw ni meddir wrthych,* golud y cenhedloedd a fwynhewch, ac yn eu gogoniant hwy 'r ymddercheфwch.

Pen.60.6.

7 Yn lle eich cywilydd [y cewch] ddau ddyblyg, ac yn lle gwradwydd, hwy a lawenychant yn eu rhan: am hynny yn y tir y meddiannant [ran] ddwbl; llawenydd tragywyddol fydd iddynt.

8 Canys myfi 'r Arglwydd a hoffaf gyfiawnder, yr wyf yn cassau trais yn boeth offrwm, ac a gyfarwyddaf eu gwaith mewn gwirionedd, ac a wnaf â hwynt gyfammod tragywyddol.

9 Eu hâd hwynt hefyd a adweinir ym mysc y cenhedloedd, a'i hiliogaeth hwynt ynghanol y bobl: y rhai a'i gwelant a'i hadwaenant, mai hwynt hwy [yw] 'r hâd a fendithiodd yr Arglwydd.

10 Gan lawenychu y llawenychaf yn yr Arglwydd, fy enaid a orfoledda yn fy Nuw, canys gwiscodd fi â gwiscoedd iechydwriaeth, gwiscodd fi â mantell cyfiawnder: megis y mae priod-fab || yn ymwisco â hardd-wisg, ac fel yr ymdrwssia priod-ferch â'i thlyssau.

|| Heb. yn ymharddu fel offeiriad.

11 Canys megis y gwna 'r ddaiar iw gwellt dyfu, ac fel y gwna gardd iw hadau egino, felly y gwna 'r Arglwydd Iôr i gyfiawnder a moliant, darddu ger bron yr holl genhedloedd.

PEN. LXII.

1 Awyddus chwant y Prophwyd i gadarnhau yr Eglwys yn addewidion Duw. 5 Dled-ſwydd y gwenidogion wrth bregethu 'r Efengyl, 10 a pharottoi 'r bobl i 'w derbyn.

ER mwyn Sion ni thawaf, ac er mwyn Ierusalem ni ostegaf, hyd onid elo ei chyfiawnder hi allan fel discleirdeb, a'i hiechydwriaeth hi fel lamp yn llosci.

2 A'r cenhedloedd a welant dy gyfiawnder, a'r holl frenhinoedd dy ogoniant; yna y gelwir arnat enw newydd, yr hwn a enwa genau 'r Arglwydd.

3 Byddi hefyd yn goron gogoniant yn llaw 'r Arglwydd, ac yn dalaith frenhinawl yn llaw dy Dduw.

4 Ni ddywedir am danat mwy, *Gwrthodedic; am dy dir hefyd ni ddywedir mwy, anghyfannedd; eithr ti a elwir || Hephzi-bah: a'th dir, || Beulah: canys y mae 'r Arglwydd yn dy hoffi, a'th dir a briodir.

Hos.1.10. 1.pet.2.10.

|| sef, y mae fy ewyllys arni. || sef, priodol.

5 Canys [fel] y prioda gwr ieuangc forwyn, y prioda dy feibion dydi, ac â llawenydd priod-fab am briod-ferch, y llawenycha dy Dduw o'th blegit ti.

6 Ar dy furiau di, Ierusalem, y gosodais geidwaid, y rhai ni thawant ddydd na nôs yn wastad; y rhai ydych || yn cofio yr Arglwydd, na ddistewch:

|| neu, gofiaduriaid yr Arglwydd.

7 Ac na adewch ddistawrwydd iddo, hyd oni siccrhao, a hyd oni osodo Ierusalem yn foliant ar y ddaiar.

8 Tyngodd yr Arglwydd iw ddeheu-law, ac iw fraich nerthol, || yn ddiau ni roddaf dy ŷd mwyach yn ymborth i'th elynion, a meibion dieithr nid yfant dy win, yr hwn y llafuriaist am dano.

|| Heb. os rhoddaf.

9 Eithr y rhai a'i casclant a'i bwyttânt, ac a foliannant yr Arglwydd, a'r rhai a'i cynnullasant a'i hyfant, o fewn cynteddoedd fy sancteiddrwydd.

10 *Cynniwerwch, cynniwerwch trwy 'r pyrth, parattowch ffordd y bobl; palmentwch, palmentwch briffordd; digarregwch [hi:] cyfodwch faner i'r bobloedd.

Pen.40.3. & 57.14.

11 Wele,

11 Wele, yr Arglwydd a gyhoeddodd hyd eithaf y ddaiar, *dywedwch wrth ferch Sion, wele dy iechydwriaeth yn dyfod, wele *ei gyflog gyd ag ef, a'i || waith o'i flaen.

*Zech.9.9. mat.21.5. io.12.15. * Pen.40.10. || Heb.daliad.

12 Galwant hwynt hefyd yn bobl sanctaidd, yn waredigion yr Arglwydd: tithau a elwir, yr hon a geisiwyd, dinas nis gwrthodwyd.

## PEN. LXIII.

1 Christ yn dangos pwy ydyw, 2 A pha beth yw ei oruchafiaeth ar ei elynion. 10 Yn ei gyfiawn ddigllonedd, y mae yn meddwl am ei hael drugaredd. 15 Yr Eglwys yn ei gweddi, 17 a'i hachwyn, yn gwneuthur proffess o'i ffydd.

Pwy [yw] hwn yn dyfod o Edom, yn gôch ei ddillad o Bozrah? hwn [sydd] hardd yn ei wisc, yn ymdaith yn amlder ei rym? myfi, yr hwn a lefaraf mewn cyfiawnder, [ac wyf] gadarn i iachau.

2 *Pa ham [yr ydwyt] yn gôch dy ddillad, a'th wiscoedd fel hwn a sathrei mewn gwin-wryf?

Datc.19.13.

3 Sethrais y gwin-wryf fy hunan, ac o'r bobl nid [oedd] un gyd â mi; canys mi a'i sathraf hwynt yn fy nig, ac a'i mathraf hwynt yn fy llidiawgrwydd; a'i gwaed hwynt a daenellir ar fy nillad, a'm holl wiscoedd a lychwinaf.

4 *Canys dydd dial [sydd yn] fy nghalon, a blwyddyn fy ngwaredigion a ddaeth.

Pen.34.8.

5 Edrychais hefyd, ac nid [oedd] gynnorthwywr; rhyfeddais hefyd am nad [oedd] gynhaliwr; yna fy *mraich fy hun a'm hachubodd, a'm llidiawgrwydd a'm cynhaliodd.

Pen.59.16.

6 Ac mi a sathraf y bobl yn fy nig, ac a'i meddwaf hwynt yn fy llidiawgrwydd; a'i cadernid a ddescynnaf i'r llawr.

7 Cofiaf drugareddau yr Arglwydd, [a] moliant Duw, yn ôl yr hyn oll a roddodd Duw i ni, ac amlder [ei] ddaioni i dŷ Israel, yr hyn a roddodd efe iddynt yn ôl ei dosturiaethau, ac yn ôl amlder ei drugareddau.

8 Canys efe a ddywedodd, diau fy mhobl [ydynt] hwy, meibion ni ddywedant gelwydd; felly efe a aeth yn iachawdur iddynt.

9 Yn eu holl gystudd hwynt, efe a gystuddiwyd, ac Angel ei gydrycholdeb a'i hachubodd hwynt; *yn ei gariad, ac yn ei drugaredd y gwaredodd efe hwynt: efe a'i dygodd hwynt, ac a'i harweiniodd, yr holl ddyddiau gynt.

Deut.7.7.8.

10 *Hwythau oeddynt wrthryfelgar, ac a ofidiasant ei Yspryd sanctaidd ef; am hynny y trôdd efe yn elyn iddynt, [ac] yr ymladdodd yn eu herbyn.

Exod.15.24. num.14.11. psa.78.57. & 95.9.

11 Yna y cofiodd [efe y] dyddiau gynt, Moses a'i bobl, [gan ddywedyd,] mae'r hwn *a'i dygodd hwynt i fynu o'r môr, gyd â'| bugail ei braidd? mae'r hwn a osododd ei Yspryd sanctaidd o'i fewn ef?

Exod.14.30. || neu, bugeiliaid, fel psal. 77.21.

12 Yr hwn a'i tywysodd [hwynt] â dehenlaw Moses, ac â'i ogoneddus fraich, gan *hollti y dyfroedd o'i blaen hwynt, i wneuthur iddo ei hun enw tragywyddol?

Exod.14.21. ios.3.16.

13 Yr hwn a'i harweiniodd hwynt trwy y dyfnderau, fel march yn yr anialwch, fel na thramgwyddynt?

14 Fel y descyn anifail i'r dyffryn, y gwna Yspryd yr Arglwydd iddo orphywys: felly y tywysaist dy bobl, i wneuthur it enw gogoneddus.

15 *Edrych o'r nefoedd, a gwêl; o annedd dy sancteiddrwydd, a'th ogoniant: mae dy zêl, a'th gadernid, || lluosogrwydd dy dosturiaethau, a'th drugareddau tuac attafi? a ymattaliasant?

Deu.26.15. || neu, swn dy ymyscaroedd.

16 Canys ti yw ein Tâd ni, er nad edwyn Abraham ni, ac na'n cydnebydd Israel; ti Arglwydd [yw ein] Tâd ni, || ein gwaredydd: dy enw [sydd] i'r ioed.

|| neu, ein gwaredydd ni[illegible]

17 Pa ham Arglwydd y gwnaethost i ni gyfeiliorni allan o'th ffyrdd? [ac] y caledaist ein calonnau oddi wrth dy ofn? dychwel, er mwyn dy weision, llwythau dy etifeddiaeth.

18 Tros ychydig ennyd y meddiannodd dy bobl sanctaidd, ein gwrthwyneb-wŷr a sathrasant dy gyssegr di.

19 Nyni ydym [eiddo ti,] er ioed ni buost yn arglwyddiaethu arnynt hwy, [ac] || ni elwid dy enw arnynt.

|| neu, ni elwid hwynt a'th enw.

## PEN. LXIIII.

1 Yr Eglwys yn gweddio ar i Dduw egluro ei allu, 5 Ac wrth fawrygu trugaredd Duw, yn cyffaddef ei llygredigaeth naturiol: 9 Yn cwyno rhag ei chystudd.

O Na rwygit y nefoedd, a descyn, [fel] y toddei y mynyddoedd o'th flaen di,

2 Fel pan losco y tân greision, y pair y tân i'r dwfr ferwi: i yspyssu dy enw i'th wrth-wyneb-wŷr, [fel] yr ofnai y cenhedloedd rhagot.

3 Pan wnaethost [bethau] ofnadwy ni ddisgwiliasom [am danynt,] y descynnaist, [a'r] mynyddoedd a doddasant o'th flaen.

4 Ac *er ioed ni chlywsant, ni dderbyniasant â chlustiau, ac ni welodd llygad, || oh Dduw, onid tydi, [yr hyn] a ddarparodd efe i'r neb a ddisgwil wrtho.

1 cor.2.9. psal.31.20. || neu, Duw onid tydi.

5 Cyfarfyddi â'r hwn sy lawen, ac a wna gyfiawnder; y rhai yn dy ffyrdd a'th gofiant di; wele ti a ddigiaist, pan bechasom; ynddynt hwy y mae para, ac ni a fyddwn cadwedic.

6 Eithr yr ydym ni oll megis [peth] aflan, ac megis brattiau budron yw ein holl gyfiawnderau, a *megis deilen y syrthiasom ni oll: a'n hanwireddau, megis gwynt, a'n dug ni ymmaith.

Psal.90.5.6.

7 Ac nid oes a alwo ar dy enw, nac a ymgyfyd i ymaflyd ynot: canys cuddiaist dy wyneb oddi wrthym, || difeaist ni o herwydd ein hanwireddau.

|| Heb. toddaist.

8 Ond

8 Ond yn awr ô Arglwydd, ein Tâd ni [ydwyt] ti, nyni [ydym] glai, a thitheu yw ein llunj-wr ni; ie gwaith dy law [ydym] ni oll.

9 *Na ddigia, Arglwydd, yn ddirfawr, ac na chofia anwiredd yn dragywydd; wele, edrych attolwg; dy bobl di [ydym] ni oll.

10 Dy sanctaidd ddinasoedd sydd anialwch; Sion [sydd] yn ddiffaethwch, a Ierusalem yn anghyfannedd.

11 Tŷ ein sancteiddrwydd, a'n harddwch ni, lle y moliannei ein tadau dydi, a loscwyd â thân, a'n holl bethau dymunol, sydd yn anrhaith.

12 A ymatteli di Arglwydd wrth y pethau hyn? a dewi di, ac a gystuddi di ni yn ddirfawr?

P E N. LXV.

1 Galwedigaeth y cenhedloedd, 2 Gwrthod yr Iuddewon, am eu hangrhedyniaeth, a'i delwaddoliaeth, a'i rhagrith. 8 Gweddill a achubir. 11 Barnedigaethau ar yr enwir, a bendithion ar y duwiol. 17 Dedwydd gyflwr Ierusalem newydd.

C*Eisiwyd fi gan y rhai ni ymofynnasant am [danaf,] *cafwyd fi gan [y rhai] ni'm ceisiasant: dywedais, wele fi, wele fi, wrth genhedlaeth ni alwyd ar fy enw.

2 Estynnais fy llaw ar hŷd y dydd at bobl wrthryfelgar, y rhai a rodient y ffordd nid [oedd] dda, ar ôl eu meddyliau eu hun.

3 Pobl, y rhai a'm llidient i yn wastad, yn fy wyneb, yn aberthu mewn gerddi, ac yn arogl-darthu || ar allorau priddfeini.

4 Y rhai a arhoent ym mysc y beddau, ac a letteuent yn y monwentau; y rhai a fwyttaent gig môch, || ac iscell ffiaidd bethau [yn] eu llestri;

5 Y rhai a ddywedent, saf ar dy ben dy hun, na nessa attafi, canys sancteiddiach ydwyf nâ thi; y rhai hyn [sydd] fŵg yn || fy ffroenau, tân yn llosci ar hŷd y dydd.

6 Wele, scrifennwyd ger fy mron; ni thawaf; eithr talaf, ie talaf i'w monwes,

7 Eich anwireddau chwi, ac anwireddau eich tadau ynghyd, (medd yr Arglwydd,) y rhai a arogldarthasant ar y mynyddoedd, ac a'm cablasant ar y bryniau: am hynny y messuraf eu hên weithredoedd hwynt i'w monwes.

8 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, megis y ceir gwin newydd mewn swpp o rawn, ac y dywedir, na ddifwyna ef, canys [y mae] bendith ynddo: felly y gwnaf er mwyn fy ngweision, na ddistrywiwyf hwynt oll.

9 Eithr dygaf hâd allan o Iacob, ac o Iuda [un] a etifeddo fy mynyddoedd: a'm hetholedigion a'i hetifeddant, a'm gweision a drigant yno.

10 Saron hefyd fydd yn gorlan defaid, a glyn Achor yn orweddfa gwarthec, i'm pobl y rhai a'm ceisiasant.

11 Ond chwi yw y rhai a wrthodwch yr Arglwydd, a anghofiwch fy mynydd sanctaidd, a arlwywch fwrdd i'r || llu accw, ac a lenwch ddiod offrwm i'r || niferi accw.

12 Rhifaf chwithau i'r cleddyf, a chwi oll a ymostyngwch i'r lladdedigaeth; o *herwydd pan elwais chwi, nid attebasoch; pan leferais, ni wrandawsoch; *ond gwnaethoch ddrygioni yn fy ngolwg, a dewisasoch yr hyn nid oedd dda gennif.

13 Am hynny, fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, wele, fy ngweision a fwyttânt, a chwithau a newynwch; wele, fy ngweision a yfant, a chwithau a sychedwch: wele, fy ngweision a lawenychant, a chwitheu a fydd cywilydd arnoch.

14 Wele, fy ngweision a ganant o hyfrydwch calon, a chwithau a waeddwch rhac gofid calon, ac a udwch rhac || cystudd yspryd.

15 A'ch enw a adewch yn felldith gan fy etholedigion; canys yr Arglwydd Dduw a'th ladd di, ac a eilw ei weision [ar] enw arall.

16 Fel y bo i'r hwn a ymfendigo ar y ddaiar, ymfendigo yn Nuw y gwirionedd; ac i'r hwn a dyngo ar y ddaiar, dyngu i Dduw y gwirionedd: am anghofio y trallodau gynt, ac am eu cuddio hwynt o'm golwg.

17 Canys wele fi yn *creu nefoedd newydd, a daiar newydd, a'r rhai cyntaf ni chofir, ac ni || feddylir am danynt.

18 Eithr llawenychwch, a gorfoleddwch yn dragywydd, yn y pethau a grewyfi; canys wele fi yn creu Ierusalem yn orfoledd, a'i phobl yn llawenydd.

19 Gorfoleddaf hefyd yn Ierusalem, a llawenychaf yn fy mhobl; ac ni chlywir ynddi mwyach *lais wylofain, na llef gwaedd.

20 Ni bydd o hynny allan blentyn o oed, na henaf-gwr, yr hwn ni chyflawnodd ei ddyddiau; canys y bachgen fydd marw yn fab can-mlwydd, ond y pechadur yn fab can-mlwydd a felldithir.

21 A hwy a adeiladant dai, ac a'i cyfanneddant; plannant hefyd winllannoedd, a bwyttânt eu ffrwyth.

22 Nid adeiladant hwy, fel y cyfanneddo arall; ac ni phlannant, fel y bwyttao arall: eithr megis dyddiau pren [y bydd] dyddiau fy mhobl, a'm hetholedigion a || hir-fwynhânt waith eu dwylo.

23 Ni lafuriant yn ofer, ac ni chenhedlant i drallod; canys hâd rhai bendigedic yr Arglwydd [ydynt] hwy, a'i heppil gyd â hwynt.

24 A bydd *cyn galw o honynt, i mi atteb, ac a hwy etto yn llefaru, mi a wrandawaf.

25 Y *blaidd a'r oen a borant ynghyd, y llew fel ŷch a bawr wellt: a'r sarph, llwch [fydd] ei bwyd hi: ni ddrygant, ac ni ddistrywiant, yn fy holl fynydd sanctaidd, medd yr Arglwydd.

P E N. LXVI.

1 Y myn y gogoneddus Dduw ei wasanaethu mewn gostyngedig burdeb. 5 Y mae yn cyssuro y gostyngedig â rhyfeddol genhedliad, 10 a grasusol ddoniau yr Eglwys. 15 Tost farnedigaethau Duw yn erbyn yr annuwiol. 19 Y bydd i'r Cenhedloedd eglwys sanctaidd, 24 Ac y cânt weled damnedigaeth yr annuwiol.

*Psal.79.8. *Rhuf.10.20. *Rhuf.9.24, 25,26. Ephe.2.12.

|| neu, Meni. *Dih.1.13. Ier.7.13. *Pen.66.4. || Heb. drylliad. *Pen.66.22. 2.Pet.3.13. Datc.21.1. || Heb. ddaw i fynu ar y galon. *Datc.21.4. || neu, a dreuliant. *Psal.32.5. Esa.11.6,7.

Fel


Fel hyn y dywed yr Arglwydd, * y nef yw fy ngorsedd-faingc, a'r ddaiar yw lleithic fy nhraed: mae'r tŷ a adeiledwch i mi? ac mae'r fan y gorphywysaf?

*1.Bren.8.27. 2.Cor.6.18. Act.7.49.& 17.24.

2 Canys y pethau hyn oll a wnaeth fy llaw, a [thrwosi] y mae hyn oll, medd yr Arglwydd; ond ar hwn yr edrychaf, [sef] ar y truan, a'r cystuddiedic o yspryd, ac sydd yn crynu wrth fy ngair.

3 Yr hwn a laddo ŷch, [sydd fel] yr hwn a laddo wr; yr hwn a abertho ‖ oen, [sydd fel] yr hwn a dorfynyglo gi: yr hwn a offrymma offrwm, [sydd fel pe offrymmai] waed môch; yr hwn a arogl-dartha thus, sydd fel pe bendigei eulyn: ie hwy a ddewisasant eu ffyrdd eu hun, a'i henaid a ymhyfrydodd yn eu ffieidd-dra.

‖Neu, fynn.

4 Minneu a ddewisaf eu ‖ dychymmygion hwynt, ac a ddygaf arnynt yr hyn a ofnant, * am alw o honof, ac nad [oedd] a attebei; lleferais, ac ni wrandawsant: * eithr gwnaethant yr hyn oedd ddrwg yn fy ngolwg, a'r hyn nid oedd dda gennyf, a ddewisasant.

‖Neu, siommedigaethau.
*Dih.1.24. Ier.7.13. *Pen.65.12.

5 Gwrandewch air yr Arglwydd, y rhai a grynwch wrth ei air ef: eich brodyr y rhai a'ch casasant, [ac] a'ch gyrrasant ar encil, er mwyn fy enw i, a ddywedasant, * gogonedder yr Arglwydd: etto i'ch llawenydd chwi y gwelir ef, a hwynt a wradwyddir.

*Pen.5.19.

6 Llef soniarus o'r ddinas, llef o'r Deml, llef yr Arglwydd yn talu'r pwyth i'w elynion.

7 Cyn ei chlefychu yr esgorodd; cyn dyfod gwewyr arni y rhydd-hawyd hi ar fab.

8 Pwy a glybu y fath beth a hyn? pwy a welodd y fath bethau a hyn? a wneir i'r ddaiar dyfu mewn un-dydd? a enir cenhedl [ar] unwaith? pan glefychodd Sion, yr esgorodd hefyd ar ei meibion.

9 A ddygaf fi i'r enedigaeth, ac oni pharaf esgor, medd yr Arglwydd? a barafi esgor, ac a luddiaf, medd dy Dduw?

10 Llawenhewch gyd â Jerusalem, a byddwch hyfryd gydâ hi, y rhai oll a'i cerwch hi; llawenychwch gyd â hi yn llawen, y rhai oll a alerwch o'i phlegid hi:

11 Fel y sugnoch, ac i'ch diwaller â bronnau ei diddanwch hi: fel y godrôch, ac y byddoch hyfryd gan ‖ helaethrwydd ei gogoniant hi.

‖Neu, ddisgleirdeb.

12 Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd, wele, mi a estynnaf iddi heddwch, fel afon; a gogoniant y cenhedloedd, fel ffrwd lifeiriol: yna y sugnwch, * ar ei hystlys [hi] i'ch dygir, ac ar ei gliniau i'ch diddenir.

* Pen.49.22. & 60.4.

13 Fel un yr hwn y diddana ei fam ef, felly y diddanaf fi chwi, ac yn Jerusalem i'ch diddenir.

14 A phan weloch hyn y llawenycha eich calon, eich escyrn hefyd a flodeuant fel lyssieun: ac fe adweinir llaw'r Arglwydd tuag at ei weision, a'i lidiawgrwydd wrth ei elynion.

15 Canys wele'r Arglwydd a ddaw â thân, ac a'i gerbydau fel trô-wynt, i dalu ei ddigter â llidiawgrwydd, a'i gerydd â fflammau tân.

16 Canys yr Arglwydd a ymddadleu â thân, ac â'i gleddyf yn erbyn pôb cnawd, a lladdedigion yr Arglwydd fyddant aml.

17 Y rhai a ymsancteiddiant, ac a ymlanhânt yn y gerddi, ‖ yn ôl ei gilydd, yn y canol, gan fwytta cig môch, a ffieidd-dra, a llygod, a gyd-ddiweddir, medd yr Arglwydd.

18 Canys mi a [adwen] eu gweithredoedd hwynt, a'i meddyliau: y mae ['r amser] yn dyfod, i gasclu'r holl genhedloedd, a'r ieithoedd, a hwy a ddoant, ac a welant fy ngogoniant.

19 A gosodaf yn eu mysc arwydd, ac anfonaf y rhai diangol o honynt, at y cenhedloedd, i Tarsis, ‖ Africa, a Lydia, y rhai a dynnant [mewn] bwa, ‖ Italia, a Groec, i'r ynysoedd pell, y rhai ni chlywsant sôn am danaf, ac ni welsant fy ngogoniant: a mynegant fy ngogoniant ym mysc y cenhedloedd.

‖Pul, a Lud.
‖Tubal a Iavan.

20 A hwy a ddygant eich holl frodyr o blith yr holl genhedloedd, yn offrwm i'r Arglwydd, ar feirch, ac ar gerbydau, ac ar elorau meirch, ac ar fulod, ac ar anifeiliaid buain, i'm mynydd sanctaidd Jerusalem, medd yr Arglwydd; megis y dŵg meibion Israel offrwm, mewn llestr glân, [i] dŷ'r Arglwydd.

21 Ac o honynt hwy y cymmeraf [rai] yn * offeiriaid, ac yn Lefiaid, medd yr Arglwydd.

*Exod.19.6. Pen.61.6. 1.Pet.2.9. Datc.1.6.

22 Canys * megis y saif ger fy mron y nefoedd newydd, a'r ddaiar newydd, y rhai a wnafi, medd yr Arglwydd; felly y saif eich hâd chwi, a'ch enw chwi.

*Pen.65.17. 2.Pet.3.13. Datc.21.1.

23 Bydd hefyd o newydd-loer ‖ i newydd-loer, ac o Sabboth ‖ i Sabboth, i bob cnawd ddyfod i addoli ger fy mron i, medd yr Arglwydd.

‖Heb. i'w newydd-loer.
‖Heb. i'w Sabboth.

24 A hwy a ânt allan, ac a edrychant ar gelanedd y rhai a wnaethant gamwedd i'm herbyn, canys eu * pryf ni bydd marw, a'i tân ni ddiffydd; a byddant yn ffiaidd-dra gan bob cnawd.

*Marc.9.44.

LLYFR



# LLYFR Y PROPHWYD IEREMI.

## PEN. I.

1 Amser, 3 a galwad Ieremi: 11 Ei brophwydol weledigaeth ef, am y wialen Almon, a'r crochan berwedig. 15 Ei drom gennadwri ef yn erbyn Iuda. 17 Duw yn ei gyssuro ef, trwy addo iddo ei gymmorth.



Geiriau Jeremi fab *Helciah, o'r offeiriaid, y rhai [oedd] yn *Anathoth, o fewn tir Beniamin;

2 Yr hwn y daeth gair yr Arglwydd atto, yn nyddiau Josiah fab Amon brenin Juda; yn y drydedd flwyddyn ar ddêc o'i deyrnasiad ef.

3 Ac fe ddaeth yn nyddiau Jehoiacim fab Josiah brenin Juda; nes darfod un mlynedd ar ddêc i Zedeciah fab Josiah brenin Juda; hyd ddygiad Jerusalem i gaethiwed, yn y pummed mis.

4 Yna y daeth gair yr Arglwydd attaf, gan ddywedyd;

5 Cyn i mi dy *lunio di yn y groth, mi a'th adnabûm; a chyn dy ddyfod o'r groth, *y sancteiddiais di; [ac] mi a'th roddais yn brophwyd i'r cenhedloedd.

6 Yna y dywedais, *ô Arglwydd Dduw, wele, ni fedraf ymadrodd; canys bachgen ydwyf.

7 Ond yr Arglwydd a ddywedodd wrthif, na ddywed, bachgen ydwyf; canys ti a ei at y rhai oll i'th anfonwyf, a'r hyn oll a orchymynnwyf it, a ddywedi.

8 *Nac ofna rhag eu hwynebau hwynt; *canys yr ydwyf fi gyd â thi, i'th waredu, medd yr Arglwydd.

9 Yna'r estynnodd yr Arglwydd ei law, ac a *gyffyrddodd â'm genau; a'r Arglwydd a ddywedodd wrthif, wele, *rhoddais fy ngeiriau yn dy enau di.

10 Gwel, heddyw i'th osodais *ar y cenhedloedd, ac ar y teyrnasoedd, i *ddiwreiddio, ac i dynnu i lawr, i ddifetha, ac i ddestrywio, i adeiladu, ac i blannu.

11 Yna y daeth gair yr Arglwydd attaf, gan ddywedyd, Jeremi, beth a weli di? minneu a ddywedais, gwialen almon a welaf fi.

12 A dywedodd yr Arglwydd wrthif; da y gwelaist, canys mi a brysuraf fy ngair i'w gyflawni.

13 A gair yr Arglwydd a ddaeth attaf yr ail waith, gan ddywedyd; beth a weli di? ac mi a ddywedais, mi a welaf grochan berwedic, a'i wyneb || tua'r gogledd.

14 Yna y dywedodd yr Arglwydd wrthif: *o'r gogledd || y tyrr drwg allan, ar holl drigolion y tir.

15 Canys wele, *myfi a alwaf holl deuluoedd teyrnasoedd y gogledd, medd yr Arglwydd, a hwy a ddeuant, ac a osodant bob un ei orseddfaingc wrth ddrws porth Jerusalem, ac yn erbyn ei muroedd oll o amgylch, ac yn erbyn holl ddinasoedd Juda.

16 A mi a draethaf fy marnedigaethau yn eu herbyn, am holl anwiredd y rhai a'm gadawsant, ac a arogldarthasant i dduwiau eraill, ac a addolasant weithredoedd eu dwylo eu hunain.

17 Am hynny gwregysa dy lwynau, a chyfod, a dywed wrthynt yr hyn oll yr ydwyf yn ei orchymyn it; nac arswyda eu hwynebau; *rhag i mi dy || ddestrywio di ger eu bron hwynt.

18 Canys wele, heddyw yr ydwyf yn dy roddi di yn *ddinas gaeroc, ac yn golofn haiarn, ac yn fûr prês, yn erbyn yr holl dir, yn erbyn brenhinoedd Juda, yn erbyn ei thywysogion, yn erbyn ei hoffeiriaid, ac yn erbyn pobl y tir.

19 Ymladdant hefyd yn dy erbyn, ond ni'th orchfygant; canys myfi [fydd] gyd â thi, i'th ymwared, medd yr Arglwydd.

## PEN. II.

1 Duw wedi dangos ei garedigrwydd o'r blaen, yn ymliw â'r Iuddewon am droi oddiwrtho mor ddiachos, 9 y tu hwnt i bawb eraill. 14 Mai hwynt hwy eu hunain yw'r achos o'i haflwydd. 20 Pechodau Iuda. 31 Gwrthod ei hyder ef.



A Gair yr Arglwydd a ddaeth attaf fi, gan ddywedyd;

2 Cerdda, a llefa ynghlustiau Jerusalem, gan ddywedyd; fel hyn y dywed yr Arglwydd, *cofiais || di, caredigrwydd dy ieuengtid, a serch dy ddyweddi, pan i'm canlynaist yn y diffaethwch, mewn tir ni hauwyd.

3 Israel [ydoedd] sancteiddrwydd i'r Arglwydd, [a] blaen-ffrwyth ei gnwd ef: pawb oll a'r a'i bwyttâo a bechant; drwg a ddigwydd

Margin notes:
*2.Bren.22.8. *Jos.21.18. || Pal, a Lad. || Tubal a Lemon. *Esa.49.1,5. *Gal.1.15. *Exod.4.10. Pen.6.1.6. 1.Pet.2.9. Dan.1.6. *Pen.6.13. 2.Pet.1.19. Dan.21.1. || Heb. ... || Heb ... *Ezec.3.9. *Exod.3.12. Deut.31.6,8. Jos.1.5. Heb.13.6. *Matt.9.44. *Esa.6.7. *Pen.5.14. *Mat.18.18. 2.Cor.10.4. Heb.4.12. *Pen.18.7. 2.Cor.10.4,5. || Heb. oddiwrth wyneb y gogledd. *Pen.4.6. || Heb. yr agorir drwg. *Pen.5.15. & 6.22. & 10.22. || Neu, ddryllio. *Jos.1.5. Esa.50.7. Ezec.3.8. Pen.6.27. & 15.20. Heb.13.5. *Ezec.16.8. Pen.12.14. || Neu, er dy fwyn, gared.

a ddigwydd iddynt, medd yr Arglwydd.

4 Gwrandewch air yr Arglwydd tŷ Jacob, a holl deuluoedd tŷ Israel.

5 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, pa anwiredd a gafodd eich tadau chwi ynof fi, gan iddynt ym bellhau oddi wrthif, a rhodio ar ôl oferedd, a myned yn ofer?

*Es.63.9,11, 13. hos.13.4.

6 Ac ni ddywedant, *pa le y mae 'r Arglwydd a'n dug ni i fynu ô dir yr Aipht? a'n harweiniodd trwy 'r anialwch, trwy dir diffaeth, a phyllau, trwy dir sychter, a chysgod angeu, trwy dir nid aeth gwr trwyddo, ac ni thrigodd dŷn ynddo?

*Psal.78.58. Psal.106.38.

7 Dygais chwi hefyd i wlad gnydfawr, i fwyta ei ffrwyth a'i daioni: eithr pan ddaethoch i mewn, *halogasoch fy nhir i, a gwnaethoch fy etifeddiaeth i yn ffieidd-dra.

Rhuf.2.20.

8 Yr offeiriaid ni ddywedasant, pa le y mae 'r Arglwydd? *a'r rhai sy yn trin y gyfraith nid adnabuant fi; y bugeiliaid hefyd a droseddasant i'm herbyn, a'r prophwydi a brophwydasant yn [enw] Baal, ac a aethant ar ôl [y pethau] ni wnaent lesâd.

9 O blegit hyn, mi a ddadleuaf â chwi etto, medd yr Arglwydd: fe dadleuaf â meibion eich meibion chwi.

‖neu, trosodd i.

10 Canys ewch ‖tros ynysoedd Chittim, ac edrychwch; a danfonwch i Cedar, ac ystyriwch yn ddiwyd, ac edrychwch a fu y cyfryw beth.

*Pen.16.20.

11 A newidiodd [un] genhedl eu duwiau, a hwy *heb [fod] yn dduwiau? eithr fy mhobl i a newidiodd eu gogoniant, am [yr hyn] ni wna lesâd.

12 O chwi nefoedd, synnwch wrth hyn, ac ofnwch yn aruthrol, a byddwch anghyfannedd iawn, medd yr Arglwydd.

Pen.17.13.& 18.14.ps.36.9. ionas 2.8. zac.10.2.

13 Canys dau ddrwg a wnaeth fy mhobl, *hwy a'm gadawsant i, ffynnon y dyfroedd byw, ac a gloddiasant iddynt eu hunain bydewau, fe bydewau wedi eu torri, ni ddaliant ddwfr.

‖Heb. yr aeth yn yspail.

14 A'i gwas ydyw Israel? ai [gwas] a anwyd yn tŷ [yw] efe? pa ham ‖yr yspeiliwyd ef?

‖Heb. roesant eu llef.

15 Y llewod ieuaingc a ruasant arno, [ac] a ‖leisiasant; a'i dir ef a osodasant yn anrhaith, a'i ddinasoedd a loscwyd heb drigiannudd.

‖neu, ymborthant ar.

16 Meibion Noph hefyd, a Tahapanes, a ‖dorrasant dy goryn di.

17 Ond tydi a beraist hyn it dy hun, am wrthod o honot yr Arglwydd dy Dduw, pan ydoedd efe yn dy arwain ar hŷd y ffordd?

Esa.31.1. ‖Sihor.

18 A'r awr hon, beth [sydd] i ti [a wnelych] yn ffordd yr *Aipht, i yfed dwfr ‖Nilus? a pheth [sydd] i ti yn ffordd Assyria, i yfed dwfr yr afon?

Esa.3.9. hos.5.5.

19 Dy ddrygioni dy hun a'th *gospa di, a'th wrthdro a'th gerydda: gwybydd ditheu, a gwêl mai drwg, a chwerw ydyw gwrthod o honot yr Arglwydd dy Dduw, ac nad [ydyw] fy ofn i ynot ti, medd Arglwydd Dduw 'r lluoedd.

‖Neu, wasanaethaf. *Ios.24.16. ezec.10.12. nehem.8.6. esa.57.5. ier.3.6.

20 O blegid er ystalm mi a dorrais dy iau di, ac a ddrylliais dy rwymau, a thi a ddywedaist, ni ‖throseddaf; *er hynny ti a wibiaist gan butteinio ar bob bryn uchel, a than bob pren deiliog.

*Exod.15.17. psal.44.2. & 80.8. esa.5.15. Mat.21.33. mar.12.1. luc.20.9.

21 *Etto mysi a'th blannaswn yn ber-winwydden, o'r iawn hâd oll: pa fodd gan hynny i'th drowyd i'm yn blanghigyn afrywiog gwinwydden dieithr?

*Iob.9.30.

22 *Canys pe byddei it ymolchi â nitr, a chymmeryd it lawer o sebon; etto nodwyd dy anwiredd ger fy mron i, medd yr Arglwydd Dduw.

‖Neu, ô gamel buan, yr hwn wyt &c.

23 Pa fodd y dywedi, ni halogwyd fi, ac nid euthym yn ôl Baalim? edrych dy ffordd yn y glyn, gwybydd beth a wnaethost ‖camel buan ydwyt yn amgylchu ei ffyrdd.

‖Neu, Ob asyn. ‖Heb. dysca.

24 ‖Assyn wyllt wedi ei ‖chynnefino â'r anialwch, wrth ddymuniad ei chalon yn yfed gwynt: [wrth] ei hachlysur, pwy a'i try ymaith? pawb a'r a'i ceisiant hi, nid ymflinant; yn ei mis y cânt hi.

‖bod yn ddiarchen. ‖Neu, ai diobaith yw.

25 Cadw dy droed rhag ‖noethni, a'th gêg rhag syched: titheu a ddywedaist, ‖nid oes obaith, nac [oes:] canys cerais ddieithriaid, ac ar eu hôl hwynt yr âf fi.

‖Heb. gafer.

26 Megis y cywilyddia lleidr pan ‖ddalier ef; felly y cywilyddia tŷ Israel; hwynt-wy, eu brenhinoedd, eu tywysogion, a'i hoffeiriaid, a'i prophwydi;

*Esa.26.16.

27 Y rhai a ddywedant wrth bren, tydi [yw] fy nhâd; ac wrth garrec, ti a'm cenhedlaist: canys hwy a droesant attafi wegil, ac nid wyneb: ond yn amser eu *hadfyd y dywedant, cyfod, a chadw ni.

*Esa.45.20. ‖Heb. ddrwg. *Pen.11.13.

28 Eithr pa lê [y mae] dy dduwiau, y rhai a wnaethost i ti? codant, os *gallant dy gadw yn amser dy ‖adfyd: canys [wrth] *rifedi dy ddinasoedd y mae dy dduwiau di, ô Juda.

29 Pa ham yr ymddadleuwch â mi? chwi oll a droseddasoch i'm herbyn, medd yr Arglwydd.

*Esa.9.13. pen.5.3.

30 Yn ofer y *tarewais eich plant chwi, ni dderbyniasant gerydd: eich cleddyf eich hun *a ddifaodd eich prophwydi, megis llew yn destrywio.

*Matth.23.

*Pen.2.5. ‖Heb. arglwyddiaethwyr ydym.

31 Oh genhedlaeth, gwelwch air yr Arglwydd: *a fum i yn anialwch i Israel? yn dir tywyllwch? pa ham y dywed fy mhobl, ‖arglwyddi ydym ni, ni ddeuwn ni mwy attat ti?

32 A anghofia morwyn ei hardd-wisc? neu y briodas ferch ei thlysau? etto fy mhobl i a'm anghofiasant ddyddiau aneirif.

33 Pa ham yr wyt ti yn cyweirio dy ffordd i geisio cariad? am hynny hefyd y dyscaist dy ffyrdd i rai drygionus.

‖Heb. gloddio.

34 Hefyd yn dy odrau di y cafwyd gwaed eneidiau y tlodion diniwed; nid wrth ‖chwilio y cefais hyn, eithr ar y rhai hyn oll.

35 Etto ti a ddywedi, am fy mod yn ddiniwed, yn ddiau y try ei lîd ef oddi wrthif: wele, dadleuaf â thi am ddywedyd o honot, ni phechais.

36 Pa ham y gwibi di cymmaint i newidio dy ffordd? canys ti a wradwyddir o herwydd yr Aipht, fel i'th wradwyddwyd o herwydd Assyria.

2.Sam.13.19.

37 Hefyd ti a ddeui allan oddi wrtho, *a'th ddwylo

ddwylo ar dy ben: o blegit yr Arglwydd a wrthodes dy hyder di, ac ni lwyddi yn-ddynt.

## PEN. III.

1 Mawr drugaredd Duw, yn yſceler butteindra Iuda. 9 Mai gwaeth yw Iuda nag Iſrael. 12 Addewidion yr Efengyl i'r edifeiriol. 20 Duw yn argyoeddi, ac yn galw Iſrael, a hwythau yn gwneuthur cyffes gyhoedd o'i pechodau.



‖ Wy a ddywedant, o gyrr gwr ei wraig ymmaith, a myned o honi oddi wrtho ef, ac iddi fod yn eiddo gwr arall; * a ddychwel efe atti hi mwyach? oni lwyr halogir y tir hwnnw? ond ti a butteiniaist [gyd â] chyfeillion lawer, etto dychwel attafi, medd yr Arglwydd.

‖ Heb. Gan dywedyd.
* Deut.24.4.

2 Dyrchafa dy lygaid i'r lleoedd uchel, ac edrych pa le ni phutteiniaist; ti a eisteddaist ar y ffyrdd iddynt hwy, megis Arabiad yn yr anialwch, ac a halogaist y tir â'th butteindra, ac â'th ddrygioni.

3 Am hynny'r attaliwyd * y cafodydd, ac ni bu glaw diweddar; * a thalcen puttein-wraig oedd i ti, gwrthodaist gywilyddio.

* Deut.28.24. pen.9.12.
* Pen.6.15.

4 Oni elwi di arnafi o hyn allan, fy nhad, [ti yw] tywysog fy ieuengtid?

5 A ddeil [efe ei ddig] byth? a'i ceidw yn dragywydd? wele dywedaist, a gwnaethost yr hyn oedd ddrwg, hyd y gellaist.

6 A'r Arglwydd a ddywedodd wrthif, yn amser Iosiah y brenin, a welaist ti hyn a wnaeth Israel wrthnysig? hi a * aeth i bob mynydd uchel, a than bob pren deiliog, ac a butteiniodd yno.

* Pen.2.20.

7 A mi a ddywedais wedi iddi wneuthur hyn i gyd, dychwel attafi; ond ni ddychwelodd; a Iuda ei chwaer anffyddlon hi, a welodd [hynny.]

8 A gwelais yn dda, am yr achosion oll y putteiniodd Israel wrthnysic, ollwng o honof hi ymmaith, ac a roddais iddi ei llythyr yscar: er hyn ni ofnodd Iuda ei chwaer anffyddlon: eithr aeth a phutteiniodd hitheu hefyd.

9 A chan ‖ yscafnder ei phutteindra yr halogodd hi y tir; canys gyd â'r maen, a'r pren y putteiniodd hi.

‖ Neu, gair.

10 Ac er hyn oll hefyd, ni ddychwelodd Iuda ei chwaer anffyddlon attafi, â'i holl galon, eithr mewn ‖ rhagrith, medd yr Arglwydd.

‖ Heb. ffalsder, neu, celwydd.

11 A dywedodd yr Arglwydd wrthif, Israel wrthnysig a'i cyfiawnhaodd ei hun rhagor Iuda anffyddlon.

12 Cerdda a chyhoedda y geiriau hyn tua 'r gogledd, a dywed; ti Israel wrthnysig, dychwel, medd yr Arglwydd; ac ni adawaf i'm llid syrthio arnoch; * canys trugarog ydwyfi, medd yr Arglwydd, ni ddaliaf [llid] yn dragywydd.

* Psal.86.15. & 103.8,9.

13 Yn unic cydnebydd dy anwiredd, droseddu o honot yn erbyn yr Arglwydd dy Dduw, a gwascaru o honot dy ffyrdd i ddieithriaid, dan bob pren deiliog; ac ni wrandawech ar fy llef, medd yr Arglwydd.

14 Trowch, chwi blant gwrthnysig, medd yr Arglwydd; canys myfi a'ch priodais chwi; ac mi a'ch cymmeraf chwi, un o ddinas, a dau o deulu, ac a'ch dygaf chwi i Sion:

15 Ac a roddaf i chwi * fugeiliaid wrth [fodd] fy nghalon, y rhai a'ch porthant chwi â gwybodaeth, ac â deall.

* Pen.23.4.

16 Ac wedi darfod i wch amlhau, a chynnyddu ar y ddaiar; yn y dyddiau hynny, medd yr Arglwydd, ni ddywedant mwy, Arch cyfammod yr Arglwydd; ac ‖ ni's meddwl calon am dani, ac ni chofir hi; nid ymwelant â hi ychwaith, ac ni wneir [hynny] mwy.

‖ Heb. ni escyn ar y galon.

17 Yn yr amser hwnnw y galwant Ierusalem yn orseddfa'r Arglwydd, ac y cesclir atti yr holl genhedloedd, at enw'r Arglwydd i Ierusalem: ac ni rodiant mwy yn ôl cildynrwydd eu calon ddrygionus.

18 Yn y dyddiau hynny y rhodia tŷ Iuda ‖ gydâ thŷ Israel, a hwy a ddeuant yngbyd, o dir y gogledd, i'r tir a roddais i yn etifeddiaeth i'ch tadau chwi.

‖ Neu, i dy.

19 Ond mi a ddywedais, pa fodd i'th osodaf ym mhlith y plant, ac y rhoddaf i ti dir dymunol, [sef] etifeddiaeth ‖ ardderchawg lluoedd y cenhedloedd? ac a ddywedais, ti a elwi arnafi, fy nhâd, ac ni throi ymaith oddi ar fy ol i.

‖ Heb. dymuniad.

20 Yn ddiau fel yr anffyddlona gwraig oddi wrth ei chyfaill; felly, tŷ Israel, y buoch anffyddlon i mi, medd yr Arglwydd.

21 Llêf a glywyd yn y mannau uchel, wylofain a dymuniadau meibion Israel; canys gwyrasant eu ffordd, [ac] anghofiasant yr Arglwydd eu Duw.

22 * Ymchwelwch feibion gwrthnysig, [ac] mi a iachâf eich gwrthnysigrwydd chwi: wele ni yn dyfod attat ti, o blegit ti [yw] yr Arglwydd ein Duw.

* Hos.14.1.

23 Diau [fod] yn ofer [ymddiried am help] o'r bryniau, [ac o] liaws y mynyddoedd: diau fod iechydwriaeth Israel yn yr Arglwydd ein Duw ni.

24 Canys gwarth a yssodd lafur ein tadau o'n hieuengtid: eu defaid, a'i gwarthec, eu meibion, a'i merched.

25 Gorwedd yr ydym yn ein cywilydd, a'n gwarth a'n tôdd ni: canys yn erbyn yr Arglwydd ein Duw y pechasom, nyni a'n tadau, o'n ieuengtid, hyd y dydd heddyw, ac ni wrandawsom ar lais yr Arglwyd ein Duw.

## PEN. IIII.

1 Duw yn galw Iſrael, trwy ei addewid; 3 yn annog Iuda i edifarhau, trwy farnedigaethau ofnadwy. 19 Toſtur gwynfan am drueni Iuda.



Srael, os dychweli, * dychwel attafi, medd yr Arglwydd: hefyd os rhoi heibio dy ffieidd-dra oddi ger fy mron, yna ni'th symmudir.

* Ioel.2.12.

2 A thi a dyngi, byw yw 'r Arglwydd, mewn gwirionedd, mewn barn, ac mewn cyfiawnder, a'r cenhedloedd a ymfendithiant ynddo: ie ynddo ef yr *ymglodforant.

* 1 Cor. 10. 17.

3 Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd wrth wŷr Juda, ac wrth Jerusalem; * braenerwch i chwi franar, ac na heuwch mewn drain.

* Hos. 10. 12.

4 Ymenwaedwch i'r Arglwydd, a rhoddwch heibio ddienwaediad eich calon, chwi gwŷr Juda, a thrigolion Jerusalem: rhag i'm digofaint ddyfod allan fel tân, a llosci, fel na [byddo] diffoddudd, o herwydd drygioni eich amcanion.

5 Mynegwch yn Juda, a chyhoeddwch yn Jerusalem, a dywedwch, udcenwch udcorn yn y tir, gwaeddwch, ymgesclwch, a dywedwch, ymgynhullwch, ac awn i'r dinasoedd caerog.

6 Codwch faner tua Sion, || ffowch, ac na sefwch; canys mi a ddygaf ddrwg o'r * gogledd, a || dinistr mawr.

|| Neu, ymgesclwch, neu, ymgryfhewch.
* Pen. 1. 13. 14. & 6. 22.
|| Heb. torriad.

7 Y * llew a ddaeth i fynu o'i loches, a difeth-wr y cenhedloedd a gychwynnodd, ac a aeth allan o i drigle, i wneuthur dy dir yn orwag; a'th ddinasoedd a ddinistrir heb drigiannudd.

* 2. Bren. 24. 1.

8 * Am hyn ymwregyswch â lliain sâch; galerwch ac udwch: canys angerdd llid yr Arglwydd ni throes oddi wrthym ni.

* Pen. 6. 26.

9 Ac yn y dydd hwnnw, medd yr Arglwydd, y derfydd am galon y brenin, ac am galon y pennaethiaid: yr offeiriaid hefyd a synnant, a'r prophwydi a ryfeddant.

10 Yna y dywedais, ô Arglwydd Dduw, yn siccr gan dwyllo ti a dwyllaist y bobl ymma a Jerusalem, gan ddywedyd, * bydd heddwch i chwi, ac etto fe ddaeth y cleddyf hyd at yr enaid.

* 1. Bren. 22. 23. ezec. 14. 9. 2. Thes. 2. 11.

11 Yn yr amser hwnnw y dywedir wrth y bobl hyn ac wrth Jerusalem; gwynt sych yr uchel-leoedd yn y diffaethwch, tua merch fy mhobl, nid i nithio, ac nid i buro;

12 Gwynt || llawn o'r [lleoedd] hynny, a ddaw attafi: weithian hefyd myfi a draethaf farn yn eu herbyn hwy.

|| Neu, llawnach nâ'r lleoedd.

13 Wele, megis cymylau y daw i fynu, a'i gerbydau megis corwynt: ei feirch sy yscafnach nâ'r eryrod; gwae nyni, canys ni a anrheithiwyd.

14 O Jerusalem * golch dy galon oddi wrth ddrygioni, fel y byddech gadwedic: pa hyd y lletteui o'th fewn goec amcanion.

* Esa. 1. 16.

15 Canys llêf sydd yn mynegi allan o * Dan, ac yn cyhoeddi cystudd allan o fynydd Ephraim.

* Pen. 8. 16.

16 Coffewch i'r cenhedloedd; wele, cyhoeddwch yn erbyn Jerusalem, ddyfod gwil-wŷr o wlâd bell, a llefaru yn erbyn dinasoedd Juda.

17 Megis ceidwaid maes y maent o amgylch yn ei herbyn; am iddi fy niglloni, medd yr Arglwydd.

18 * Dy ffordd di a'th amcanion a wnaethant hyn i ti, dymma dy ddrygioni di, am ei fod yn chwerw, am ei fod yn cyrhaeddyd hyd at dy galon di.

* Psal. 107. 17. esa. 50. 1.

19 * Fy mol, fy mol, gofidus wyf [o] barwydennau fy nghalon, mae fy nghalon yn terfyscu ynof: ni allaf dewi, am it glywed sain yr udcorn, ô fy enaid, [a] gwaedd rhyfel.

* Esa. 22. 4. pen. 9. 1.

20 Dinistr ar ddinistr a gyhoeddwyd, canys yr holl dir a anrheithiwyd; yn ddisymmwth y destrywiwyd fy lluestai i, a'm cortenni yn ddiattrec.

21 Pa hyd y gwelaf faner? ac y clywaf sain yr udcorn?

22 Canys y mae fy mhobl i yn ynfyd heb fy adnabod i: meibion angall ydynt, ac nid deallgar hwynt: y maent yn synhwyrol i wneuthur drwg, eithr gwneuthur da ni fedrant.

23 Mi a edrychais ar y ddaiar, * ac wele, afluniaidd, a gwâg [oedd;] ac ar y nefoedd, a goleuni nid [oedd] ganddynt.

* Esa. 13. 10. & 24. 23. ezec. 32. 7. ioel. 2. 31. & 3. 15.

24 Mi a edrychais ar y mynyddoedd, ac wele, yr oeddynt yn crynu: a'r holl fryniau a ymelcydwent.

25 Mi a edrychais, ac wele, nid [oedd] dŷn, a holl adar y nefoedd a giliasent.

26 Mi a edrychais, ac wele y dol-dir yn anialwch, a'i holl ddinasoedd a ddestrywiasid o flaen yr Arglwydd, gan lidiawgrwydd ei ddigter ef.

27 Canys fel hyn y dywedodd yr Arglwydd, y tir oll fydd diffaethwch; * ac etto ni wnaf ddiben.

* Esa. 2. 9. pen. 5. 18.

28 Am hynny y galara y ddaiar, ac y tywylla y nefoedd oddi uchod; o herwydd dywedyd o honofi, mi a'i bwriedais, ac ni bydd edifar gennif, ac ni thrôf oddi wrtho.

29 Rhag trwst y gwŷr meirch a'r saethyddion, y ffŷ'r holl ddinas; hwy a ânt i'r drysni, ac a ddringant ar y creigiau: yr holl ddinasoedd a adewir, ac heb neb a drigo ynddynt.

30 A thitheu yr anrhaithiedic, beth a wnei? er ymwisco o honot ac yscarlad, er it ymdrwssio â thlyssau aur, er i ti || liwio dy wyneb â lliwiau, yn ofer i'th wnei dy hun yn dêg, dy gariadau a'th ddirmygant, [ac] a geisiant dy einioes.

|| Neu, dorri dy lygaid.

31 Canys clywais lef megis gwraig yn escor, cyfyngder fel benyw yn escor ar ei hetifedd cyntaf, llef merch Sion, yn ochein, [ac] yn lledu ei dwylo, [gan ddywedyd,] gwae fi yr awr hon, o blegit deffygiodd fy enaid gan leiddiaid.

## PEN. V.

1 Barnedigaethau Duw ar yr Iuddewon, am eu gwrthnysigrwydd, 7 am eu godineb, 10 am eu hannuwioldeb, 19 am iddynt ddiystyru Duw, 25 am eu mawr lygredigaeth yn eu llywodraeth fydol, 30 ac Eglwysig.

Rhedwch ymma a thraw, ar hyd heolydd Jerusalem, ac edrychwch yr awr hon, mynnwch wybod hefyd, a cheisiwch yn ei || heolydd hi, o chewch wr, a oes a wnêl barn, a gais wirionedd, ac myfi a'i harbedaf hi.

|| Neu, ymg-lawdd.

2 Ac er dywedyd o honynt, byw yw'r Arglwydd, etto yn gelwyddog y tyngant.

3 O Arglwydd, onid ar y gwirionedd

[y mae] dy lygaid ti? ti *a'i tarewaist hwynt, ac nid ymofidiasant: difeaist hwynt, [eithr] gwrthodasant dderbyn cerydd; hwy a wnaethant eu hwynebau yn galettach na chraig, gwrthodasant ddychwelyd.

4 Ac mi a ddywedais, yn siccr tlodion ydyw y rhai hyn, ynfydion ydynt: canys nid adwaenant ffordd yr Arglwydd, [na] barn eu Duw.

5 Mi a âf rhagof at y gwŷr mawr, ac a ymddiddanaf â hwynt, canys hwy a wybuant ffordd yr Arglwydd, [a] barn eu Duw, eithr y rhai hyn a gyd-dorrasant yr iau, [ac] a ddrylliasant y rhwymau.

6 O blegit hyn, llew o'r coed a'i tery hwy, blaidd || o'r anialwch a'i destrywia hwy, llewpard a wilia ar eu dinasoedd hwy; pawb a'r a ddêl allan o honynt a rwygir, canys eu camweddau a amlhasant, eu gwrthdroseydd a || chwanegasant.

7 Pa fodd i'th arbedwn am hyn? dy blant a'm gadawsant i, ac a dyngasant i'r [rhai] nid [ydynt] dduwiau: a phan ddiwellais hwynt, gwnaethant odineb, ac a heidiasant i dŷ 'r buttain.

8 Oeddynt [fel] meirch porthiannus y boreu, * gweryrent bob un ar wraig ei gymmydog.

9 Onid ymwelaf am y pethau hyn, medd yr Arglwydd? oni ddial fy enaid ar gyfryw genhedl a hon?

10 Dringwch ar ei muriau hi, a distrywiwch, ond na orphennwch yn llwyr: tynnwch ymaith ei mur-ganllawiau hi; canys nid eiddo 'r Arglwydd ydynt.

11 O blegit tŷ Israel, a thŷ Juda a wnaethant yn anffyddlon iawn â mi, medd yr Arglwydd.

12 Celwyddog fuant yn erbyn yr Arglwydd, a dywedasant, nid efe yw,* ac ni ddaw drygfyd arnom; ac ni welwn gleddyf, na newyn.

13 A'r prophwydi a fuant fel gwynt, a'r gair nid yw ynddynt: fel hyn y gwneir iddynt hwy.

14 Am hynny fel hyn y dywed Arglwydd Dduw y lluoedd, am i chwi ddywedyd y gair hwn, wele fi yn rhoddi fy ngeiriau yn dy enau di yn * dân, a'r bobl hyn yn gynnyd, ac efe a'i difa hwynt.

15 Wele, mi a ddygaf arnoch chwi tŷ Israel, * genhedl o bell, medd yr Arglwydd, cenhedl nerthol ydyw, cenhedl [a fu] er ystalm, cenhedl ni wyddost ei hiaith, ac ni ddeelli beth a ddywedant.

16 Ei chawell saethau hi [sydd] fel bedd agored, cedyrn [ydynt] oll.

17 A hi a fwytty dy *gynhayaf di, a'th fara, yr hwn a gawsei dy feibion di a'th ferched ei fwytta: hi a fwytty dy ddefaid ti a'th wartheg, hi a fwytty dy winwydd a'th ffigys-wydd; dy ddinasoedd cedyrn, y rhai yr wyt yn ymddiried ynddynt, a dloda hi â'r cleddyf.

18 Ac er hyn, yn y dyddiau hynny, medd yr Arglwydd, *ni wnaf i gwbl ben â chwi.

19 A bydd pan ddywedoch, *pa ham y gwna yr Arglwydd ein Duw hyn oll i ni? ddywedyd o honot titheu wrthynt, megis y gwrthodasoch fi, ac y gwasanaethasoch dduwiau dieithr, yn eich tir eich hun; felly y gwasanaethwch ddeithriaid, mewn tir ni [byddo] eiddo chwi.

20 Mynegwch hyn yn nhŷ Jacob; a chyhoeddwch hyn yn Juda, gan ddywedyd;

21 Gwrando hyn yn awr,* ti bobl ynfyd, a heb || ddeall, y rhai y mae llygaid iddynt, ac ni welant, [a chlustiau] iddynt, ac ni chlywant.
*Esa.6.9. matt.13.14. act.28.26. rhuf.11.8. io.12.40. ||Heb.galon.

22 Onid ofnwch chwi fi, medd yr Arglwydd? oni chrynwch rhag fy mron; yr hwn a osodais y tywod *yn derfyn i'r môr, [trwy] ddeddf dragywyddawl, fel nad elo tros hwnnw, er i'r tonnau ymgyrchu, etto ni thyccia iddynt; er iddynt derfyscu, etto ni ddeuant tros hwnnw?
*Iob 38 10, 11. psal.104.9.

23 Eithr i'r bobl hyn y mae calon wrthnysig, ac anufyddgar: hwynt hwy a giliasant, ac a aethant [ymmaith:]

24 Ac ni ddywedant yn eu calon, ofnwn weithian yr Arglwydd ein Duw, yr hwn sydd yn rhoi *y glaw cynnar a'r diweddar yn ei amser: [efe] a geidw i ni ddefodol wythnosau cynhaiaf.
*Deut.11.14

25 *Eich anwireddau chwi a droes heibio y rhai hyn, a'ch pechodau chwi a attaliasant ddaioni oddi wrthych.
*Esa.59.2.

26 Canys ym mysc fy mhobl y ceir anwiriaid, y rhai a || wiliant megis [un] yn gosod maglau: gosodant offer dinistr, dynion a ddaliant.
||Neu, a dremiant fel adarwyr yn cynllwyn.

27 Fel cawell yn llawn o adar, felly [y mae] eu tai hwynt yn llawn o dwyll: am hynny y cynnyddasant, ac yr ymgyfoethogasant.

28 *Tewychasant, disgleiriasant, aethant hefyd tu hwnt i weithredoedd y drygionus, *ni farnant farn, farn yr ymddifad: etto ffynnasant, ac ni farnant farn yr anghenus.
*Deut.32.15. *Esa.1.23. zac.7.10.

29 Onid ymwelaf am y pethau hyn, medd yr Arglwydd? oni ddial fy enaid ar gyfryw genhedl â hon?

30 || Peth aruthr ac erchyll a wnaed yn y tir.
||Neu, Syndod a brynti.

31 Y prophwydi a brophwydant * gelwydd, yr offeiriaid hefyd a || lywodraethant trwy eu gwaith hwynt, a'm pobl a hoffant hynny: etto beth a wnewch yn niwedd hyn?
*Pen.14.18. & 23.25. ezec.13.6. ||Heb.gymerant i'w dwylo

PEN. VI.

1 Y gelynion a yrrwyd yn erbyn Iuda, 4 yn ymgyssuro. 6 Duw yn gosod y gelynion ar waith, o herwydd pechodau ei bobl. 9 Y Prophwyd yn cwyno rhag barnedigaethau Duw, o herwydd eu pechodau hwy: 18 Yn cyhoeddi digofaint Duw, 26 Yn galw 'r bobl i alaru, o herwydd barnedigaethau Duw, am eu pechodau hwy.

YMgynnullwch i ffoi, meibion Beniamin, o ganol Jerusalem, ac yn Tecoa udcenwch udcorn; a chodwch fagl * yn Beth-haccerem, canys drwg a welir o'r gogledd, a dinistr mawr.
*Neh.3.14.

2 Cyffelybais ferch Sion [i wraig] || dêg foethus.
||Neu, yn trigo gartref.

3 Atti hi y daw y bugeiliaid a'i diadellau, yn ei herbyn hi o amgylch y gosodant eu pebyll: porant bob un yn ei le.

4 Parottowch ryfel yn ei herbyn hi, codwch, ac awn i fynu ar hanner dydd; gwae ni o herwydd ciliodd y dydd, canys cyscodau 'r hwyr a ymestynnasant.

5 Codwch, ac awn i fynu o [hŷd] nos, a destrywiwn ei phalasau hi.

6 Canys fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, torrwch goed, a || chodwch glawdd yn erbyn Jerusalem, dymma 'r ddinas sydd i ymweled â hi; gorthrymder yw hi oll o'i mewn.

|| neu, thywellt-wch yr offer saethu.

7 *Megis y gwna ffynnon iw dwfr darddu allan, felly y mae hi yn bwrw allan ei drygioni; trais ac yspail a glywir ynddi, gofid a dyrnodiau [sy] yn wastad ger fy mron.

*Esa.57.20.

8 Cymmer addysc, ô Jerusalem, rhag i'm henaid i || ymado oddi wrthit; rhag i mi dy osod di yn anrhaith, yn dir anghyfanneddol.

|| Neu, ymddattod.

9 Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, gan loffa y lloffant weddill Israel, fel gwinwydden: tro dy law yn ei hôl, megis casclydd grawn-win i'r bascedau.

10 Wrth bwy y dywedaf fi, a phwy a rybuddiaf, fel y clywant? wele, *eu clust hwy [sy] ddienwaededic, ac ni allant wrando: wele, dirmygus ganddynt air yr Arglwydd, nid oes ganddynt ewyllys iddo.

*Pen.7.26.

11 Am hynny 'r ydwyf fi yn llawn o lid yr Arglwydd, blinais yn ymattal: tywalltaf ef ar y plant || yn yr heol; ac ar gynnulleidfa y gwŷr ieuaingc hefyd: canys y gwr a'r wraig a ddelir, yr hen-wr a'r llawn o ddyddiau.

|| Neu, allan.

12 A'i tai a ddigwyddant i eraill, eu meusydd a'i gwragedd hefyd: canys estynnaf fy llaw ar drigolion y wlad, medd yr Arglwydd.

13 O blegit o'r lleiaf o honynt hyd y mwyaf, *pob un sydd yn ymroi i gybydd-dod: ac o'r prophwyd hyd yr offeiriad, pob un sydd yn gwneuthur ffalster.

*Esa.56.11. pen.8.10.

14 A hwy *a iachasant || friw merch fy mhobl i, yn esmwyth, gan ddywedyd, heddwch, heddwch; er nad [oedd] heddwch.

*Pen.8.11. ezec.13.10. || Heb. dorriad.

15 *A ydoedd arnynt hwy gywilydd pan wnelent ffieidd-dra? nid ydoedd arnynt hwy ddim cywilydd, ac ni fedrent wrido: am hynny y cwympant ym mysc y rhai a gwympant; yn yr amser yr ymwelwyf â hwynt y cwympant, medd yr Arglwydd.

*Pen.3.3.& 8.12.

16 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, sefwch ar y ffyrdd, ac edrychwch, a gofynnwch am yr *hên lwybrau, lle mae ffordd dda, a rhodiwch ynddi; a chwi a gewch *orphwysdra i'ch eneidiau: ond hwy a ddywedasant, ni rodiwn ni [ynddi.]

*Esa.8.20. mal.4.4. luc.16.29. *Mat.11.29.

17 Ac mi a osodais wil-wŷr arnoch chwi [gan ddywedyd,] gwrandewch ar sain yr udcorn; hwythau a ddywedasant, ni wrandawn ni ddim.

18 Am hynny, clywch genhedloedd: a thi gynnulleidfa, gwybydd pa bethau sy yn eu plith hwynt.

19 Gwrando, tydi 'r ddaiar, wele fi yn dwyn drwg-fyd ar y bobl hyn, [sef] ffrwyth eu meddyliau eu hunain; am na wrandawsant ar fy ngeiriau, na'm cyfraith, eithr gwrthodasant hi.

20 I ba beth y daw i mi *thus o Seba, a Chalamus peraidd o wlad bell? eich poeth offrymmau nid ydynt gymmeradwy; ac nid melus eich aberthau gennif.

*Esa.1.11.& 66.3 amos 5.21. mic.6.6.

21 Am hynny, fel hyn y dywed yr Arglwydd, wele fi yn rhoddi tramgwyddiadau i'r bobl hyn, fel y tramgwyddo wrthynt y tadau a'r meibion ynghyd; cymmydog a'i gyfaill a ddifethir.

22 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, wele bobl yn dyfod o *dir y gogledd; a chenhedl fawr a gyfyd o ystlysau y ddaiar.

*Pen.1.14.& 5.15.& 10.22.

23 Yn y bwa a'r waywffon yr ymaflant, creulon ydynt, ac ni chymmerant drugaredd: eu llais a rua megis y môr, ac ar feirch y marchogant yn daclus, megis gwŷr i ryfel, yn dy erbyn di, merch Sion.

24 Clywsom sôn am danynt, ein dwylo a laesasant, blinder a'n daliodd, fel gofid gwraig yn escor.

25 Na ddôs allan i'r maes, ac na rodia rhyd y ffordd; canys cleddyf y gelyn, [ac] arswyd sydd oddi amgylch.

26 Merch fy mhobl, *ymwregysa â sach-liain, ac ymdroa yn y lludw: gwna it gwynfan a galar tost, [megis am] unic [fab:] canys y destrywi-wr a ddaw yn ddisymmwth arnom ni.

*Pen.4.8.& 25.34.

27 Mi a'th roddais di yn *dŵr, [ac] yn gadernid ym mysc fy mhobl, i wybod, ac i brofi eu ffordd hwy.

*Pen.1.18.& 15.20.

28 Cyndyn o'r fâth gyndynnaf ydynt oll, yn rhodio ag enllib: *efydd, a haiarn [ynt,] llygru y maent hwy oll.

*Ezec.22.18.

29 Lloscodd y fegin, gan dân y darfu 'r plwm; yn ofer y toddodd y toddydd, canys ni thynnwyd y rhai drygionus ymmaith.

30 *Yn arian gwrthodedic y galwant hwynt; am wrthod o'r Arglwydd hwynt.

*Esa.1.22.

## PEN. VII.

1 Anfon Ieremi i alw am wir edifeirwch, i luddias y caethiwed. 8 Y mae yn llysu eu hofer ymddiried hwy, 12 trwy esampl Siloh. 17 Y mae yn eu bygwth am eu delw-addoliaeth: 21 Yn llysu ebyrth yr anufydd; 29 Yn eu hannog i alaru, o achos eu ffieidd-dra yn Topher, 32 a'r barnedigaethau a ddoe am hynny.



Y Gair yr hwn a ddaeth at Jeremi oddi wrth yr Arglwydd, gan ddywedyd;

2 Saf di ym mhorth tŷ yr Arglwydd, a chyhoedda 'r gair hwn yno, a dywed; Gwrandewch air yr Arglwydd, chwi holl Juda, y rhai a ddeuwch i mewn trwy 'r pyrth hyn, i addoli 'r Arglwydd.

3 Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Duw Israel, *gwellhewch eich ffyrdd, a'ch gweithredoedd, ac mi a wnaf i chwi drigo yn y man ymma.

*Pen.18.11.& 26.13.

4 Nac ymddiried wch mewn geiriau celwyddog, gan ddywedyd; Teml yr Arglwydd, Teml yr Arglwydd, Teml yr Arglwydd ydynt.

5 Canys os gan wellhau y gwellhewch eich ffyrdd, a'ch gweithredoedd; os gan wneuthur y gwnewch farn rhwng gŵr a'i gymydog;

6 [Ac] ni orthrymmwch y dieithr, yr ymddifad, a'r weddw; ac ni thywelltwch waed gwirion yn y fan hon, ac ni rodiwch ar ôl duwiau dieithr, i'ch niwed eich hun;

7 Yna y gwnaf i chwi drigo yn y fan hon, yn y tir a roddais i'ch tadau chwi, yn oes oesoedd.

8 Wele chwi yn ymddiried mewn geiriau celwyddog ni wnânt lês.

9 Ai yn lladratta, yn lladd, ac yn godinebu, a thyngu anudon, ac arogl-darthu i Baal, a rhodio ar ôl duwiau dieithr, y rhai nid adwaenoch;

10 Y deuwch, ac y sefwch ger fy mron i yn y tŷ hwn, yr hwn || y gelwir fy enw i arno, ac y dywedwch; rhyddhawyd ni i wneuthur y ffieidd-dra hyn oll?

11 * Ai yn lloches lladron yr aeth y tŷ yma, ar yr hwn y gelwir fy enw i, ger bron eich llygaid? wele minneu a welais [hyn,] medd yr Arglwydd.

12 Eithr attolwg, ewch i'm lle, yr hwn [a fu] yn Siloh, lle y gosodais fy enw ar y cyntaf, ac * edrychwch beth a wneuthym i hwnnw, o herwydd anwiredd fy mhobl Israel.

13 Ac yn awr, am wneuthur o honoch yr holl weithredoedd hyn, medd yr Arglwydd, minneu a leferais wrthych gan godi yn foreu, a llefaru, etto ni chlywsoch; a * gelwais arnoch, ond nid attebasoch:

14 Am hynny y gwnaf i'r tŷ hwn y gelwir fy enw arno, yr hwn yr ydych yn ymddiried yndo, ac i'r lle a roddais i chwi, ac i'ch tadau, megis y gwneuthum * i Siloh.

15 Ac mi a'ch taflaf allan o'm golwg, fel y teflais eich holl frodyr, [sef] holl hâd Ephraim.

16 Am hynny, * na weddia tros y bobl hyn, ac na ddercha fa waedd, na gweddi trosynt; ac nac eiriol arnaf; canys ni'th wrandawaf.

17 Oni weli di beth y maent hwy yn ei wneuthur, yn ninasoedd Juda, ac yn heolydd Jerusalem?

18 Y plant sy yn casclu cynnyd, a'r tadau yn cynneu tân, a'r gwragedd yn tylino toes, i wneuthur teisennau * i || frenhines y nef, ac i dywallt diod offrymmau i dduwiau dieithr, i'm digio i.

19 Ai fi y maent hwy yn ei ddigio, medd yr Arglwydd? ai hwynt eu hun, er cywilydd i'w hwynebau eu hun?

20 Am hynny, fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, wele fy llid a'm digofaint a dywelltir ar y man yma, ar ddyn, ac ar anifail, ar goed y maes, ac ar ffrwyth y ddaiar, ac efe a lysc, ac ni's diffoddir.

21 Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Duw Israel; * rhoddwch eich poeth-offrymmau at eich aberthau, a bwyttewch gig.

22 Canys ni ddywedais i wrth eich tadau, ac ni orchymynnais iddynt, y dydd y dugym hwynt o dir yr Aipht, am || boeth offrymmau, neu aberthau;

23 Eithr y peth hyn a orchymynnais iddynt, gan ddywedyd; * gwrandewch ar fy llef, ac mi a fyddaf Dduw i chwi, a chwithau fyddwch yn bobl i minneu; a rhodiwch yn yr holl ffyrdd a orchymynnais i chwi, fel y byddo yn ddaionus i chwi.

24 Eithr ni wrandawsant, ac ni ostyngasant eu clust, onid rhodiasant yn ôl cynghorion, || [a] childynrwydd eu calon ddrygionus, ac || aethant yn ôl, ac nid ym mlaen.

25 O'r dydd y daeth eich tadau chwi allan o wlâd yr Aipht, hyd y dydd hwn, * mi a ddanfonais attoch fy holl wasanaeth-wŷr y prophwydi, [bob] dydd gan foreu-godi, ac anfon:

26 Er hynny ni wrandawsant arnaf, ac ni ostyngasant eu clust, * eithr caledasant eu gwarrau, gwnaethant yn waeth nâ'i tadau.

27 Am hynny ti a ddywedi y geiriau hyn oll wrthynt, ond ni wrandawant arnat; gelwi hefyd arnynt, ond nid attebant di;

28 Eithr ti a ddywedi wrthynt, dymma genhedl ni wrendy ar lais yr Arglwydd ei Duw, ac ni dderbyn || gerydd: darfu am y gwirionedd, a thorrwyd hi ymmaith o'i genau hwynt.

29 * Cneifia dy wallt, [ô Jerusalem,] a bwrw i ffordd, a chyfod gwynfan ar y lleoedd uchel: canys yr Arglwydd a fwriodd i ffordd, ac a wrthododd genhedlaeth ei ddigofaint.

30 Canys meibion Juda a wnaethant ddrwg yn fy ngolwg, medd yr Arglwydd: gosodasant eu ffieidd-dra yn y tŷ, yr hwn y gelwir fy enw arno, i'w halogi ef.

31 A hwy a adeiladasant * uchelfeydd Tophet, yr hon [sydd] ynglyn mab Hinnom; i losci eu meibion, a'i merched yn tân, yr hyn ni orchymynnais, ac ni || feddyliodd fy nghalon.

32 Am hynny, * wele y dyddiau yn dyfod, medd yr Arglwydd, na elwir hi mwy Tophet, na glyn mab Hinnom, namyn glyn lladdedigaeth; canys claddant o fewn Tophet, nes bod eisieu lle.

33 A bydd * celanedd y bobl hyn yn fwyd i adar y nefoedd, ac i anifeiliaid y ddaiar, ac ni [bydd] a'i tarfo.

34 * Yna y gwnaf i lais llawenydd, a llais digrifwch, llais priod-fab, a llais priod-ferch, ddarfod allan o ddinasoedd Juda, ac o heolydd Jerusalem; canys yn anrhaith y bydd y wlâd.

Marginal notes: ||Neu, a elwir arnaw. *Esay.56.7. Matth.21.13. Mar.11.17. Luc.19.46. *1.Sam.4.11. Psal.78.60. Pen.26.6. *Dih.1.24. Esa.65.12. & 66.4. *1.Sam.4.11. Psal.78.60. & 126.pen. 26.6. *Pen.11.14. & 14.11. Exod.32.10. *2.Bren.23.5. Pen.44.19. ||Neu, waith. *Esa 1.11. Pen.6.20. Amos 5.21. ||Heb. negesau poeth-offr. *Exod.19.5. leuit.26.12. deut.6.3. ||Neu, ac amcanion. ||Heb. oeddynt yn ol. *2.Cro.36.15. *Pen.16.12. ||Neu, addysc. *Iob.1.20. Mic.1.16. *2.Bren.23.10. Pen.19.5. ||Heb. ofynnodd ar fy nghalon. *Leuit.18.21. & 20.3. Deut.18.10. Pen.19.6. *Pen.34.20. & 16.4. Psal.79.2. *Esa.24.7. Pen.16.9. & 25.10. & 33.11. Ezec.26.13. Hos.2.11.

## PEN. VIII.

1 Gosid yr Iuddewon, yn fyw ac yn farw. 4 Y mae yn edliw iddynt eu hynfyd a'i digywilydd anedifeirwch: 13 Yn dangos y farn dost a gaent hwy, 18 ac yn cwyno eu henbyd gyflwr hwy.

wedyd; scrifenna i ti yr holl eiriau a leferais i wrthit, mewn llyfr.

3 Canys wele y dyddiau yn dyfod, medd yr Arglwydd, i mi ddychwelyd caethiwed fy mhobl Israel a Iuda, medd yr Arglwydd; ac mi a'i dygaf hwynt drachefn i'r wlad a roddais i'w tadau, a hwy a'i meddiannant hi.

4 Dymma hefyd y geiriau a lefarodd yr Arglwydd am Israel, ac am Iuda.

5 O herwydd fel hyn y dywed yr Arglwydd, *llef dychryn a glywsom ni, || ofn ac nid heddwch.

*Esa.13.8. || neu, ofn [sydd] ac nid, &c.

6 Gofynnwch yr awr hon, ac edrychwch a escora gwr-ryw ? pa ham yr ydwyf yn gweled pob gwr a'i ddwylo ar ei lwynau, fel gwraig wrth escor, ac y trowyd yr holl wynebau yn lesni ?

7 *Och, canys mawr yw y dydd hwn, heb gyffelyb iddo; amser blinder [yw] hwn i Iacob; ond efe a waredir o honaw.

*Ioel.2.11. Amos 5.18. Zeph.1.15.

8 Canys y dydd hwnnw medd Arglwydd y lluoedd, y torraf ei iau ef oddi ar dy warr di, ac mi a ddrylliaf dy rwymau, ac ni chaiff dieithriaid wneuthur iddo ef eu gwasanaethu hwynt mwyach.

9 Eithr hwy a wasanaethant yr Arglwydd eu Duw, *a Dafydd eu brenin, yr hwn a godaf iddynt.

*Ezec.34.23.& 37.24. hos.3.5.

10 *Ac nac ofna di, ô fy ngwâs Iacob, medd yr Arglwydd, ac na frawycha di, ô Israel: canys wele, mi a'th achubaf di o bell, a'th hâd o dir eu caethiwed, ac Iacob a ddychwel, ac a orphywys, ac a gaiff lonydd, ac ni bydd a'i dychryno.

*Esa 41.13.& 43.5.& 44.2. pen.46.28.

11 Canys yr ydwyf gyd â thi, medd yr Arglwydd, i'th achub di: er i mi wneuthur pen am yr holl genhedloedd, lle i'th wasceraís, etto ni wnaf ben am danat ti, *eithr mi a'th geryddaf di mewn || barn, ac ni'th adawaf yn gwbl ddigerydd.

*Psa.6.1. pen.10.24.& 46.28 || neu, mesur.

12 O blegit fel hyn y dywed yr Arglwydd, anafus [yw] dy ysigtod, a dolurus [yw] dy archoll.

13 Nid [oes] a ddadleuo dy gwyn, || fel i'th iachaer: nid [oes] feddiginiaeth iechyd i ti.

|| Heb. i rwymo, neu, i wascu.

14 Dy holl gariadau a'th anghofiasant; ni cheisiant mo honot ti, canys mi a'th darewais â dyrnod gelyn, [sef] â chospedigaeth y creulon; am amlder dy anwiredd: [oblegid] dy bechodau a amlhasant.

15 *Pa ham y bloeddi am dy ysigtod ? anafus [yw] dy ddolur; gan amlder dy anwiredd; o herwydd amlhau o'th bechodau, y gwneuthum hyn i ti.

*Pen.13.18.

16 Am hynny y rhai oll a'th yssant a *yssir, a chwbl o'th holl elynion a ânt i gaethiwed: a'th anrheith-wyr di a fyddant yn anrhaith, a'th holl yspeil-wyr a roddaf yn yspail.

*Exod.23.22. Esa 41.11.

17 Canys myfi a roddaf iechyd i ti, ac a'th iachâf di o'th friwiau, medd yr Arglwydd: o blegid hwy a'th alwasant di, yr hon a yrrwyd ymmaith, [gan ddywedyd,] Dymma Sion, yr hon nid oes [neb] yn ei cheisio.

18 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, wele, myfi a ddychwelaf gaethiwed pebyll Iacob, ac a gymmeraf drugaredd ar ei anneddau ef: a'r ddinas a adeiledir ar ei || charnedd, a'r llys a erys yn ol ei arfer.

|| neu, bryncyn.

19 A moliant a â allan o honynt, a llais rhai yn gorfoleddu; ac mi a'i hamlhâf hwynt, ac ni byddant anaml: ac mi a'i hanrhydeddaf hwynt, ac ni byddant wael.

20 Eu meibion hefyd fydd megis cynt, a'i cynnulleidfa a sicrheir ger fy mron; ac mi a ymwelaf â'i holl orthrym-wyr hwynt.

21 A'i pendefigion fydd o honynt eu hun, a'i llywiawdr a ddaw allan o'i mysc eu hun, ac mi a baraf iddo nessau, ac efe a ddaw attaf: canys pwy [yw] hwn a lwyr-roddodd ei galon i nessau attaf, medd yr Arglwydd ?

22 *A chwi a fyddwch yn bobl i mi, a minneu a fyddaf yn Dduw i chwithau.

*Pen.24.7.& 31.33.& 32.38.

23 Wele *gorwynt yr Arglwydd yn myned allan [mewn] digter, corwynt parhaus: ar ben annuwolion yr erys.

*Pen.23.19.

24 Ni ddychwel digofaint llidiog yr Arglwydd, nes iddo ei wneuthur, ac nes iddo gyflawni meddyliau ei galon: yn y dyddiau diweddaf y deellwch hyn.

## PEN. XXXI.

1 Adferu Israel: 10 a chyhoeddi hynny. 15 Rahel yn galaru am ei phlant. 18 Ephraim yn edifarhau, ac yn cael ei ddwyn adref drachefn. 22 Addewid o Grist. 27 Ei ofal ef tros ei Eglwys. 31 Ei gyfammod newydd ef. 35 Siccrwydd, 38 A helaethrwydd yr Eglwys.



YR amser hwnnw, medd yr Arglwydd, y byddaf Dduw i holl deuluoedd Israel; a hwythau a fyddant bobl i mi.

2 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, y bobl y rhai a weddillwyd gan y cleddyf, a gafodd ffafor yn yr anialwch, pan aethym i beri llonyddwch iddo ef, sef i Israel.

3 || Er ystalm yr ymddangosodd yr Arglwydd i mi, [gan ddywedyd] â chariad tragywyddol i'th gerais; am hynny || tynnais di â thrugaredd.

|| Heb. o bell. || Neu, y tynnais drugaredd i ti.

4 Myfi a'th adeiladaf etto, a thi a adeiledir, ô forwyn Israel; ymdrwssi etto â'th *dympanau, ac a ai allan gyd â'r chwaryddion dawns.

*Exod.15.20. barn.11.34.

5 Ti a blenni etto winllannoedd yn mynyddoedd Samaria; y plan-wyr a blannant, ac a'i || mwynhânt yn gyffredin.

|| Heb. cyffredinant.

6 Canys daw 'r dydd y llefa y gwilwyr ym mynydd Ephraim, codwch, ac awn i fynu i Sion, at yr Arglwydd ein Duw.

7 Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd, cenwch orfoledd i Iacob, a chrechwenwch ymhlith rhai pennaf y cenhedloedd: cyhoeddwch, molwch, a dywedwch, ô Arglwydd, cadw dy bobl, gweddill Israel.

8 Wele, mi a'i harweiniaf hwynt o dir y gogledd, ac a'i casclaf hwynt o ystlysau y ddaiar, y dall, a'r cloff, y feichiog, a'r hon sydd yn escor, ar unwaith gyd â hwynt: cynnulleidfa fawr a ddychwelant ymma.

9 Mewn wylofain y deuant, ac mewn ||tosturiaethau y dygaf hwynt, gwnaf iddynt rodio wrth ffrydiau dyfroedd, mewn ffordd uniawn, yr hon ni thrippiant ynddi: o blegit mysi sydd dâd i Israel, ac Ephraim yw * fy nghyntafanedic.

Exod.4.22.

10 Gwrandewch air yr Arglwydd, ô genhedloedd, a mynegwch yn yr ynysoedd o bell, a dywedwch, yr hwn a wascarodd Israel a'i cascl ef, ac a'i ceidw, fel bugail ei braidd.

11 O herwydd yr Arglwydd a waredodd Jacob, ac a'i hachubodd ef, o law yr hwn [oedd] drêch nag ef.

12 Am hynny y deuant, ac y canant yn uchelder Sion, a hwy a redant at ddaioni yr Arglwydd, am wenith, ac am win, ac am olew, ac am heppil y defaid, a'r gwarthec: a'i henaid fydd fel * gardd ddyfradwy, ac ni ofidiant mwyach.

Esai.58.11.

13 Yna y llawenycha y forwyn yn y dawns, a'r gwŷr ieuaingc, a'r henaf-gwŷr ynghŷd: canys mysi a droaf eu galar yn llawenydd, ac a'i diddanaf hwynt, ac a'i llawenychaf o'i tristwch.

14 Ac mi a ddiwallaf enaid yr offeiriaid â braster: a'm pobl a ddigonir â'm daioni, medd yr Arglwydd.

15 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, * llef a glywyd yn Ramah, cwynfan, ac wylofain chwerw. Rahel yn wylo am ei meibion, ni fynnei ei chysuro am ei meibion, o herwydd nad oeddynt.

Mat.2.18.

16 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, attal dy lêf rhac wylo, a'th lygaid rhac dagrau; canys y mae tâl i'th lafur, medd yr Arglwydd, a hwy a ddychwelant o dir y gelyn:

17 Ac y mae gobaith yn dy ddiwedd, medd yr Arglwydd; y dychwel dy blant i'w brô eu hun.

18 Gan glywed y clywais Ephraim yn cwynfan [fel hyn,] cospaist fi, ac mi a gospwyd, fel llo heb ei gynnefino [â'r iau:] dychwel di fi, ac mysi a ddychwelir; o blegit ti yw yr Arglwydd fy Nuw.

19 * Yn ddiau wedi i mi ddychwelyd, mi a edifarheais, ac wedi i mi wybod, mi a darewais [fy] morddwyd: mysi a gywilyddiwyd, ac a wradwyddwyd hefyd, am i mi ddwyn gwarth fy ieuengctid.

Deut.30.2.

20 Ai mab hôff gennif yw Ephraim? ai plentyn hyfrydwch yw? canys er pan leferais i yn ei erbyn ef, gan gofio y cofiaf ef etto; am hynny fy mhersedd a ruant am dano ef: gan drugarhau y trugarhâf wrtho ef, medd yr Arglwydd.

21 Cyfod it arwyddion ffordd, gosot i ti garneddau uchel: gosod dy galon tu a'r briffordd, y ffordd yr aethost: dychwel forwyn Israel, dychwel i'th ddinasoedd hyn.

22 Pa hŷd yr ymgyrwydri ô ferch wrthnysig? o blegit yr Arglwydd a greawdd beth newydd ar y ddaiar; benyw a amgylcha wr.

23 Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Duw Israel, dywedant etto y gair hwn yngwlad Juda, ac yn ei dinasoedd, pan ddychwelwyf eu caethiwed hwynt; Yr Arglwydd a'th fendithio, trigfa cyfiawnder, mynydd sancteiddrwydd.

24 Yna ardd-wŷr a||bugeiliaid a brellwyliant ynddi hi Juda, ac yn ei holl ddinasoedd ynghŷd.

||Heb. rhai'n myned allan gydâ diadellau.

25 O herwydd yr enaid deffygiol a ddigonais, a phob enaid trist a lenwais.

26 Ar hyn y deffroais, ac yr edrychais, a melys oedd fy hûn gennif.

27 Wele y dyddiau yn dyfod, medd yr Arglwydd, yr hauaf dŷ Israel, a thŷ Juda, â hâd dŷn, ac â hâd anifail.

28 Ac megis y gwiliais arnynt i ddiwreiddio, ac i dynnu i lawr, ac i ddinistrio, ac i ddifetha, ac i ddrygu; felly y gwiliaf arnynt, i adeiladu, ac i blannu, medd yr Arglwydd.

29 Yn y dyddiau hynny, ni ddywedant mwyach, y * tadau a fwytasant rawn-win surion, ac ar ddannedd y plant y mae dingcod.

Ezec.18.2.

30 Ond pob un a fydd farw am ei anwiredd ei hun, pob dŷn a'r a fwyttao rawnwin surion, ar ei ddânedd ef y bydd dingcod.

31 Wele, y * dyddiau yn dyfod, medd yr Arglwydd, y gwnaf gyfammod newydd â thŷ Israel, ac â thŷ Juda,

Heb.8.8.

32 Nid fel y cyfammod a wneuthum â'i tadau hwynt, ar y dydd yr ymaflais yn eu llaw hwynt, i'w dwyn allan o dir yr Aipht; yr hwn gyfammod mau fi a ddarfu iddynt hwy ei ddiddymmu, || er fy mod i yn briod iddynt, medd yr Arglwydd:

||Neu, a barhawn i yn briod iddynt?

33 Ond dymma y cyfammod a wnaf â thŷ Israel; Ar ôl y dyddiau hynny, medd yr Arglwydd; mysi a roddaf fy nghyfraith o'i mewn hwynt, ac a'i scrifennaf hi yn eu calonnau hwynt, ac * mi a fyddaf iddynt hwy yn Dduw, a hwyntau a fyddant yn bobl i mi.

Pen. 24.7. & 32.38.

34 Ac ni ddyscant mwyach bob un ei gymydog, a phob un ei frawd, gan ddywedyd; adnabyddwch yr Arglwydd; o herwydd * hwynt hwy oll o'r lleiaf o honynt hyd y mwyaf o honynt, a'm hadnabyddant, medd yr Arglwydd; o blegit * mi a faddeuaf eu hanwiredd, a'i pechod ni chofiaf mwyach.

Esai.54.13. Io.6.45. Pen 33.8. Mic.7.18. Act.10.43.

35 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, yr hwn sydd yn rhoddi * yr haul yn oleuni dydd, defodau y lloer a'r sêr, yn oleuni nôs; yr hwn sydd yn rhwygo yr * môr, pan ruo ei donnau; Arglwydd y lluoedd [yw] ei enw.

Gen.1.16. Esai.51.15.

36 * Os cilia y defodau hynny o'm gŵydd i, medd yr Arglwydd, yna hâd Israel a baid a bod yn genhedl ger fy mron i yn dragywydd.

Esai.54.9. Pen.33.20.

37 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, * os gellir mesur y nefoedd oddi uchod, a chwilio sylfeini y ddaiar hyd isod, minneu hefyd a wrthodaf hôll hâd Israel, am yr hyn oll a wnaethant hwy, medd yr Arglwydd.

Pen.33.22.

38 Wele y dyddiau yn dyfod, medd yr Arglwydd, yr * adeiledir y ddinas i'r Arglwydd, o dŵr Hananeel, hyd borth y gongl.

Nehem. 3.1.

39 A'r llinyn mesur â allan etto ar ei

Dd d gyfeir

gyfeir ef, ar fryn Gareb; ac a amgylcha hyd Goath.

40 A holl ddyffryn y celaneddau, a'r lludw, a'r holl feusydd, hyd afon Cidron, hyd gongl porth y meirch tua 'r dwyrain, [a fydd] sanctaidd i'r Arglwydd, ni's diwreiddir, ac ni's dinistrir mwyach byth.

## PEN. XXXII.

1 Ieremi, wedi ei garcharu gan Zedeciah am ei brophwydoliaeth, 6 yn prynu maes Hanameel. 13 Baruch yn rhaid iddo gadw 'r scrifennadau, megis yn arwyddion o ddychweliad y bobl. 16 Ieremi, yn ei weddi, yn achwyn wrth Dduw. 26 Duw yn siccrhau y caethiwed am eu pechodau hwy, 36 ac yn addo iddynt rasusol ddychweliad.



Gair yr hwn a ddaeth at Jeremi oddi wrth yr Arglwydd yn y ddecfed flwyddyn i Zedeciah frenin Juda; honno [oedd] y ddeu-nawfed flwyddyn i Nabuchodonosor.

2 Canys y pryd hynny yr oedd llu brenin Babilon yn gwarchae ar Jerusalem, a Jeremi y prophwyd ydoedd wedi cau arnaw ynghyntedd y carchar, yr hwn [oedd] yn nhy brenin Juda.

3 Canys Zedeciah brenin Juda a gauasai arno ef, gan ddywedyd, pa ham y prophwydi, gan ddywedyd, fel hyn y dywed yr Arglwydd, * wele mi a roddaf y ddinas hon yn llaw brenin Babilon, ac efe a'i hennill hi.

*Pen.29.16. & 34.2.

4 Ac ni ddiangc Zedeciah brenin Juda o law y Caldeaid, ond * efe a roddir yn ddiau yn llaw brenin Babilon, ac efe a ymddiddan ag ef enau yngenau, a'i lygaid ef a edrychant yn ei lygaid yntau.

*Pen.34.3.

5 Ac efe a arwain Zedeciah i Babilon, ac yno y bydd efe, hyd oni ymwelwyf ag ef, medd yr Arglwydd: er i chwi ymladd â'r Caldeaid, ni lwyddwch.

6 A Jeremi a lefarodd, gair yr Arglwydd a ddaeth attafi, gan ddywedyd;

7 Wele Hanameel fab Salum dy ewythr yn dyfod attat, gan ddywedyd, pryn i ti fy maes, yr hwn [sydd] yn Anathoth, * o blegit i ti [y mae] cyfiawnder y pryniad iw brynu ef.

*Leuit.25.24. Ruth.4.4.

8 Felly Hanameel mab fy ewythr frawd fy nhâd a ddaeth attafi i gyntedd y carchardy, yn ôl gair yr Arglwydd, ac a ddywedodd wrthif; pryn atolwg fy maes [sydd] yn Anathoth, yn nhîr Beniamin, canys i ti [y mae] cyfiawnder yr etifeddiaeth, ac i ti y perthyn ei ollwng, pryn [ef] i ti: yna y gwybûm mai gair yr Arglwydd [oedd] hwn.

9 Ac mi a brynais y maes oedd yn Anathoth, gan Hanameel fab fy ewythr frawd fy nhâd, ac a bwysais iddo yr arian, saith sicl, a dêc [darn] o arian.

10 Ac mi a scrifennais [hyn] mewn llyfr, ac a'i seliais, cymmerais hefyd dystion, a phwysais yr arian mewn cloriannau.

11 Yna mi a gymmerais lyfr y pryniad, sef yr hwn oedd wedi ei selio [wrth] gyfraith a defod, a'r hwn oedd yn agored.

12 Ac mi a roddais lyfr y pryniad at Baruch fab Neriah, fab Maaseiah, yngwydd Hanameel [mab] fy ewythr, ac yngwydd y tystion a scrifennasent lyfr y prynedigaeth, yngwydd yr holl Iddewon oedd yn eistedd ynghyntedd y carchar-dy.

13 Ac mi a orchymynnais i Baruch yn eu gwydd hwynt, gan ddywedyd;

14 Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Duw Israel, cymmer y llyfrau hyn, [sef] y llyfr hwn o'r pryniad, yr hwn sydd seliedic, a'r llyfr agored hwn, a dôd hwynt mewn llestr pridd, fel y parhaont ddyddiau lawer.

15 O herwydd fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Duw Israel; tai, a meusydd, a gwinllannoedd a feddiennir etto, yn y wlad hon.

16 Ac wedi i mi roddi llyfr y pryniad at Baruch fab Neriah, mysi a weddiais ar yr Arglwydd, gan ddywedyd,

17 O Arglwydd Dduw, wele, ti a wnaethost y nefoedd a'r ddaiar, â'th fawr allu, ac â'th fraich estynnedic, nid oes dim || rhy anhawdd i ti.

||Neu, cuddiedig rhagot.

18 [Yr] wyt * yn gwneuthur trugaredd i filoedd, ac yn talu anwireddau y tadau i fonwes eu meibion ar eu hôl hwynt: y Duw mawr cadarn, Arglwydd y lluoedd [yw] ei enw.

*Exod.34.7. Deut.5.9.

19 Mawr mewn cyngor, a galluog ar weithred, (*canys [y mae] dy lygaid yn agored ar holl ffyrdd meibion dynion, i roddi i bob vn yn ôl ei ffyrdd, ac yn ôl ffrwyth ei weithredoedd.)

*Iob.34.21. Dihar.5.21. Pen.16.17.

20 Yr hwn a osodaist arwyddion, a rhyfeddodau yngwlad yr Aipht, hyd y dydd hwn, ac yn Israel, ac ym mysc dynion eraill; ac a wnaethost i ti henw megis heddyw.

21 Ac a * ddygaist dy bobl Israel allan o dîr yr Aipht, ag arwyddion, a rhyfeddodau, ac â llaw gref, ac â braich estynnedic, ac ag ofn mawr,

*Exod.6.6. 2.Sam.7.23. 1.Cron.17.21.

22 Ac a roddaist iddynt y wlâd ymma, yr hon a dyngaist wrth eu tadau y rhoddit iddynt, [sef] gwlad yn llifeirio o laeth a mêl.

23 A hwy a ddaethant i mewn, ac a'i meddiannasant hi; ond ni wrandawsant ar dy lais, ac ni rodiasant yn dy gyfraith; ni wnaethant ddim o'r hyn oll a orchymynnaist iddynt ei wneuthur: am hynny y peraist i'r holl niwed hyn ddigwydd iddynt.

24 Wele, || peiriannau ergydion a ddaeth at y ddinas, iw gorescyn hi, a'r ddinas a roddir i law y Caldeaid, y rhai sydd yn ymladd yn ei herbyn: o herwydd y cleddyf, â'r newyn, a'r haint, a'r hyn a ddywedaist ti, a gyflawnwyd, ac wele ti a'i gweli.

||Neu, gwrthglawdd.

25 A thi a ddywedaist wrthif, ô Arglwydd Dduw, pryn i ti y maes ag arian, a chymmer dystion: gan fod y ddinas wedi ei rhoddi i law y Caldeaid.

26 Yna y daeth gair yr Arglwydd at Jeremi, gan ddywedyd;

27 Wele, myfi [yw] 'r *Arglwydd, Duw pob cnawd; a oes dim || rhy anhawdd i mi?

*Num. 16. 22.

28 Am hynny, fel hyn y dywed yr Arglwydd, wele fi yn rhoddi y ddinas hon yn llaw y Caldeaid, ac yn llaw Nabuchodonosor brenin Babilon, ac efe a'i hennill hi.

29 A'r Caldeaid y rhai a ryfelant yn erbyn y ddinas hon, a ddeuant, ac a ffaglant y ddinas hon â thân, ac a'i llosgant hi, a'r *tai y rhai yr arogl-darthasant ar eu pennau i Baal, ac y tywalltasant ddiod offrwm i dduwiau dieithr, i'm digio i.

*Pen. 19. 13.

30 O blegit meibion Israel, a meibion Juda oeddynt yn gwneuthur yn unig yr hyn oedd ddrwg yn fy ngolwg i, o'i mebyd: o herwydd meibion Israel oeddynt yn unig yn fy nigllloni i â gweithredoedd eu dwylo, medd yr Arglwydd.

31 Canys i'm digofaint, ac i'm llid, y bu y ddinas hon i mi, er y dydd yr adeiladasant hi, hyd y dydd hwn, i beri ei symmud oddi ger bron fy wyneb:

32 Am holl ddrygioni meibion Israel, a meibion Juda, y rhai a wnaethant i'm digio i, hwyntwy, eu brenhinoedd, eu tywysogion, eu hoffeiriaid, a'i prophwydi, a gwŷr Juda, a phresswyl-wŷr Jerusalem.

33 [Er i mi eu] dyscu, *gan foreu-godi i roddi addysc [iddynt,] etto ni wrandawsant i gymmeryd athrawiaeth, eithr *troesant attafi eu gwarrau, ac nid eu hwynebau;

34 *Eithr gosodasant eu ffieidd-dra yn y tŷ y gelwir fy enw arno, i'w halogi ef.

*Pen. 23. 11.

35 A hwy a adeiladasant uchelfeydd Baal, y rhai sydd yn nyffryn mab Hinnom, i wneuthur i'w *meibion, a'i merched fyned trwy [yr tân] i *Molech, yr hyn ni orchymynnais iddynt; ac ni feddyliodd fy nghalon iddynt wneuthur y ffieidd-dra hyn, i beri i Juda bechu.

36 Ac yn awr am hynny, fel hyn y dywed yr Arglwydd, Duw Israel, am y ddinas hon, am yr hon y dywedwch chwi, rhoddir hi i law brenin Babilon trwy y cleddyf, a thrwy newyn, a thrwy haint;

37 Wele,* myfi a'i cynhullaf hwynt, o'r holl diroedd, y rhai yn fy nig a'm llid, a'm sorriant mawr y gyrrais hwynt iddynt; ac a'i dygaf yn eu hôl i'r lle hwn, ac a wnaf iddynt bresswylio yn ddiogel.

38 A hwy a fyddant *yn bobl i mi, a minneu a fyddaf yn Dduw iddynt hwythau.

39 Ac mi a roddaf iddynt *un galon, ac un ffordd, i'm hofni || byth, er lles iddynt, ac i'w meibion ar eu hôl.

40 Ac mi a wnaf â hwynt gyfammod tragywyddol, na throaf || oddi wrthynt, heb wneuthur llês iddynt; ac mi a osodaf fy ofn yn eu calonnau, fel na chiliont oddi wrthif.

41 Ie mi a lawenychaf ynddynt, gan wneuthur llês iddynt, ac mi a'i plannaf hwynt yn y tîr hwn || yn siccr, â'm holl galon, ac â'm holl enaid.

||Heb. mewn gwirionedd, neu, mewn siccrwydd.

42 Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd, megis y dygais i ar y bobl hyn yr holl fawr ddrwg hyn; felly y dygaf arnynt yr holl ddaioni a addewais iddynt.

43 A meusydd a feddiennir yn y wlad ymma, [am] yr hon yr ydych chwi yn dywedyd, anghyfannedd [yw] hi, heb ddŷn nac anifail; yn llaw y Caldeaid y rhoddwyd hi.

44 Meusydd a brynant am arian, ac a scrifennant mewn llyfrau, ac a seliant, ac a gymerant dystion yn nhîr Beniamin, ac yn amgylchoedd Jerusalem, ac yn ninasoedd Juda, ac yn ninasoedd y mynyddoedd, ac yn ninasoedd y gwastad, ac yn ninasoedd y deau: canys mi a ddychwelaf eu caethiwed hwynt, medd yr Arglwydd.

## PEN. XXXIII.

1 Duw yn addo i'r gaeth-glud rasusol ddychweliad, *9* a llawen gyflwr, 12 a llywodraeth ddiyscog, 15 a Christ, blaguryn cyfiawnder; 17 Y parhae eu brenhiniaeth a'i *hoffeiriadaeth*, 20 a siccrwydd o hâd bendigedig.

GAir yr Arglwydd hefyd a ddaeth at Jeremi yr ail waith (ac efe etto *yn garcharor ynghynteddd y carchar-dŷ) gan ddywedyd;

Iere. 32. 23.

2 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, yr hwn a'i *gwnaeth, yr Arglwydd, yr hwn a'i lluniodd, i'w siccrhau; yr Arglwydd [yw] ei enw:

Esa. 37. 26.

3 Galw arnaf, ac mi a'th attebaf, ac a ddangosaf i ti [bethau] mawrion, a || chedyrn, y rhai nis gwyddost.

||Neu, dirgel.

4 Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd, Duw Israel, am dai y ddinas hon, ac am dai brenhinoedd Juda, y rhai a ddinistriwyd â *pheiriannau rhyfel, ac â chleddyf:

Ier. 32. 24.

5 Y maent yn dyfod i ymladd â'r Caldeaid, ond i'w llenwi â chelanedd dynion, y rhai a leddais yn fy llid a'm digofaint, ac am i mi guddio fy wyneb oddi wrth y ddinas hon, am ei holl ddrygioni hwynt.

6 Wele, myfi a ddygaf iddi hi iechyd a meddiginiaeth, ac mi a'i meddiginiaethaf hwynt, ac a ddadcuddiaf iddynt amlder o heddwch a gwirionedd.

7 Ac mi a ddychwelaf gaethiwed Juda, a chaethiwed Israel, ac mi a'i hadeiladaf hwynt, megis yn y dechreuad.

8 Ac mi a'i puraf hwynt oddiwrth eu holl anwiredd a bechasant i'm herbyn, ac *mi a faddeuaf iddynt eu holl bechodau, drwy y rhai y pechasant i'm herbyn, a thrwy y rhai y troseddasant yn fy erbyn.

Pen. 31. 34. Mic. 7. 18.

9 A [hyn] fydd i mi yn enw llawenydd, yn glod, ac yn ogoniant, o flaen holl genhedloedd y ddaiar, y rhai a glywant yr holl ddaioni yr ydwyfi yn ei wneuthur iddynt: a hwythau a ofnant, ac a grynant am yr holl ddaioni, a'r holl lwyddiant yr ydwyfi yn eu gwneuthur i'r [ddinas] hon.

10 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, clywir etto yn y lle hwn, ([am] yr hwn y dy-

wedwch, anialwch yw efe heb ddŷn, ac heb anifail, yn ninasoedd Iuda, ac yn heolydd Jerusalem, y rhai a wnaed yn anghyfannedd, heb ddŷn, a heb breswyliwr, a heb anifail.)

11 *Llef gorfoledd, a llef llawenydd, llef y priodfab, a llef y briodferch, llef rhai yn dywedyd, *molwch Arglwydd y lluoedd, o herwydd daionus yw yr Arglwydd, o blegit ei drugaredd [a bery] yn dragywydd; [llef] rhai yn dwyn offrwm moliant i dŷ 'r Arglwydd: canys mi a ddychwelaf gaethiwed y wlad, megis yn y dechreuad, medd yr Arglwydd.

*Pen. 7.34. & 16. 19.

*1. Cron. 16.8. Psal. 105.1. Esa. 12.4.

12 Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, bydd etto yn y lle ymma, yr hwn sydd anghyfanneddol heb ddŷn, a heb anifail, ac yn ei holl ddinasoedd, drigfa bugeiliaid yn corlannu y praidd.

13 Yn ninasoedd y mynydd, yn ninasoedd y gwastad, ac yn ninasoedd y deau, ac yngwlad Beniamin, ac yn amgylchoedd Jerusalem, ac yn ninasoedd Iuda, yr â defaid etto, tan law yr hwn sy'n [eu] rhifo, medd yr Arglwydd.

14 Wele y dyddiau yn dyfod, medd yr Arglwydd, fel y cyflawnwyf y peth daionus a addewais i dŷ Israel, ac i dŷ Iuda.

15 Yn y dyddiau hynny, ac yn yr amser hwnnw, y paraf *i flaguryn cyfiawnder flaguro i Ddafydd, ac efe a wna farn, a chyfiawnder yn y tir.

*Pen. 23.5. Esai. 11.1. & 4.2.

16 Yn y dyddiau hynny Iuda a waredir, a Jerusalem a breswylia yn ddiogel, a hwn [yw 'r enw] y gelwir ef, ‖ yr Arglwydd ein cyfiawnder.

‖ Iehouah tsidkenu.

17 Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd, *ni ‖ phalla i Ddafydd wr yn eistedd ar frenhin-faingc tŷ Israel;

*2. Sam. 7.16. 1. Bren. 2.4. ‖ Heb. thorrir ymaith oddiwrth Ddafydd.

18 Ac ni phalla i'r offeiriaid y Lefiaid, wr ger fy mron i, i offrymmu poeth offrwm, ac i offrymmu bwyd offrwm, ac i wneuthur aberth yn dragywydd.

19 A gair yr Arglwydd a ddaeth at Jeremi, gan ddywedyd,

20 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, * os gellwch ddiddymmu fy nghyfammod â'r dydd, a'm cyfammod â'r nôs, ac na byddo dydd a nôs yn eu hamser,

*Pen. 31.36. Esa. 54 9.

21 Yna y diddymmir fy nghyfammod â Dafydd fy ngwâs, na byddo iddo fab yn teyrnasu ar ei deyrn-gadeir ef, ac â'r Lefiaid yr offeiriaid fy ngwenidogion.

22 Megis * na ellir cyfrif llu y nefoedd, ac na ellir mesur tywod y môr; felly mysi a amlhâf hâd Dafydd fy ngwâs, a'r Lefiaid y rhai sydd yn gweini i mi.

*Pen. 31.37.

23 Hefyd, gair yr Arglwydd a ddaeth at Jeremi, gan ddywedyd,

24 Oni weli di pa beth y mae y bobl hyn yn ei lefaru, gan ddywedyd, y ddau deulu a ddewisodd yr Arglwydd, efe a'i gwrthododd hwynt? felly y dirmygasant fy mhobl, fel nad ydynt mwyach yn genhedl, yn eu golwg hwynt.

25 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, os fy nghyfammod â'r dydd, ac â'r nôs ni [safi, ac oni] osodais i ddefodau y nefoedd, a'r ddaiar,

26 Yna hâd Jacob a Dafydd fy ngwâs a wrthodaf, fel na chymmerwyf o'i hâd ef lywodraeth-wŷr ar hâd Abraham, Isaac, ac Jacob: canys mi a ddychwelaf eu caethiwed hwynt, ac a drugarhâf wrthynt.

## PEN. XXXIIII.

1 Ieremi yn prophwydo caethiwed Zedeciah, a'r ddinas. 8 Y tywysogion a'r bobl, wedi iddynt ryddhau eu caeth-weision, yngwrthwyneb i gyfammod Duw, yn eu cymmeryd hwy drachefn. 12 Ieremi am eu hanufydd-dod, yn eu rhoddi hwy a Zedeciah, yn nwylo eu gelynion.



Y Gair yr hwn a ddaeth at Jeremi oddi wrth yr Arglwydd (pan oedd * Nabuchodonosor brenin Babilon a'i holl lû, a holl deyrnasoedd y ddaiar, [y rhai oedd] tan lywodraeth ei law ef, a'r holl bobloedd, yn rhyfela yn erbyn Jerusalem, ac yn erbyn ei holl ddinasoedd hi,) gan ddywedyd;

*2. Bren. 25.1. & c. Pen. 52.1.

2 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Duw Israel, dôs a llefara wrth Zedeciah frenin Iuda, a dywed wrtho, fel hyn y dywed yr Arglwydd, * wele fi yn rhoddi y ddinas hon i law brenin Babilon, ac efe a'i llysc hi â thân:

*2. Cron. 36.19.

3 Ac ni ddiengi ditheu o'i law ef, canys diau *'th ddelir, ac i'th roddir i'w law ef, a'th lygaid ti a gânt weled llygaid brenin Babilon, a'i enau ef a ymddiddan â'th enau di, a thitheu ai i Babilon.

Pen. 32.4.

4 Er hynny, o Zedeciah, brenin Iuda, gwrando air yr Arglwydd; fel hyn y dywed yr Arglwydd am danat ti, ni byddi di farw drwy yr cleddyf:

5 Mewn heddwch y byddi farw, a hwy a loscant [ber-aroglau] i ti, fel y lloscwyd i'th dadau, y brenhinoedd gynt, y rhai a fu o'th flaen di, a hwy a alarant am danat ti, [gan ddywedyd,] ôh arglwydd; canys myfi a ddywedais y gair, medd yr Arglwydd.

6 Yna Jeremi y prophwyd a lefarodd wrth Zedeciah frenin Iuda, yr holl eiriau hyn, yn Jerusalem,

7 Pan oedd llu brenin Babilon yn rhyfela yn erbyn Jerusalem, ac yn erbyn holl ddinasoedd Iuda, y rhai a adawsid, yn erbyn Lachis, ac yn erbyn Azecah: canys y dinasoedd caerog hyn a adawsid o ddinasoedd Iuda.

8 Y gair yr hwn a ddaeth at Jeremi oddi wrth yr Arglwydd, wedi i'r brenin Zedeciah wneuthur cyfammod â'r holl bobl [oedd] yn Jerusalem, am gyhoeddi iddynt * ryddid,

Exod. 21.2.

9 I ollwng o bob un ei wasanaeth-wr a phob un ei wasanaeth-ferch, [y rhai fyddent] Hebread neu Hebrees; yn rhyddion, ac na chei[illegible]ei neb wasanaeth ganddynt, [sef] gan ei frawd o Iddew.

10 A phan glybu yr holl bennaethiaid, a'r holl

holl bobl, y rhai a aethent i'r cyfammod, am ollwng o bob vn ei wasanaeth-wr, a phob vn ei wasanaeth-ferch, yn rhyddion, fel na cheisient wasanaeth ganddynt mwyach; yna hwy a wrandawsant, ac a'i gollyngasant ymaith.

11 Ond wedi hynny yr edifarhaodd arnynt, a hwy a ddygasant yn eu hôl eu gweision, a'r morwynion, y rhai a ollyngasent yn rhyddion, ac a'i caethiwasant hwy yn weision, ac yn forwynion.

12 Am hynny y daeth gair yr Arglwydd at Ieremi oddi wrth yr Arglwydd, gan ddywedyd;

13 Fel hyn y dywed Arglwydd Dduw Israel, mi a wneuthum gyfammod â'ch tadau chwi, y dydd y dygais hwynt allan o dir yr Aipht, o dŷ y caethiwed, gan ddywedyd;

14 Ym mhen * saith mlynedd, gollyngwch bob vn ei frawd o Hebræad, yr hwn a || werthwyd i ti, ac a'th wasanaethodd chwe blynedd; gollwng ef yn rhydd oddi wrthit; ond ni wrandawodd eich tadau arnaf, ac ni ogwyddasant eu clustiau.

*Exod.21.2. Deu.15.12. ||Neu, ymwerthodd.

15 A chwithau a gymmerasech edifeirwch heddyw, ac a wnaethech yr hyn oedd vniawn yn fy ngolwg, am gyhoeddi rhydd-did bob vn i'w gymmydog, a chwi a wnaethech gyfammod yn fy ngŵydd i, yn y tŷ y gelwir fy enw arno.

16 Ond chwi a ddychwelasoch, ac a halogasoch fy enw, ac a ddygasoch yn eu hôl bob vn ei wasanaeth-wr, a phob vn ei wasanaeth-ferch, y rhai a ollyngasech yn rhyddion, wrth eu hewyllys eu hun; caethiwasoch hwynt hefyd i fod yn weision, ac yn forwynion i chwi.

17 Am hynny, fel hyn y dywed yr Arglwydd, ni wrandawsoch arnafi, gan gyhoeddi rhydd-did bob vn i'w frawd, a phob vn i'w gymmydog: wele fi yn cyhoeddi i'ch erbyn, medd yr Arglwydd, rydd-did i'r cleddyf, i'r haint, ac i'r newyn, ac mi || a wnaf eich * symmud chwi i holl deyrnasoedd y ddaiar.

||Heb. a'ch rhoddaf yn symmudol. *Deut.28.64. Jer.29.18.

18 Ac mi a roddaf y dynion a droseddodd fy nghyfammod, y rhai ni chwplasant eiriau y cyfammod a wnaethant ger fy mron, wedi iddynt fyned rhwng rhannau y llô, * yr hwn a holltasent yn ddau,

Gen.15.10.

19 Tywysogion Iuda, a thywysogion Ierusalem, yr stafellyddion a'r offeiriaid, holl bobl y wlad, y rhai a aethant rhwng rhannau y llô,

20 Ie mi a'i rhoddaf hwynt yn llaw eu gelynion, ac yn llaw y rhai sydd yn ceisio eu henioes; * a'i celain fydd yn fwyd i ehediaid y nefoedd, ac i anifeiliaid y ddaiar.

Pen.7.33. & 16.4.

21 Ac mi a roddaf Zedeciah frenin Iuda, a'i dywysogion, i law eu gelynion, ac i law y rhai sy yn ceisio eu henioes, ac yn llaw brenin Babilon, y rhai a aethant i fynu oddi wrthych.

22 Wele, mi a orchymynnaf, medd yr Arglwydd, ac a wnaf iddynt droi yn ôl at y ddinas hon, a hwy a ryfelant yn ei herbyn hi, ac a'i gorescynnant hi, ac a'i lloscant hi â thân: ac mi a wnaf ddinasoedd Iuda yn anghyfannedd heb breswylydd.

## PEN. XXXV.

1 Trwy ddangos vfydd-dod y Rechabiaid, 12 Y mae Ieremi yn barnu ar anufydd-dod yr Iuddewon. 18 Duw yn bendithio y Rechabiaid am eu hufydd-dod.



Y Gair yr hwn a ddaeth at Ieremi oddi wrth yr Arglwydd * yn nyddiau Iehoiacim mab Iosiah brenin Iuda, gan ddywedyd;

Ier.27.1.

2 Dôs di i dŷ y Rechabiaid, a llefara wrthynt, a phâr iddynt ddyfod i dŷ yr Arglwydd, i vn o'r stafelloedd, a dôd iddynt win i'w yfed.

3 Yna mysi a gymmerais Iaazaniah, fab Ieremiah, fab Habaziniah, a'i frodyr, a'i holl feibion, a holl deulu y Rechabiaid.

4 Ac mi a'i dugym hwynt i dŷ yr Arglwydd, i stafell meibion Hanan fab Igdaliah, gŵr i Dduw; yr hon oedd wrth stafell y tywysogion, yr hon sydd goruwch stafell Maaseiah mab Salum ceidwad y || drws.

||Heb. rhiniog, neu, dodrefn.

5 Ac mi a roddais ger bron meibion tŷ y Rechabiaid, phiolau yn llawn o win, a chwpanau: ac mi a ddywedais wrthynt, yfwch win.

6 Ond hwy a ddywedasant, nid yfwn ni ddim gwin, o herwydd Ionadab mab Rechab ein tad, a roddodd i ni orchymyn, gan ddywedyd; nac yfwch win, na chwychwi, na'ch plant, yn dragywydd.

7 Nac adeiledwch dŷ, ac na heuwch hâd, ac na phlennwch win-llan, ac na fydded gennwch chwi: ond mewn pebyll y preswyliwch, eich holl ddyddiau, fel y byddoch chwi fyw ddyddiau lawer ar wyneb y ddaiar, lle yr ydych yn ddieithriaid.

8 Ac nyni a wrandawsom ar lais Ionadab mab Rechab ein tâd, am bob peth a orchymynnodd efe i ni; nad yfem ni win ein holl ddyddiau, nyni, ein gwragedd, ein meibion, a'n merched:

9 Ac nad adeiladem i ni dai i'w preswylio, ac nid oes gennym na gwin-llan, na maes, na hâd.

10 Eithr trigo a wnaethom mewn pebyll; a gwrandaw, a gwneuthur yn ôl yr hyn oll a orchymynnodd Ionadab ein tâd i ni.

11 Ond pan ddaeth Nabuchodonosor brenin Babilon i fynu i'r wlad, nyni a ddywedasom, deuwch, ac awn i Ierusalem, rhac llu y Caldeaid, a rhac llu yr Assyriaid; ac yn Ierusalem yr ydym ni yn preswylio.

12 Yna y daeth gair yr Arglwydd at Ieremi, gan ddywedyd,

13 Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Duw Israel, dôs, a dywed wrth wŷr Iuda, ac wrth breswyl-wŷr Ierusalem; oni chymmerwch chwi addysc, i wrando

ar fy ngeiriau, medd yr Arglwydd.

14 Geiriau Jonadab mab Rechab, y rhai a orchymynnodd efe iw feibion, nad yfent win, a gyflawnwyd; canys nid yfant hwy [win] hyd y dydd hwn; ond hwy a wrandawant ar orchymyn eu tâd: a minneu a ddywedais wrthych chwi, gan godi yn foreu, a llefaru, ond ni wrandawsoch arnaf.

15 Mysi a anfonais hefyd attoch chwi fy holl weision y prophwydi, gan godi yn foreu ac anfon, gan ddywedyd, *dychwelwch yn awr bawb oddi wrth ei ffordd ddrwg, a gwellhewch eich gweithredoedd, ac nac ewch yn ôl duwiau dieithr, iw gwasanaethu hwynt: a chwi a drigwch yn y wlad yr hon a roddais i chwi, ac i'ch tadau; ond ni ogwyddasoch eich clustiau, ac ni wrandawsoch arnaf.

*Pen.18.11. & 25.5.

16 Gan i feibion Jonadab mab Rechab gyflawni gorchymyn eu tad, yr hwn a orchymynnodd efe iddynt; ond y bobl ymma ni wrandawsant arnaf.

17 Am hynny fel hyn y dywed Arglwydd Dduw y lluoedd, Duw Israel, wele fi yn dwyn ar Juda, ac ar holl drigolion Jerusalem, yr holl ddrwg a leferais yn eu herbyn: o herwydd i mi ddywedyd wrthynt, ond ni wrandawsant, a galw arnynt, ond nid attebasant.

18 A Jeremi a ddywedodd wrth dŷ lwyth y Rechabiaid, fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Duw Israel; o herwydd i chwi wrando ar orchymyn Jonadab eich tad, a chadw ei holl orchymynion ef, a gwneuthur yn ôl yr hyn oll a orchymynnodd efe i chwi,

19 Am hynny fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Duw Israel; || ni phalla i Jonadab fab Rechab, wr i sefyll ger fy mron i yn dragywydd.

||Heb. ni thorrir ymaith i Ionadab.

## PEN. XXXVI.

1 Ieremi yn peri i Baruch yscrifennu ei brophwydoliaeth ef, 5 a'i darllein ar gyhoedd. 11 Y tywysogion wedi cael gwybodaeth o hynny trwy Micaiah, yn anfon Iehudi i gyrchu y llyfr, ac yn ei ddarllen: 19 Yn erchi i Baruch ymguddio, ef a Ieremi. 20 Y brenin Iehoiacim wedi clywed sôn am y llyfr, yn gwrando peth o honaw, ac yn ei losci ef. 27 Ieremi yn adrodd ei farn ef. 32 Ieremi yn scrifennu y llyfr o newydd.



AC yn y *bedwaredd flwyddyn i Jehoiacim fab Josiah frenin Juda, y daeth y gair hwn oddi wrth yr Arglwydd at Jeremi, gan ddywedyd;

*Ier.25.1.

2 Cymmer i ti blyg llyfr, ac scrifenna ynddo yr holl eiriau a leferais i wrthyt yn erbyn Israel, ac yn erbyn Juda, ac yn erbyn yr holl genhedloedd, o'r dydd y llefarais i wrthit ti, er dyddiau Josiah hyd y dydd hwn.

3 Ef allai pan glywo tŷ Juda yr holl ddrwg, yr ydwyf fi yn amcanu ei wneuthur iddynt, y dychwelant bob un o'i ffordd ddrygionus, fel y maddeuwyf eu hanwiredd a'i pechod.

4 Yna Jeremi a alwodd Baruch fab Neriah, a Baruch a scrifennodd o enau Jeremi holl eiriau yr Arglwydd, y rhai a lefarasei efe wrtho, mewn plyg llyfr.

5 A Jeremi a orchymynnodd i Baruch, gan ddywedyd; caewyd arnaf, ni allaf fyned i dŷ yr Arglwydd.

6 Am hynny dôs di, a darllein o'r llyfr a scrifennaist o'm genau, eiriau yr Arglwydd, lle y clywo y bobl, [yn] nhŷ yr Arglwydd, ar y dydd ympryd: a lle y clywo holl Juda hefyd, y rhai a ddelont o'i dinasoedd, y darllenni di hwynt.

7 Fe allei y || daw eu gweddi hwynt ger bron yr Arglwydd, ac y dychwelant bob un o'i ffordd ddrygionus; canys mawr [yw] yr llid, a'r digofaint, a draethodd yr Arglwydd yn erbyn y bobl hyn.

||Heb. y cwymp eu deisyfiad.

8 Felly Baruch mab Neriah a wnaeth yn ôl yr hyn oll a orchymynnasei Jeremi y prophwyd iddo, gan ddarllen o'r llyfr eiriau yr Arglwydd, [yn] nhŷ yr Arglwydd.

9 Ac yn y bummed flwyddyn i Jehoiacim fab Josiah brenin Juda, ar y nawfed mis, y cyhoeddasant ympryd ger bron yr Arglwydd, [i'r] holl bobl yn Jerusalem, ac i'r holl bobl a ddaethent o ddinasoedd Juda i Jerusalem.

10 Yna Baruch a ddarllênodd o'r llyfr eiriau Jeremi, [yn] nhŷ 'r Arglwydd, yn stafell Gemariah mab Saphan yr scrifennydd, * yn y cyntedd uchaf, wrth ddrws porth newydd tŷ yr Arglwydd, lle y clybu yr holl bobl.

*Pen.26.10.

11 Pan glybu Micaiah mab Gemariah fab Saphan, holl eiriau yr Arglwydd allan o'r llyfr;

12 Yna efe a aeth i wared i dŷ y brenin, i stafell yr scrifennydd, ac wele, yr holl dywysogion oedd yno yn eistedd; [sef] Elisama yr scrifennydd, a Delaiah mab Semaiah, ac Elnathan mab Achbor, a Gemariah mab Saphan, a Zedeciah mab Hananiah, a'r holl dywysogion.

13 A Micaiah a fynegodd iddynt yr holl eiriau a glywsei efe, pan ddarllênasei Baruch y llyfr lle y clybu y bobl.

14 Yna yr holl dywysogion a anfonasant Jehudi, fab Nethaniah, fab Selemiah, fab Cusi, at Baruch gan ddywedyd; cymmer yn dy law y llyfr y darllênaist allan o honaw lle y clybu y bobl, a thyred: felly Baruch mab Neriah a gymerodd y llyfr yn ei law, ac a ddaeth attynt.

15 A hwy a ddywedasant wrtho, eistedd yn awr, a darllen ef lle y clywom ni: felly Baruch a'i darllênodd lle y clywsant hwy.

16 A phan glywsant yr holl eiriau, hwy a ofnasant bawb gyd â'i gilydd; a hwy a ddywedasant wrth Baruch, gan fynegi mynegwn yr holl eiriau hyn i'r brenin.

17 A hwy a ofynnasant i Baruch, gan dywedyd,

ddywedyd, mynega i ni yn awr, pa fodd yr scrifennaist ti yr holl eiriau hyn o'i enau ef?

18 Yna Baruch a ddywedodd wrthynt, efe a draethodd yr holl eiriau hyn wrthif â'i enau; a minneu [a'i] scrifennais [hwynt] yn y llyfr ag ingc.

19 Yna y tywysogion a ddywedasant wrth Baruch, dôs ac ymguddia ti a Jeremi, ac na wypo neb pa le [y byddoch] chwi.

20 A hwy a aethant at y brenin i'r cyntedd, (ond hwy a gadwasant y llyfr yn stafell Elisama yr scrifennydd,) ac a fynegasant yr holl eiriau, lle y clybu y brenin.

21 A'r brenin a anfonodd Jehudi, i gyrchu y llyfr; ac efe a'i dug ef o stafell Elisama yr scrifennydd, a Jehudi a'i darllênodd lle y clybu y brenin, a lle y clybu yr holl dywysogion oedd yn sefyll yn ymyl y brenin.

22 A'r brenin oedd yn eistedd yn y gaiafdŷ, ar y nawfed mis, a thân wedi ei gynneu ger ei fron.

23 A phan ddarllennasai Jehudi dair dalen, neu bedair, [yna] efe a'i torrodd â chyllell scrifennydd, ac a'i bwriodd i'r tân [oedd] yn yr aelwyd, nes darfod yr holl lyfr gan y tân oedd ar yr aelwyd.

24 Etto nid ofnasant, ac ni rwygasant eu dillad; na'r brenin, nac yr un o'i weision, y rhai a glywsant yr holl eiriau hyn.

25 Etto Elnathan, a Delaiah, a Gemariah, a ymbiliasant â'r brenin na loscei efe y llyfr: ond ni wrandawai efe arnynt.

26 Ond y brenin a orchymynnodd i Jerahmeel fab || Hammelech, a Seraiah fab Azriel, a Selemiah fab Abdiel, ddala Baruch yr scrifennydd, a Jeremi y prophwyd: ond yr Arglwydd a'i cuddiodd hwynt.

|| Neu, y brenin.

27 Yna y daeth gair yr Arglwydd at Jeremi, (wedi i'r brenin losci y llyfr, a'r geiriau a scrifennasei Baruch o enau Jeremi,) gan ddywedyd;

28 Cymmer i ti etto lyfr arall, ac scrifenna arno yr holl eiriau cyntaf, y rhai oedd yn y llyfr cyntaf, yr hwn a loscodd Jehoiacim brenin Juda:

29 A dywed wrth Jehoiacim frenin Juda, fel hyn y dywed yr Arglwydd, ti a loscaist y llyfr hwn, gan ddywedyd, pa ham yr scrifennaist ynddo, gan ddywedyd; diau y daw brenin Babilon, ac a anrheithia y wlad hon: ac efe a wna i ddŷn ac i anifail ddarfod o honi?

30 Am hynny fel hyn y dywed yr Arglwydd am Jehoiacim frenin Juda; ni bydd iddo ef a eisteddo ar frenhin-faingc Dafydd; a'i * gelain ef a fwrir allan i wrês y dydd, ac i rew y nôs.

* Jer. 22. 19.

31 Ac mi a ymwelaf ag ef, ac â'i hâd ac â'i weision, am eu hanwiredd; ac mi a ddygaf arnynt hwy, ac ar drigolion Jerusalem, ac ar wŷr Juda, yr holl ddrwg a leferais i'w herbyn; ond ni wrandawsant.

32 Yna Jeremi a gymmerth lyfr arall, ac a'i rhoddodd at Baruch fab Neriah yr scrifennydd, ac efe a scrifennodd ynddo o enau Jeremi, holl eiriau y llyfr a loscasei Jehoiacim brenin Juda yn tân: a chwanegwyd attynt etto eiriau lawer fel hwythau.

## PEN. XXXVII.

1 Wedi darfod i'r Aiphtiaid yrru y Chaldæaid ymaith, o warchae ar Ierusalem, Y mae'r brenin Zedeciah yn anfon at Ieremi i weddio tros y bobl. 6 Ieremi yn prophwydo y dychwelai y Chaldæaid, ac y gorchfygent. 11 Ei ddal ef megis ffoadur, a'i faeddu, a'i garcharu. 16 Y mae efe yn siccrhau Zedeciah o'r gaethiwed: 18 Yn ymbil am gael ei ollwng yn rhydd, ac yn cael peth ffafor.



'R brenin Zedeciah * mab Josiah a deyrnasodd yn lle Coniah fab Jehoiacim, yr hwn a wnaeth Nabuchodonosor brenin Babilon, yn frenin yng wlad Juda.

* 2. Bren. 24. 17. 2. Cron. 36. 10. Pen. 22. 24. & 52. 1.

2 Ond ni wrandawodd efe, na'i weision, na phobl y tir, ar eiriau yr Arglwydd, y rhai a draethodd efe trwy law Jeremi y prophwyd.

3 A'r brenin Zedeciah a anfonodd Jehucal fab Selemiah, a Sephaniah fab Maaseiah yr offeiriad, at Jeremi y prophwyd, gan ddywedyd; gweddia atolwg drosom ni ar yr Arglwydd ein Duw.

4 A Jeremi oedd yn myned i mewn ac allan ym mysc y bobl: canys ni roddasent hwy ef [etto] yn y carchar-dŷ.

5 A llu Pharao a ddaethei allan o'r Aipht; a phan glybu y Caldeaid oedd yn gwarchae ar Jerusalem, sôn amdanynt, hwy a aethant ymaith oddi wrth Jerusalem.

6 Yna gair yr Arglwydd a ddaeth at Jeremi y prophwyd, gan ddywedyd,

7 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Duw Israel, fel hyn y dywedwch chwi wrth frenin Juda, yr hwn a'ch anfonodd chwi attaf, i ymofyn â mi: wele, llu Pharao, yr hwn a ddaeth allan yn gynhorthwy i chwi, a ddychwel i'w wlad ei hun i'r Aipht.

8 A'r Caldeaid a ddychwelant, ac a ryfelant yn erbyn y ddinas hon, ac a'i hennillant, ac a'i llosgant â thân.

9 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, na thwyllwch || eich hunain, gan ddywedyd; diau yr â y Caldeaid oddi wrthym ni, o blegit nid ânt hwy.

|| Heb. eich eneidiau.

10 Canys pe tarawech chwi holl lu y Caldeaid, y rhai sydd yn rhyfela i'ch erbyn, fel [na] weddillid o honynt [onid] gwŷr || archolledic, [etto] hwy a gyfodent bôb un yn ei babell, ac a loscent y ddinas hon â thân.

|| Heb. wedi eu trywanu.

11 A phan aeth llu y Caldeaid || ymmaith oddi wrth Jerusalem, rhac llu Pharao,

|| Heb. i fynu.

12 Yna Jeremi a aeth allan o Jerusalem, i fyned i wlâd Beniamin, i || ymlithro oddi yno ynghanol y bobl.

|| Neu, ymgilio.

13 A phan oedd efe ym mhorth Beniamin, yr [oedd] yno ben-swyddog, a'i enw ef [oedd] Iriah, mab Selemiah, fab Hananiah; ac efe a ddaliodd Jeremi y prophwyd, gan ddywedyd; cilio at y Caldeaid yr wyt ti.

||Heb. celwydd.

14 Yna y dywedodd Jeremi, || nid gwir, nid ydwyfi yn cilio at y Caldeaid; ond ni wrandawei efe arno: felly Iriah a ymaflodd yn Jeremi, ac a'i dygodd ef at y tywysogion.

15 Am hynny y tywysogion a ddigiasant wrth Jeremi, ac a'i tarawsant, ac a'i rhoddasant yn y carchar-dŷ, yn nhŷ Jonathan yr scrifennydd; o herwydd hwnnw a wnaethent hwy yn garchar-dŷ.

||Neu, celloedd.

16 Pan ddaeth Jeremi i'r daiar-dŷ, ac i'r || cabanau; ac [wedi] i Jeremi aros yno ddyddiau lawer:

17 Yna y brenin Zedeciah a anfonodd, ac a'i cymmerodd ef allan; a'r brenin a ofynnodd iddo yn gyfrinachol yn ei dŷ ei hun, ac a ddywedodd; a oes gair oddi wrth yr Arglwydd? a dywedodd Jeremi, oes; canys tydi (eb efe) a roddir yn llaw brenin Babilon.

18 Jeremi hefyd a ddywedodd wrth y brenin Zedeciah, pa bechod a wneuthum i'th erbyn di, neu yn erbyn dy weision, neu yn erbyn y bobl hyn, pan i'm rhoddasoch yn y carchar-dŷ?

19 Pa le [y mae] eich prophwydi a brophwydasant i chwi, gan ddywedyd; ni ddaw brenin Babilon i'ch erbyn, nac yn erbyn y wlâd hon.

||Heb. cwympod.

20 Ac yn awr gwrando atolwg, ô fy arglwydd frenin, atolwg || deued fy ngweddi ger dy fron: fel na pharech i mi ddychwelyd i dŷ Jonathan yr scrifennydd, rhac fy marw yno.

21 Yna y brenin Zedeciah a orchymynnodd iddynt hwy roddi Jeremi ynghynteddy carchar-dŷ, a rhoddi iddo ef deisen o fara beunydd, o heol y pobyddion, nes darfod yr holl fara yn y ddinas. Felly Jeremi a arhosodd ynghyntedd y carchar-dŷ.

## PEN. XXXVIII.

1 Ieremi ar gam achwyn yn cael ei fwrw i ddaiar-dy Malchiah; 7 Ac Ebedmelech yn cael peth rhydd-did iddo ef. 14 Ieremi trwy ymddiddan cyfrinachol, yn cynghori i'r brenhin achub ei einioes trwy ymroi: 24 A thrwy archiad y brenhin yn celu yr ymddiddan hwnnw oddiwrth y tywysogion.



Ier. 21. 1.

Yna Sephatiah mab Mattan, a Gedaliah mab Pasur, a Jucal mab Selemiah, a Phasur mab * Malchiah, a glywsant y geiriau a draethasei Jeremi wrth yr holl bobl, gan ddywedyd;

Pen. 21. 9.

2 Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd, * yr hwn a arhoso yn y ddinas hon, a fydd farw trwy'r cleddyf, trwy newyn, a thrwy haint: ond y neb a elo allan at y Caldeaid, a fydd byw; canys ei einioes fydd yn yspylfaeth iddo, a byw fydd.

3 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, y ddinas hon a roddir yn ddiau yn llaw llu brenin Babilon, yr hwn a'i hennill hi.

4 Yna y tywysogion a ddywedasant wrth y brenin, rhodder atolwg y gŵr hwn i farwolaeth, o blegit fel hyn y mae efe yn gwanhau dwylo y rhyfel-wŷr a adawyd yn y ddinas hon, a dwylo yr holl bobl, wrth ddywedyd wrthynt yn ôl y geiriau hyn: o herwydd nid yw y gŵr hwn yn ceisio || llwyddiant i'r bobl hyn, onid niwed.

||Heb. heddwch.

5 A'r brenin Zedeciah a ddywedodd, wele ef yn eich llaw chwi: canys nid yw y brenin wr a ddichon ddim yn eich erbyn chwi.

6 Yna hwy a gymmerasant Jeremi, ac a'i bwriasant ef i ddaiar-dŷ Malchiah mab || Hamelech, yr hwn oedd ynghyntedd y carchardŷ: a hwy a ollyngasant Jeremi i wared wrth raffau: ac nid [oedd] dwfr yn y daiar-dy, onid tom; felly Jeremi a lynodd yn y dom.

||Neu, y brenin.

7 A phan glybu Ebedmelech yr Ethiopiad (un o'r stafellyddion, yr hwn oedd yn nhŷ y brenin) iddynt hwy roddi Jeremi yn y daiar-dy, (a'r brenhin yn eistedd ym-mhorth Beniamin;)

8 Ebedmelech a aeth allan o dŷ'r brenin, ac a lefarodd wrth y brenin, gan ddywedyd;

9 O fy arglwydd frenin, drwg y gwnaeth y gwŷr hyn ynghwbl ac a wnaethant i Jeremi y prophwyd, yr hwn a fwriasant hwy i'r daiar-dy, ac efe a fydd marw o newyn yn y fan lle y mae, o herwydd nid oes bara mwyach yn y ddinas.

||Heb. [illegible]

10 Yna y brenin a orchymynnodd i Ebedmelech yr Ethiopiad, gan ddywedyd; cymmer oddi ymma ddeng-wr ar hugain || gyd â thi, a chyfod Jeremi y prophwyd o'r daiar-dy, cyn ei farw.

||Heb. yn dy law, neu, gyda thi.

11 Felly Ebedmelech a gymmerodd y gwŷr gyd ag ef, ac a aeth i dŷ'r brenin, tan y tryssor-dŷ, ac a gymmerodd oddi yno hên garpiau, a hên bwdr-frattiau, ac a'i gollyngodd i wared at Jeremi, i'r daiar-dy, wrth raffau.

12 Ac Ebedmelech yr Ethiopiad a ddywedodd wrth Jeremi, gosod yn awr yr hên garpiau, a'r pwdr frattiau hyn, dan dy gesseiliau oddi tan y rhaffau; a Jeremi a wnaeth felly.

13 Felly hwy a dynnasant Jeremi i fynu wrth y rhaffau, ac a'i codasant ef o'r daiardy: a Jeremi a arhosodd ynghyntedd y carchar-dŷ.

||Neu, y trydydd pen...

14 Yna y brenin Zedeciah a anfonodd, ac a gymmerodd Jeremi y prophwyd atto || i'r trydydd cyntedd, yr hwn sydd yn nhŷ yr Arglwydd; a'r brenin a ddywedodd wrth Jeremi, mi a ofynnaf i ti beth, na chela ddim oddi wrthifi.

15 A Jeremi a ddywedodd wrth Zedeciah, os mynegaf i ti, oni roddi di fi i farwolaeth? ac os rhoddaf i ti gyngor, oni wrandewi di arnaf?

16 Felly y brenin Zedeciah a dyngodd wrth Jeremi yn gyfrinachol, gan ddywedyd, fel mai byw'r Arglwydd, yr hwn a wnaeth i ni yr enaid hwn, ni roddaf fi di i farwolaeth, ac ni roddaf di yn llaw y gwŷr hyn sydd yn ceisio dy einioes.

17 Yna

wydd, a thŷ Israel â thwyll: ond y mae Iuda etto yn llywodraethu gyd â Duw, ac yn ffyddlon gyd â'r || Sainct.

|| Neu, Sancteiddiolaf.

PEN. XII.

1 Argyoeddi Ephraim, Iuda, ac Iacob. 3 Y mae yn eu hannog i edifarhau, o herwydd y daioni a gawsent. 7 Pechodau Ephraim yn cyffroi Duw.



Ephraim sydd yn ymborthi [ar] wynt, ac yn dilyn gwynt y dwyrain: ar hŷd y dydd yr amlhaodd gelwydd a dinistr; ammod a wnaethant â'r Assyriaid; ac olew a ddygwyd i'r Aipht.

2 Ac [y mae] gan yr Arglwydd gŵyn ar Iuda, ac efe a ymwel â Iacob yn ôl ei ffyrdd; yn ôl ei weithredoedd y tâl iddo y pwyth.

3 Yn y groth y daliodd efe *sodl ei frawd, ac yn ei nerth *|| y cafodd allu gyd â Duw.

4 Ie cafodd nerth ar yr angel, a gorchfygodd, wylodd, ac ymbiliodd ag ef: cafodd ef yn *Bethel, ac yno'r ymddiddanodd â ni.

5 Sef Arglwydd Dduw y lluoedd; yr Arglwydd [yw] ei *goffadwriaeth.

6 Trô ditheu at dy Dduw; cadw drugaredd, a barn, a disgwyl wrth dy Dduw bob amser.

*Gen. 25. 26.
||Heb. y bu dywysog, neu, yr ymddug yn dywysogaidd.
*Gene. 32. 24.
*Gen. 35 9. 10.
*Exod. 3. 13.

7 || Marsiandwr yw efe, yn ei law ef [y mae] cloriannau twyll: da ganddo || orthrymmu.

|| Neu, Canaan.
|| Neu, dwyllo.

8 A dywedodd Ephraim, etto mi a gyfoethogais, cefais i'm olud; || ni chafwyd yn fy holl lafur anwiredd ynof, a fyddai bechod.

|| Neu, fy holl Lafuriau ni'm digonant: efe a gaiff gosp anwiredd, yr hwn y mae pechod ynddo.

9 A mi, yr hwn yw'r Arglwydd dy Dduw, [a'th ddûg] o dir yr Aipht, a wnaf it drigo etto mewn pebyll, megis ar ddyddiau uchel-ŵyl.

10 Ymddiddenais trwy y prophwydi, a mi a amlheais weledigaethau ac a arferais gyffelybiaethau trwy law y prophwydi.

11 A oes anwiredd yn Gilead? yn ddiau gwagedd ydynt: yn *Gilgal yr aberthant ychen, eu hallorau hefyd [sydd] fel carneddau yn rhychau y maesydd.

Pen. 4. 15 & 19. 15.

12 *Ffôdd Iacob hefyd i wlad Syria, a gwasanaethodd Israel am *wraig, ac am wraig y cadwodd [ddefaid.]

Gen. 28. 5.
*Ge. 29. 20. 28

13 *A thrwy brophwyd y dug yr Arglwydd Israel o'r Aipht: a thrwy brophwyd y cadwyd ef.

Exod. 12. 50. 51. & 13. 3.

14 Ephraim a'i cyffroodd ef i ddig, ynghŷd â chwerwedd: am hynny y gâd efe ei waed ef arno: a'i Arglwydd a dâl iddo ei wradwydd.

PEN. XIII.

1 Gogoniant Ephraim, o herwydd eu gaudduwiaeth, yn diflannu. 5 Digofaint Duw wrthynt am eu hangharedigrwydd hwy. 9 Addewid o drugaredd Duw. 15 Barnedigaeth am anufydd-dod.



Pan lefarodd Ephraim, dychryn, ymdderchafodd efe yn Israel; onid pan bechodd gyd â Baal, y bu farw.

2 Ac yr awr hon chwanegasant bechu, ac o'i harian y gwnaethant iddynt ddelwau tawdd, ac eulynnod, yn ôl eu deall eu hun, y cwbl o waith y crefftwyr, am y rhai y maent yn dywedyd, y rhai || a aberthant cusanant y lloi.

|| Neu, a aberthant ddyn.

3 Am hynny y byddant fel y boreu gwmmwl, ac megis y gwlith yr ymedy yn foreu, fel man-us a chwaler gan gorwynt allan o'r llawr dyrnu, ac fel mŵg o'r ffumer.

4 Etto mysi [yw]'r Arglwydd dy Dduw, [a'th ddug di] o dir yr Aipht: ac ni chei gydnabod Duw onid mysi: ac nid [oes] iachawdur onid mysi.

Esai. 43. 11.
Pen. 12. 10.

5 Mi a'th adnabûm yn y diffaethwch, yn nhir sychdwr mawr.

6 Fel [yr oedd] eu porfa, y cawsant eu gwala, cawsant eu gwala, a chodasant eu calonnau, ac anghofiasant fi.

7 Ond mi a fyddaf fel llew iddynt, megis llewpard ar y ffordd y disgwiliaf hwynt.

8 Cyfarfyddaf â hwynt fel arth wedi colli ei chenawon, rhwygaf orchudd eu calon hwynt; ac yna fel llew y difaf hwynt; bwyst-fil y maes a'i llarpia hwynt.

9 Oh Israel, tydi a'th ddinistriaist dy hun: ond ynof [y mae] || dy gymmorth.

|| Heb. yn dy gymmorth.

10 Dy frenin fyddaf: pa le [y mae arall] a'th waredo di yn dy holl ddinasoedd? a'th frawd-wyr, am y rhai y dywedaist, dyro i mi frenin, a thywysogion?

11 Rhoddais it *frenin yn fy nig: a dygais ef ymmaith yn fy llid.

1. Sam. 8. 15. 23.

12 Rhwymwyd anwiredd Ephraim, cuddiwyd ei bechod ef.

Ier. 17. 1.

13 Gofid un yn escor a ddaw arno; mab anghall yw efe; canys ni ddylasei efe sefyll || yn hir yn escoreddfa'r plant.

|| Heb. am

14 O law y bedd yr achubaf hwynt; oddiwrth angeu y gwaredaf hwynt; *byddaf || angeu i ti, ô angeu, byddaf drangc i ti y bedd: cuddir edifeirwch o'm golwg.

1. Cor. 15.

15 Er ei fod yn ffrwythlon ym mysc ei frodyr, daw *gwynt y dwyrain, [sef] gwynt yr Arglwydd o'r anialwch a dderchafa, a'i ffynhonnell a sych, a'i ffynnon â yn hesp: efe a yspeilia drysor pob llestr dymunol.

Eze. 19. 12.

16 Diffeithir Samaria am ei bod yn anufydd i'w Duw; syrthiant ar y cleddyf; eu plant a ddryllir, a'i gwragedd beichiogion a rwygir.

PEN. XIIII.

1 Annog i edifeirwch. 4 Addewid o fendithion Duw.



Ymchwel Israel at yr Arglwydd dy Dduw; canys ti a syrthiaist trwy dy anwiredd.

2 Cymmerwch eiriau gyd â chwi, a dychwelwch at yr Arglwydd, dywedwch wrtho, maddeu yr holl anwiredd; || derbyn [ni] yn ddaionus, a thalwn [it] *loi ein gwefusau.

|| Neu,
Heb. 13.

3 Ni all Assur ein hachub ni, ni farchogwn ar feirch, ac ni ddywedwn mwyach wrth waith ein dwylo, ô ein duwiau, o herwydd

wydd ynot ti y caiff yr ymddifad drugaredd.

4 Meddiginiaethaf eu hymchweliad hwynt, caraf hwynt yn rhâd, canys trôdd fy nig oddi wrtho.

5 Byddaf fel gwlith i Israel; efe a || flodeua fel y lili, ac a || leda ei wraidd megis Libanus.

6 Ei geingciau a || gerddant, a bydd ei degwch fel yr olewydden, a'i arogl fel Libanus.

7 Y rhai a arhosant dan ei gyscod ef a ddychwelant, adfywiant [fel] ŷd, || blodeuant hefyd fel y win-wŷdden, bydd ei || goffadwriaeth fel gwin Libanus.

|| Neu, arogl.

8 Ephraim [a ddywaid,] beth [sydd] i mi mwyach [a wnelwyf] ag eulynnod? gwrandewais, ac edrychais arno: myfi [sydd] fel ffynnid-wydden îr; o honofi y ceir dy ffrwyth di.

9 Pwy [sydd] ddoeth, ac efe a ddeall hyn, a deallgar, ac efe a'i gwybydd: canys uniawn yw ffyrdd yr Arglwydd, a'r rhai cyfiawn a rodiant ynddynt: ond y troseddwyr a dramgwyddant ynddynt.



# LLYFR IOEL.

## PENOD. I.

1 Ioel yn datcan amryw farnedigaethau Duw, ac yn annog i ddal arnynt, 8 ac i alaru: 14 Yn gosod ympryd i gwynfan.



Gair yr Arglwydd yr hwn a ddaeth at Joel fab Pethuel.

2 Gwrandewch hyn chwi henuriaid, a rhoddwch glust holl drigolion y wlâd: a fu hyn yn eich dyddiau; neu yn nyddiau eich tadau?

3 Mynegwch hyn i'ch plant, a'ch plant i'w plant hwythau, a'i plant hwythau i genhedlaeth arall.

4 Gweddill y lindys a fwyttaodd y ceiliog rhedyn, a gweddill y ceiliog rhedyn a ddifaodd pryf y rhwd, a gweddill pryf y rhwd a yssodd y locust.

5 Deffrowch feddwŷr, ac wylwch, ac udwch holl yf-wŷr gwin, am y gwin newydd; canys torrwyd ef oddi wrth eich min.

6 O herwydd cenhedlaeth grêf anifeiriol a ddaeth i fynu ar fy nhir, dannedd llew [yw] ei dannedd, a chil-ddannedd hen lew [sydd] iddi.

7 Gosododd fy ngwinwydden yn ddifrod, a'm ffigys-bren || a ddirisclodd; gan ddinoethi dinoethodd hi, a thaflodd hi ymmaith, ei changau a wynnasant.

8 Uda fel gwyryf wedi ymwregysu [mewn] sach-liain, am briod ei hieuengtid.

9 Torrwyd oddi wrth dŷ'r Arglwydd yr offrwm bwyd, a'r offrwm diod: y mae'r offeiriaid, gweinidogion yr Arglwydd, yn galaru.

10 Difrodwyd y maes, y ddaiar a alara; canys gwnaethpwyd difrawd ar yr ŷd, || sychodd y gwin newydd, llescaodd yr olew.

11 Cywilyddiwch y llafur-wŷr, udwch y gwinwydd-wŷr, am y gwenith, ac am yr haidd: canys darfu am gynhaiaf y maes.

12 Gwywodd y win-wydden, llescaodd y ffigys-bren, y pren pomgranat, y balm-wydden hefyd, a'r afallen, [a] holl brennau y maes, a wywasant: am wywo llawenydd oddi wrth feibion dynion.

13 Ymwregyswch a griddfenwch chwi offeiriaid, udwch weinidogion yr allor; deuwch weinidogion fy Nuw, gorweddwch ar hyd y nos mewn sach-liain, canys attelir oddi wrth dŷ eich Duw yr offrwm bwyd, a'r offrwm diod.

14 * Cyssegrwch ympryd, gelwch || gymmanfa, cesclwch yr henuriaid, [a] holl drigolion y wlad, [i] dŷ'r Arglwydd eich Duw, a gwaeddwch ar yr Arglwydd.

* Pen. 2. 15.
|| Neu, dydd gwaharddiad.

15 Och o'r diwrnod, canys * dydd yr Arglwydd sydd yn agos, ac fel distryw oddi wrth yr Holl-alluawg y daw.

* Esai 13. 6.

16 Oni thorrwyd yngŵydd || ein llygaid ni, oddi wrth dŷ ein Duw, y bwyd, y llawenydd, a'r digrifwch?

|| eich.

17 Pydrodd || yr hâdau dan eu priddellau, yr yscuboriau a anrheithiwyd, yr yd-lannau a fwriwyd i lawr, canys yr ŷd a wywodd.

|| Heb. y grawn.

18 Oh o'r griddfan y mae'r anifeiliaid! y mae yn gyfyng ar y minteioedd gwarthec, am nad [oes] borfa iddynt, y diadellau defaid hefyd a anrheithiwyd.

19 Arnat ti Arglwydd y llefaf, canys y tân a ddifaodd || borfeydd yr anialwch, yr fflam a oddeithiodd holl brenniau y maes.

|| Neu, drigfeydd.

20 Anifeiliaid y maes hefyd sydd yn brefu arnat, canys sychodd y ffrydiau dwfr, a'r tân a yssodd borfeydd yr anialwch.

## PEN. II.

1 Y mae yn dangos i Sion mor ofnadwy ydyw barnedigaethau Duw; 12 Yn annog i edifeirwch; 15 yn gorchymmyn ympryd; 18 Ac yn addaw bendith arno. 21 Y mae yn cyssuro Sion â bendithion presennol, 28 ac â rhai a ddeuai.



Enwch yr udcorn yn Sion, a bloeddiwch ar fynydd fy sancteiddrwydd: dychryned holl breswyl-wyr y wlâd; canys daeth dydd yr Arglwydd, canys y mae yn agos.

2 Diwrnod tywyll du, diwrnod cwmmyloc, a niwloc, fel y wawr wedi ymwascaru ar y mynyddoedd: pobl fawr a chryfion, ni bu ei fâth er ioed, ac ni bydd eilwaith ar ei ôl, hyd flynyddoedd cenhedlaeth a chenhedlaeth.

3 O'i flaen y difa y tân, ac ar ei ôl y fflam, [mae]'r wlad o'i flaen fel gardd baradwys, ac ar ei ôl yn ddiffaethwch anrheithiedic; a hefyd ni ddiangc dim ganddo.

4 Yr olwg [arno sydd] megis golwg o feirch, ac fel marchogion, felly y rhedant.

5 Megis swn cerbydau ar bennau y mynyddoedd y llammant, fel swn tân yn yssol yn difa y sofl, [ac] fel pobl gryfion wedi ymosod i ryfel.

Nahum.2.10. 6 O'i flaen yr ofna y bobl, * pob wyneb a gascl barddu.

7 Rhedant fel glewion, dringant y mûr fel rhyfelwŷr, a cherddant bob un yn ei ffordd ei hun, ac ni wyrant oddiar eu llwybrau.

8 Ni wthiant y naill y llall; cerddant bob un ei lwybr ei hun: ac er eu syrthio ar y || cleddyf, nid archollir hwynt.

|| neu, gwayw.

9 Gwibiant ar hŷd y ddinas; rhedant ar y mûr; dringant i'r tai; ânt i mewn trwy'r ffenestri, fel lleidr.

Esai.13.10. ezec.32.7. mat 24.29. ver.31. 10 * O'i flaen ef y crŷn y ddaiar, y nefoedd a gynnhyrfir, yr haul a'r lleuad a dywyllir, a'r sêr a attaliant eu llewyrch.

11 A'r Arglwydd a rydd ei lêf o flaen ei lû, canys mawr iawn yw ei werssyll ef, canys cryf yw'r hwn sydd yn gwneuthur ei air ef, * o herwydd mawr yw dydd yr Arglwydd, ac ofnadwy iawn; a phwy a'i herys?

Ier.30.7.& 39.5. amos 5.18. zeph.1.15.

12 Ond yr awr hon, medd yr Arglwydd, * dychwelwch attafi â'ch holl galon, ag ymprydd hefyd, ac ag wylofain, ac â galar.

Ier.4.1.

13 A rhwygwch eich calon, ac nid eich dillad; ac ymchwelwch at yr Arglwydd eich Duw: o herwydd * graslawn, a thrugarog [yw] efe, hwyrfrydic i ddigofaint, a mawr ei drugaredd, ac edifeiriol am ddrwg.

Exod.34.6. psal.86.35. Io.4.2.

Ionah 3 9. 14 * Pwy a wŷr a drŷ efe, ac edifarhau, a gweddill bendith ar ei ôl, [sef] bwyd offrwm, a diod offrwm i'r Arglwydd eich Duw?

Pen.1.14. 15 Cenwch udcorn yn Sion, * cyssegrwch ymprydd, gelwch gymmanfa:

16 Cesclwch y bobl; cyssegrwch y gynnulleidfa: cynhullwch yr henuriaid; cesclwch y plant, a'r rhai yn sugno bronnau: deued y priod-fab allan o'i stafell, a'r briodferch allan o stafell ei gwely:

17 Wyled yr offeiriaid, gwenidogion yr Arglwydd, rhwng y porth a'r allor, a dywedant; arbed dy bobl ô Arglwydd, ac na ddyro dy etifeddiaeth i warth; || i lywodraethu o'r cenhedloedd arnynt: * pa ham y dywedent ym mhlith y bobloedd, pa le [y mae] eu Duw hwynt?

|| neu, iw gwatwor o'r cenhedloedd.
*Psal.79.10. Psal.42.11. & 72.10. & 115.2.

18 Yna'r Arglwydd a eiddigedda am ei dir, ac a arbed ei bobl.

19 A'r Arglwydd a ettyb, ac a ddywed wrth ei bobl; wele fi yn anfon i chwi ŷd, a gwin, ac olew, a diwellir chwi o honaw; ac ni wnaf chwi mwyach yn wradwydd ym mysc y cenhedloedd.

20 Eithr bwriaf yn bell oddi wrthych y gogledd-lu, a gyrraf ef i dir sych diffaeth, a'i wyneb tua môr y dwyrain, a'i ben ôl tua'r môr eithaf; a'i ddrewi a gyfyd, a'i ddrygsawr a â i fynu, am iddo || wneuthur mawrhydri.

|| Heb. fawrhau gwneuthur.

21 Nac ofna di ddaiar, gorfoledda, a llawenycha; canys yr Arglwydd a wna fawredd.

22 Nac ofnwch, anifeiliaid y maes, canys tarddu y mae porfeydd yr anialwch: canys y pren a ddwg ei ffrwyth, y ffigys-bren, a'r win-wydden, a roddant eu cnwd.

23 Chwithau plant Sion, gorfoleddwch, ac ymlawenhewch yn yr Arglwydd eich Duw: canys * efe a roddes i chwi || y cynhar-law || yn gymmedrol, ac a wna i'r cynhar-law, a'r diweddar-law ddescyn i chwi yn y [mis] cyntaf.

*Deut.11.14. lefit.26.4. || Neu, athro cyfiawnder. || Heb. yn ol cyfiawnder.

24 A'r scuboriau a lenwir o ŷd, a'r gwin newydd, a'r olew, â tros y llestri.

25 A mi a dalaf i chwi y blynyddoedd a ddifaodd y ceiliog rhedyn, pryf y rhwd, a'r locust, a'r lindys, fy llu mawr i, yr hwn a anfonais yn eich plith.

26 Yna y bwyttewch, gan fwytta ac ymddigoni; ac y moliennwch enw'r Arglwydd eich Duw, yr hwn a wnaeth â chwi yn rhyfedd; ac ni wradwyddir fy mhobl byth.

27 A chewch wybod fy mod i ynghanol Israel, ac mai myfi [yw] yr Arglwydd eich Duw, ac nid [neb] arall: a'm pobl nis gwradwyddir byth.

28 A bydd ar ôl hynny * y tywalltaf fy Yspryd ar bob cnawd, a'ch meibion, a'ch merched a brophwydant, eich henuriaid a welant freuddwydion, eich gwŷr ieuaingc a welant weledigaethau;

*Esai.44.3. act.2.17.

29 Ac ar y gweision hefyd, ac ar y morwynion y tywalltaf fy Yspryd, yn y dyddiau hynny.

30 A gwnaf ryfeddodau yn y nefoedd, ac yn y ddaiar, gwaed, a thân, a cholofnau mwg.

31 * Yr haul a droir yn dywyllwch, a'r lleuad yn waed, o flaen dyfod mawr, ac ofnadwy ddydd yr Arglwydd.

*Esay 13. ioel 2.10. pen.3.15.

32 A bydd yr * achubir pob un a alwo ar enw'r Arglwydd: canys bydd ymwared, fel y dywedodd yr Arglwydd, ym mynydd Sion, ac yn Jerusalem; ac yn y gweddillion a alwo'r Arglwydd.

*Rhuf 10.13.

PEN. III.

1 Barnedigaethau Duw yn erbyn gelynion ei bobl: 9 Ac y bydd rhaid ei adnabod ef yn ei farnedigaeth. 18 Ei fendithion ef ar yr Eglwys.

Canys wele yn y dyddiau hynny, ac yn yr amser hwnnw, pan ddychwelwyf gaethiwed Juda, a Jerusalem,

2 Casclaf hefyd yr holl genhedloedd, a dygaf hwynt i wared i ddyffryn Jehosaphat, a dadleuaf â hwynt yno dros fy mhobl, a'm hetifeddiaeth Israel, y rhai a wasgarasant hwy ym mysc y cenhedloedd, a rhannasant fy nhir.

3 Ac ar fy mhobl y bwriasant goel-brennau, a rhoddasant y bachgen er puttain, a gwerthasant fachgennes er gwin, fel yr yfent.

4 Cyrus hefyd, a Sidon, a holl ardaloedd Palestina, beth sydd i chwi a [wneloch] â mi? a delwch i mi y pwyth? ac os telwch i mi, buan iawn y dychwelaf eich tâl ar eich pen eich hunain.

5 Am i chwi gymmeryd fy arian a'm haur, a dwyn i'ch temlau fy nhlysau || dymunol.

|| Neu, hyfryd.

6 Gwerthasoch hefyd feibion Juda, a meibion Jerusalem i'r Groegiaid; i'w pellhau oddi wrth eu hardaloedd.

7 Wele mi a'i codaf hwynt o'r lle y gwerthasoch hwynt iddo; ac a ddatroaf eich tâl ar eich pen eich hunain.

8 A minneu a werthaf eich meibion, a'ch merched i law meibion Juda, a hwythau a'i gwerthant i'r Sabeaid, i genhedl o bell; canys yr Arglwydd a lefarodd [hyn.]

9 Cyhoeddwch hyn ym mysc y cenhedloedd, || gosodwch ryfel, deffrowch y gwŷr cryfion, nesaed y gwŷr o ryfel, deuant i fynu.

10 * Gyrrwch eich sychau yn gleddyfau, a'ch || pladuriau yn waywffyn: dyweded y llesc, cryf ydwyf.

* Esa.2.4.

11 Ymgesclwch, a deuwch y cenhedloedd o amgylch ogylch, ac ymgynhullwch: || yno descyn, ô Arglwydd, dy gedyrn.

12 Deffroed y cenhedloedd, a deuant i fynu i ddyffryn Jehosaphat: o herwydd yno'r eisteddaf i farnu'r holl genhedloedd o amgylch.

13 * Rhowch i mewn y crymman, canys addfedodd y cynhaiaf; deuwch, ewch i wared, o herwydd y gwryf a lanwodd, a'r gwasc-gafnau a aethant trosodd, am amlhau eu drygioni hwynt.

* Dat.14.15.

14 Torfeydd, torfeydd, [a fydd] ynglynn || terfyniad: canys agos yw dydd yr Arglwydd ynglynn terfyniad.

|| Neu, drylliad, neu, dyrnud.

15 * Yr haul, a'r lloer a dywyllant, a'r sêr a attaliant eu llewyrch.

* Pen.2.31.

16 A'r Arglwydd a * rua o Sion, ac a rydd ei lef o Jerusalem, y nefoedd hefyd, a'r ddaiar a grynant; ond yr Arglwydd [fydd] || gobaith ei bobl, a chadernid meibion Israel.

* Ier.25.30. amos 1.2.

|| Heb. cyrchfa, neu, noddfa.

17 Felly y cewch wybod mai myfi [yw]'r Arglwydd eich Duw, yn trigo yn Sion fy mynydd sanctaidd: yna y bydd Jerusalem yn || sanctaidd, ac * nid â dieithriaid trwyddi mwyach.

|| Heb. sancteiddrwydd.

* Dat.21.27.

18 A'r dydd hwnnw y bydd i'r mynyddoedd * ddefnynnu melys-win, a'r bryniau a lifeiriant o laeth, a holl ffrydiau Juda a || redant gan ddwfr, a * ffynnon a ddaw allan o dŷ'r Arglwydd, ac a ddyfrhâ ddyffryn Sittim.

* Amos 9.13.

|| Heb. gerddant.

* Ezec.47.1.

19 Yr Aipht a fydd anghyfannedd, ac Edom fydd anialwch anghyfanneddol, am y traha [yn erbyn] meibion Juda, am iddynt dywallt gwaed gwirion yn eu tir hwynt.

|| Neu, a cryf.

20 Etto Juda a || drig byth, a Jerusalem o genhedlaeth i genhedlaeth.

|| Neu, ie myfi yr Arglwydd, yr hwn sydd &c.

21 Canys glanhâf waed y rhai ni's glanheais; || canys yr Arglwydd sydd yn trigo yn Sion.



# LLYFR AMOS.

PENOD. I.

1 Amos yn dangos barnedigaethau Duw ar Syria, 6 ac ar y Philistiaid, 19 ac ar Tyrus, 11 ac ar Edom, 13 ac ar Ammon.



Geiriau Amos (yr hwn oedd ym mysc bugeiliaid Tecoa) y rhai a welodd efe am Israel, yn nyddiau Uzziah brenin Juda, ac yn nyddiau Jeroboam fab Joas brenin Israel, ddwy flynedd o flaen y * ddaiar-gryn.

2 Ac efe a ddywedodd, * yr Arglwydd a rua o Sion, ac a rydd ei lef o Jerusalem; a chyfanneddau y bugeiliaid a alarant, a phen Carmel a wywa.

3 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, o herwydd tair [o] anwireddau Damascus, ac o herwydd pedair, ni's || trôf ymaith [ei chosp] hi, am iddynt ddyrnu Gilead ag offer dyrnu o heirn.

4 Ond anfonaf dân i dŷ Hazael, ac efe a ddifa balasau Benhadad.

5 Drylliaf drossol Damascus, a thorraf ymaith y preswylwyr o || ddyffryn Afen, a'r hwn sy'n dal teyrn-wialen || o dŷ Eden; a phobl Syria a ânt yn gaeth i Cir, medd yr Arglwydd.

|| Neu, Bikath-Afen.

|| Neu, o Beth-Eden.

6 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, am dair [o] anwireddau * Gaza, ac am bedair, ni throaf ymaith [ei chosp] hi, am iddynt gaethgludo || y gaethiwed gyflawn, i'w rhoddi i fynu i Edom.

* 2.Cron.28.18.

|| Neu, â chaethiwed gyflawn.

7 Eithr anfonaf dân ar fûr Gaza; ac efe a ddifa ei phalasau hi.

8 Ac mi a dorraf y preswyl-wyr o Asdod; a'r hwn a ddeil deyrnwialen o Ascelon, a throaf fy llaw yn erbyn Ecron, a derfydd am weddill y Philistiaid, medd yr Arglwydd Dduw.

9 Fel

9 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, am dair o anwireddau Tyrus, ac am bedair, ni thróaf ymaith [ei chosp] hi: o herwydd iddynt hwy roddi i fynu gwbl o'r gaethiwed i Edom; ac na chofiasant||y cyfammod brawdol:

|| Heb. gyfammod brodyr.

10 Eithr anfonaf dân i fûr Tyrus, ac efe a ddifa ei phalasau hi.

11 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, am dair o anwireddau Edom, ac am bedair ni thróaf ymaith [ei chosp] hi, am iddo erlid ei frawd â'r cleddyf, a|| llygru ei drugaredd, a bod ei ddig yn rhwygo yn wastadol, a'i fod yn cadw ei lid yn dragywyddol.

|| Neu, bwrw ymaith bob tosturi.

12 Eithr anfonaf dan i Teman, yr hwn a ddifa balasau Bozrah.

13 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, am dair o anwireddau meibion Ammon, ac am bedair, ni thróaf ymaith [ei chosp] hi; am iddynt hwy rwygo|| gwragedd beichiogion Gilead, er mwyn helaethu eu terfynau.

|| Neu, mynyddoedd Gilead.

14 Eithr cynneuaf dân ym-mur Rabbah, ac efe a ddifa ei phalasau gydâ gwaedd, ar ddydd y rhyfel, gydâ themhestl, ar ddydd corwynt.

15 A'i brenin â yn gaeth, efe a'i bennaethiaid ynghyd; medd yr Arglwydd.

PEN. II.

1 Digofaint Duw yn erbyn Moab, 4 ac ar Iuda, 6 ac ar Israel. 9 Duw yn achwyn rhag eu hanniolchgarwch hwy.

FEl hyn y dywed yr Arglwydd, am dair o anwireddau Moab, ac am bedair, ni thróaf ymmaith [ei chosp] hi, am iddo * losci escyrn brenin Edom yn galch.

* 2.Bren 3. 27.

2 Eithr anfonaf dân i Moab, yr hwn a ddifa balasau Cerioth: a Moab fydd marw mewn terfysc, gweiddi, a llais udcorn.

3 Ac mi a ddorraf ymmaith y barn-wr o'i chanol hi, a'i holl bendefigion a laddaf gyd ag ef, medd yr Arglwydd.

4 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, am dair o anwireddau Iuda, ac am bedair, ni thróaf ymaith [ei chosp] hi; am iddynt ddirmygu cyfraith yr Arglwydd, ac na's cadwasant ei ddeddfau ef: a'i celwyddau a'i cyfeiliornodd hwynt, y rhai 'r aeth eu tadau ar eu hôl.

5 Eithr anfonaf dân i Iuda, ac efe a ddifa balasoedd Ierusalem.

6 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, am dair o anwireddau Israel, ac am bedair, ni thróaf ymaith [ei chosp] hi; am iddynt * werthu y cyfiawn am arian, a'r tlawd er pâr o escidiau.

* Pen.8.8.

7 Y rhai a ddyheuant ar ol llwch y ddaiar ar ben y tlodion; ac a wyrant ffordd y gostyngedig: a gwr, a'i dad â at yr un llangces, i halogi fy enw sanctaidd.

8 Ac ar ddillad wedi eu rhoi yngwystl y gorweddant wrth bob allor; a gwin || y dirwyol a yfant [yn] nhŷ eu Duw.

|| Neu, y rhai a gondemnwyd.

9 Etto myfi a ddinistriais yr * Amoriad o'i blaen hwynt, yr hwn yr oedd ei uchder fel uchder y cedr-wydd, ac efe oedd gryf fel derw; etto mi a ddinistriais ei ffrwythau oddi arnodd, a'i wraidd oddi tanodd.

* Num.21.24. deut.2.31. ios.24.8.

10 Myfi hefyd a'ch dugym chwi i fynu o wlad * yr Aipht, ac a'ch arweiniais chwi ddeugain mlynedd trwy 'r anialwch, i feddiannu gwlad yr Amoriad.

* Exod.12.51.

11 A mi a gyfodais o'ch meibion chwi [rai] yn brophwydi, ac o'ch gwyr ieuaingc rai yn Nazareaid: oni [bu] hyn, ô meibion Israel, medd yr Arglwydd?

12 Ond chwi a roesoch i'ch Nazareaid win iw yfed, ac a orchymynnasoch i'ch prophwydi, *gan ddywedyd; na phrophwydwch.

* Pen.7.12.

13 Wele|| fi wedi fy llethu tanoch, fel y llethir y fen lawn o yscubau.

|| Neu, gwasgaf eich lle chwi fel y gwasg men lawn o yscubau.

14 A metha gan y buan ddiangc, a'r cryf ni chadarnhâ ei rym, a'r cadarn ni wared ei|| enaid ei hun.

|| Neu, einioes.

15 Ni saif a ddalio y bwa, ni ddiangc y buan o draed, nid achub marchog march ei einioes ei hun.

16 A'r cryfaf ei galon o'r cedyrn a ffy y dwthwn hwnnw yn noeth-lymmun, medd yr Arglwydd.

PEN. III.

1 Moranghenthaid yw barnedigaethau Duw yn erbyn Israel. 9 Cyhoeddi hynny, a'i achos hefyd.



GWrandewch y gair a lefarodd yr Arglwydd i'ch erbyn chwi, plant Israel; yn erbyn yr holl deulu a ddugym i i fynu o wlâd yr Aipht, gan ddywedyd;

2 Chwi yn unic a adnabûm o holl deuluoedd y ddaiar: am hynny ymwelaf â chwi [am] eich holl anwireddau.

3 A rodia dau ynghyd, heb fod yn gyttûn?

4 A rua y llew yn y goedwic, heb ganddo ysclyfaeth? || a leisia cenew llew o'i ffau, heb ddal dim?

|| Heb. a rydd cenew llew ei lais?

5 A syrth yr aderyn yn y fagl ar y ddaiar, heb fod crog-lath iddo? a gyfyd un y fagl oddi ar y ddaiar heb ddal dim?

6 A genir udcorn yn y ddinas heb || ddychrynu o'r bobl? a fydd niwed yn y ddinas || heb i'r Arglwydd ei wneuthur?

7 Canys ni wna yr Arglwydd ddim, a'r na's dangoso ei gyfrinach iw weision y prophwydi.

8 Rhuodd y llew, pwy nid ofna? yr Arglwydd Iôr a lefarodd, pwy ni phrophwyda?

9 Cyhoeddwch o fewn y palasau yn Asdod; ac yn y palasau yngwlad yr Aipht; a dywedwch, deuwch ynghyd ar fynyddoedd Samaria, a gwelwch derfyscoedd lawer o'i mewn, a'r gorthrymmedigion yn ei chanol hi.

10 Canys ni fedrant wneuthur uniondeb, medd yr Arglwydd: pentyrru y maent drais, ac|| yspail yn eu palasau.

11 Am hynny, fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, gelyn [fydd] o amgylch y tir; ac efe a dynn i lawr dy nerth oddi wrthit, a'th balasoedd a yspeilir.

12 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, fel yr achub y bugail o safn y llew, y ddwy goes, neu

neu ddarn o glust; felly 'r achubir meibion Israel y rhai sydd yn trigo yn Samaria mewn cwrr gwely, || ac yn Damascus [mewn] gorweddle.

13 Gwrandewch a thystiolaethwch yn nhŷ Iacob, medd yr Arglwydd Dduw, Duw y lluoedd,

14 Mai y dydd || yr ymwelaf ag anwiredd Israel arno ef, y gofwyaf hefyd allorau Bethel; a chyrn yr allor a dorrir, ac a syrthiant i'r llawr.

15 A mi a darawaf y gaiaf-dŷ, a'r haf-dy, a dervydd am y tai Iforî; a bydd diben ar y teiau mawrion, medd yr Arglwydd.

PEN. IIII.

1 Y mae yn ceryddu Iſrael am eu trais, 4 a'i delw-addoliaeth, 6 ac am nad oeddynt yn gwellhau wrth eu ceryddu.



Gwrandewch y gair hwn, gwartheg Basan, y rhai ydych ym mynydd Samaria, y rhai ydych yn gorthrymmu y tlawd, yn ysigo 'r anghenog, yn dywedyd wrth eu meistred; Dygwch, ac yfwn.

2 Tyngodd yr Arglwydd Dduw i'w sancteiddrwydd, y daw wele, y dyddiau arnoch, y dwg efe chwi ymmaith â drain, a'ch hiliogaeth â bachau pyscotta.

3 A chwi ewch allan i'r adwyau, bob vn ar ei chyfer, a chwi || a'i teflwch hwynt i'r palâs, medd yr Arglwydd.

4 Deuwch i Bethel, a throseddwch, i Gilgal, a throseddwch fwy-fwy, dygwch bob borau eich aberthau, a'ch degymmau *wedi tair blynedd o ddyddiau.

5 Ac || offrymmwch * o surdoes [aberth] diolch, cyhoeddwch ac yspyswch aberthau gwir-fodd; canys || hyn a hoffwch meibion Israel, medd yr Arglwydd Dduw.

6 A rhoddais i wch lendid dannedd yn eich holl ddinasoedd, ac eisieu bara yn eich holl leoedd; etto ni ddychwelasoch attafi, medd yr Arglwydd.

7 Mysi hefyd a atteliais y glaw rhagoch, pan [oedd] etto dri mis hyd y cynhaiaf, glawiais hefyd ar vn ddinas, ac ni lawiais ar ddinas arall; vn rhan a gafodd law, a'r rhan ni chafodd law a wywodd.

8 Gwibiodd dwy ddinas neu dair, i vn ddinas i yfed dwfr, ond ni's diwallwyd; etto ni ddychwelasoch attafi, medd yr Arglwydd.

9 Tarewais chwi â diflanniad, ac â mallder; || pan amlhaodd eich gerddi, a'ch gwinllānoedd, a'ch ffigyswydd, a'ch oliwydd, y lindys a'i hyssodd: etto ni throesoch attafi, medd yr Arglwydd.

10 Anfonais yr haint yn eich mysg, megis || yn ffordd * yr Aipht; eich gwŷr ieuaingc a leddais â'r cleddyf, gyd â || chaeth-gludo eich meirch: a chodais ddrewi eich gwerssylloedd i'ch ffroenau; etto ni throesoch attafi, medd yr Arglwydd.

11 Mi a ddymchwelais [rai] o honoch, fel yr ymchwelodd Duw * Sodoma, a Gomorrah, ac yr oeddech fel pentewyn wedi ei achub o'r gynneu dân: etto ni throesoch attafi, medd yr Arglwydd.

12 O herwydd hynny, yn y modd ymma y gwnaf i ti Israel, ac o herwydd mai hyn a wnaf it, bydd barod Israel i gyfarfod â'th Dduw.

13 Canys wele, lluniwr y mynyddoedd, a chreawdr || y gwynt, yr hwn a fynega i ddyn beth [yw] ei feddwl, [ac] a wna y borau yn dywyllwch, ac a gerdd ar vchelderau 'r ddaiar, yr Arglwydd, Duw y lluoedd, [yw] ei enw.

PEN. V.

1 Cwynfan tros Iſrael. 4 Annog i edifeirwch. 21 Duw yn gwrthod eu rhagrithiol waſanaeth hwy.



Gwrandewch y gair hwn, a godaf i'ch erbyn, sef galar-nâd, ô dŷ Israel.

2 Y wyryf Israel a syrthiodd, ni chyfyd mwy: gadawyd hi ar ei thir, nid [oes] a'i cyfyd.

3 Canys y modd hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, y ddinas a aeth allan [â] mil, a weddill gant, a'r hon a aeth allan [ar] ei chanfed, a weddill ddêc i dŷ Israel.

4 O herwydd fel hyn y dywed yr Arglwydd wrth dŷ Israel, ceisiwch fi, a byw fyddwch.

5 Ond nac ymgeisiwch â * Bethel, ac nac ewch i Gilgal, ac na thramwywch i Beer-seba: o herwydd gan gaeth-gludo y caeth-gludir Gilgal, a Bethel a fydd yn ddiddim.

6 Ceisiwch yr Arglwydd a byw fyddwch, rhac iddo dorri allan yn nhŷ Ioseph fel tân, a'i ddifa, ac na byddo a'i diffoddo yn Bethel.

7 Y rhai a drowch farn yn wermod: ac a adewch gyfiawnder ar y llawr:

8 [Ceisiwch] yr hwn a * wnaeth y saith seren, ac Orion, ac a drŷ gyscod angeu yn foreu-ddydd, ac a dywylla y dydd yn nôs: * yr hwn a eilw ddyfroedd y môr, ac a'i tywallt ar wyneb y ddaiar: yr Arglwydd [yw] ei enw.

9 Yr hwn sydd yn nerthu || yr anrheithiedig yn erbyn y cryf: fel y delo yr anrheithiedig yn erbyn yr amddiffynfa.

10 Câs ganddynt a geryddo yn y porth; a ffiaidd ganddynt a lefaro yn berffaith.

11 O herwydd hynny am i wch sathru y tlawd, a dwyn y beichiau gwenith oddi arno, * chwi a adeiladasoch dai o gerric nâdd, ond ni thrigwch ynddynt: plannasoch winllānoedd || hyfryd, ac nid yfwch eu gwin hwynt

12 Canys mi a adwen eich anwireddau lawer, a'ch pechodau cryfion: y maent yn blino y cyfiawn, yn cymmeryd || iawn, ac yn troi heibio y tlawd yn y porth.

13 Am hynny y neb a fyddo call a ostega 'r amser hwnnw, canys amser drwg yw.

14 Ceisiwch ddaioni, ac nid drygioni, fel y byddoch fyw, ac felly yr Arglwydd, Duw y lluoedd, fydd gyd â chwi, fel y dywedasoch.

15 * Casewch

*Deut.14.28.

*Gen.19.24.

|| neu, yr Yspryd.

*Ier.4.4.

*Iob 9.9. & 38.31.

*Pen.9.6.7.

|| Heb. yr anrhaith.

*Zeph.1.13.

|| Heb. dymuniant.

|| neu, gwobr.

15 *Casewch ddrygioni, a hoffwch ddaioni, a gosodwch farn yn y porth: fe allei y bydd Arglwydd Dduw y lluoedd yn raslawn i weddill Joseph.

Psal.74.15.& 79.10. rhuf. 12.9.

16 Am hynny, fel hyn y dywed yr Arglwydd, Duw y lluoedd, yr Arglwydd; ym mhob heol [y bydd] cwynfan, ac ym mhob prif-ffordd y dywedant, oh, oh, a galwant yr arddwr i alaru, a'r neb a fedro alaru i gwynfan.

17 Ac ym mhob gwinllan [y bydd] cwynfan: canys tramwyaf trwy dy ganol di, medd yr Arglwydd.

18 *Gwae y neb sydd yn dymuno dydd yr Arglwydd; beth [yw] hwnnw i chwi? tywyllwch ac nid goleuni yw dydd yr Arglwydd.

Esai. 5. 19. ier.30.7. ioel 2.2. zeph.1.15.

19 Megis pe ffoei gŵr rhag llew, ac arth yn cyfarfod ag ef, a myned i'r tŷ, a phwyso ei law ar y pared, a'i frathu o sarph:

20 Oni [bydd] dydd yr Arglwydd yn dywyllwch, ac nid yn oleuni? yn dywyll iawn, ac heb lewyrch ynddo?

21 *Caseais, a ffieiddiais eich gwyliau, ac nid aroglaf || yn eich cymmanfaoedd.

Esai.1.11. ier.6.20. ||neu, eich uchel-wyliau.

22 Canys er i chwi offrymmu i mi boeth offrymmau, a'ch offrymmau bwyd, ni fyddaf fodlon [iddynt;] ac nid edrychaf ar || hedd offrwm eich pascedigion.

||neu, offrwm diolch.

23 Symmud oddi wrthif drwst dy ganiadau: canys ni wrandawaf buroriaeth dy nablau.

24 Ond || rheded barn fel dyfroedd, a chyfiawnder fel ffrwd gref.

||Heb. ymdreigled.

25 *A offrymmasoch chwi i mi aberthau, a bwyd offrymmau, yn y diffaethwch ddeugain mlhynedd, tŷ Israel?

Act.7.42.

26 Ond dygasoch || babell eich Moloch, Chiwn eich delwau, seren eich duw, a wnaethoch iwch eich hunain.

||Siccuth eich brenin.

27 Am hynny y caeth-gludaf chwi i'r tu hwnt i Ddamascus, medd yr Arglwydd, Duw y lluoedd [yw] ei enw.

## PEN. VI.

1 Y cospir nwyfiant Israel, 7 ag anghyfanneddrwydd. 12 Mor anhawdd ganddynt wellhau.



G*Wae y rhai || esmwyth arnynt yn Sion, ac sydd yn ymddiried ym mynydd Samaria, y rhai a enwir * yn || bennaf o'r cenhedloedd; y rhai y daeth tŷ Israel attynt.

Luc.6.24. ||neu, diofal, neu, difraw. Exod.19.5. ||neu, blaenffrwyth y.

2 Tramwywch i Calneh, ac edrychwch, ac ewch oddi yno i Hemath fawr; yna discynnwch i Gath y Philistiaid: ai gwell ydynt na'r teyrnasoedd hyn? ai helaethach eu terfyn hwy na'ch terfyn chwi?

3 *Y rhai ydych yn pellhau y dydd drwg, ac yn nesau || eisteddle trais.

Ezec.12.27. pen.5.18. ||neu, trig-le.

4 Gorwedd y maent ar welâu ifori, ac || ymestyn ar eu glythau, a bwyta yr ŵyn o'r praidd, a'r lloi o ganol y cutt.

||neu, amlhau mewn gormodedd.

5 Y rhai a || ddatcanant gyd â llais y nabl, dychymygasant iddynt eu hun offer cerdd, megis Dafydd.

||neu, hyngcIant.

6 Y rhai a yfant || win mewn phiolau, ac a ymiraint â'r ennaint pennaf; ond nid ymofidiant am ddryllio Joseph.

||neu, mewn phiolau gwin.

7 Am hynny 'r awr hon hwy a ddygir yn gaeth gyd â'r cyntaf a ddygir yn gaeth; a gwledd y rhai a ymestynnant a symmudir.

8 *Tyngodd yr Arglwydd Dduw iddo ei hun, ffiaidd gennif odidowgrwydd Jacob, a chaseais ei balasau, am hynny y rhoddaf i fynu y ddinas || ac sydd ynddi, medd Arglwydd Dduw y lluoedd.

Ier.51.14. ||Heb. ei chyflawnder.

9 A bydd os gweddillir mewn un tŷ ddec o ddynion, y byddant feirw.

10 Ei ewythr a'i cyfyd i fynu, a'r hwn a'i llysc, i ddwyn yr escyrn allan o'r tŷ, ac a ddywed wrth yr hwn a fyddo wrth ystlysau y tŷ, a oes etto neb gyd â thi? ac efe a ddywed, nac [oes:] yna y dywed yntef, †taw, am na [wasanaetha] cofio enw'r Arglwydd.

Pen.5.13.

11 O herwydd wele'r Arglwydd yn gorchymyn, ac efe a dery y tŷ mawr || ag agennau, a'r tŷ bychan â holltau.

||neu, â defni.

12 A red meirch ar y graig? a ardd [neb hi] ag ychen? canys troesoch farn yn fustl, a ffrwyth * cyfiawnder yn wermod.

Pen.5.7.

13 O chwi y rhai sy'n llawenychu mewn peth diddim, yn dywedyd, ond o'n nerth ein hun y cymmerasom i ni || gryfder.

||Heb. gyrn.

14 Ond wele, mi a gyfodaf i'ch erbyn chwi, tŷ Israel, medd Arglwydd Dduw y lluoedd, genhedl; a hwy a'ch cystuddiant chwi, o'r ffordd yr ewch i Hemath, hyd || afon y diffaethwch.

||neu, dyffryn.

## PEN. VII.

1 Troi heibio farnedigaethau y ceiliogod rhedyn, 4 a'r tân, trwy weddi Amos. 7 Trwy weledigaeth o fur a llinyn mesur, y dangosir gwrthodiad Israel. 10 Amaziah yn achwyn ar Amos. 14 Amos yn dangos ei alwedigaeth ei hun, 16 A barnedigaeth Amaziah.



FEl hyn y dangosodd yr Arglwydd i mi; ac wele ef yn ffurfio || ceiliogod rhedyn, pan ddechreuodd yr adladd godi, ac wele adladd wedi lladd [gwair] y brenin [oedd.]

||neu, glaswyfed.

2 A phan ddarfu iddynt fwytta glaswellt y tir, yna y dywedais, arbed Arglwydd attolwg, || pwy a gyfyd Jacob? canys bychan yw.

3 Edifarhaodd yr Arglwydd am hyn: ni bydd [hyn,] eb yr Arglwydd.

4 Fel hyn y dangosodd yr Arglwydd Dduw i mi, ac wele'r Arglwydd Dduw yn galw i || farn trwy dân: a difaodd y [tân] y dyfnder mawr, ac a yssodd beth.

||neu, gynnen.

5 Yna y dywedais, Arglwydd Dduw, paid attolwg, pwy a gyfyd Jacob? canys bychan yw.

6 Edifarhaodd yr Arglwydd am hyn, ni bydd hyn chwaith, eb yr Arglwydd Dduw.

7 Fel hyn y dangosodd efe i mi, ac wele'r Arglwydd yn sefyll ar gaer [a wnaethpwyd wrth] linyn, ac yn ei law linyn.

8 A'r Arglwydd a ddywedodd wrthif, beth

beth a weli di, Amos? a mi a ddywedais, llinyn: a'r Arglwydd a ddywedodd, wele, gosodaf linyn ynghanol fy mhobl Israel, ac ni chwanegaf fyned heibio iddynt mwyach.

9 Uchelfeydd Isaac hefyd a wneir yn anghyfannedd, a chyssegrau Israel a ddifethir, a mi a gyfodaf yn erbyn tŷ Jeroboam â'r cleddyf.

10 Yna Amaziah offeiriad Bethel a anfonodd at Jeroboam frenin Israel, gan ddywedyd; cydfwriadodd Amos i'th erbyn ynghanol tŷ Israel; ni ddichon y tir ddwyn ei holl eiriau ef.

11 Canys fel hyn y dywed Amos; Jeroboam a fydd farw trwy'r cleddyf, ac Israel a gaeth-gludir yn llwyr allan o'i wlad.

12 Dywedodd Amaziah hefyd wrth Amos, ti weledydd, dos, ffô ymmaith i wlâd Juda, a bwytta fara yno, a phrophwyda yno.

13 Na chwanega brophwydo yn Bethel mwy, canys ||cappel y brenin, || a llŷs y brenin yw.

14 Yna Amos a attebodd, ac a ddywedodd wrth Amaziah, nid prophwyd [oeddwn] i, ac nid mab i brophwyd [oeddwn] i; namyn bugail [oeddwn] i, a chasclydd ||ffigys gwylltion.

15 A'r Arglwydd a'm cymmerodd oddi ar ôl y praidd, a'r Arglwydd a ddywedodd wrthif; dôs, a phrophwyda i'm pobl Israel.

16 Yr awr hon gan hynny, gwrando air yr Arglwydd, ti a ddywedi, na phrophwyda yn erbyn Israel, ac * nac || yngan yn erbyn tŷ Isaac.

17 *Am hynny fel hyn y dywed yr Arglwydd, dy wraig a butteinia yn y ddinas, dy feibion a'th ferched a syrthiant gan y cleddyf, a'th dir a rennir wrth linyn, a thithau a fyddi farw mewn tir halogedic, a chan gaeth-gludo y caeth-gludir Israel allan o'i wlad.

## PEN. VIII.

1 Wrth gawell o ffrwythydd hâf y dangosir mor agos yw diwedd Israel. 4 Argyoeddi trais a thraha. 11 Bygwth newyn gair Duw.



El hyn y dangosodd yr Arglwydd i mi, ac wele gawelleid o ffrwythydd hâf.

2 Ac efe a ddywedodd, beth a weli di, Amos? a mi a ddywedais, cawelleid o ffrwythydd hâf. Yna y dywedodd yr Arglwydd wrthif, daeth y diwedd ar fy mhobl Israel, nid âf heibio iddynt mwyach.

3 Caniadau y Deml hefyd || a droir yn udo ar y dydd hwnnw, medd yr Arglwydd Dduw: llawer o gelaneddau a fydd ym mhob lle; bwrir hwynt allan || yn ddistaw.

4 Gwrandewch hyn y sawl ydych yn llyncu yr anghenog, i ddifa tlodion y tir,

5 Gan ddywedyd, pa bryd yr â y || mis heibio, fel y gwerthom ŷd: a'r Sabboth, fel ||y dygom allan y gwenith, gan brinhau yr Ephah, a helaethu y Sicl, ||ac anghyfiawni y cloriannau [drwy] dwyll:

6 I brynu y tlawd er *arian, a'r anghenus er pâr o escidiau, ac i werthu gwehilion y gwenith:

7 Tyngodd yr Arglwydd i ragor-fraint Jacob; diau nid anghofiaf byth yr un o'i gweithredoedd hwynt.

8 Oni chryn y ddaiar am hyn? ac oni alara ei holl breswyl-wŷr? cyfyd hefyd i gyd fel llif, a bwrir hi ymmaith, a hi a foddir, megis [gan] afon yr Aipht.

9 A'r dydd hwnnw, medd yr Arglwydd Dduw, y gwnaf i'r haul fachludo hanner dydd, a thywyllaf y ddaiar [liw] dydd goleu.

10 Trôf hefyd eich gwyliau yn alar, a'ch holl ganiadau yn oer-nad, dygaf sach-liain ar yr holl lwynau, a moelni ar bôb pen: ac mi a'i gwnaf fel galar [am] un-mab, a'i ddiwedd fel dydd chwerw.

11 Wele, y mae dyddiau yn dyfod, medd yr Arglwydd Dduw, yr anfonaf newyn i'r tir, nid newyn am fara, ac nid syched am ddwfr, onid am wrando geiriau 'r Arglwydd.

12 A hwy a grwydrant o fôr i fôr, ac a wibiant o'r gogledd hyd y dwyrain, i geisio gair yr Arglwydd, ac ni's cânt.

13 Y diwrnod hwnnw, y gwyryfon glân, a'r meibion ieuaingc, a ddiffoddant o syched.

14 Y rhai a dyngant i bechod Samaria, ac a ddywedant, byw yw dy dduw di, ô Dan; a byw yw ffordd Beerseba; hwy a syrthiant, ac ni chodant mwy.

## PEN. IX.

1 Mor siccr fydd y dinistr. 11 Adferu Tabernacl Dafydd.



Welais yr Arglwydd yn sefyll ar yr allor, ac efe a ddywedodd, taro gapan y drws, fel y siglo y gorsingau; || a thorr hwynt oll yn y pen: minneu a laddaf y rhai olaf o honynt â'r cleddyf, ni ffy ymaith o honynt a ffo, ac ni ddiangc o honynt a ddiango.

2 *Pe cloddient hyd uffern, fy llaw a'i tynnei hwynt oddi yno, a phe dringent i'r nefoedd, mi a'i descynnwn hwynt oddi yno:

3 A phe llechent ar ben Carmel, chwiliwn a chymmerwn hwynt oddi yno; a phe ymguddient o'm golwg yngwaelod y môr, oddi yno y gorchymynnaf i'r sarph eu brathu hwynt.

4 Ac os ânt i gaethiwed, o flaen eu gelynion, oddi yno y gorchymynnaf i'r cleddyf, ac efe a'i lladd hwynt: a * gosodaf fy ngolwg yn eu herbyn er drwg, ac nid er da [iddynt.]

5 Ac Arglwydd Dduw y lluoedd a gyffwrdd â'r ddaiar, a hi a dawdd; a galara pawb a'r a drig ynddi, a hi a gyfyd oll fel llifeiriant, ac a foddir megis [gan] afon yr Aipht.

6 Yr hwn a adeilada* ei escynfeydd yn y nefoedd

||Heb. yr agorom.
||Heb. a gwyro cloriannau twyll
*Pen.2.6.
||Neu, ac archolla
*Psal.139.8. &c.
*Iere.44.11.
*Psal.104.3.

nefoedd, ac a sylfaenodd ei || fintai ar y ddaiar, yr hwn a * eilw ddyfroedd y môr, ac a'i tywallt ar wyneb y ddaiar; yr Arglwydd [yw] ei enw.

|| neu, yscub.
* Pen. 5.8.

7 Onid [ydych] chwi meibion Israel i mi fel meibion yr Ethiopiaid, medd yr Arglwydd? oni ddygais i fynu feibion Israel allan o dir yr Aipht, a'r * Philistiaid o Caphtor, a'r Syriaid o Cir?

* Ier. 47.4.

8 Wele lygaid yr Arglwydd ar y deyrnas bechadurus, ac mi a'i difethaf oddi ar wyneb y ddaiar: ond na lwyr ddifethaf dŷ Iacob, medd yr Arglwydd.

9 Canys wele, myfi a orchymynnaf, ac a || ogrynnaf dŷ Israel, ym mysc yr holl genhedloedd; fel y gogrynnir ŷd mewn gogr; ac ni syrth || y gronyn lleiaf i'r llawr.

|| Heb. gyhwyfanaf.
|| Heb. graienyn i'r llawr.

10 Holl bechaduriaid fy mhobl a fyddant feirw gan y cleddyf, y rhai a ddywedant, ni oddiwes drwg ni, ac ni achub ein blaen.

11 Y dydd hwnnw y codaf * babell Dafydd yr hon a syrthiodd, ac a gaeaf ei bylchau, ac a godaf ei hadwyau, ac a'i hadeiladaf, fel yn y dyddiau gynt.

* Act. 15.16.

12 Fel y meddianno y rhai y gelwir fy enw arnynt, weddill Edom, a'r holl genhedloedd, medd yr Arglwydd, yr hwn a wna hyn.

13 Wele y dyddiau yn dyfod, medd yr Arglwydd, * y goddiwes yr ardd-wr y medelwr, a sathrudd y grawn-win || yr hau-wr hâd. * a'r mynyddoedd a ddefnynnant || felys-win, a'r holl fryniau a doddant.

14 A dychwelaf gaethiwed fy mhobl Israel; a hwy a adeiladant y dinasoedd anghyfannedd, ac a'i preswyliant, a hwy a blannant winllannoedd, ac a yfant o'i gwin, gwnant hefyd erddi, a bwyttânt eu ffrwyth hwynt.

15 Ac mi a'i plannaf hwynt yn eu tir, ac ni's diwreiddir hwynt mwyach o'i tir a roddais i iddynt, medd yr Arglwydd dy Dduw.



# LLYFR OBADIAH.

1 Diniſtr Edom, 3 am eu balchder, 10 ac am y cam a wnaethent i Iacob. 17 Iechydwriaeth a buddugoliaeth Iacob.



Weledigaeth Obadiah: fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw am Edom: * clywsom sôn oddi wrth yr Arglwydd, a chennad a hebryngwyd ym-mysc y cenhedloedd; codwch, a chyfodwn i ryfela yn ei herbyn hi.

* Ier. 49.14.

2 Wele, mi a'th wneuthum yn fychan ym mysc y cenhedloedd; dibris iawn [wyt.]

3 Balchder dy galon a'th dwyllodd; ti yr hwn wyt yn trigo yn holldau y graig, [yn] uchel ei drigfa, yr hwn a ddywed yn ei galon, pwy a'm tyn i'r llawr?

4 * Pe ymddercheit megis yr eryr, a phe rhoit dy nŷth ym mhlith y sêr, mi a'th ddescynnwn oddi yno, medd yr Arglwydd.

Ier. 49.16.

5 Pe deuai * lladron attat, neu yspeilwŷr nôs, (pa fodd i'th dorrwyd ymaith?) oni ladrattasent hwy eu digon? pe daethei cynhull-wŷr grawn-win attat, oni weddillasent || rawn?

Ier. 49.9.
|| neu, loffion.

6 Pa fodd y chwiliwyd Esau; [ac] y ceisiwyd ei guddfeydd ef?

7 Yr holl wŷr, y rhai'r oedd cyfammod rhyngot â hwynt, a'th yrrasant hyd y terfyn; || y gwŷr yr oedd heddwch rhyngot â hwynt, a'th dwyllasant, ac a'th orfuant; [bwyttawŷr] dy fara a roddasant archoll danat: nid [oes] deall || ynddo.

8 * Oni ddinistriaf y dydd hwnnw, medd yr Arglwydd, y doethion allan o Edom, a'r deall allan o fynydd Esau?

9 * Dy gedyrn di Teman a ofnant, fel y torrer ymmaith bôb un o fynydd Esau, trwy laddfa.

10 Am dy draha [yn erbyn] dy frawd Iacob, gwarth a'th orchguddia, a thi a dorrir ymmaith byth.

11 Y dydd y sefaist o'r tu arall, y dydd y caeth-gludodd estroniaid ei || olud ef, a myned o ddieithraid i'w byrth ef, a bwrw coel-brennau ar Ierusalem, titheu hefyd oeddit megis un o honynt.

12 || Ond ni ddylesit ti edrych ar ddydd dy frawd, y dydd y dieithrwyd ef; ac ni ddylesit lawenychu o achos plant Iuda, y dydd y difethwyd hwynt; ac ni ddylesit || ledu dy safn ar ddydd y cystudd.

13 Ni ddylesit ddyfod o fewn porth fy mhobl, yn nydd eu hadfyd: ie ni ddylesit edrych ar eu hadfyd yn nydd eu hadfyd; ac ni ddylesit estyn [dy law] ar eu || golud, yn nydd eu difethiad hwynt.

14 Ac ni ddylesit sefyll ar y croes-ffyrdd, i dorri ymmaith y rhai a ddiangai o hono; ac ni ddylesit || roi i fynu y gweddill o honaw, ar ddydd yr adfyd.

15 * Canys

15 Canys agos yw dydd yr Arglwydd ar yr holl genhedloedd; * fel y gwnaethost y gwneir i titheu; dy wobr a ddychwel ar dy ben dy hun.

16 Canys megis yr yfasoch ar fy mynydd sanctaidd, [felly]'r holl genhedloedd a yfant yn oestad; ie yfant, a llyngcant, a byddant fel pe na buasent.

17 Ond ar fynydd Sion y bydd ||ymwared, ||ac y bydd sancteiddrwydd: a thŷ Iacob a berchennogant eu perchenogaeth hwynt.

18 Yna y bydd tŷ Iacob * yn dân, a thŷ Ioseph yn fflam, a thŷ Esau yn soft, a chynneuant ynddynt, a difant hwynt, ac ni bydd un gweddill o dŷ Esau; canys yr Arglwydd [a'i] dywedodd.

19 Gorescyn y dehau hefyd fynydd Esau, a'r gwastadedd y Philistiaid; a pherchennogant feusydd Ephraim, a meusydd Samaria, a Beniamin [a feddianna] Gilead.

20 A chaeth-glud y llu hwn o blant Israel, yr hyn [a fu eiddo] y Canaaneaid, hyd Zarephath, a chaethion Ierusalem, ||y rhai [sydd] yn Sepharad, a feddiannant ddinasoedd y dehau.

21 A * gwaredwyr a ddeuant i fynu ar fynydd Sion, i farnu mynydd Esau, * a'r frenhiniaeth fydd eiddo 'r Arglwydd.

||Neu, [a berchennogant] yr hyn sydd yn Seph.
* 1. Tim. 4. 16. Iac. 5. 20.
* Luc. 1. 33.



# LLYFR IONAH.

## PENNOD. I.

1 Danfon Ionah i Nineveh, ac yntau yn ffo i Tarsis. 4 A thymhestl yn ei gyhuddo ef. 11 Ei daflu ef i'r môr, 17 a physcodyn yn ei lyngcu ef.



A Gair yr Arglwydd a ddaeth at || Ionah fab Amittai, gan ddywedyd;

2 Cyfod, dôs i Nineveh * y ddinas fawr, a llefa yn ei herbyn: canys eu drygioni hwynt a ddyrchafodd ger fy mron.

3 A Ionah a gyfododd * i ffoi i Tarsis, oddi ger bron yr Arglwydd, ac efe a aeth i wared i Ioppa, ac a gafodd long yn myned i Tarsis, ac a dalodd ei llong-lôg hi, ac a aeth i wared iddi, i fyned gyd â hwynt i Tarsis, oddi ger bron yr Arglwydd.

4 Ond yr Arglwydd a || gyfododd wynt mawr yn y môr, a bu yn y môr dymhestl fawr, fel || y tybygwyd y drylliei y llong:

5 Yna 'r morwyr a ofnasant, ac a lefasant bôb un ar ei dduw, a bwriasant y dodrefn [oedd] yn y llong i'r môr; i ymyscafnhau o honynt: ond Ionah a aethei i wared i ystlysau y llong, ac a orweddasei, ac a gyscasei.

6 A meistr y llong a ddaeth atto ef, ac a ddywedodd wrtho; beth [a ddarfu] iti gyscadur? cyfod, galw ar dy Dduw: fe allai 'r ystyr y Duw hwnnw wrthym, fel na'n coller.

7 A dywedasant bôb un wrth ei gyfaill, deuwch, a bwriwn goel-brennau, fel y gwypom o achos pwy [y mae] y drwg hwn arnom: a bwriasant goel-brennau, ar coelbren a syrthiodd ar Ionah.

8 A dywedasant wrtho, attolwg dangos i ni, er mwyn pwy [y mae] i ni y drwg hwn: beth [yw] dy gelfyddyd di? ac o ba le y daethost? pa le [yw] dy wlâd? ac o ba bobl [yr wyt] ti?

9 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Hebraead ydwyf fi, ac ofni 'r wyf fi Arglwydd Dduw y nefoedd, yr hwn a wnaeth y môr, a'r sych-dir.

10 A'r gwŷr a ofnasant [gan] ofn mawr, ac a ddywedasant wrtho, pa ham y gwnaethost hyn? (canys y dynion a wyddent iddo ffoi oddi ger bron yr Arglwydd, o herwydd efe a fynegasei iddynt)

11 A dywedasant wrtho, beth a wnawn i ti, fel y gostego 'r môr oddi wrthym? (canys || gweithio 'r oedd y môr, a therfyscu.)

12 Ac efe a ddywedodd wrthynt, cymmerwch fi, a bwriwch fi i'r môr, a'r môr a ostega i chwi, canys gwn mai o'm hachos i y mae y dymhestl fawr hon arnoch chwi.

13 Er hyn y gwŷr a ||rwyfasant i'w dychwelyd i dir, ond n'is gallent, am fod y môr yn gweithio, ac yn terfyscu yn eu herbyn hwy.

14 Llefasant gan hynny ar yr Arglwydd, a dywedasant, attolwg Arglwydd, attolwg, na ddifether ni am einioes y gŵr hwn, ac na ddyro i'n herbyn waed gwirion: canys ti, ô Arglwydd, a wnaethost fel y gwelaist yn dda.

15 Yna y cymmerasant Ionah, ac a'i bwriasant ef i'r môr, a ||pheidiodd y môr â'i gyffro.

16 A'r gwŷr a ofnasant yr Arglwydd ag ofn mawr, ac a aberthasant aberth i'r Arglwydd, [ac] a addunasant addunedau.

17 A'r Arglwydd a ddarparasei byscodyn mawr, i lyngcu * Ionah, a Ionah a fu || ym mol y pyscodyn dri diwrnod, a thair nôs.

||Heb. myned.
||Heb. gloddiasant.
||Heb. safodd.
* Mat. 12. 40 & 16. 4. Luc. 11. 30.
||Heb. yn ymyscaroedd.

## PEN. II.

1 Gweddi Ionah: 10 A'i wared ef o fol y pyscodyn.

A Ionah a weddiodd ar yr Arglwydd ei Dduw, o fol y pyscodyn,

2 Ac a ddywedodd, ||o'm hing y'gelwais ar yr Arglwydd, ac efe a'm hattebodd: o fol || uffern

||Neu, oherwydd fy ing.
* Psa. 120.

|| vffern y gwaeddais, a chlywaist fy llef.

3 Ti a'm bwriaist i'r dyfnder, i || ganol y môr, a'r llanw a'm hamgylchodd, dy holl donnau a'th lifeiriaint a aethant drosof.

4 A minneu a ddywedais, bwriwyd fi o wydd dy lygaid; er hynny mi a edrychaf etto tu a'th Deml sanctaidd.

5 Y * dyfroedd a'm hamgylchasant hyd yr enaid, y dyfnder a ddaeth o'm hamgylch, ymglymmodd || yr hêsc am fy mhen.

6 Descynnais i || odrau y mynyddoedd, y ddaiar a'i throsolion oedd o'm hamgylch yn dragywydd: etto ti a dderchefaist fy einioes || o'r ffôs, o Arglwydd fy Nuw.

7 Pan lewygodd fy enaid ynof, cofiais yr Arglwydd, a'm gweddi a ddaeth i mewn attat i'th Deml sanctaidd.

8 Y neb a gadwant oferedd || celwydd, a wrthodant eu trugaredd eu hun.

9 A minneu mewn * llais clodforedd a aberthaf i ti, talaf yr hyn a addunedais: *iechydwriaeth [sydd] eiddo 'r Arglwydd.

10 A dywedodd yr Arglwydd wrth y pyscodyn, ac efe a fwriodd Jonah ar y tir sych.

||Neu, y'bedd. ||Heb. galon. *Psal.69.2. ||neu, gwymmon. ||Heb. dorriadau. ||Neu, o lygredigaeth. ||Neu, celwyddog. *Psal.50.14.23. & 116.7. Hos. 14.2. Heb.13.5 *Psal.3.9.

## PEN. III.

1 Danfon Ionah yr ail waith, ac yntau yn pregethu i'r Nineveaid. 5 Ar eu hedifeirwch hwy, 10 y mae Duw yntau yn edifarhau.

A Gair yr Arglwydd a ddaeth yr ail waith at Jonah, gan ddywedyd,

2 Cyfod, dôs i Ninefeh y ddinas fawr, a phregetha iddi y bregeth a lefarwyf wrthit.

3 A Jonah a gyfododd, ac a aeth i Ninefeh, yn ôl gair yr Arglwydd; a Ninefeh oedd || ddinas fawr iawn, o daith tri diwrnod.

4 A Jonah a ddechreuodd fyned i'r ddinas daith vn diwrnod, ac efe a lefodd, ac a ddywedodd; deugain nhiwrnod [sydd] etto, a Nineueh a gwympir.

5 *A gwŷr Ninefeh a gredasant i Dduw, ac a gyhoeddasant ympryd, ac a wiscasant sach-liain, o'r mwyaf hyd y lleiaf o honynt.

6 Canys gair a ddaeth at frenin Ninefeh, ac efe a gyfododd o'i frenhin-faingc, ac a ddiosgodd oddi am dano ei frenhin-wisc, ac a roddes am dano liain sach, ac a eisteddodd mewn lludw.

7 Ac efe a barodd gyhoeddi, a dywedyd trwy Ninefeh (drwy orchymyn y brenin a'i || bendefigion,) gan ddywedyd; dŷn, ac anifail, eidion, a dafad, na phrofant ddim, na phorant, ac nac yfant ddwfr.

8 Gwisger dyn, ac anifail â sach-len, a galwant ar Dduw yn lew, ie dychwelant bob vn oddi wrth ei ffordd ddrygionus, ac oddi wrth y trawsder [sydd] yn eu dwylo.

||Heb. ddinas fawr i Dduw. *Matt. 12.41. Luc.11.32. ||Heb. wyr mawr.

9 *Pwy a ŵyr a drŷ Duw, ac edifarhau, a throi oddi wrth angerdd ei ddig, fel na ddifether ni?

10 A gwelodd Duw eu gweithredoedd hwynt, droi o honynt o'i ffyrdd drygionus, ac edifarhaodd Duw am y drwg a ddywedasei y gwnai iddynt, ac ni's gwnaeth.

*Ioel 2.14.

## PEN. IV.

1 Jonah yn anfodlon i drugaredd Duw, 4 ac yn cael ei geryddu tan rith pren Cicaion.



Bu ddrwg iawn gan Jonah [hyn,] ac efe a ddigiodd yn fawr.

2 Ac efe a weddiodd ar yr Arglwydd, ac a ddywedodd; attolwg it Arglwydd, oni ddywedais i hyn pan oeddwn etto yn fy ngwlâd? am hynny 'r achubais flaen i ffoi i Tarsis, am y gwyddwn *dy fod ti yn Dduw grasawn, a thrugarog, hwyr-frydig i ddig, aml o drugaredd, ac edifeiriol am ddrwg.

3 Am hynny yn awr o Arglwydd, cymmer attolwg fy einioes oddi wrthif; canys gwell i mi farw nâ byw.

4 A'r Arglwydd a ddywedodd, || ai da yw yr gwaith ymddigio o honot?

5 A Jonah a aeth allan o'r ddinas, ac a eisteddodd o'r tu dwyrain i'r ddinas, ac a wnaeth yno gaban iddo ei hun, ac a eisteddodd dano yn y cyscod, hyd oni welei beth a fyddei yn y ddinas.

6 A'r Arglwydd Dduw a ddarparodd || Cicaion, ac a wnaeth iddo dyfu tros Jonah, i fod yn gyscod uwch ei ben ef, i'w waredu ef o'i ofid: a bu Jonah lawen iawn am y || Cicaion.

7 A'r Arglwydd a baratôdd bryf ar godiad y wawr dranoeth, ac efe a darawodd y || Cicaion, ac yntef a wywodd.

8 A phan gododd haul, bu i Dduw ddarparu || poeth-wynt y dwyrain; a'r haul a darawodd ar ben Jonah fel y llewygodd, ac y deisyfiodd farw o'i einioes, ac a ddywedodd, gwell i mi farw nâ byw.

9 A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Jonah, || ai da yw 'r gwaith ymddigio o honot am y || Cicaion? ac efe a ddywedodd: || da yw i mi ymddigio hyd angeu.

10 A'r Arglwydd a ddywedodd, ti a || dosturiaist wrth y Cicaion ni lafuriaist wrtho, ac ni's peraist iddo dyfu: || mewn noswaith y bu, ac mewn noswaith y darfu.

11 Ac oni arbedwn i Ninefeh y ddinas fawr, yr hon y mae ynddi mwy nâ deuddeng myrdd o ddynion, y rhai ni wyddant [ragor] rhwng eu llaw ddehau a'i llaw asswy, ac anifeiliaid lawer?

*Pen.1.3. *Ex.34.6. Ps.86.5. Ioel 2.13.

LLYFR



# LLYFR MICAH.

## PENOD. I.

1 Micah yn dangos digofaint Duw yn erbyn Iacob, am eu gau-dduwiaeth; 10 Ac yn annog i alaru.



GAIR yr Arglwydd yr hwn a ddaeth at Micah y Morasthiad yn nyddiau Jotham, Ahaz, a Hezeciah brenhinoedd Juda; yr hwn a welodd efe am Samaria, a Jerusalem.

2 *Gwrandewch bobl||oll, clyw dithau y ddaiar||ac sydd ynddi, a bydded yr Arglwydd Dduw yn dyst i'ch erbyn, yr Arglwydd o'i Deml sanctaidd.

3 Canys *wele 'r Arglwydd yn dyfod o'i le, efe hefyd a ddescyn, ac *a sathr ar uchelderau y ddaiar.

4 *A'r mynyddoedd a doddant tano ef, a'r glynnoedd a ymholldant fel cwyr o flaen y tân, [ac] fel y dyfroedd a dywelldir ar y goriwared.

5 Hyn i gyd [sydd] am anwiredd Jacob, ac am bechodau tŷ Israel; beth [yw] anwiredd Jacob? onid Samaria? pa rai [yw] uchel-leoedd Juda? onid Jerusalem?

6 Am hynny y gosodaf Samaria yn garnedd faes[oedd] i blannu gwin-llan, a gwnaf iw cherric dreiglo i'r dyffryn, a datcuddiaf ei sylfaeni.

7 A'i holl ddelwau cerfiedic a gurir yn ddrylliau, a'i holl wobrau a loscir yn tân, a'i holl eulynnod a osodaf yn anrheithiedic: o herwydd o wobr puttein y casclodd hi [hwynt,] ac yn wobr puttein y dychwelant.

8 O herwydd hyn, galaraf, ac udaf, cerddaf yn noeth ac yn llwm, gwnaf alar fel dreigiau, a gofid fel||cywion y dylluan.

9 O herwydd dolurus yw || ei harcholl, canys daeth hyd at Juda; daeth hyd borth fy mhobl, hyd Jerusalem.

10 *Na fynegwch [hyn] yn Gath, gan wylo na wylwch ddim: *ymdreigla mewn llwch yn nhŷ *|| Aphrah.

11 Dos heibio, || preswyl-ferch Saphir, yn *noeth dy warth: ni ddaeth preswylferch || Zaanan allan yngalar || Bethezel: efe a dderbyn gennwch ei sefyll-fan.

12 Canys trig-ferch Maroth a || ddisgwyliodd yn ddyfal am ddaioni, eithr drwg a ddescynnodd oddi wrth yr Arglwydd hyd at borth Jerusalem.

13 Preswyl-ferch Lachis, rhwym y cerbyd wrth y buan-farch; dechreuad pechod yw hi i ferch Sion: canys ynot ti y cafwyd anwireddau Israel.

14 Am hynny y rhoddi anrhegion || i Moreseth-Gath: tai || Achzib [a fyddant] yn gelwydd i frenhinoedd Israel.

15 Etto mi a ddygaf etifedd i ti, preswylferch Maresah, || daw hyd Adulam, gogoniant Israel.

16 *Ymfoela, ac ymeillia am dy blant moethus: helaetha dy foelder fel eryr; canys caethgludwyd hwynt oddi wrthit.

||Neu, am. ||Sef, celwydd. ||Neu, daw gogoniant Israel hyd Adulam. *Esai.22.12.

## PEN. II.

1 Yn erbyn trais. 5 Cwynfan, 7 Ceryddu anghyfiawnder a delw-addoliaeth. 12 Addaw adferu Jacob.



GWae a ddychymygo anwiredd, ac a wnelo ddrygioni ar eu gwelâu; pan oleuo y boreu y gwnant hyn; am ei fod ar eu dwylo.

2 *Meusydd a chwennychant hefyd, ac a ddygant drwy drais; a theiau, ac a'i dygant: || gorthrymmant hefyd wr a'i dŷ, dyn a'i etifeddiaeth.

3 Am hynny, fel hyn y dywed yr Arglwydd, wele yn erbyn y teulu hwn y dychymmygais ddrwg, yr hwn ni thynnwch eich gyddfau o honaw, ac ni rodiwch yn falch; canys amser drygfyd yw.

4 Yn y dydd hwnnw y cyfyd [un] ddammeg am danoch chwi, ac a alara || alar gofidus, gan ddywedyd; dinistriwyd ni yn llwyr; newidiodd ran fy mhobl; pa fodd y dug ef oddi arnaf? || gan droi ymaith, efe a rannodd ein meusydd.

5 Am hynny ni bydd i ti a *fwrio reffyn coel-bren ynghynnulleidfa 'r Arglwydd.

6 *Na || prophwydwch || [meddant wrth y rhai a]brophwydant: ond ni phrophwydant iddynt na dderbyniont gywilydd.

7 Oh yr hon a elwir tŷ Jacob, a || fyrhawyd Yspryd yr Arglwydd? ai dymma ei weithredoedd ef? oni wna fy ngeiriau lês i'r neb a rodio yn uniawn?

8 [Y rhai oedd] fy mhobl ddoe, a godasant yn elyn, dioscwch y dilledyn || gyda'r wisg, oddi am y rhai a ânt heibio yn ddiofal, [fel] rhai yn dychwelyd o ryfel.

9 Gwragedd fy mhobl a fwriasoch allan o dŷ eu hyfrydwch, a dygasoch oddi ar eu plant hwy fy harddwch byth.

10 Codwch, ac ewch ymmaith, canys nid dyma eich gorphywyfa: am ei halogi y dinistria hi [chwi] â dinistr tost.

11 Os un || yn rhodio yn yr yspryd, a chelwydd a ddywed yn gelwyddoc, prophwydaf

*Esai.5.8. ||Neu, twyllant. ||Heb. alar galarau. ||Neu, yn lle adferu. *Deut.32.8,9. *Es.30.10. ||Heb. ddefnynnwch &c. ||Neu, fel y prophwydant hwy. ||Neu, gyfyngwyd. ||Heb. gyferbyn a'r wisc. ||Neu, a rodia gyda'r gwynt, ac a ddywed gelwydd yn gel. [gan ddywedyd,] prophwydaf &c.

wydaf it a'm win a diod gadarn, efe a gaiff fod yn brophwyd i'r bobl hyn.

12 Gan gasclu i'th gasclaf Jacob oll; gan gynnull cynnhullaf weddill Israel; gosodaf hwynt ynghyd fel defaid Bozrah, fel y praidd ynghanol eu corlan: trystiant rhag [amled] dyn.

13 Daw y rhwygudd i fynu o'i blaen hwynt; rhwygasant, a thramwyasant trwy y porth, ac aethant allan trwyddo, a thramwya eu brenin o'i blaen; a'r Arglwydd ar eu pennau hwynt.

## PEN. III.

1 Creulondeb y tywysogion. 5 ffalsedd y prophwydi. 8 A diofalwch pob vn o'r ddau.



Dywedais hefyd, gwrandewch attolwg pennaethiaid Jacob, a thywysogion tŷ Israel, onid i chwi [y perthyn] gwybod barn?

2 Y rhai ydych yn casâu y da, ac yn hoffi y drwg, gan flingo eu croen oddi am danynt, a'i cig oddi wrth eu hescyrn.

3 Y rhai hefyd a fwytânt gig fy mhobl, a'i croen a flingant oddi am danynt, a'i hescyrn a ddrylliant ac a friwant, megis i'r crochan, ac fel cîg yn y badell.

4 *Yna y llefant ar yr Arglwydd, ac ni's ettyb hwynt, efe a guddia ei wyneb oddi wrthynt y pryd hwnnw, fel y buant ddrwg yn eu gweithredoedd.

*Esa.1.15. Ezec.8.18. Iac.2.13. 1.Pet.3.11.12

5 Fel hyn y dywed yr Arglwydd am y prophwydi sydd yn cyfeiliorni fy mhobl, *y rhai a frathant â'i dannedd, ac a lefant, heddwch: a'r neb ni roddo yn eu pennau hwynt, darparant ryfel yn ei erbyn.

*Pen.2.11.

6 Am hynny [y bydd] nôs i chwi ‖ fel na chaffoch weledigaeth, a thywyllwch i chwi ‖ fel na chaffoch ddewiniaeth: yr haul hefyd a fachluda ar y prophwydi, a'r dydd a ddua arnynt.

‖Heb. oddiwrth weledigaeth. ‖Heb. oddiwrth ddewinio.

7 Yna y gweledyddion a gywilyddiant, a'r dewiniaid a wradwyddir, ie pawb o honynt a gaeant ar eu ‖ genau; am na [rydd] Duw atteb.

‖Heb. gwefus uchaf.

8 Ond yn ddiau llawn wyf o rym gan Yspryd yr Arglwydd, ac o farn a nerth, i ddangos ei anwiredd i Jacob, a'i bechod i Israel.

9 Gwrandewch hyn attolwg pennaethiaid tŷ Jacob, a thywysogion tŷ Israel; y rhai sy ffiaidd ganddynt farn, ac yn gwyro pob vniondeb.

10 Adeiladu Sion y maent *â gwaed, a Jerusalem ag anwiredd.

*Ezec.22.27. Zeph.3.3.

11 Ei phennaethiaid a roddant farn er gwobr, a'i hoffeiriaid a ddyscant er cyflog, a'r prophwydi a ddewiniant er arian: etto wrth yr Arglwydd yr ymgynhaliant, gan ddywedyd; onid yw 'r Arglwydd i'n plith? ni ddaw drwg arnom.

12 Am hynny o'ch achos chwi 'r *erddir Sion fel maes, a Jerusalem a fydd yn garneddau, a mynydd y tŷ, fel vchel leoedd y goedwic.

*Ier.26.18.

## PEN. IV.

1 Gogoniant, 3 heddwch, 8 teyrnas, 11 a buddugoliaeth yr Eglwys.



Bydd yn niwedd y dyddiau, *i fynydd tŷ 'r Arglwydd fod wedi eu siccrhau ym mhen y mynyddoedd; ac efe a dderchefir goruwch y bryniau; a phobloedd a ddylifant atto.

*Esa.2.2.&c.

2 A chenhedloedd lawer a ânt, ac a ddywedant, deuwch, ac awn i fynu i fynydd yr Arglwydd, ac i dŷ Dduw Jacob; ac efe a ddysc i ni ei ffyrdd, ac yn ei lwybrau y rhodiwn: canys y gyfraith â allan o Sion, a gair yr Arglwydd o Jerusalem.

3 Ac efe a farna rhwng pobloedd lawer, ac a gerydda genhedloedd cryfion hyd ym mhell, a thorrant eu *cleddyfau yn sychau, a'i gwayw-ffyn yn ‖ bladuriau; ac ni chyfyd cenhedl gleddyf yn erbyn cenhedl, ac ni ddyscant ryfel mwyach.

*Esa.2.4. Ioel.3.10. ‖neu, gyllellau.

4 Ond eisteddant bob vn dan ei win-wydden, a than ei ffigysbren, heb neb i'w dychrynu; canys genau Arglwydd y lluoedd a'i llefarodd.

5 Canys yr holl bobloedd a rodiant bob vn yn enw ei dduw ei hun, a ninneu a rodiwn yn enw 'r Arglwydd ein Duw, byth ac yn dragywydd.

6 Yn y dydd hwnnw, medd yr Arglwydd, y casclaf y gloff, ac y cynhullaf yr hon a yrrwyd allan, a'r hon a ddrygais.

7 A gwnaf y *gloff yn weddill, a'r hon a daflwyd ym mhell yn genhedl gref; *a'r Arglwydd a deyrnasa arnynt ym mynydd Sion, o hyn allan byth.

*Zeph.3.19. *Dan.7.14. Luc.1.33.

8 A thitheu twr y praidd, castell merch Sion hyd attat y daw, ie y daw 'r arglwyddiaeth bennaf, y deyrnas i ferch Jerusalem.

9 Pa ham gan hynny y gweiddi waedd? onid oes ynot frenin? a ddarfu am dy gynghorydd? canys gwewyr a'th gymmerodd, megis gwraig yn escor.

10 Ymofidia a griddfana, merch Sion, fel gwraig yn escor; o herwydd yr awr hon yr ei di allan o'r ddinas, a thrigi yn y maes; ti a ei hyd Babilon; yno i'th waredir, yno 'r achub yr Arglwydd di o law dy elynion.

11 Yr awr hon hefyd llawer o genhedloedd a ymgasclasant i'th erbyn, gan ddywedyd; haloger hi, a gweled ein llygaid [hynny] ar Sion.

12 Ond ni wyddant hwy feddyliau yr Arglwydd, ac ni ddeallant ei gyngor ef: canys efe a'i cascl hwynt fel yscubau i'r llawr dyrnu.

13 Cyfod merch Sion, a dyrna; canys gwnaf dy gorn yn haiarn, a'th garnau yn brês, a thi a ddrylli bobloedd lawer; a chyssegraf i'r Arglwydd eu helw hwynt, a'i golud i Arglwydd yr holl ddaiar.

## PEN. V.

1 Genedigaeth Christ, 4 a'i frenhiniaeth, 8 a'i fuddugoliaeth.

Yr awr hon, ymfyddina merch y fyddin, gosododd gynllwyn i'n herbyn: tarawant farn-wr Israel â gwialen ar [ei] gern.

2 *A thi-

2 A * thitheu Beth-lehem Ephratah, er[dy]fod yn fechan ym mhlith miloedd Juda, etto o honot ti y daw allan i mi,[vn]i fod yn llywydd yn Israel: yr hwn yr oedd ei fynediad allan o'r dechreuad, er dyddiau tragywyddoldeb.

3 Am hynny y rhydd efe hwynt [i fynu,] hyd yr amser y darffo i'r hon a escoro escor: yna gweddill ei frodyr ef a ddychwelant at feibion Israel.

4 Ac efe a saif, ac a|| portha â nerth yr Arglwydd, yn ardderchowgrwydd enw 'r Arglwydd ei Dduw, a hwy a drigant: canys yr awr hon efe a fawrheir hyd eithafoedd y ddaiar.

5 A hwn fydd yr heddwch pan ddêl yr Assyriad i'n tir ni, a phan sathro o fewn ein palasau: yna cyfodwn yn ei erbyn saith fugail, ac wyth || o'r dynion pennaf.

6 A hwy a || ddinistriant dir Assyria â'r cleddyf, a thir Nimrod || â'i gleddyfau noethion ei hun: ac efe a'n hachub rhag yr Assyriad, pan ddêl i'n tir, a phan sathro o fewn ein terfynau.

7 A bydd gweddill Jacob ynghanol llawer o bobl, fel y gwlith oddi wrth yr Arglwydd, megis cawodydd ar y gwellt-glâs, yr hwn nid erys ar ddyn, ac ni ddisgwyl wrth feibion dynion.

8 A gweddill Jacob a fydd ym mysc y cenhedloedd, ynghanol pobl lawer, fel llew ym mysc bwystfilod y goedwic, ac fel cenew llew ym mhlith y diadellau || defaid: yr hwn pan êl trwodd a sathr, ac a sclyfaetha, ac ni [bydd] achubudd.

9 Dy law a ddyrchefir yn erbyn dy wrthwyneb-wyr; a'th holl elynion a dorrir ymaith.

10 A bydd y dydd hwnnw, medd yr Arglwydd, i mi dorri ymaith dy feirch o'th ganol di, a dinistrio dy gerbydau.

11 Torraf hefyd i lawr ddinasoedd dy wlâd, a dymchwelaf dy holl ymddiffynfeydd.

12 A thorraf ymmaith o'th law y swynion, ac ni bydd it ddewiniaid.

13 Torraf hefyd i lawr dy luniau cerfiedic, a'th||ddelwau o'th blith: ac ni chei ymgrymmu mwyach i weithredoedd dy ddwylo dy hun.

14 Diwreiddiaf dy lwyni o'th ganol hefyd: a dinistriaf dy || ddinasoedd.

15 Ac mewn dig a llid, y gwnaf ar y cenhedloedd y fath ddialedd ac na chlywsant.

## PEN. VI.

1 Ymrafael Duw o herwydd angharedigrwydd, 6 ac anwybodaeth, 10 ac anghyfiawnder, 16 a delw-addoliaeth ei bobl.



Gwrandewch atolwg y peth a ddywed yr Arglwydd; cyfod, ymddadleu || â'r * mynyddoedd, a chlywed y bryniau dy lais.

2 Gwrandewch y mynyddoedd, a chedyrn sylfeini y ddaiar, gwyn yr Arglwydd, canys [y mae] cwyn rhwng yr Arglwydd a'i bobl, ac efe a ymddadleu ag Israel.

3 Fy mhobl, beth a wneuthym i ti? ac ym-mha beth i'th flinais? tystiolaetha i'm herbyn.

4 Canys mi a'th ddygais *o dir yr Aipht, ac a'th ryddheais o dŷ y caethiwed, ac a anfonais o'th flaen Moses, Aaron, a Miriam.

5 Fy mhobl, cofia attolwg beth a fwriadodd *Balac brenin Moab, a pha atteb a roddes Balaam mab Beor iddo, o * Sittim hyd Gilgal, fel y galloch wybod cyfiawnder yr Arglwydd.

6 A pha beth y deuaf ger bron yr Arglwydd, ac yr ymgrymmaf ger bron yr uchel Dduw? a ddeuaf ger ei fron ef â phoeth offrymmau, ac â || dyniewid?

7 A fodlonir yr Arglwydd â miloedd o hyrddod; neu â myrddiwn o ffrydiau olew? a roddaf fy nghyntaf-anedic [dros] fy anwiredd? ffrwyth || fy nghroth [dros] bechod fy enaid?

8 *Dangosodd efe it ddŷn beth [sydd] dda; a pha beth a gais yr Arglwydd gennit; onid gwneuthur barn, a hoffi trugaredd, ac ymostwng i rodio gyd â'th Dduw?

9 Llef yr Arglwydd a lefa ar y ddinas, || a'r doeth a wêl dy enw; gwrandewch y wialen, a phwy a'i hordeiniodd.

10 A oes || etto drysorau anwiredd o fewn tŷ y gwr anwir, || a'r mesur prin, peth ffiaidd?

11 A||gyfrifwn yn lân [vn] â chloriannau anwir, ac â chôd o gerric twyllodrus?

12 Canys y mae ei chyfoethogion yn llawn trais, a'i thrigolion a ddywedasant gelwydd; a'i tafod sydd dwyllodrus yn eu genau.

13 A minneu hefyd a'th glwyfaf wrth dy daro, wrth dy anrheithio am dy bechodau.

14 Ti a fwyttei, ac ni'th ddigonir, a'th ostyngiad [sydd] yn dy ganol dy hun, ti a ymafli, ac nid achubi; a'r hyn a achubech a roddaf i'r cleddyf.

15 * Ti a heui, ond ni fedi; ti a sethri 'r olewydd, ond nid ymiri ag olew; a gwîn newydd, ond nid yfi wîn.

16 || Cadw 'r ydys ddeddfau * Omri, a holl weithredoedd *Ahab, a rhodio 'r ydych yn eu cynghorion; fel i'th wnawn yn || anghyfannedd, a'i thrigolion iw hwttio: am hynny y dygwch warth fy mhobl.

## PEN. VII.

1 Yr Eglwys yn cwyno leied yw o rifedi, 3 mor gyffredin yw llygredigaeth, 5 ac yn rhoi ei goglud a'i hyder, nid ar ddyn, ond ar Dduw: 14 A Duw yn ei chyssuro hi trwy addewidion; 16 a thrwy wradwyddo ei gelynion; 18 a thrwy ei drugareddau.



Gwae fi, canys ydwyf fel || casclidau ffrwythydd hâf, fel lloffion grawn-wîn y cynhaiaf gwîn; nid oes swp o rawn iw bwytta; fy enaid a flysiodd yr addfed-ffrwyth cyntaf.

Margin notes: * Esa. 11. 1. &c. / Ioan 7. 42. — || Neu, ymborthi. — * Esai. 9. 6. / Ioan 3. 10. / || Neu, gwyr mawr. — || Heb. a borthant dy. — || Heb. yn ei / || Neu, yn ei phyrth. — * Zeph. 3. 13. / * Dan. 2. 44. / Luc. 1. 33. — || Neu, geifr. — || Neu, delwau. — || Neu, elynion. — || Neu, ymgyfreithia â. / * Esa. 1. 2. — * Exod. 12. 51. & 14. 30. — * Num. 22. 5. & 23. 7. / * Num. 25. / Ios. 5. — || Heb. lloiau meibion blwydd. — || Neu, fy nghorph. — * Deut. 10. 12. — || Neu, a'th enw a wyl yr hyn sy ddoeth. — || Neu, etto i bob gwr dy yr anwir, tryssorau anwiredd? — || Heb. a mesur culni. / || Neu, fyddaf lân â chloriannau &c. — * Deut. 28. 38. / Hag. 1. 6. — || Neu, Cadw y mae yn ddyfal ddeddfau Omri. / * 1. Br. 16. 25. 26. / * 1. Br. 16. 30. / || Neu, syndod. — || Heb. casclia dau hâf.

 2 * Darfu

Psal. 12. 3. Es. 57. 1. ||Neu, daionus, neu, trugarog.

2 *Darfu am y ||duwiol oddi ar y ddaiar, ac nid oes vn vniawn ym mhlith dynion; cynllwyn y maent oll am waed; pob vn sydd yn hela ei frawd [â] rhwyd.

3 I wneuthur drygioni â'r ddwy ddwylo yn egniol, y tywysog a ofyn, a'r barnwr am wobr; a'r hwn sydd fawr a ddywed || lygredigaeth ei feddwl; felly y plethant ef.

||Neu, ei sceler feddwl. Heb. scelerder ei enaid.

4 Y goreu o honynt [sydd] fel mierien, yr vnionaf yn arwach nâ chae drain; dydd dy wilwyr, a'th ofwy, sydd yn dyfod; bellach y bydd eu penbleth hwynt.

5 Na chredwch i gyfaill, nac ymddiriedwch i dywysog: cadw ddrws dy enau rhac yr hon a orwedd yn dy fonwes.

6 Canys * mab a amharcha ei dâd, y ferch a gyfyd yn erbyn ei mam; a'r waudd yn erbyn ei chwegr; a gelynion gŵr [yw] dynion ei dŷ.

Mat. 10. 21. 35. 36. Luc. 24. 16.

7 Am hynny mi a edrychaf ar yr Arglwydd, disgwiliaf wrth Dduw fy iechydwriaeth: fy Nuw a'm gwrendy.

8 Na lawenycha i'm herbyn fy ngelynes; pan syrthiwyf, cyfodaf; pan eisteddwyf mewn tywyllwch, yr Arglwydd a lewyrcha i mi.

9 Dioddefaf ddig yr Arglwydd, canys pechais iw erbyn; hyd oni ddadleuo fy nghwyn, a gwneuthur i mi farn; efe a'm dwg allan i'r goleuad, a mi a welaf ei gyfiawnder ef.

||Neu, A thi a weli fy ngelynes, ac a'i gorchuddi â chywilydd, yr hon &c.

10 ||A'm gelynes a gaiff weled, a chywilydd a'i gorchguddia hi yr hon a ddywedodd wrthif,* mae 'r Arglwydd dy Dduw? fy llygaid a'i gwelant hi; bellach y bydd hi yn sathrfa, megis tom yr heolydd.

*Psa. 79. 10. & 115. 2. Ioel. 2. 17.

11 Y dydd yr adeiledir dy *furiau, y dydd hwnnw yr ymbellhâ y ddeddf.

*Amos 9. 11. &c.

12 Y dydd hwnnw y daw efe hyd atat o Assyria, ||ac o'r dinasoedd cedyrn, ac o'r cadernid hyd yr afon, ac o fôr i fôr, ac o fynydd i fynydd.

||Neu, i'w [byd] y dinas.

13 ||Etto y wlâd a fydd yn anrhaith o achos ei thrigolion, am ffrwyth eu gweithredoedd.

||Neu, wedi bod y wlad yn anrhaith.

14 || Portha dy bobl â'th wialen, defaid dy etifeddiaeth, y rhai sydd yn trigo yn y coed yn vnic ynghanol Carmel: porant yn Basan, a Gilead, megis [yn] y dyddiau gynt.

||Neu, Llywodraetha.

15 Megis y dyddiau y daethost allan o dir yr Aipht, y dangosaf iddo ryfeddodau.

16 Y cenhedloedd a welant, ac a gywilyddiant, gan eu holl gryfder hwynt; rhoddant eu llaw ar eu genau; eu clustiau a fyddarant.

17 Llyfant y * llwch fel sarph, fel || pryfed y ddaiar y symudant o'i llochesau, arswydant rhac yr Arglwydd ein Duw ni, ac o'th achos di yr ofnant.

*Psal. 72. 9. ||Neu, ymlusgiaid.

18 Pa Dduw [sydd] fel tydi, yn * maddeu anwiredd, ac yn myned heibio i anwiredd gweddill ei etifeddiaeth? ni ddeil efe ei ddig byth, am fod yn hoff ganddo drugaredd.

*Exo. 34. 6, 7.

19 Efe a ddychwel, efe a drugarhâ wrthym, efe a ddarostwng ein hanwireddau, a thi a deffi eu holl bechodau i ddyfnderoedd y môr.

20 Ti a gyflawni y gwirionedd i Iacob, y drugaredd [hefyd] i Abraham, yr hwn a dyngaist i'n tadau, er y dyddiau gynt.



# LLYFR NAHVM.

PENNOD. I.

Mawredd Duw, yn ei ddaioni tu'ac at ei bobl, a'i dofter yn erbyn ei elynion.

*Esai. 13. 1.



*BAICH Nineveh: llyfr gweledigaeth Nahum yr Elcosiad.

2 || Duw [sydd] *eiddigus, a'r Arglwydd sydd yn dial; yr Arglwydd sydd yn dial ac yn berchen llid: dial yr Arglwydd ar ei wrthwyneb-wyr, a dal [dig] y mae efe iw elynion.

||Neu, Yr Arglwydd sydd Dduw eiddigus, a dialudd. *Exod. 20. 5.

3 Yr Arglwydd [sydd] * hwyrfrydig i ddig, a mawr ei rym, ac ni ddieuoga ['r anwir,] yr Arglwydd [sydd] a'i lwybr yn y corwynt, ac yn y rhyferthwy, a'r cwmylau [yw] llwch ei draed ef.

*Exod. 34. 7.

4 Efe a gerydda y môr ac a'i sych, yr holl afonydd a ddihyspydda efe: llescaodd Basan, a Charmel, a llescaodd blodeuyn Libanus.

5 Y mynyddoedd a grynant rhagddo, a'r bryniau a doddant, a'r ddaiar a lysc gan ei olwg, a'r bŷd hefyd, a chwbl ac a drigant ynddo.

6 Pwy a saif o flaen ei lid ef? a phwy a gyfyd ynghynddaredd ei ddigofaint ef? ei lid a dywelltir fel tân, a'r creigiau a fwrir i lawr ganddo.

7 Daionus [yw] 'r Arglwydd, || ymddiffynfa yn nydd blinder, ac efe a edwyn y rhai a ymddiriedant ynddo.

||Neu, cadernid.

8 A llifeiriant yn myned trosodd y gwna efe drangc [ar] ei lle hi, a thywyllwch a erlid ei elynion ef.

9 Beth a ddychymmygwch yn erbyn yr Arglwydd? efe a wna drangc; ni chyfyd blinder ddwy-waith.

10 Canys tra'r ymddyrysont fel drain, a thra meddwont fel meddwon, yssir hwynt fel

fel sofl wedi llawn wywo.

11 O honot y daeth allan a ddychymmyga ddrwg yn erbyn yr Arglwydd; cynghorwr || drygionus.

12 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, || pe byddent heddychol, ac felly yn aml, etto fel hyn y torrir hwynt i lawr, pan elo efe heibio: er i'm dy flino ni'th flinaf mwyach.

13 Canys yr awron y torraf ei iau ef oddi arnat, drylliaf dy rwymau.

14 Yr Arglwydd hefyd a orchymynnodd o'th blegit, nahauer o'th enw mwyach: torraf o dŷ dy dduwiau, y gerfiedic a'r dawdd ddelw, gwnaf dy fedd, canys gwael ydwyt.

15 Wele ar y * mynyddoedd draed yr efangylwr, cyhoeddwr heddwch: cadw di ô Juda, dy wyliau, tâl dy addunedau; canys nid â || y drygionus trwot mwy; cwbl dorrwyd ef ymmaith.

## PEN. II.

Ofnadwy a buddugawl luoedd Duw yn erbyn Nineueh.



Daeth y || chwalwr i fynu o flaen dy wyneb; cadw yr ymddiffynfa; gwilia y ffordd, nertha dy lwyni, cadarnhâ dy nerth yn fawr.

2 * Canys dychwelodd yr Arglwydd || ardderchawgrwydd Jacob, || fel ardderchawgrwydd Israel: canys y diyspydd-wyr a'i diyspyddodd hwynt, ac a lygrasant eu cangau gwinwydd.

3 Tarian ei wyr grymmus a liwiwyd yn gôch, ei wyr o ryfel a wiscwyd ag yscarlad; [y] cerbydau [fyddant] gydâ || lampau tanllyd, y dydd y byddo ei arlwy, a'r ffynnidwydd a escydwir yn aruthrol.

4 Y cerbydau a gynddeiriogant yn yr heolydd, tarawant wrth ei gylydd yn y priffyrdd; eu gwelediad sydd fel fflammau, ac fel mellt y saethant.

5 Efe a gyfrif ei [weision] gwychion; tramgwyddant wrth gerdded; prysurant at ei chaer hi, a'r || amddiffyn a barotoir.

6 Pyrth y dwfr a agorir, a'r palâs a || ymddettyd.

7 || A Huzzab a || gaeth-gludir, dygir hi i fynu, a'i morwynion yn ei harwain, megis â llais colomennod yn curo ar eu dwyfronnau.

8 A Nineueh sydd || er ys dyddiau fel llyn o ddwfr: ond hwy a ffoant; sefwch, sefwch, [meddant,] ac ni bydd || a edrycho yn ôl.

9 Ysclyfaethwch arian, ysclyfaethwch aur; || canys nid oes diben ar ystôr, [a'r] gogoniant o bob dodrefn dymunol.

10 Gwâg, a gorwag, ac anrhaithiedic yw hi, a'r * galon yn toddi, a'r gliniau yn taro ynghyd, ac anhwyl ar bob lwyni, * a'i hwynebau oll a gasclant barddu.

11 Pa le [y mae] trigfa y llewod? a phorfa cenawon y llew od? lle y rhodiai y llew, sef yr hên lew, a'r ceneu llew, ac nid [oedd] a'i tarfai.

12 Y llew a ysclyfaethodd ddigon i'w genawon, ac a dagodd i'w lewesau, ac a lanwodd ag ysclyfaeth ei ffau, a'i loches ag yspail.

13 Wele fi yn dy erbyn, medd Arglwydd y lluoedd, ac mi a loscaf ei cherbydau yn y mwg, a'r cleddyf a ddifa dy lewod ieuaingc; a thorraf ymmaith o'r ddaiar dy ysclyfaeth, ac ni chlywir mwy lais dy gennadau.

## PEN. III.

Gofidus gwymp Nineueh.



Gwae ddinas * y gwaed, llawn celwydd ac yspail ydyw i gyd, a'r ysclyfaeth heb ymado.

Ezec. 24. 9. Hab. 2. 10.

2 [Bydd] sŵn y ffrywyll, a sŵn cynnwrf olwynion, a'r march yn prangcio, a'r cerbyd yn neidio.

3 Y marchog sydd yn codi || ei gleddyf gloyw, a'i ddisclair waiw-ffon: lliaws o laddedigion, ac aneirif o gelanedd; a heb ddiwedd ar y cyrph, trippiant wrth eu cyrph hwynt.

|| Heb fflammychiad y cleddyf, a mellteniad y waywffon.

4 O herwydd aml butteindra y buttein dêg, meistres swynion, yr hon a werth genhedloedd trwy ei phutteindra, a theuluoedd trwy ei swynion.

5 Wele * fi i'th erbyn, medd Arglwydd y lluoedd, a datcuddiaf dy odrau ar dy wyneb, a gwnaf i genhedloedd weled dy noethni, ac i deyrnasoedd dy warth.

* Es. 47. 3. Ezec. 16. 37.

6 A thaflaf ffiaidd bethau arnat, a gwnaf di yn wael, a gosodaf di yn ddrych.

7 A bydd i bawb a'th welo ffoi oddi wrthit, a dywedyd, anrheithiwyd Nineveh, pwy a gwyna iddi? o ba le y ceisiaf ddiddanwyr it?

8 Ai gwell ydwyt na No || dylwythoc, yr hon a osodir rhwng yr afonydd, ac a amgylchir â dyfroedd, i'r hon y mae y môr yn rhagfur, a'i mûr o'r môr.

|| Neu, fagal. Heb. No Amon.

9 Ethiopia oedd ei chadernid, a'r Aipht, ac aneirif: Put a Lubim oedd yn gynhorthwy i ti.

10 Er hynny hi a ddugpwyd ymmaith, hi a gaeth-gludwyd; a'i phlant bychain a ddrylliwyd ym mhen pob heol; ac am ei phendefigion y bwriasant goel-brennau, a'i holl wyr mawr a rwymwyd mewn gefynnau.

11 Tithau hefyd a * fedd wi; byddi guddiedic, ceisi hefyd gadernid rhag y gelyn.

* Ier. 25. 17.

12 Dy holl ymddiffynfeydd [fyddant fel] ffigys-wydd, a'i blaen-ffrwyth arnynt, os yscydwir hwynt, syrthiant yn safn y bwyttawr.

13 Wele dy bobl yn wragedd yn dy ganol di: pyrth dy dir a agorir i'th elynion, tân a yssodd dy farrau.

14 Tyn it ddwfr i'r gwarchae, cadarnhâ dy ymddiffynfeydd, dôs i'r dom, sathr y clai, cryfhâ yr odyn briddfaen.

15 Yno y tân a'th ddifa, y cleddyf a'th dyrr ymmaith, efe a'th yssa di fel pryf y rhwd; ymlïossoga fel pryf y rhwd, ymlïossoga fel y ceiliog rhedyn.

16 Amlheaist

16 Amlheaist dy farchnad-wŷr rhagor sêr y nefoedd: || difwynodd pryf y rhŵd, ac ehedodd ymaith.

||Neu, ymwasgarodd.

17 Y rhai coronog sydd fel y locustiaid, a'th dywysogion fel y ceiliogod rhedyn mawr, y rhai a wersyllant yn y caeau ar y dydd oerfelog, ond pan gyfodo yr haul, hwy a hedant ymaith, ac ni adwaenir eu man lle y maent.

18 Dy fugeiliaid, brenin Assyria, a heppiant, a'th ||bendefigion a||orweddant; gwasceritt dy bobl ar y mynyddoedd, ac ni [bydd] a'i casclo.

19 Ni thynnir dy archoll ynghyd, clwyfus yw dy weli; pawb a glywo sôn am danat a gurant eu dwylo arnat; o herwydd pwy nid aeth dy ddrygioni trosto bob amser?



# LLYFR HABACCVK.

PENNOD. I.

1 Habaccuk yn achwyn rhag anwiredd y wlad, 5 ac yn cael dangos iddo y dialedd erchyll a ddoe trwy'r Caldeaid: 12 Ac yn cwyno bod yn dialeddu ar y bobl, trwy rai oedd lawer gwaeth nâ hwynt hwy eu hunain.



YBAICH a welodd y prophwyd Habaccuk.

2 Pa hŷd Arglwydd y gwaeddaf, ac ni's gwrandewi? y bloeddiaf arnat [rhag] trais, ac nid achubi?

3 Pa ham y gwnei i'm weled anwiredd, ac y peri i'm edrych ar flinder? anrhaith, a thrais [sydd] o'm blaen i, ac y mae a gyfyd ddadl, ac ymryson;

4 Am hynny yr oedir cyfraith, ac nid â barn allan byth, am fod *y drygionus yn amgylchu y cyfiawn; am hynny cam farn â allā.

*Iob.21.7. Ier.12.1.

5 Gwelwch *ym mysc y cenhedloedd, ac edrychwch, rhyfeddwch yn aruthrol: canys gweithredaf weithred yn eich dyddiau, ni choeliwch er ei mynegi i chwi.

*Act.13 41.

6 Canys wele fi yn codi y Caldeaid, cenhedl chwerw a phrysur, yr hon a rodia ar hŷd llêd y tîr, i feddiannu cyfanneddfeydd nid yw eiddynt.

7 Y maent i'w hofni, ac i'w harswydo, ||o honynt eu hun y daw allan eu barn, a'i rhagoriaeth.

||Neu, o honynt hwy y daw allā farn y rhai hyn, a chaethglud y rhai hyn.

8 A'i meirch sydd fuanach nâ'r llewpardiaid; * a llymmach ydynt nâ bleiddiau 'r hŵyr, ei marchogion hefyd a ymdanant, a'i marchogion a ddeuant o bell, ehedant fel eryr yn prysuro at fwyd.

*Zeph.3.3.

9 Hwy a ddeuant oll i dreisio; || ar gyfer eu hwyneb y [bydd] gwynt y dwyrain, a hwy a gasclant gaethion fel y tywod.

||Neu, eu hwynebau a lymmeidia [fel] gwynt &c. Heb. cyfeiriad eu hwynebau tu a gwynt &c. neu, eu hwynebau a edrych tua'r dwyrain.

10 A hwy a watwarant frenhinoedd, a thywysogion a fyddant watwargerdd iddynt, hwy a watwarant yr holl gestyll, ac a gasclant lwch, ac a'i gorescynnant.

11 Yna y newidia ei feddwl, ac yr â trosodd, ac a drosedda, [gan ddiolch am] ei rym ymma i'w dduw ei hun.

12 Onid [wyt] ti er tragywyddoldeb, ô Arglwydd fy Nuw, fy Sanctaidd? ni byddwn feirw; ô Arglwydd, ti a'i gosodaist hwy i farn, ac a'i ||sicrheaist, ô ||Dduw, i gospedigaeth.

13 Ydwyt lanach dy lygaid nag y [gelli] edrych ar ddrwg, ac ni elli edrych ar ||anwiredd: pa ham yr edrychi ar yr anffyddloniaid, [ac] y tewi pan lyngco 'r anwir [un] cyfiawnach nag ef ei hun?

14 Ac y gwnei ddynion fel pyscod y môr, fel yr ||ymlusciaid heb lywydd arnynt?

15 Cyfodant hwynt oll â'r bâch; casclant hwynt yn eu rhwyd, a chynnullant hwynt yn eu ballegrwyd: am hynny hwy a lawenychant, ac a ymddigrifant.

16 Am hynny 'r aberthant i'w rhwyd, ac y lloscant arogl-darth i'w ballegrwyd: canys trwyddynt hwy y mae eu rhan yn dew, a'i bwyd yn frâs.

17 A gânt hwy gan hynny dywallt eu rhwyd, ac nad arbedont ladd y cenhedloedd yn wastadol?

PEN. II.

1 I Habaccuk, yn disgwyl am atteb, y dangosir y bydd rhaid iddo ddisgwyl trwy ffydd. 5 Y barnedigaethau a ddaw ar y Caldeaid, am eu hannigonolrwydd, 9 a'i trachwant, 12 a'i creulondeb, 15 a'i meddwdod, 18 a'i delwaddoliaeth.

*Safaf ar fy nisgwylfa, ac ymsefydlaf ar || y tŵr, ac a wiliaf, i edrych beth a ddywed efe || wrthyf, a pha beth a attebaf ||pan i'm cerydder.

2 A'r Arglwydd a attebodd, ac a ddywedodd; scrifenna y weledigaeth, a gwna hi yn eglur ar lechau, fel y rhedo yr hwn a'i darllenno.

3 Canys y weledigaeth [sydd] etto tros amser gosodedic, ond hi a ddywed o'r diwedd, ac ni thwylla; os erys, disgwil am deni; canys *gan ddyfod y daw, nid oeda.

4 Wele, [yr hwn] a ymchwydda nid [yw] uniawn ei enaid ynddo, ond * y cyfiawn a fydd byw trwy ei ffŷdd.

5 || A hefyd gan ei fod yn troseddu trwy win,

win, ac heb aros gartref, yr hwn a helaetha ei feddwl fel uffern, ac y mae fel angeu, ac ni's digonir; ond efe a gascl atto 'r holl genhedloedd, ac a gynnull atto 'r holl bobloedd.

6 Oni chyfyd y rhai hyn oll yn ei erbyn ddammeg, a gair du yn ei erbyn, a dywedyd, || gwae a helaetho y peth nid [yw] eiddo: pa hyd? a'r neb a lwytho arno ei hun y clai tew.

7 Oni chyfyd yn ddisymmwth y rhai a'th frathant? ac oni ddeffry y rhai a'th gystuddiant? a thi a fyddi yn || wasarn iddynt?

8 Am it yspeilio cenhedloedd lawer, holl weddill y bobloedd a'th yspeilia dithau: am waed dynion, ac am y trais [ar] y tir, ar y ddinas, ac ar oll a drigant ynddi.

9 *Gwae a || elwo elw drwg i'w dŷ, i osod ei nyth yn uchel, i ddiangc o || law y drwg.

10 Cymmeraist gyngor gwarthus i'th dŷ, wrth ddestrywio pobloedd lawer, pechaist yn erbyn dy enaid.

11 O herwydd y garrec a lefa o'r mûr, a'r || trawst || a'i hettyb o'r [gwaith] coed.

12 Gwae a adeilado dref * trwy waed, ac a gadarnhao ddinas mewn anwiredd.

13 Wele, onid oddi wrth Arglwydd y lluoedd y mae, bod i'r bobl ymflino yn y tân, ac i'r cenhedloedd ymddeffygio || am wir wagedd?

14 Canys y ddaiar * a lenwir || o wybodaeth gogoniant yr Arglwydd, fel y toa y dyfroedd y môr.

15 Gwae a roddo ddiod i'w gymydog: yr hwn ydwyt yn rhoddi [iddo] dy gostrel, ac yn ei feddwi hefyd, er cael gweled eu noethni hwynt.

16 Llanwyd ti o warth || yn lle gogoniant; *ŷf dithau hefyd, a noether dy flaengroen: ymchwel cwppan deheulaw 'r Arglwydd attat ti, a chwdiad gwarthus fydd ar dy ogoniant.

17 Canys trais Libanus a'th orchguddia ac anrhaith yr anifeiliaid [yr hwn] a'i dychrynodd hwynt; o achos gwaed dynion, a thrais y tir, y ddinas, ac oll a drigant ynddi.

18 Pa lês a wnâ i'r ddelw gerfiedig ddarfod i'w lluniwr ei cherfio, i'r ddelw dawdd, ac * athro celwydd, fod lluni-wr ei || waith yn ymddiried ynddo, i wneuthur eulynnod mudion.

19 Gwae a ddywedo wrth bren, deffro; wrth garrec fud, cyfod, efe a rydd addysc; wele, gwiscwyd ef ag aur, ac arian; a dim anadl nid [oes] o'i fewn.

20 * Ond yr Arglwydd [sydd] yn ei Deml sanctaidd: y ddaiar oll, || gostega di ger ei fron ef.

## P E N. III.

1 Habaccuk yn ei weddi, yn crynu gan fawrhydi Duw. 17 Hyder ei ffydd ef.

Gweddi Habaccuk y prophwyd || ar Sigionoth.

2 Clywais ô Arglwydd, dy || air, [ac] ofnais, ô Arglwydd || bywhâ dy waith ynghanol y blynyddoedd, par wybod ynghanol y blynyddoedd, yn [dy] lid cofia drugaredd.

3 Duw a ddaeth || o Teman, a'r Sanctaidd o fynydd Paran, Selah. Ei ogoniant a doodd y nefoedd, a'r ddaiar a lanwyd o'i fawl.

4 A'i lewyrch oedd fel goleuni; yr [oedd] || cyrn iddo [yn dyfod] allan, o'i || law; ac yno [yr oedd] cuddiad ei grysder.

5 Aeth yr haint o'i flaen ef, ac aeth || marwor tanllyd allan wrth ei draed ef.

6 Safodd, a mesurodd y ddaiar; edrychodd, a gwascarodd y cenhedloedd: y mynyddoedd tragywyddol hefyd a ddrylliwyd, a'r bryniau oesol a grymmasant, llwybrau tragywyddol [sydd] iddo.

7 Tan || gystudd y gwelais wersyllau || Cuwsan: cryned llenni tir Midian.

8 A sorrodd yr Arglwydd wrth yr afonydd? ai wrth yr afonydd [y mae] dy ddig? ai wrth y môr [y mae] dy ddigofaint, gan it farchogaeth ar dy feirch, || ac ar gerbydau dy iechydwriaeth?

9 Llwyr noethwyd dy fwa, yn ôl llwon y llwythau, Selah. *Holldaist || y ddaiar || ag afonydd.

10 Y mynyddoedd a'th welsant, [ac] a grynasant; y llifeiriant dwfr a aeth heibio; y dyfnder a || wnaeth dwrf; cyfododd [hefyd] ei ddwylo yn uchel.

11 * Yr haul [a'r] lleuad a safodd yn eu preswylfa; || wrth oleuad * dy saethau yr aethant, [ac] wrth lewyrch dy waywffon ddisclair.

12 Mewn llid y cerddaist y ddaiar, a dyrnaist y cenhedloedd mewn digter.

13 Aethost allan er iechydwriaeth i'th bobl er iechydwriaeth ynghyd â'th Enneiniog, torraist y pen allan o dŷ 'r anwir, gan ddinoethi y sylfaen hyd y gwddf. Selah.

14 Trywenaist ben ei faes-drefydd â'i ffyn ei hun; || rhyferthwyasant i'm gwascaru; ymlawenhasant, megis i fwytta y tlawd mewn dirgelwch.

15 Rhodiaist â'th feirch trwy y môr, trwy || bentwrr o ddyfroedd mawrion.

16 Pan glywais, fy mol a ddychrynodd, fy ngwefusau a grynasant wrth y llef: daeth pydredd i'm hescyrn, ac yn fy lle y crynais, fel y gorphwyswn yn nydd trallod; pan ddêl efe i fynu at y bobl, efe a'i || difetha hwynt â'i fyddinoedd.

17 Er i'r ffigys-bren na flodeuo, ac na [byddo] ffrwyth ar y gwin-wydd; gwaith yr oliwydd || a balla, a'r meusydd ni roddant fwyd; torrir ymmaith y praidd o'r gorlan, ac ni [bydd] eidion yn eu beu-dai.

18 Etto mi a fyddaf hyfryd yn Nuw fy iechydwriaeth.

19 Yr Arglwydd Dduw [yw] fy nerth, a'm traed a wna efe fel [* traed] ewigod; ac efe a wna i'm rodio ar fy uchel-leoedd. I'r pencerdd ar fy || offer tannau.

|| Neu, o'r deau.
|| Neu, disclair belydr iddo.
|| Neu, ystlys.
|| Neu, cryd poeth, neu, cenhyddau gwres.
|| Neu, dlidd-ym, neu, wagedd.
|| neu, Ethiopia.
|| Neu, a'th gerbydau [oedd] iechydwriaeth.
* Num. 20. 11.
|| Neu, afonydd y ddaiar.
|| Neu, yn afonydd.
|| Heb. a roddes ei lef.
* Iosua. 10. 12.
|| Neu, yn y goleu y rhodiodd dy saethau.
* Ios. 10. 11.
|| Neu, daethant allan fel corwynt i'm gwascaru.
|| Neu, laid.
|| neu, drylli.
|| Heb. a ddywed gelwydd.
2. Sam. 22. 34. Ps. 18. 33.
|| Heb. Neginoth.



# LLYFR ZEPHANIAH.

## PENNOD. I.

Dirgel farn Duw ar Iuda am amryw bechodau.



Gair yr Arglwydd yr hwn a ddaeth at Zephaniah fab Cusi, fab Gedaliah, fab Amariah, fab Hezeciah, yn amser *Josiah fab *Amon brenin Juda.

*2.Bren.22.1.
*2.Br.21.19.

2 Gan ddestrywio y destrywiaf bôb dim oddi ar wyneb y ddaiar, medd yr Arglwydd.

3 Destrywiaf ddyn, ac anifail; destrywiaf adar yr awyr, a physcod y môr, a'r tramgwyddiadau ynghyd â'r annuwolion, a thorraf ymaith ddyn oddi ar wyneb y ddaiar, medd yr Arglwydd.

4 Estynnaf hefyd fy llaw ar Juda, ac ar holl breswylwŷr Jerusalem; a thorraf ymmaith o'r lle hwn weddill Baal, [ac] enw y *Chemariaid, a'r offeiriaid.

*2.Bren.23.5. Hosea 10.5.

5 A'r neb a ymgrymmant ar bennau y tai i lû y nefoedd, a'r addolwŷr y rhai a dyngant || i'r Arglwydd, a hefyd a dyngant i Malcham:

|| Neu, myn yr Arglwydd.

6 A'r rhai a giliant oddi ar ôl yr Arglwydd, a'r rhai ni cheisiasant yr Arglwydd, ac nid ymofynnasant am dano.

7 Distawa ger bron yr Arglwydd Dduw; canys agos yw dydd yr Arglwydd; o herwydd arlwyodd yr Arglwydd aberth: || gwahoddodd ei wahoddedigion.

|| Heb sancteiddiodd, neu, paratôodd.

8 A bydd, ar ddydd aberth yr Arglwydd, i mi ymweled â'r tywysogion, ac â phlant y brenin, ac â phawb *a wiscant wiscoedd dieithr.

*Ezec.23.14.

9 Ymwelaf hefyd â phawb a neidiant ar y rhiniog y dydd hwnnw, y sawl a lanwant dai eu meistr â thrais, ac â thwyll.

10 A'r dydd hwnnw, medd yr Arglwydd, y bydd llais gwaedd o borth y pyscod, ac udfa o'r ail, a drylliad mawr o'r bryniau.

11 Udwch breswylwŷr Mactes; canys torrwyd ymaith yr holl bobl o farchnadyddion; a holl glud-wŷr arian a dorrwyd ymmaith.

12 A'r amser hwnnw y chwiliaf Jerusalem â llusernau, ac yr ymwelaf â'r dynion sydd yn ceulo ar eu sorod, y rhai a ddywedant yn eu calon, ni wna yr Arglwydd dda, ac ni wna ddrwg.

13 Am hynny eu cyfoeth â yn yspail, a'i teiau yn anghyfannedd; *adeiladant hefyd dai, ond ni's preswyliant ynddynt; a phlannant winllannoedd, ond nid yfant o'r gwin.

*Deut.28.30, 39. Amos 5.11.

14 Agos yw mawr ddydd yr Arglwydd, agos a phrysur iawn, sef llais dydd yr Arglwydd; yno y bloeddia y cadarn yn chwerw.

15 *Diwrnod llidiog yw 'r diwrnod hwnnw, diwrnod trallod a chyfyngdra, diwrnod dinistr ac anghyfanneddra: diwrnod tywyll a du, diwrnod cwmylau, a thywyllni.

*Iere.30.7. ioel.2.11. amos 5.18.

16 Diwrnod udcorn ac alarwm, yn erbyn y dinasoedd caeroc, ac yn erbyn y tyrau uchel.

17 Ac mi a gyfyngaf ar ddynion, a hwy a rodiant megis deillion, am bechu o honynt yn erbyn yr Arglwydd, a'i gwaed a dywelltir fel llwch, a'i cnawd fel tom.

18 Nid *eu harian, na'i haur ychwaith, a ddichon eu hachub hwynt, ar ddiwrnod llid yr Arglwydd; ond â thân ei eiddigedd ef *yr yssir yr holl dir: canys gwna yr Arglwydd ddiben prysur ar holl breswylwŷr y ddaiar.

*Diar.11.4. Ezec.7.19.
Pen.3.8.

## PEN. II.

1 Annog i edifeirwch. 4 Barn y Philistiaid, 8 a'r Moabiaid, ac Ammon, 12 ac Ethiopia, ac Assyria.

Ymgesclwch, ie deuwch ynghyd, genhedl || anhawddgar.

2 Cyn i'r ddeddf escor, [cyn] i'r dydd fyned heibio fel peiswyn, cyn dyfod arnoch lid digofaint yr Arglwydd, cyn dyfod arnoch ddydd soriant yr Arglwydd.

3 Ceisiwch yr Arglwydd, holl rai llaryeidd y ddaiar, y rhai a wnaethant ei farn ef, ceisiwch gyfiawnder, ceisiwch laryeidddra, fe allei y cuddir chwi yn nydd digofaint yr Arglwydd.

4 Canys bydd Gaza yn wrthodedig, ac Ascelon yn anghyfannedd; gyrrant allan Asdod hanner dydd, a diwreiddir Ekron.

5 Gwae breswylwŷr glan y môr, cenhedl y Cerethiaid; y mae gair yr Arglwydd i'ch erbyn: ô Canaan gwlâd y Philistiaid, mi a'th ddifethaf, fel na byddo cyfanneddwr.

6 A bydd glan y môr yn drigfaau ac yn fythod i fugeiliaid, ac yn gorlannau defaid.

7 A bydd y fro yn rhan i weddill tŷ Juda, porant arnynt, yn nheiau Ascelon y gorweddant yn yr hwyr: || canys yr Arglwydd eu Duw a ymwel â hwynt, ac a ddychwel eu caethiwed.

8 Clywais waradwyddiad Moab, a chabledd meibion Ammon, a'r hwn y gwradwyddasant

ddasant fy mhobl, ac yr ymfawrygasant yn erbyn eu terfynau hwynt.

9 Am hynny fel mai byw fi, medd Arglwydd y lluoedd, Duw Israel, fel Sodoma y bydd Moab, a meibion Ammon fel Gomorrah; danhadl-dir, a phyllau halen, ac anghyfanneddle tragywyddol; gweddill fy mhobl a'i difroda, a gweddill fy nghenedl a'i meddianna hwynt.

10 Hyn a ddaw iddynt am eu balchder, am iddynt wradwyddo, ac ymfawrygu yn erbyn pobl Arglwydd y lluoedd.

11 Ofnadwy a fydd yr Arglwydd iddynt; canys efe a ‖ newyna holl dduwiau y ddaiar, ac addolant ef bôb vn o'i fan, sef holl ynysoedd y cenhedloedd.

12 Chwithau hefyd yr Ethiopiaid, a leddir â'm cleddyf.

13 Ac efe a estyn ei law yn erbyn y gogledd, ac a ddifetha Assyria, ac a wna Nineveh yn anghyfannedd, [ac] yn sych fel diffaethwch.

14 A diadellau a *orweddant yn ei chanol hi, holl anifeiliaid y cenhedloedd; y pelican, a'r dylluan hefyd a letteuant ar gap y drws, eu llais a gân yn y ffenestri, anghyfannedd-dra [a fydd] yn y gorsingau; ‖ canys efe a ddinoetha y cedr-waith.

15 Hon yw'r ddinas hoyw oedd yn trigo yn ddiofal, yn dywedyd yn ei chalon, *mysi [sydd] ac nid [oes] ond mysi; pa fodd yr aeth yn anghyfannedd, yn orweddfa anifeiliaid: pawb a'r a êl heibio iddi, a'i hwttia, ac a escwyd ei law arni.

## PEN. III.

1 Toſt-lym gerydd Ieruſalem am amryw bechodau. 8 Annog i ddiſgwyl am adferiad Iſrael: 14 ac i lawenychu o achos eu hymwared gan Ddaw.



Wae 'r ‖ fudr a'r halogedic, y ddinas orthrymmus,

2 Ni wrandawodd ar y llef, ni dderbyniodd ‖ gerydd, nid ymddiriedodd yn yr Arglwydd, ni nesaodd at ei Duw.

3 Ei thywysogion o'i mewn sydd yn *llewod rhuadwy, ei barn-wyr yn fleiddiau yr hwyr, ‖ ni adawant ascwrn erbyn y boreu.

4 Ei *phrophwydi [sydd] yscafn, yn wyr anffyddlon, ei hoffeiriaid a halogasant y cyssegr, *treisiasant y gyfraith.

5 Yr Arglwydd cyfiawn [sydd] yn ei chanol: ni wna efe anwiredd, yn foreu y dwg ei farn i oleuni, ni phalla; onid yr anwir ni fedr gywilyddio.

6 Torrais ymaith y cenhedloedd: eu ‖ tyrau sydd anghyfannedd, diffeithiais eu heolydd, fel nad elo neb heibio; eu dinasoedd a ddifwynwyd, heb wr, a heb drigiannol.

7 Dywedais, yn ddiau ti a'm hofni; derbyni gerydd: felly ei thrigfa ni thorrid ymaith, pa fodd bynnac yr ymwelais â hi: etto boreu godasant, [a] llygrasant eu holl weithredoedd.

8 Am hynny disgwiliwch arnafi, medd yr Arglwydd, hyd y dydd y cyfodwyf i'r ysclyfaeth; canys fy ‖ marn [sydd] ar gynnull y cenhedloedd, ar gasclu y teyrnasoedd, i dywallt arnynt fy llid, holl angerdd fy nigofaint: canys â thân fy *eiddigedd yr yssir yr holl ddaiar.

‖ neu, fy mryd.

*Pen. 1.18.

9 O herwydd yna yr adferaf i'r bobl wefus bûr, fel y galwo pôb vn o honynt ar enw'r Arglwydd, i'w wasanaethu ef ag vn ysgwydd.

10 O'r tu hwnt i afonydd Ethiopia y dwg fy ngweddiwyr, sef merch fy ngwascaredic, fy offrwm.

11 Y dydd hwnnw ni'th wradwyddir am dy holl weithredoedd, yn y rhai y pechaist i'm herbyn; canys yna y symudaf o'th blith y neb sydd yn hyfryd ganddynt dy falchder, fel nad ymddyrchafech mwyach yn fy mynydd sanctaidd.

12 Gadawaf ynot hefyd bobl druain dlodion, ac yn enw 'r Arglwydd y gobeithiant hwy.

13 Gweddill Israel ni wna anwiredd, ac ni ddywedant gelwydd; ac ni cheir yn eu genau dafod twyllodrus; canys hwy a borant, ac a orweddant, ac ni [bydd] a'i tarfo.

14 *Merch Sion, cân; Israel crechwenna, merch Jerusalem ymlawenycha, a gorfoledda â'th holl galon.

*Es. 12. 6. & 54.1.

15 Tynnodd yr Arglwydd ymaith dy farnau, bwriodd allan dy elynion: yr Arglwydd Brenin Israel [sydd] yn dy ganol, nid ofni ddrwg mwyach.

16 Y dydd hwnnw y dywedir wrth Jerusalem, nac ofna; [wrth] Sion, na laesed dy ddwylo.

17 Yr Arglwydd dy Dduw yn dy ganol di sydd gadarn, efe a achub, efe a lawenycha o'th blegid gan lawenydd, efe a lonydda yn ei gariad, efe a ymddigrifa ynot dan ganu.

18 Casclaf y rhai sydd brudd am y gymmanfa, y rhai sydd o honot, i'r rhai yr oedd ‖ ei gwradwydd yn faich.

‖ Heb. y baich arno yn wradwydd.

19 Wele, mi a ddifethaf yr amser hwnnw bawb a'th flinant, ac a *achubaf y gloff, a chasclaf y wascaredic, ac a'i gosodaf yn glodfawr, ac yn enwoc, yn holl dir eu gwarth.

*Mic. 4.7.

20 Yr amser hwnnw y dygaf chwi drachefn, yr amser i'ch casclaf; canys gwnaf chwi yn enwoc, ac yn glodfawr ym mysc holl bobl y ddaiar, pan ddychwelwyf eich caethiwed o flaen eich llygaid, medd yr Arglwydd.

LLYFR



# LLYFR HAGGAI.

PENOD. I.

1 Haggai yn beio ar y bobl am esceuluso adeiladu y ty: 7 yn eu hannog hwy iw adeiladu ef: 12 Ac yn addo cymmorth Duw iddynt os gwnaent hynny yn ewyllysgar.



YN yr ail flwyddyn i'r brenin Darius, yn y chweched mis, ar y dydd cyntaf o'r mis, y daeth gair yr Arglwydd trwy law Haggai y prophwyd, at Zorobabel fab Salathiel, tywysog Juda; ac at Josua fab Josedech yr arch-offeiriad, gan ddywedyd;

2 Fel hyn y llefara Arglwydd y lluoedd, gan ddywedyd, y bobl hyn a ddywedant, ni ddaeth [yr] amser, yr amser i adeiladu tŷ 'r Arglwydd.

3 Yna y daeth gair yr Arglwydd trwy law Haggai y prophwyd, gan ddywedyd;

4 Ai amser [yw] i chwi eich hunain drigo yn eich tai byrddiedic, a'r tŷ hwn yn anghyfannedd;

5 Fel hyn gan hynny yn awr y dywed Arglwydd y lluoedd; ‖ ystyriwch eich ffyrdd.

‖Heb, gosodwch eich calonnau ar eich ffyrdd.

6 *Hauasoch lawer, a chludasoch ychydig; bwytta yr ydych, ond nid hyd ddigon: yfed, ac nid hyd fod yn ddiwall; ymwiscasoch, ac nid hyd glydwr i neb, a'r hwn a ennillo gyflog, sydd yn casclu cyflog i gôd dylloc.

*Deut. 28. 38. Mic. 7. 14. 15.

7 Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, ystyriwch eich ffyrdd.

8 Escynnwch i'r mynydd, a dygwch goed, ac adeiledwch y tŷ; *mi a ymfodlonaf ynddo, ac i'm gogoneddir, medd yr Arglwydd.

*1. Br. 8. 21. 29.

9 Edrychasoch am lawer, ac wele yr oedd yn ychydig; a phan y dygasoch adref, ‖ chwythais arno: am ba beth, medd Arglwydd y lluoedd? am y tŷ mau fi, yr hwn sydd yn anghyfannedd, a chwithau yn rhedeg bawb iw dŷ ei hun.

‖Neu, chwythais ef ymaith.

10 Am hynny gwaharddwyd i'r nefoedd oddiarnoch wlitho, a * gwaharddwyd i'r ddaiar roddi ei ffrwyth.

*Deut. 28. 23.

11 Gelwais hefyd am sychder ar y ddaiar, ac ar y mynyddoedd, ac ar yr ŷd, ac ar y gwin, ac ar yr olew, ac ar yr hyn a ddwg y ddaiar allan; ar ddŷn hefyd, ac ar anifail, ac ar holl lafur dwylo.

12 Yna y gwrandawodd Zorobabel mab Salathiel, a Josua mab Josedech yr arch-offeiriad, a holl weddill y bobl, ar lais yr Arglwydd eu Duw, ac ar eiriau Haggai y prophwyd; (megis yr anfonasai eu Harglwydd Dduw hwynt ef) a'r bobl a ofnasant ger bron yr Arglwydd.

13 Yna Haggai cennad yr Arglwydd, a ddywedodd trwy gennadwri yr Arglwydd, wrth y bobl, gan ddywedyd; yr wyf fi gyd â chwi, medd yr Arglwydd.

14 Felly y cynnhyrfodd yr Arglwydd, yspryd Zorobabel fab Salathiel, tywysog Juda, ac yspryd Josua fab Josedech yr arch-offeiriad, ac yspryd holl weddill y bobl, a hwy a ddaethant, ac a weithiasant y gwaith yn nhŷ Arglwydd y lluoedd, eu Duw hwynt;

15 Y pedwerydd dydd at hugain o'r chweched mis, yn yr ail flwyddyn i Ddarius y brenhin.

PEN. II.

1 Y mae yn rhoi calon yn y bobl i weithio, trwy addaw gogoniant mwy i'r ail Deml, nag oedd yn y gyntaf. 10 Tan rith pethau sanctaidd a phethau aflan, y mae yn dangos fod eu pechodau hwy yn rhwystro 'r gwaith. 20 Addewid Duw i Zorobabel.



YN y seithfed [mis, ar] yr unfed [dydd] ar hugain o'r mis, y daeth gair yr Arglwydd trwy law y prophwyd Haggai, gan ddywedyd;

2 Dywed yn awr wrth Zorobabel fab Salathiel tywysog Juda, ac wrth Josua fab Josedech yr arch-offeiriad, ac wrth weddill y bobl, gan ddywedyd;

3 Pwy yn eich plith a adawyd, yr hwn a welodd y tŷ hwn yn ei ogoniant cyntaf? a pha fodd y gwelwch chwi ef yr awr hon? onid [yw] wrth hwnnw yn eich golwg, fel peth heb ddim?

4 Etto yn awr ymgryfhâ Zorobabel, medd yr Arglwydd, ac ymgryfhâ Josua mab Josedech yr arch-offeiriad, ac ymgryfhewch holl bobl y tir, medd yr Arglwydd, a gweithiwch; canys yr [ydwyf] fi gyd â chwi, medd Arglwydd y lluoedd.

5 [Yn ôl] y gair a ammodais â chwi, pan ddaethoch allan o'r Aipht, felly yr erys fy Yspryd yn eich mysg: nag ofnwch.

6 Canys fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, * unwaith etto, ennyd fechan yw, a mi a escydwaf y nefoedd, a'r ddaiar, a'r môr, a'r sychdir.

*Heb. 12. 26.

7 Yscydwaf hefyd yr holl genhedloedd, a dymuniant yr holl genhedloedd a ddaw; llanwaf hefyd y tŷ hwn â gogoniant, medd Arglwydd y lluoedd.

8 Eiddo



# APOCRYPHA.

## I. ESDRAS.

### PENNOD. I.

1 Gorchymmyn Iosias i'r Offeiriaid a'r Leuiaid. 7 Cadw Pasc mawr. 32 Mawr gwyn am farwolaeth Iosiah. 34 Pwy a ddaeth ar ei ôl ef. 53 Distrywio 'r Deml, ar ddinas, a'r bobl: 56 A chaethgludo 'r llaill i Babilon.



A* Josias a gadwodd [ŵyl] y Pasc i'w Arglwydd yn Jerusalem, ac a offrymmodd yr [oen] Pasc ar y pedwerydd dydd ar ddéc o'r mis cyntaf,

2 Ac a gyfleodd yr Offeiriaid yn eu beunyddawl orchwyliaethau, wedi eu dilladu mewn gwiscoedd lleision, yn nhŷ yr Arglwydd.

3 Ac efe a ddywedodd wrth y Lefiaid, sanctaidd weinidogion Israel, am iddynt hwy eu sancteiddio eu hunain i'r Arglwydd, i osod Arch sanctaidd yr Arglwydd yn y tŷ a adeiladasei y brenin Salomon mab Dafydd:

4 [Gan ddywedyd,] na fydded hi mwyach yn faich i chwi ar yscwydd: gwasanaethwch yn awr yr Arglwydd eich Duw, a gofelwch am ei bobl ef Israel, ac ymbaratowch drwy eich teuluoedd, yn ôl eich dosparthiadau, fel yr scrifennodd Dafydd brenin Israel, ac yn ôl mawredd Salomon ei fab ef.

5 A sefwch yn y Deml, yn ôl dosparthiad teulu eich tadau chwi y Lefiaid, ger bron eich brodyr meibion Israel.

6 Mewn trefn offrymmwch y Pasc, a pharatowch yr aberthau i'ch brodyr: a chedwch y Pasc yn ôl gorchymmyn yr Arglwydd, drwy [law] Moses.

7 A Josias a roddodd i'r bobl oedd yn bresennol ddeng-mil ar hugain o wyn a mynnod, a thair mil o eidionnau: hyn o gyfoeth y brenin a roddwyd i'r bobl, ac i'r Offeiriaid, ac i'r Lefiaid, yn ôl yr addewid.

8 Yna Helcias, a Zacharias, a‖Syelus, llywodraeth-wŷr y Deml, a roddasant i'r Offeiriaid tu ag at y Pasc ddwy fil, a chwechant o ddefaid, a thry-chant o eidionnau.

9 Jechonias hefyd, a Samaias, a Nathanael ei frawd, a Sabaias, ac Ochiel, a Joram, milwriaid, a roddasant i'r Lefiaid ynghyfer y Pasc, bum mil o ddefaid, a saithgant o eidionnau.

2.Cron. 35.9.

10 Pan orphennwyd hyn yn drefnus, yr Offeiriaid a'r Lefiaid a safasant drwy yr llwythau, a chanddynt fara croyw,

11 Yn ôl dosparthiadau teuluoedd eu tadau, yngŵydd y bobl, i offrymmu i'r Arglwydd, fel y mae yn scrifennedic yn llyfr Moses: ac felly y gwnaethant y borau.

2.Cro. 35. 12.

12 A hwy a rostiasant yr [oen] Pasc wrth dân, *yn ôl y ddefod, a'r offrymmau a ferwasant gyd â phêr-aroglau, mewn pedyll, a chrochanau; ac a'i rhoddasant ger bron yr holl bobl.

Exod. 12. 8.

13 Wedi hynny y paratoesant iddynt eu hunain, ac i'w brodyr yr Offeiriaid meibion Aaron.

14 Canys yr Offeiriaid a offrymment y brasder hyd yr hwyr: a'r Lefiaid a baratoent iddynt eu hunain, ac i'w brodyr yr Offeiriaid, meibion Aaron.

15 A'r cantorion sanctaidd, meibion Asaph oedd yn eu cyflê, yn ôl gorchymmyn *Dafydd, sef Asaph, Zacharias, Jeduthun, gweledydd y brenin.

2.Cro. 35. 15.

16 A'r porthorion oedd ym mhob porth, ni chaent hwy ymado o'i gwasanaeth, canys eu brodyr y Lefiaid a baratoent iddynt hwy.

17 Felly y gorphennwyd holl wasanaeth yr Arglwydd y dwthwn hwnnw:

18 Gan gynnal y Pasc, ac offrymmu poeth offrymmau ar allor yr Arglwydd, yn ôl gorchymmyn y brenin Josias.

19 Felly meibion Israel, y rhai oedd bresennol, a gynhaliasant y Pasc yr amser hwnnw; a gŵyl y bara croyw, dros saith niwrnod.

20 Ac ni chynhaliasid Pasc fel hwnnw yn Israel, er amser Samuel y Prophwyd.

21 Ac ni chynhaliodd neb o frenhinoedd Israel y cyffelyb Basc ac a gynhaliodd Josias, a'r Offeiriaid, a'r Lefiaid, a'r Iddewon, a holl Israel, a'r rhai oedd bresennol o drigolion Jerusalem.

22 Yn y ddeunawfed flwyddyn o deyrnasiad Josias y cynhaliwyd y Pasc hwnnw.

23 A gweithredoedd Josias oeddynt uniawn ger bron ei Arglwydd, â chalon gyflawn o dduwioldeb.

24 Ac am y pethau a ddigwyddasant yn ei amser ef, y maent hwy yn scrifennedic o'r blaen, o ran y rhai a bechasant, ac a fuant annuwiol yn erbyn yr Arglwydd, rhagor pôb cenhedl a theyrnas, gan ei dristâu ef yn dirfawr, fel y cyfododd geiriau yr Arglwydd yn erbyn Israel.

2.Cron.35.20.

25 Wedi darfod i Josias y pethau hyn, y digwyddodd i * Pharao brenin yr Aipht, ddyfod i ryfela yn erbyn Carchamis ar Euphrates; a Josias a aeth iw gyfarfod ef.

26 Ond brenin yr Aipht a anfonodd atto ef, gan ddywedyd; beth sydd i mi a wnelwyf â thi, frenin Judæa?

27 Nid yn dy erbyn di i'm gyrrodd yr Arglwydd Dduw, ond fy rhyfel i sydd ar Euphrates, ac yn awr yr Arglwydd sydd gyd â mi, a'r Arglwydd sydd gydâ mi, yn peri i mi frysio: ymado â mi, ac na wrthwyneba yr Arglwydd.

28 Ond ni throei Josias ei gerbyd oddiwrtho ef, eithr efe a ymdacclodd i ymladd ag ef, heb ystyried geiriau Jeremi y Prophwyd, o enau yr Arglwydd.

29 Ac efe a fyddinodd yn ei erbyn yn nyffryn Megido, a'r tywysogion a ddacthant i wared at frenin Josias.

30 A'r brenin a ddywedodd wrth ei weision, dygwch fi allan o'r gâd, canys yr ydwyf yn llesg iawn: ac yn ebrwydd ei weision a'i dygasant ef allan o'r gâd:

31 Yna efe a escynnodd i'w ail cerbyd, ac wedi iddo ddychwelyd i Jerusalem, efe a fu farw, ac a gladdwyd ym meddrod ei dadau.

32 A thrwy holl Juda y galarwyd am Josias, a Jeremi y Prophwyd a alar-nadodd am Josias, a'r llywodraeth-wŷr, a'i gwragedd a wnaethant gwynfan mawr am Josias, hyd y dydd heddyw: ac fe aeth hynny yn ddefod i'w wneuthur yn oestad ym mhlith holl genedl Israel.

33 Y mae y pethau hyn yn scrifennedic yn llyfr histori âu brenhinoedd Juda; a phob gweithred a'r a wnaeth Josias, a'i ogoniant, a'i wybodaeth ynghyfraith yr Arglwydd, a'r pethau a wnaethei efe o'r blaen, a'r pethau [a yspyswyd] y pryd hyn, sy scrifennedic yn llyfr brenhinoedd Israel, a Judæa.

*2.Br.23.31. 2.Cron. 36.1.

34 A'r bobl a gymmerasant * Joachas fab Josias, ac a'i urddasant ef yn frenin yn llê Josias ei dâd, pan oedd efe yn dair blwydd ar hugain o oed.

35 Ac efe a deyrnasodd yn Judæa, ac yn Jerusalem dri mis: ac yna brenin yr Aipht a'i tynnodd ef ymmaith o deyrnasu yn Jerusalem.

36 Ac efe a drethodd ar y wlad gan talent o arian, ac un dalent o aur.

37 A brenin yr Aipht a wnaeth Joacim ei frawd ef yn frenin Judæa, a Jerusalem.

38 Ac efe a rwymodd Joachim a'r llywodraeth-wŷr: ac efe a ddaliodd Zaraces ei frawd, ac a'i dug ef ymmaith i'r Aipht.

2.Cron.

39 Joacim oedd bum mlwydd ar hugain, pan * ddechreuodd efe deyrnasu yn Judæa, a Jerusalem, ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg yngolwg yr Arglwydd.

40 Am hynny Nabuchodonosor brenin Babilon a ddaeth i fynu yn ei erbyn ef, ac a'i rhwymodd ef â chadwyn brês, ac a'i dug ef ymmaith i Babilon.

41 Yna Nabuchodonosor a gymmerth o lestri sanctaidd yr Arglwydd, ac a'i dug hwynt ymmaith, ac a'i rhoddes yn ei Deml ei hun, o fewn Babilon.

42 Ond ei holl weithredoedd ef, a'i halogedigaeth, a'i anwiredd, sydd yn scrifennedic yn Chroniclau y brenhinoedd.

43 A Joacim ei fab a deyrnasodd yn ei lê ef: a deu-naw mlwydd oed oedd efe, pan urddwyd ef yn frenin.

44 A thri mis, a deng-nhiwrnod y teyrnasodd efe yn Jerusalem: ac yntef a wnaeth yr hyn oedd ddrwg yngolwg yr Arglwydd.

45 Felly ym mhen y flwyddyn, Nabuchodonosor a anfonodd, ac a'i dug ef i Babilon, gyd â llestri sanctaidd yr Arglwydd,

46 Ac a wnaeth Zedecias yn frenin Judæa a Jerusalem, pan oedd efe yn un mlwydd ar hugain o oed; ac efe a deyrnasodd un mlynedd ar ddêc.

47 Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg yngolwg yr Arglwydd, ac nid ofnodd y geiriau * a ddywedasei Jeremi y Prophwyd wrtho, o enau yr Arglwydd.

*Ier.

48 Ac yn ôl iddo ef fod wedi ei dyngu i Nabuchodonosor, efe a dyngodd anudon i Enw yr Arglwydd, ac a wrthryfelodd, ac a galedodd ei warr a'i galon, ac a drosseddodd gyfreithiau Arglwydd Dduw Israel.

49 A phennaethiaid y bobl, a'r Offeiriaid a wnaethant lawer o anwiredd yn erbyn y cyfreithiau, ac a ragorasant ar holl frynti yr holl genhedloedd, ac a halogasant Deml yr Arglwydd, yr hon a gyssegrasid yn Jerusalem.

50 Er hynny Duw eu tadau a ddanfonodd ei gennad iw galw hwy drachefn, am iddo fod yn eu harbed hwynt, a'i Dabernacl ei hun.

51 Ond hwyntwy a watwarent ei gennadau ef, a'r dydd yr ymddiddanei yr Arglwydd â hwynt, hwy a watwarent ei Brophwydi ef.

52 O'r diwedd, efe a ddigllonodd wrth ei bobl am eu camweddau mawrion, ac efe a barodd i frenhinoedd y Caldeaid ddyfod i fynu yn eu herbyn hwynt.

53 Y rhai hyn a laddasant eu gwŷr ieuaingc a'r cleddyf o fewn angylchoedd eu Teml sanctaidd, ac ni pharchasant na gwŷr ieuangc, na morwyn, na hen-wr, na phlentyn, yn eu plith hwynt.

54 Eithr

54 Eithr efe a'i rhoddes hwynt oll yn eu dwylo hwy, a holl lestri sanctaidd yr Arglwydd, mawrion a bychain, a llestri Arch Duw; a thrysorau y brenin a gymmerasant hwy, ac a ddygasant ymmaith i Babilon.

55 A hwy a loscasant Deml yr Arglwydd, ac a dorrasant i lawr furiau Jerusalem, ac a loscasant ei thyrau â thân.

56 Difwynasant hefyd ei holl bethau gwerth-fawr, ac a'i dinistriasant: ac efe a ddug ymmaith y rhai a weddillasei y cleddyf, i Babilon.

57 Y rhai a fuant yn gaeth-weision iddo ef, ac i'w feibion, nes teyrnasu o'r Persiaid; fel y cyflawnid *gair yr Arglwydd, [yr hwn a ddywedasei efe] drwy enau Jeremi.

*Jer.25.11.& 29.10.

58 Fel y mwynhaei y wlâd ei Sabbothau, yr holl amser y bu hi yn ddiffaethwch, ac y gorphywysei hyd oni chyflawnwyd deng mhlynedd a thrugain.

## PEN. II.

1 Duw yn cynnhyrfu Cyrus i adeiladu 'r Deml; 5 ac yntau yn rhoi cennad i'r Iuddewon i ddychwelyd, ac i roi peth tu ac at y gwaith: 11 Ac yn rhoi yn ei hôl y llestri a ddygasid oddi yno. 25 Artaxerxes yn gwarafun i'r Iuddewon adeiladu.

2 Cron.36.22. Ezr.1.1.

N y flwyddyn gyntaf o deyrnasiad Cyrus brenin y Persiaid, i gyflawni gair yr Arglwydd o enau Jeremi,

2 Yr Arglwydd a annogodd yspryd Cyrus brenin y Persiaid, fel y cyhoeddodd efe trwy ei holl deyrnas, a [hynny] mewn scrifen.

3 Gan ddywedyd; fel hyn y dywed Cyrus brenin y Persiaid; Arglwydd Israel, sef yr Arglwydd goruchaf a'm gwnaeth i yn frenin ar yr holl fyd.

4 Ac a orchymynnodd i mi adeiladu iddo dŷ yn Jerusalem, yr hon sydd yn Judæa.

5 [Am hynny] od oes nêb o honoch chwi o'i bobl ef, bydded yr Arglwydd [sef] ei Arglwydd gyd ag ef, ac eled i fynu i Jerusalem, yr hon sydd yn Judæa, ac adeiladed dŷ Arglwydd Israel: canys||efe yw 'r Arglwydd sydd yn presswylio yn Jerusalem.

||im.

6 A phwy bynnac sydd yn cyfanneddu y lleoedd hynny o'i hamgylch, cynnorthwyed [y rhai sydd yno] ef ag aur, ac ag arian,

7 A rhoddion, â meirch, ac anifeiliaid, gyd ag addunawl offrymmau i Deml yr Arglwydd, yr hon sydd yn Jerusalem.

8 Yna pennaethiaid teuluoedd Judæa, a llwyth Beniamin, a'r Offeiriaid, a'r Lefiaid a gyfodasant, a chymmeint oll ac y cynhyrfodd yr Arglwydd eu meddwl i fyned i fynu, ac i adeiladu tŷ i'r Arglwydd yn Jerusalem.

9 A'r rhai oedd o'i hamgylch hwynt a'i cynnorthwyasant ym mhob peth, ag arian, ac ag aur, â meirch, ac anifeiliaid, ac â llawer iawn o addunawl roddion, y rhai yr oedd eu meddwl wedi eu cynhyrfu [at hynny.]

10 Brenin Cyrus hefyd a ddug allan lestri sanctaidd yr Arglwydd, y rhai a ddygasei Nabuchodonosor ymmaith o Jerusalem, ac a'i cyssegrasei yn nheml ei eulynnod.

11 A phan ddug Cyrus brenin y Persiaid hwynt allan, efe a'i rhoddodd hwynt at Mithridates ei drysorydd,

12 Iw rhoddi hwynt i|| Sanabassar rhaglaw Judæa.

||Gr. Sasbazar.

13 Dymma eu rhifedi hwynt: mil o gawgiau aur, a mil o gawgiau arian, o noiau arian i'r ebyrth naw ar hugain, dêc ar hugain o phiolau aur, ac o arian|| ddwy fil, pedwar cant a dêc, a mil o lestri eraill.

||Ez.1.10. bedwar cant a deg.

14 Felly yr holl lestri aur ac arian, y rhai a ddygasid ymmaith, oedd||bum mil, a phedwar-cant, a naw a thrugain.

||Ez.1.11. bum mil a phedwar cant.

15 A Sanabassar a'i dug hwynt gyd â'r [rhai a aethant] o gaethiwed Babilon i Jerusalem.

16 *Ond yn amser Artaxerxes brenin y Persiaid; Belemus, a Mithridates, a Thabelius, a ||Rathumus, a Beeltethmus, a ||Semelius yr scrifennydd, ac eraill o'i cyd-swydd-wyr hwynt, y rhai oedd yn aros yn Samaria, ac mewn lleoedd eraill, a scrifennasant atto y llythyr hwn, yn erbyn y rhai oedd yn presswylio yn Judæa, a Jerusalem: AT Y BRENIN ARTAXERXES [EIN] HARGLWYDD,

*Ez.4.6.
||Gwêl Ez.4.9.
||Simsai, Ez.4.8.

17 Dy weision di, Rathumus scrifennydd histoiau, a Semelius yr scrifennydd, ac eraill o'i cyd-gynghor-wyr, a'r barnwyr sydd yn Coelosyria, ac yn Phenice:

18 Bydded hyspys i'n harglwydd frenin, fod yr Iddewon a ddaethant oddi wrthych chwi attom ni i Jerusalem, (y ddinas wrthryfelgar ddrygionus honno) yn adeiladu y farchnad-lê, ac yn adnewyddu ei muriau hi, ac yn gosod sylfaenau y Deml.

19 Yn awr os adeiledir y ddinas hon, ac adnewyddu ei muriau hi, ni wrthodant yn vnic dalu teyrn-ged, eithr hwy a wrthwynebant frenhinoedd.

20 O herwydd bod y pethau sydd yn perthynu i'r Deml yn myned rhagddynt, ni thybiasom fod yn weddaidd gollwng heibio y fath beth:

21 Eithr ei ddangos ef i'n harglwydd y brenin, modd y gellech di, o rhyngei fodd i ti, chwilio yn llyfrau dy dadau,

22 A thi a gei yn y Croniclau, y pethau sy scrifennedig am y pethau hyn, fel y cefych wybod fod y ddinas hon yn gwrthryfela, ac yn gwneuthur blinder i frenhinoedd, ac i ddinasoedd,

23 A bod yr Iddewon yn wrthryfelgar, ac yn magu terfysgau ynddi erioed; o herwydd yr hwn beth y darfu dinistrio y ddinas hon.

24 Am hynny yn awr, ô Arglwydd frenin, yr ydym ni yn hyspysu i ti, os adeiledir y ddinas hon, ac os cyweirir ei muriau hi, ni bydd i ti ffordd i fyned i Coelosyria, nac i Phenice.

25 Yna y brenin a scrifennodd drachefn at Rathumus yr historia-wr, ac at Beeltethmus, ac at Semelius yr scrifennydd, ac at eraill o'i cyd-swydd-wŷr, a thrigolion Samaria, Syria, a Phenice, yn y wedd hon.

26 Mysi a ddarllennais y llythyr a ddanfonasoch attaf: am hynny mi a orchymynnais chwilio, ac fe a gafwyd, fod y ddinas hon erioed yn gwrthwynebu brenhinoedd,

27 A bod ei phobl yn gwneuthur terfysgoedd a rhyfeloedd, a bod brenhinoedd crysion a chedyrn yn teyrnasu yn Jerusalem, y rhai oedd yn teyrnasu, ac yn mynnu teyrn-ged o Coelosyria, a Phenice.

28 O herwydd hynny y gorchymynnais yn awr wahardd i'r gwŷr hyn adeiladu y ddinas, a gwilied rhac gwneuthur o honynt ddim mwyach,

29 Ac na chaffei y gweithwyr drygionus hynny fyned rhagddynt, ym-mhellach, i flino'r brenhin.

30 Ac wedi i Rathumus, a Semelius yr scrifennydd, ac eraill eu cyd-swydd-wŷr, ddarllen y pethau a scrifennasei y brenin Artaxerxes, yna hwy a ddaethant ar frŵst i Jerusalem, a byddin o wŷr meirch, a ‖ sawdwyr lawer, ac a ddechreuasant rwystro yr adeiladwŷr, fel y peidiodd adeiladaeth y Deml yn Jerusalem, hyd yr ail flwyddyn o deyrnasiad Darius brenin y Persiaid.

‖ Neu, lliaws o bobl.

P E N. III.

4 Tri yn ymryson am y goreu, mewn ymadroddion doethion: *9* Ac yn rhoi ar farn y Brenin: 13 A'r cyntaf o honynt yn dangos mor nerthol yw gwin.



Phan oedd Darius yn teyrnasu, efe a wnaeth wledd fawr i'w holl ddeiliaid, ac i'w holl deulu, ac i holl lywodraeth-wŷr Media a Phersia,

2 Ac i'r holl bennaethiaid, a'r blaenoriaid, a'r swydd-wŷr oedd tano ef, o India hyd Ethiopia, drwy gant a saith ar hugain o daleithiau.

3 Ac wedi iddynt fwyta ac yfed, a'i digoni, hwy a aethant ymmaith: a'r brenin Darius a aeth i'w stafell, ac a gyscodd [ychydig,] ac a ddeffrôdd.

4 Yna y try-wŷr ieuaingc, y rhai oedd yn cadw corph y brenin a ddywedasant y naill wrth y llall,

5 Dyweded pob un o honom ni air godidog, a'r neb a orchfygo, ac y gweler ei air yn ddoethach nâ'r lleill, Darius y brenin a ddyry iddo ef fawr roddion, yn arwydd o fuddugoliaeth,

6 Sef gwisco porphor, ac yfed mewn llestri aur, a chyscu mewn dillad goreuraid, a cherbyd a ffrwynau o aur, a gwisc pen o sidan, a chadwyn am ei wddf.

7 Ac efe a gaiff eistedd yn nessaf at Darius, o herwydd ei ddoethineb, ac efe a elwir yn gâr i Ddarius.

8 Yna pob un a scrifennodd ei air, ac a'i seliodd; a hwy a'i rhoddasant tan obennydd y brenin Darius,

9 Ac a ddywedasant, pan ddeffrô yr brenin y rhoddir iddo yr scrifen, a phwy bynnac y barno y brenin a thri thywysog Persia, fod ei air yn ddoethaf, efe a gaiff y fuddugoliaeth, fel yr scrifennwyd.

10 Un a scrifennodd, trechaf yw gwin.

11 Y llall a scrifennodd, trechaf y brenin.

12 Y trydydd a scrifennodd, trechaf yw gwragedd; ond uwch law pob peth, gwirionedd a orchfyga.

13 A phan ddeffrôdd y brenin, hwy a gymmerasant eu scrifennau, ac a'i rhoddasant iddo, ac efe a'i darllennodd hwynt.

14 Ac efe a yrrodd i alw am holl bendefigion Persia, a Media, a'r pennaethiaid, a'r blaenoriaid, a'r llywodraeth-wŷr, a'r swydd-wŷr,

15 Ac efe a eisteddodd yn y frawd-lê, a'r scrifennau a ddarllennwyd ger eu bron hwynt.

16 Yna efe a ddywedodd, gelwch y gwŷr ieuaingc, fel y mynegont eu geiriau eu hunain, felly hwy a'i galwasant hwy, a hwythau a ddaethant i mewn.

17 Ac efe a ddywedodd wrthynt, hyspyswch i ni yr scrifennau: yna y cyntaf a ddechreuodd, yr hwn a ddywedasei am nerth y gwin,

18 Ac a ddywedodd fel hyn, ô chwychwi wŷr, mor nerthol yw gwin, yr hwn sydd yn twyllo pob dŷn a'r a'i yfo.

19 Y mae efe yn gwneuthur yr un meddwl gan y brenin a chan yr ymddifad, gan y caeth a'r rhydd, gan y tlawd a'r cyfoethog.

20 Y mae efe yn troi pob meddwl i ddigrifwch a llawenydd, fel na chofio dŷn na thristwch na dylêd:

21 Ac y mae efe yn gwneuthur pob calon yn hael, ac ni feddwl am frenin na phennaeth, ac efe a bair adrodd y cwbl wrth dalentau.

22 A phan fyddont wedi yfed, nid argofiant garu na chyfeillion na brodyr, ac wedi hynny ar fyrder y tynnant gleddyfau

23 Ac wedi iddynt ddadebru o'r gwin, ni ddaw yn eu côf beth a wnaethant.

24 Oh hawŷr, onid trechaf yw gwin, yr hwn sydd yn peri y cyfryw bethau: ac wedi iddo ef ddywedyd felly, efe a dawodd.

P E N. IV.

1 Yr ail yn dangos mor nerthol yw Brenin, 14 A'r trydydd mor nerthol yw gwragedd; 33 a'r Gwirionedd: 41 A hwnnw yn cael ei farnu

farnu yn ddoethaf, 47 ac yn cael llythyrau gan y Brenin i adeiladu Ierusalem: 58 ac yn moliannu Duw, ac yn mynegi i'w frodyr beth a wnaethai efe.

Yna yr ail, yr hwn a ddywedasei am nerth y brenin, a ymadroddodd,

2 Oh chwychwi wŷr, onid trechaf yw dynion, y rhai sydd yn llywodraethu môr a thir, a'r hyn oll sydd ynddynt?

3 Ond y mae y brenin yn gryfach, ac yn rheoli y cwbl, efe sydd yn arglwyddiaethu arnynt hwy: a'r hyn oll a archo efe iddynt, hwy a'i gwnânt.

4 Od eirch efe iddynt ryfela y naill ar y llall, hwy a wnânt hynny: os denfyn efe hwynt yn erbyn y gelynion, hwy a ânt, ac a dorrant i lawr fynyddoedd, muriau, a thyrau.

5 Hwy a laddant, ac a leddir, ac ni thorrant orchymmyn y brenin: os gorchfygant, i'r brenin y dygant y cwbl, yn gystal yr anrhaith a phob peth arall:

6 A'r sawl nid elo i derfysc, ac i ryfel, eithr llafurio yr ddaiar; wedi iddynt ei hau, hwy a'i medant, ac a'i dygant i'r brenin, ac a gymhellant y naill y llall i dalu teyrn-ged i'r brenin.

7 Ac etto nid yw efe ond vn dyn; od eirch efe ladd, fe a leddir; od eirch efe arbed, fe a arbedir,

8 Od eirch efe daro, hwy a darawant, od eirch efe ddiffeithio, hwy a ddiffeithiant; od eirch efe adeiladu, hwy a adeiladant;

9 Od eirch efe dorri i lawr, hwy a dorrant, od eirch efe blannu, hwy a blannant.

10 Felly ei holl bobl a'i holl luoedd, sydd yn vfyddhau iddo ef: ac yn y cyfamser efe a eistedd i lawr, ac a fwytty, ac a ŷf, ac a huna.

11 Canys y rhai hyn a'i cadwant ef o amgylch ogylch; ac ni dichon nêb fyned ymmaith i'w negessau ei hun, ac ni byddant anufydd iddo mewn dim.

12 Oh chwychwi wyr, ond trechaf y brenin, gan ei fod efe yn cael y cyfryw rwysc? Ar hynny efe a dawodd.

13 Yna y trydydd, yr hwn a ddywedasei am wragedd, a gwirionedd, (hwnnw oedd Zorobabel) a ddechreuodd ymadroddi.

14 O chwychwi wŷr, nid y brenin mawr, na llaweroedd o ddynion, na gwîn, sydd drechaf: pwy ynteu a feistrola arnynt hwy, a phwy a'i gorchfyga hwynt? ond y gwragedd?

15 Gwragedd a escorasant ar y brenin, ac ar yr holl bobl sydd yn llywodraethu môr a thir.

16 Ac o honynt hwy y ganwyd hwynt; a hwyntwy a fagasant y rhai a blannodd y gwinwŷdd, o ba rai y gwneir y gwîn.

17 Hwyntwy hefyd sy yn gwneuthur dillad i ddynion, ac yn gwneuthur gwŷr yn anrhydeddus, ac ni ddichon gwŷr fod heb y gwragedd.

18 Pe casclent aur ac arian, a phob peth gwerth-fawr, oni charent hwy wraig lân bryd-weddol?

19 Oni ymadawent hwy â'r rhai hynny oll, ac oni ymroddent iddi hi, gan lygadrythu arni? a phawb a ddewisei ei chael hi o flaen aur, ac arian, a phob peth gwerth-fawr?

20 Dŷn a ymedy a'i dâd a'i magodd, ac a'i wlâd, ac a ymlyn wrth ei wraig.

21 Ac efe a anturia ei hoedl dros ei wraig, ac ni feddwl am dâd, na mam, na gwlâd.

22 Wrth hyn y gellwch wybod mai gwragedd sy yn meistroli arnoch chwi: onid ydych chwi yn llafurio, ac yn poeni, ac er hynny yn rhoddi, ac yn dwyn y cwbl i'r gwragedd?

23 Gŵr a gymmer ei gleddyf, ac a â allan i ladd, ac i ledrata, ac i fordwyo ar fôr, ac afonydd,

24 Efe a edrych ar lew, ac a gerdd yn y tywyllwch, ac wedi hynny efe a ddwg gwbl o'i ledrad, a'i drais, a'i anrhaith ac ei gariad.

25 Am hynny gŵr a gâr ei wraig ei hun yn fwy nâ'i dâd, neu ei fam.

26 Ie llawer a aethant allan o'i pwyll o herwydd gwragedd, a llaweroedd a aethant yn weision er mwyn gwragedd.

27 Llawer hefyd a gyfrgollwyd, ac a gyfeiliornwyd, ac a bechasant, er mwyn gwragedd.

28 Ac yn awr oni choeliwch chwi fi? ond mawr yw'r brenin yn ei allu? onid yw pob teyrnas yn ofni cyffwrdd ag ef?

29 [Etto] mi a'i gwelais ef, ac Apame, gordderch y Brenin, merch Bartacus ardderchog, yn eistedd ar ddeheu-law yr Brenin,

30 Ac yn cymmeryd y goron oddi am ben y Brenin, ac yn ei rhoddi am ei [phen] ei hun, ac yn cernodio'r brenin â'i llaw asswy,

31 Ac ynteu yn safn-rhythu, ac yn edrych arni, ac os chwarddei hi arno ef, yntef a chwarddei: ac os dîg fyddei hi wrtho ef, yna y gwenieithiei efe iddi hi, i gael ei chymmod.

32 Oh chwi wŷr, ond trechaf yw'r gwragedd, gan eu bod hwy yn gwneuthur fel hyn?

33 Yna'r brenin a'r tywysogion a edrychasant bawb ar ei gilydd: ac yntef a ddechreuodd ymadrodd am y gwirionedd.

34 O chwi wŷr, onid nerthol yw gwragedd? mawr yw y ddaiar, ac vchel yw'r nef, a buan yw'r haul yn ei gwrs: canys efe a drŷ o amgylch y nêf mewn vn dydd, ac a rêd eil-waith i'w lê ei hun.

35 Ond mawr yw efe, yr hwn sydd yn gwneuthur y pethau hyn? am hynny y mae'r gwirionedd yn fwy, ac yn gryfach nâ dim oll.

36 Yr holl ddaiar sydd yn galw am wirionedd, a'r nef sydd yn ei bendithio: a phob peth sydd yn ysgwyd, ac yn crynu [rhagddi,] ac nid oes dim anghyfiawn gyd â hi.

37 Drygionus yw gwîn, drygionus yw yr brenin, a drygionus yw'r gwragedd, a holl feibion dynion sydd ddrygionus, a'i

holl weithredoedd sy anwir, ac nid oes ynddynt wirionedd, eithr yn eu hanwiredd y darfyddant.

38 Ond y gwirionedd sydd yn aros, ac sydd nerthol yn dragywydd, ac sydd yn byw, ac yn teyrnasu yn oes oesoedd.

39 Gyd â hi nid oes derbyn wyneb, na gwobr: eithr y mae hi yn gwneuthur cyfiawnder, ac yn ymgadw rhag anghyfiawnder a drygioni, a phawb a ganmolant ei gweithredoedd hi.

40 Ac nid oes yn ei barn hi ddim anghyfiawn, ac y hi yw 'r cadernid, a'r deyrnas, a'r gallu, a'r mawredd, drwy yr holl oesoedd: bendigedic fyddo Duw y gwirionedd.

41 Ar hynny efe a beidiodd a llefaru. Yna yr holl bobl a lefasant, ac a ddywedasant, mawr yw gwirionedd, a threchaf.

42 Yna y dywedodd y Brenin wrtho ef, gofyn y peth a fynnych heb law yr hyn sydd yn scrifennedic, ac ni a'i rhoddwn ef i ti, am dy gael di yn ddoethaf, a thi a gei eistedd yn nessaf attafi, ac yn gâr i mi i'th elwir.

43 Yna efe a ddywedodd wrth y Brenin, cofia yr adduned a addunaist y dydd y daethost i'r frenhiniaeth, sef ar i ti adeiladu Jerusalem,

44 A danfon eil-waith y llestri a ddygasid ymmaith o Jerusalem, y rhai a roddasei Cyrus o'r naill-tu, pan addunodd efe ddinistrio Babilon, a danfon hwy yno drachefn.

45 Tithau hefyd a addunaist adeiladu y Deml a loscodd yr Edomiaid, pan ddestrywiodd y Caldeaid Judea.

46 Ac yn awr, ô arglwydd frenin, dymma y peth yr ydwyf yn ei ddeisyf, ac yn ei ofyn gennyt, ac dymma y mawredd a geisiasi gennit: am hynny yr ydwyf yn dymuno arnat gyflawni yr adduned a addunedaist â'th enau dy hun, i Frenin y nêf.

47 Yna Darius y brenin a gyfododd i fynu, ac a'i cusanodd ef, ac a roddodd iddo lythyrau at bawb o'i drysor-wŷr, a'i lywodraeth-wŷr, a'r blaenoriaid, a'r swydd-wŷr, ar iddynt hwy ei hebrwng ef yn ddiogel, a'r sawl oedd gyd ag ef yn myned i fynu i adeiladu Jerusalem.

48 Ac efe a scrifennodd lythyrau at holl lywodraethwŷr Coelosyria a Phenice, ac at y rhai oedd yn Libanus, ar iddynt hwy gludo coed Cedr o Libanus i Jerusalem, ac adeiladu y ddinas gyd ag ef.

49 Ac efe a scrifennodd am yr holl Iddewon, y rhai oedd yn myned i fynu o'i deyrnas ef i Judæa, ynghylch eu rhydd-did, sef na byddei i un pennaeth, na swyddog, na llywodraeth-wr, na thrysorwr, fyned trwy nerth i'w drysau hwynt.

50 Ac i'r holl wlad yr oeddynt hwy yn ei pherchennogi fod yn rhydd oddi wrth deyrn-ged, a bod i'r Edomiaid roddi iddynt hwy y pen-trefydd yr oeddynt yn eu dal o'r eiddo yr Iddewon,

51 A rhoddi ugain o dalentau bob blwyddyn tu ag at adeiladaeth y Deml, hyd oni ddarfyddei ei hadeiladu hi,

52 A deg eraill o dalentau bob blwyddyn, i gynnal y poeth offrymmau ar yr allor beunydd, (fel yr oedd y gorchymmyn i offrwm dau ar bymthec.)

53 A bod i bawb a'r a elei o Babilon i adeiladu y ddinas, gael rhydd-did yn gystal iddynt eu hunain, ac i'w plant, a'r holl Offeiriaid a'r a aethent ymmaith.

54 Ac efe a scrifennodd am gyfreidiau, a gwiscoedd yr Offeiriaid, y rhai y gwasanaethent ynddynt.

55 Ac efe a scrifennodd am iddynt hwy roddi i'r Lefiaid eu cyfreidiau, nes gorphen y tŷ, ac adeiladu Jerusalem.

56 Efe hefyd a scrifennodd am iddynt hwy roddi || dognau, a chyflog i'r rhai oedd yn gwilied y ddinas.

|| Neu, rhandir.

57 Ac efe a anfonodd o Babilon yr holl lestri a roddasei Cyrus o'r naill-tu: a pheth bynnac a archasei Cyrus, efe a orchymmynnodd ei wneuthur, a'i anfon i Jerusalem.

58 A phan aeth y gŵr ieuangc allan, efe a dderchafodd ei wyneb i fynu i'r nef tu a Jerusalem, ac a ddiolchodd i Frenin nef,

59 Gan ddywedyd, oddi wrthit ti y mae y fuddugoliaeth, oddi wrthit ti y mae y doethineb, ac eiddot ti yw 'r gogoniant, a minneu yw dy wâs di.

60 Bendigedic wyt ti, yr hwn a roddaist i mi ddoethineb, clodforaf di ô Arglwydd [Duw ein] tadau.

61 Felly efe a gymmerth y llythyrau, ac a aeth ymmaith, ac a ddaeth i Babilon, ac a fynegodd i'w holl frodyr.

62 A hwy a fendithiasant Dduw eu tadau, o herwydd iddo roddi iddynt hwy rydd-deb ac esmwythdra,

63 I fyned i fynu, ac i adeiladu Jerusalem, a'r Deml, yr hon a elwir ar ei enw ef: a hwy a lawenychasant ag offer cerdd, ac â gorfoledd, tros saith niwrnod.

## PEN. V.

4 Enwau a rhifedi yr Iuddewon a ddychwelasant adref. 50 Gosod yr Allor yn ei lle. 57 Gosod sylfeini 'r Deml. 73 Rhwystro 'r gwaith tros amser.



Edi * y pethau hyn y detholwyd pennaethiaid tai eu tadau, yn ôl eu llwythau, i fyned i fynu a'i gwragedd, a'i meibion, a'i merched, a'i gweision, a'i morwynion, a'i hanifeiliaid.

* Ezra. 1.1.

2 [A'r brenin] Darius a anfonodd fil o wŷr meirch gyd â hwynt, i'w hebrwng hwynt yn ddiogel i Jerusalem, ynghyd ag [offer] cerdd, tympanau, a phibellau.

3 A'i holl frodyr hwynt oedd yn canu â hwynt; felly y gwnaeth efe iddynt fyned i fynu gyd â hwynt.

4 Ac

4 Ac dymma henwau y gwŷr a aethant i fynu yn ôl eu teuluoedd, wrth eu llwythau, yn ôl eu pennau cenedl.

5 Yr Offeiriaid, meibion Phinees fab Aaron, Jesus [mab] Josedec, [fab] Saraias, a Joacim [mâb] Zorobabel [fab] Salathiel, o dylwyth Dafydd, o genhedlaeth Phares, o lwyth Juda.

6 || Yr hwn a lefarodd eiriau doethion wrth Ddarius brenin y Persiaid, yn yr ail flwyddyn o'i deyrnasiad ef, ar y mis Nisan, hwnnw yw y mis cyntaf.

7 Ac dymma hwy o Juda, y rhai a ddaethant i fynu o gaethiwed y gaeth-glud, y rhai a gaeth-gludasei Nabuchodonosor brenin Babilon, i Babilon.

8 A hwy a ddychwelasant i Jerusalem, ac i gyrrau eraill Juda, pob vn iw ddinas ei hun, y rhai a ddaethent gyd â Zorobabel, a Jesus, Nehemias, || Zacharias, Resaias, Enenius, Mardocheus, Beelsarus, || Aspharasus, || Reelius, Roimus, [a] Baana, eu blaenoriaid hwynt.

9 Eu rhifedi hwynt o'r genedl, a'i blaenoriaid: meibion || Phoros, dwy fil, a chant [a] deuddec a thrugain; meibion || Saphat, || pedwar cant, [a] deuddec a thrugain.

10 Meibion Ares, saith gant, vn ar bymthec a deugain.

11 Meibion Phaath Moab, dwy fil, wyth gant, a deuddec.

12 Meibion Elam, mil, deucant, pedwar ar ddec a deugain: meibion || Zathi, naw cant, pump a deugain: meibion || Corbe, saith gant a phump: meibion Bani, chwe chant, ac wyth a deugain.

13 Meibion Bebai, chwechant, tri ar hugain: meibion || Asgad, tair mil, dau cant, a dau ar hugain.

14 Meibion Adonicam, chwe chant, saith a thrugain: meibion || Bagoi, dwy fil, chwech a thrugain: meibion Adin, pedwar cant, pedwar ar ddec a deugain.

15 Meibion || Aterhezias, deuddec a phedwar vgain: meibion Ceilan, ac Azetas, saith a thrugain: mebion Azuran, pedwar cant, deuddec ar hugain.

16 Meibion Ananias, cant ac vn: meibion Arom, deuddec ar hugain, a meibion || Bassa, try-chant, tri ar hugain: meibion Arsiphurith, cant a dau.

17 Meibion Meterus, tair mil, a phump: meibion || Bethlomon, cant a thri ar hugain.

18 Hwynt hwy o Netopha, pymthec a deugain: hwyntau o Anathoth, cant, tri ar bymthec a deugain: hwynt o || Bethsamos, dau a deugain.

19 Hwynt o || Ciriathiarius, pump ar hugain: hwynt o Caphiras, a Beroth, saith gant, tri a deugain: hwynt hwy o Pirath, saith gant.

20 Hwynt o Chadias, ac Ammidioi, pedwar cant, dau ar hugain: hwynt o || Cyrama, a || Gabdes, chwe chant, vn ar hugain.

21 Hwynt o || Michmas, cant, dau ar hugain: hwynt o || Bethel, deuddec a deugain: meibion || Nephis, cant, dêc a deugain, a chwech.

22 Meibion || Calamolan, ac Onus, saith gant, pump ar hugain: meibion Jerechus, dau cant, pump a deugain.

23 Meibion || Sanaah, tair mil, trychant, a dec ar hugain.

24 Yr Offeiriaid, meibion || Jedu fâb Jesus, ym mhlith meibion Sanasib, naw cant, deuddec a thrugain: meibion || Meruth, mil, deuddec a deugain.

25 Meibion || Pasur, mil, saith a deugain: meibion || Harim, || mil, a dêc a thrugain.

26 Y Lefiaid, meibion || Jesue, Cadmiel, Banuas, a Suias, pedwar ar ddêc a thrugain.

27 Y meibion [y rhai oedd] gantorion sanctaidd, meibion Asaph, cant, wyth ar hugain.

28 Y porthorion, meibion Salum, meibion [a] Jatal, meibion Talmon, meibion [b] Dacobi, meibion [c] Teta, meibion [d] Sami, y cwbl [oedd] gant, pedwar ar bymthec ar hugain.

29 Gwenidogion y Deml, meibion [e] Esau, meibion [f] Asipha, meibion Tabaoth, meibion [g] Ceras, meibion [h] Sud, meibion [i] Phaleas, meibion Labana, meibion [k] Hagaba.

30 Meibion [l] Accub, meibion Uta, meibion Cetab, meibion Agab, meibion [m] Subai, meibion Anan, meibion [n] Cathua, meibion [o] Gedur.

31 Meibion [p] Raia, meibion [q] Daisan, meibion [r] Necoda, meibion Chaseba, meibion [f] Gazera, meibion [t] Azias, meibion [u] Phinees, meibion Asara, meibion [x] Bastai, meibion [y] Asana, meibion [z] Meunim, meibion Naphison, meibion [a] Accub, meibion Acupha, meibion [b] Assur, meibion Pharacim, meibion [c] Basaloth.

32 Meibion [d] Mehida, meibion Coutha, meibion [e] Charea, meibion [f] Barcus, meibion [g] Aserar, meibion Thomoi, meibion [h] Nasith, meibion Atipha.

33 Meibion gweision Salomon, meibion [i] Sophereth, meibion [k] Pharada, meibion [l] Joelt, meibion [m] Lozon, meibion [n] Isdael, meibion [o] Sapheth.

34 Meibion [p] Agia, meibion Phacareth, meibion [q] Sabie, meibion Sarophie, meibion Masias, meibion Gar, meibion Adus, meibion Subah, meibion Apherra, meibion Barodis, meibion Sabat, meibion Alom.

35 Holl wenidogion y Deml, a meibion gweision Salomon oedd drychant, a deuddec a thrugain.

36 Y rhai hyn a ddaethant i fynu o Thelmeleth, a Thelharsa: Caralathar, ac Alar, yn eu harwain hwynt.

37 Ac ni fedrent hwy ddangos eu teuluoedd, nai bonedd, pa fodd yr oeddynt o Israel: meibion || Dalaias, meibion || Tobia, meibion || Necodan, chwe chant, [a] deuddec a deugain.

|| Neu, Macalon. || Neu, Betolius. || Neu, Machbis. || Neu, Lodhadid. || Annaas. || Iedaiah. || Immar. || Neu, Passaron. || Neu, Carme. || Neu, dau cant a dau ar bymtheg. (medd rhai.) || Gwel Ez. 2.40

a Ater. b Accub. c Hattita. d Sobai. e Zich. f Hazupha. g Ceros. h Siaha. i Padon. k Graba. l Acua. m Samlai. n Gides. o Neu, Gahar. p Neu, Airus. q Rezin. r Noeba. f Gazam. t Huzza. u Paseah. x Besai. y Asnah. z Meani. a Bachuc. b Harur. c Bazluth. d Meeda. e Harsa. f Charcus. g Sisera. h Nesiah. i Azaphion. k Pharira. l Iaalah. m Darcon. n Giddel. o Sephatiah. p Hatti. q Hazzebaim Ezra. 2.25.

|| Ladan. || Ban. || Necodah.

38 Ac o'r Offeiriaid y rhai oedd yn offeiriadu, ac heb eu cael, meibion ||Hobaia, meibion ||Accor, meibion ||Adus, yr hwn a gymmerasei [iddo] yn wraig Augia, [un] o ferched Berzelus.

||Obdia. ||Coz. ||Neu, Barzelai.

39 Ac a alwyd ar ei enw ef: ac scrifen y genhedl hon a geisiwyd ym mysc yr achau, ond ni's cafwyd, ac am hynny y gwaharddwyd iddynt offeiriadu.

40 Canys ||Nehemias, ac Atharias, a ddywedasant wrthynt na chaent hwy fod yn gyfrannogion o'r pethau cyssegredic, oni gyfodei Arch-offeiriad wedi ei wisco ag ||addysc a gwirionedd.

||Gwel Nehem. 8.9.& 10.2. pen. 2.63.
||Heb. Vrim a Thummim.

41 Felly hwynt oll o Israel, o'r rhai oeddynt ddeuddeng-mlwydd a thros hynny, oeddynt o gyfrif yn ddeugain mil, heb law gweision a morwynion, dwy fil tryChant a thri ugain.

42 ||Eu gweision a'i llaw-forwynion [oeddynt] saith mil, try chant, a saith a deugain: a'r cantorion, a'r cantoresau, dau cant, pump a deugain.

||Gwel Nehem. 7.66.

43 Pedwar cant, a phymthec ar hugain o gamelod, saith mil ac un a'r bymthec ar hugain o feirch, dau cant a phump a deugain o fulod, *pum mil a phum cant, a phump ar hugain o ||anifeiliaid arferol â'r iau.

*Ezra. 2.67.
||assynnod.

44 A [rhai] o'i llywiawdwyr hwynt yn ôl eu teuluoedd, pan ddaethant i Deml Dduw yn Jerusalem, a addunasant adeiladu y tŷ yn ei le ei hun, yn ôl eu gallu.

45 A rhoddi i drysor y gwaith fil o bunnau o aur, a phum mil o bunnau o arian, a chant o wiscoedd Offeiriaid.

46 Felly yr Offeiriaid, a'r Lefiaid, a'r bobl a drigasant yn Jerusalem, ac yn y wlad: a'r cantorion, a'r porthorion, a holl Israel yn eu pentrefydd.

47 Ond pan ddaeth y seithfed mis, pan oedd pawb o feibion Israel ar yr eiddo ei hun, hwy a ymgasclasant i gyd o un-frŷd mewn lle amlwg, ||wrth y porth cyntaf, yr hwn sydd tua'r dwyrain.

||Neu, o flaen porth y dwyrain.

48 Yna Jesus mab Josedec, a'i frodyr yr Offeiriaid, a Zorobabel mab Salathiel a'i frodyr, gan godi i fynu, a baratoesant allor Duw Israel,

49 I offrymmu poeth offrymmau arni, megis y ||mae yn scrifennedic yn llyfr Moses gŵr Duw.

||Neu, gorchymmynnwyd.

50 Ac yno yr ymgasclodd ||yn eu herbyn hwynt [rai] o holl genhedloedd y wlad, ond hwynt hwy a drefnasant yr allor yn ei chyfle, am fod holl genhedloedd y wlad yn elynion iddynt: a hwy a offrymmasant ebyrth wrth yr amser, a phoeth offrymmau i'r Arglwydd, forau a hwyr.

||Neu, attynt hwy.

51 Hwy a gadwasant hefyd ŵyl y pebyll, fel y mae yn orchymmynnedic * yn y gyfraith, ac [a offrymmasant] ebyrth beunydd, fel yr oedd yn ddyledus:

*Lefit. 23.34.

52 Ac wedi hynny yr offrymmau gwastadol, ac offrymmau y Sabbothau, a'r newydd-loerau, a'r holl wyliau sanctaidd.

53 A'r rhai oll a'r a ||wnaethent addunedi i Dduw a ddechreuasant offrymmu aberthau i Dduw, o'r dydd cyntaf o'r seithfed mis, er nad adeiladasid etto Deml Dduw.

||Gr. gysegrasent.

54 A hwy a roddasant i'r seiri maen, ac i'r seiri pren, arian, a bwyd, a diod, yn llawen.

55 A [hwy a roddasant] geir i'r Sidoniaid, ac i'r Tyriaid, i ddwyn cedr-wydd o Libanus, y rhai a gludid yn gludeiriau i borthladd Joppe, fel y gorchymmynnasid iddynt gan Cyrus frenin y Persiaid.

56 Ac yn yr ail flwyddyn, ar yr ail mis ar ôl ei ddyfod i Deml Dduw yn Jerusalem, y dechreuodd Zorobabel mab Salathiel, a Jesus mab Josedec, a'i brodyr, a'r Offeiriaid, a'r Lefiaid, a'r holl rai a'r a ddaethent i Jerusalem allan o gaethiwed [Babilon:]

57 A hwy a sylfaenasant dŷ Dduw ar y dydd cyntaf o'r ail mis, yn yr ail flwyddyn ar ôl eu dychwelyd hwy i Judea, a Jerusalem.

58 ||A hwy a osodasant y Lefiaid, [y rhai oedd] tros ugain-mlwydd oed, ar waith yr Arglwydd. A Jesus, a'i feibion, a'i frodyr, a Chadmiel ei frawd, a meibion Madiabun, gyd â meibion Joda fâb Eliadun, a'i meibion, a'i brodyr, i gŷd yn Lefiaid, o un-frŷd a ddilynasant, gan wneuthur y gwaith yn nhŷ Dduw: felly y gweith-wŷr a adeiladasant Deml yr Arglwydd.

||Gwel Ez. 3. [illegible]

59 A'r Offeiriaid a safasant wedi eu gwisco yn eu gwiscoedd, ag [offer] cerdd, ac ag udcyrn, a'r Lefiaid meibion Asaph â symbalau,

60 Yn canu, ac yn moliannu yr Arglwydd, fel yr ordeiniasei Dafydd brenin Israel.

61 A hwy a ganasant ganiadau yn llafar, er moliant i'r Arglwydd; o herwydd bod ei drugaredd a'i ogoniant yn dragywydd yn holl Israel.

62 *Yna yr holl bobl a leisiasant mewn udcyrn, ac a waeddasant â llêf uchel, dan gyd-foliannu yr Arglwydd, am godi i fynu dŷ yr Arglwydd.

*Ez. 3.11.

63 * Rhai hefyd o'r Offeiriaid, a'r Lefiaid, a'r pennaethiaid, yr Henuriaid, y rhai a welsent y tŷ cyntaf, a ddaethant [at] adeiladaeth hwn, drwy wylofain a nâd fawr.

*Ez. 3.12.

64 Llawer hefyd ag udcyrn, ac â llawenydd mawr a waeddasant â llêf uchel,

65 Fel na ellid clywed yr udcyrn gan ||nâd y bobl: etto yr oedd y dyrfa yn fawr, yn lleisio mewn udcyrn, fel y clywid ym mhell.

||wilib

66 Am hynny, pan glybu gelynion llwyth Juda, a Beniamin hynny, hwy a ddaethant i gael gwybod beth yr oedd sain yr udcyrn [yn ei arwyddoccau.]

67 Yna y gwybuant mai y rhai a ddaethei o'r caethiwed a adeiladent y Deml i Arglwydd Dduw Israel.

68 Am hynny hwy a aethant at Zorobabel, a Jesus, ac at bennaethiaid y teuluoedd,

gan

gan ddywedyd wrthynt, ni a adeiladwn gyd a chwi hefyd.

69 Canys yr ydym ni yn ufyddhau i'ch Arglwydd chwi, fel yr ydych chwithau, ac yn aberthu iddo ef, er dyddiau || Asbazareth brenin Assyria, yr hwn a'n dug ni ymma.

70 Yna Zorobabel, a Jesus, a phennaethiaid teuluoedd Israel a ddywedasant wrthynt, ni pherthyn i chwi, ac i ni gydadeiladu tŷ i'r Arglwydd ein Duw ni.

71 Nyni ein hunain a adeiladwn i Arglwydd Dduw Israel, fel y gorchymynnodd Cyrus brenin Persia i ni.

72 Er hynny pobl y wlad yn pwyso yn drwm ar y rhai oedd yn Judæa, a rwystrasant iddynt adeiladu.

73 A thrwy eu cynllwyn, a therfysccoedd, a denu pobl hwy a luddiasant orphen yr adeiladaeth, tra fu brenin Cyrus yn fyw: felly y rhwystrwyd hwynt rhac adeiladu ddwy flynedd || dwy flynedd, hyd deyrnasiad Darius.

## PEN. VI.

1 Y Prophwydi yn annog y bobl i adeiladu'r Deml: 8 A rhai yn ceisio gan Darius lestair ei hadeiladu: 27 Ac yntau yn gwneuthur ei orcu ar beri ei hadeiladu hi; 32 ac yn bygwth y rhai a'i rhwystrai.

AC yn yr ail flwyddyn o deyrnasiad Darius, Aggeus a Zacharias mab Ido, y Prophwydi, a brophwydasant i'r Iddewon, yn Judæa, a Jerusalem, yn enw Arglwydd Dduw Israel, yr hwn oedd arnynt.

2 Yna Zorobabel mab Salathiel, a Jesus mab Josedec a safasant i fynu, ac a ddechreuasant adeiladu tŷ yr Arglwydd yn Jerusalem: prophwydi yr Arglwydd oedd gyd â hwynt, [ac] yn eu cynnorthwyo.

3 * Yn y cyfamser hwnnw || Sisinnes llywiawdr Syria a Phenice, a || Sathrabuzanes a'i gyfeillion a ddaethant attynt hwy, ac y ddywedasant wrthynt,

4 Drwy orchymmyn pwy'r ydych chwi yn adeiladu y tŷ hwn, a'r adeilad ymmua, ac yn gwneuthur yr holl bethau eraill? a phwy yw'r gweith-wyr sydd yn gwneuthur y pethau hyn?

5 Etto Henuriaid yr Iddewon a gawsent ffafor: gan i'r Arglwydd ymweled â'r caethiwed.

6 Ac ni rwystrwyd hwynt i adeiladu, nes hyspyssu i Ddarius y pethau hyn, a chael atteb [oddi wrtho ef.]

7 Coppi y llythyrau a scrifennodd, ac a anfonodd Sisinnes llywiawdr Syria a Phenice, a Sathrabuzanes, a'i cyfeillion, rheol-wyr yn Syria a Phenice, at Ddarius, Annerch i frenin Darius,

8 Bydded y cwbl yn hyspys i'n harglwydd frenin, pan ddaethom ni i wlâd Judæa, a myned i mewn i ddinas Jerusalem, ni a gawsom yn ninas Jerusalem Henuriaid yr Iddewon, y rhai oedd o'r gaeth-glud;

9 Yn adeiladu tŷ i'r Arglwydd, mawr a newydd, o gerric nâdd a gwerthfawr, a'r coed wedi eu gosod eusus ar y magwyrydd.

10 Ac yr ydys yn gwneuthur y gwaith hwn ar frŷs, ac y mae y gwaith yn myned rhagddo yn llwyddianus yn eu dwylo hwynt, ac â phôb gogoniant, a diwydrwydd y gweithir ef:

11 Yna ni a ofynnasom i'r Henuriaid hyn, gan ddywedyd, drwy orchymyn pwy yr ydych chwi yn adeiladu y tŷ hwn, ac yn sylfaenu y gwaith ymma?

12 Am hynny fel yr yspysem i ti mewn scrifen, nyni a ofynnasom iddynt, pwy oedd y gweith-wŷr pennaf, ac a geisiasom ganddynt henwau eu gwŷr pennaf yn scrifennedig.

13 Ond hwy a'n hattebasant ni, Gweision ydym ni i'r Arglwydd, yr hwn a greawdd y nefoedd a'r ddaiar.

14 Ac am y tŷ hwn, efe a adeiladwyd er ys llawer o flynyddoedd gan frenin o Israel, mawr a chadarn, ac a orphennwyd.

15 Ond pan annogodd ein tadau ni Dduw i ddigllonedd, [a phan] bechasant yn erbyn Arglwydd Israel, [yr hwn sydd] yn y nefoedd, efe a'i rhoddes hwynt yn nwylo Nabuchodonosor brenin Babilon y Caldeaid,

16 Y rhai a dynnasant y tŷ i lawr, ac a'i llosgasant ef, ac a gaeth-gludasant y bobl i Babilon.

17 Ond yn y flwyddyn gyntaf o deyrnasiad Cyrus ar wlad Babilon, y brenin Cyrus a scrifennodd am adeiladu y tŷ hwn.

18 A'r llestri sanctaidd o aur, ac o arian, y rhai o ddygasei Nabuchodonosor allan o'r tŷ yn Jerusalem, ac a'i gosodasei yn ei Deml ei hun, Cyrus y brenin a'i dug hwynt drachefn allan o'r Deml yn Babilon, ac a'i rhoddodd hwynt i || Zorobabel, ac i Sanabassarus y llywiawdr:

19 Gan orchymmyn iddo ef ddwyn ymmaith y llestri hynny, a'i gosod hwynt o fewn y Deml yn Jerusalem, ac adeiladu Teml yr Arglwydd yn ei chyfle.

20 A phan ddaeth Sanabassarus hwnnw ymma, efe a sylfaenodd dŷ yr Arglwydd yn Jerusalem, ac er y pryd hynny hyd yr awr hon, yr ydys yn ei adeiladu, ac ni's gorphennwyd ef etto.

21 Ac yn awr, o rhynga bodd i'r brenin, chwilier ym-mysc cof-lyfrau brenin Cyrus:

22 Ac o cheir, bod adeiladaeth tŷ yr Arglwydd yn Jerusalem, wedi ei gwneuthur drwy gydtundeb brenin Cyrus, ac os rhynga bodd i'r arglwydd ein brenin, hyspysed i ni am y peth hyn.

Margin notes: || Gwel Ezr. 5. 3. — * Ezr. 3. 1. — * Ezr. 5. 3. — || Neu, Zorobabel, yr hwn yw Sanabassarus y llywiawdr, Ezr. 1. 8.

23 Yna

23 Yna y brenin Darius a orchymyn-nodd chwilio ym mysc y cof-lyfrau yn Babilon, ac fe a gafwyd yn Ecbatana, y llŷs sydd yngwlad Media, fan lle yr oedd y pethau hyn yn scrifennedig.

23 Yn y flwyddyn gyntaf o deyrnasiad Cyrus, y brenin Cyrus a orchymmynnodd adeiladu tŷ yr Arglwydd yn Jerusalem, lle yr aberthant â thân gwastadol.

25 Uchder yr hwn sydd drugain cufydd, a'i lêd yn drugain cufydd, a thair rhês o gerric nadd, ac un rhês o goed newydd o'r wlad honno, a'r draul a roddir o dŷ brenin Cyrus.

26 A'r llestri sanctaidd o dŷ yr Arglwydd, yn aur ac yn arian, y rhai a gymmerth Nabuchodonosor ymmaith o'r tŷ yn Jerusalem, ac a'i dûg i Babilon, a roddid trachefn i'r tŷ yn Jerusalem, ac a osodid yn y fan lle yr oeddynt.

27 Hefyd efe a orchymmynnodd i Sisinnes llywiawdr Syria a Phenice, ac i Sathrabuzanes a'i cyfeillion, ac i'r rhai oedd wedi eu gosod yn llywodraeth-wŷr yn Syria a Phenice, wilied nad ymmyrrent â'r fan honno, eithr gadel i Zorobabel gwâs yr Arglwydd, a llywydd Judæa, ac i henuriaid yr Iddewon, adeiladu tŷ yr Arglwydd yn y fan honno.

28 Mysi a orchymmynnais hefyd ei adeiladu ef yn gyfan eil-waith, ac iddynt hwy fod yn astud i gynnorthwyo y rhai oedd o gaeth-glud yr Iddewon, nes gorphen tŷ yr Arglwydd,

29 A rhoddi dogn allan o deyrn-ged Coelosyria a Phenice, yn ddyfal, i'r gwŷr hyn, tu ag at ebyrth i'r Arglwydd, ac i Zorobabel y llywydd, tu ag at fustych, a hyrddod, ac ŵyn.

30 Yd hefyd, halen, gwin, ac olew; a hynny yn oestadol bob blwyddyn heb ymofyn ymmhellach, fel y tystiolaetho yr Offeiriaid sydd yn Jerusalem, fod yn ei dreulio beunydd,

31 Fel yr offrymmont beunydd i Dduw goruchaf tros y brenin, a thros ei blant, ac y gweddiont gyd â'i heinioes hwynt.

32 Efe orchymmynnodd hefyd am bwy bynnac a drosseddei ddim a'r a ddywedpwyd, neu a'r a scrifennwyd uchod, neu a ddirmygei ddim o hynny, gymmeryd pren allan o'i dŷ ef ei hun, a'i grogi ef arno, a bod ei gyfoeth ef yn eiddo y brenin.

33 Am hynny yr Arglwydd, yr hwn yr ydys yn galw ar ei enw yno, a ddestrywio bob brenin, a chenhedl a'r a estynno ei law i luddias, neu i wneuthur niwed i dŷ yr Arglwydd, yr hwn sydd yn Jerusalem.

34 Mysi y brenin Darius a orchymmynnais wneuthur yn ddiwyd yn y pethau hyn.

## PEN. VII.

1 Sisinnes ac eraill yn gyrru 'r adeilad ym mlaen. 5 Gorphen y Deml, a'i chyssegru. 10 Cadw'r Pâsc.



Yna *Sisinnes llywydd Coelosyria a Phenice, a Sathrabuzanes a'i cyfeillion, yn canlyn gorchymmynion brenin Darius, *Ezra. 6. 13.

2 Yn ddyfal iawn a olygasant ar y gwaith sanctaidd, gan gynnorthwyo henuriaid yr Iddewon, a llywodraeth-wŷr y Deml.

3 Ac felly y gwaith sanctaidd a lwyddodd, pan ydoedd Aggeus a Zacharias y Prophwydi yn prophwydo.

4 Felly hwy a orphennasant y pethau hyn drwy orchymmyn Arglwydd Dduw Israel, ac o gydtundeb Cyrus, a Darius, ac Artaxerxes, brenhinoedd Persia.

5 Ac fel hyn y gorphennwyd y tŷ sanctaidd ar y ||trydydd ar hugain o'r mis Adar, yn y chweched flwyddyn i Darius frenin y Persiaid. ||Heb. y trydydd dydd, Ez. 6. 15.

6 A phlant Israel, a'r Offeiriaid, a'r Lefiaid, ac eraill o'r gaeth-glud a chwanegwyd attynt, a wnaethant yn ôl yr hyn sydd scrifennedic yn llyfr Moses.

7 Ac i gyssegru Teml yr Arglwydd, hwy a offrymmasant gant o fustych, deu-cant o hyrddod, pedwar cant o ŵyn,

8 A deuddec gafr tros pechod holl Israel, yn ôl rhifedi || pennaethiaid llwythau Israel. ||neu, tywysogion.

9 Ar Offeiriaid, a'r Lefiaid a safasant wedi ymwisco yn eu gwiscoedd yn ôl eu || teuluoedd, yngwasanaeth Arglwydd Dduw Israel, yn ôl llyfr Moses, a'r porthorion hefyd wrth bôb porth. ||Heb. dosparthiadau, Ez. 6. 18.

10 A phlant Israel gyd â'r rhai a ddaethent allan o'r caethiwed, a gynhaliasant y Pasc y pedwerydd dydd ar ddec o'r mis cyntaf, wedi i'r Offeiriaid, a'r Lefiaid ymsancteiddio.

11 Ni sancteiddiasid holl feibion y gaethiwed ynghyd, eithr y Lefiaid a gyd-sancteiddiasid oll.

12 Felly hwy a offrymmasant y Pasc tros holl feibion y gaeth-glud, a thros eu brodyr yr Offeiriaid, a throstynt eu hunain.

13 Yna holl blant Israel, y rhai a ddaethent o'r caethiwed a fwytasant, sef y rhai oll a'r a ymnailltuasent oddi wrth ffieidd-dra pobl y wlad, ac a geisiasant yr Arglwydd.

14 A hwy a gadwasant ŵyl y bara croyw saith niwrnod, gan lawenychu ger bron yr Arglwydd.

15 O herwydd iddo ef droi || cyngor brenin Assyria tu ag attynt hwy, i nerthu eu dwylo hwynt yngwaith Arglwydd Dduw Israel. ||meddwl.

## PEN. VIII.

1 Esdras yn dwyn gorchymmyn y Brenin i adeiladu. 8 Copi o'r gorchymmyn. 28 Y mae 'n dangos henwau a rhifedi y rhai a ddaethai gydag ef: 61 a'i daith: 71 yn gofidio am bechodau 'r bobl; 96 ac yn tyngu 'r Offeiriaid i yrru ymmaith eu gwragedd dieithr.

AC

## PEN. XXXVI.

1 Gweddi tros yr Eglwys yn erbyn ei gelynion. 18 Y galon dda, a'r gyndyn. 21 Gwraig dda.

Cymmer drugaredd arnom ni ô Arglwydd Dduw || pawb oll, ac edrych arnom ni;

2 A gyrr dy ofn ar y Cenhedloedd oll, y rhai ni'th geisiasant.

3 *Cyfod dy law || ar y Cenhedloedd dieithr: gâd iddynt weled dy allu di.

4 Megis i'th sancteiddiwyd yn ein mysc hi ger eu bron hwynt; felly mawrhaer di yn eu mysc hwythau ger ein bron ninnau.

5 Gwna iddynt dy adnabod megis yr ydym ni yn dy adnabod, nad oes un Duw ond tydi, oh Arglwydd.

6 Adnewydda arwyddion, a newidia ryfeddodau. Gogonedda dy law a'th ddeheufraich, fel y gosodont allan dy weithredoedd rhyfedd.

7 Cyffroa dy lid, a thywallt dy ddigter: cymmer y gwrthwynebwr ymmaith, a dryllia y gelyn.

8 Prysura yr amser, cofia y cyfammod, a mynegant hwy dy ryfeddodau di.

9 Gâd i ddigofaint tanllyd ddifa y neb a ddiango, a chaffed y rhai a wnant niwed i'th bobl eu difetha.

10 Dryllia bennau tywysogion y Cenhedloedd, y rhai a ddywedant, nid oes ond nyni.

11 Casgl holl lwythau Iacob ynghyd, a chymmer hwynt yn etifeddiaeth i ti, megis o'r dechreuad.

12 O Arglwydd, trugarhâ wrth y bobl, y rhai a elwir ar dy enw di: ac wrth Israel, yr hwn a elwaist di yn gyntaf-anedic.

13 Tosturia wrth Ierusalem, dinas dy Gyssegr, a'th orphywysfa di.

14 Llanw Sion || â'th oraclau annrhaethadwy, a'th bobl â'th ogoniant.

15 Dôd dystiolaeth i'r pethau a || greaist yn y dechreuad, a chyfot y || Prophwydi a fuant yn dy Enw.

16 Dôd wobr i'r rhai sydd yn aros wrthit ti, a chaffer dy Brophwydi di yn ffyddlon.

17 Gwrando ô Arglwydd, weddiau dy weision, *yn ôl bendith Aaron i'th bobl, fel y gwypo y rhai oll sydd ar y ddaiar mai ti yw yr Arglwydd, y Duw tragywyddol.

18 Y bol a dreulia bob bwyd, ond y mae rhyw fwyd yn well nâ bwyd arall.

19 *Taflod y genau a edwyn amryw fwyd hela, felly yr edwyn calon gall eiriau celwyddoc.

20 Calon wrthnysig a bair dristwch, ond dyn a wyr lawer a dâl iddo.

21 Gwraig a dderbyn bob gwr: eithr y mae rhyw ferch yn well nâ merch arall.

22 Tegwch gwraig a lawenycha yr wyneb-pryd, ac nid oes gan wr hyfrydwch mwy.

23 Os bydd ar ei thafod hi drugaredd, lledneisrwydd, ac iachâd, nid fel eraill y mae ei gwr hi.

24 Y mae perchen gwraig yn dechreu || llwyddo, sef help fel ef ei hun, a cholofn gorphywysdra.

|| meddiant.

25 Lle nid oes gae, yr anrheithir y berchennogaeth, a'r hwn nid oes wraig iddo, a grwydra dan alaru.

26 Pwy a goelia williad wedi ymdaclu, ac yn gwibio o ddinas i ddinas? felly y mae am y dyn nid oes ganddo nyth, eithr lletteua ym mha le bynnac yr elo hi yn nos arno ef.

## PEN. XXXVII.

1 Pa fodd y mae adnabod cymdeithion a chynghorwyr. 12 Pwyll a doethineb y duwiol a'i bendithia ef. 27 Dysc ffrwyno dy flys.

Pob cydymmaith a ddywed, da gennif finneu ef: eithr y mae cydymmaith mewn enw yn unic.

2 Onid tristwch hyd angeu ydyw pan dro cyfaill neu gydymmaith i fod yn elyn?

3 Oh feddwl drygionus, o ba le yr ymdreiglaist ti, i orchuddio y ddaiar â thwyll?

4 Rhyw gyfaill a wna yn llawen gyd â'i gydymmaith yn ei lawenydd; ac a fydd yn ei erbyn ef yn amser adfyd.

*Pen.6.10.

5 Rhyw gyfaill a gymmer boen gyd â'i gydymmaith er mwyn ei fol, ac a gymmer darian || yn erbyn y gelyn.

|| ger bron.

6 Nac anghofia dy gydymmaith yn dy feddwl, ac na fydd anghofus am dano ef pan fyddech yn gyfoethog.

7 *Pob cynghorwr a genmyl ei gyngor: ac y mae a gynghora er budd iddo ei hun.

*Pen.8.19.& 9.16.

8 Gwilia gynghorwr, a mynn wybod yn gyntaf pa raid || fydd wrtho ef (oblegit y mae efe yn cynghori trosto ei hun) rhac iddo fwrw y coelbren arnati,

|| fydd arno.

9 A dywedyd wrthit ti, da yw dy ffordd, ac yna sefyll o'r tu arall, i edrych beth a ddigwyddo i ti.

10 Nac ymgynghora â'r neb a'th amheuo di: a chêl dy gyfrinach oddi wrth y rhai a genfigennant wrthit.

11 Nac ymgynghora â gwraig, am yr hon y mae hi yn dal eiddigedd wrthi, nac â'r llwfr am ryfel; nac â'r marchnadwr am gyfnewid; nac â'r prynwr am werthu; nac â'r cenfigennus am ddiolchgarwch; nac â'r annrhugaroc am gymwynas: nac â'r diog am ddim gwaith; nac â'r gwâs a gyflogir tros flwyddyn am orphen peth; nac â gwas diog am lawer o waith: na wrando ar y rhai hyn am ddim cyngor.

12 Eithr bydd yn wastad gyd â gwr duwiol, yr hwn a wyddost ti ei fod yn cadw gorchymynion yr Arglwydd, yr hwn y byddo

ei

ei feddwl fel dy feddwl dithau, yr hwn os tramgwyddi di, a gyd-ofidia â thi.

13 Safed cyngor dy galon dy hun: oblegit nid oes neb ffyddlonach i ti na honno.

14 Canys y mae meddwl dyn yn arfer weithieu o fynegi mwy na saith o wilwyr yn eistedd mewn twr gwiliaw uchel.

15 Ac o flaen hyn oll, gweddia ar y Goruchaf ar iddo gyfarwyddo dy ffordd di mewn gwirionedd.

16 Cyn dechreu pob gwaith bydded rheswm, ac o flaen pob gweithred [aed] cyngor.

17 Arwydd newidiad || llawenydd yw'r wyneb.

|| calon.

18 Pedwar math ar beth sydd yn ymddangos: da a drwg, einioes ac angeu; a'r tafod sydd yn llywodraethu yn wastad arnynt hwy.

19 Y mae un call, ac yn dyscu llawer eraill, ac etto yn anfuddiol i'w enaid ei hun.

20 Y mae un yn ddoeth ar eiriau, ac etto yn atcas: gan hwnnw nid oes dim || doethineb.

|| ymborth.

21 Oblegit ni roddes yr Arglwydd râs iddo ef; canys efe a adawyd heb bob doethineb.

22 Rhyw un sydd gall i'w enaid ei hun, a ffrwythau deall sydd ganmoladwy yn ei enau ef.

23 Gwr doeth a ddysc ei bobl, a ffrwythau ei ddeall ef sydd sicer.

24 Gwr doeth a gaiff ddigon o fendith, a'r rhai oll a'i gwelant ef, a'i cyfrifant yn happus.

25 Dyddiau oes gwr sydd wrth rifedi, a dyddiau Israel sydd annifeiriol.

26 Y doeth a etifedda ogoniant ym mysc ei bobl, a'i enw a fydd byth.

27 Fy mab, prawf dy enaid tra fyddech byw: gwêl yr hyn sy ddrwg iddo, ac na ddôd iddo.

28 Nid yw pob peth yn fuddiol i bawb, ac nid yw pob enaid yn hoff ganddo bob peth.

29 Na fydd annigonol o ddim dainteith, ac na ruthra i fwyd.

30 *O lawer o fwydydd y daw clefyd, a gormodedd a dry fel geri.

Pen.31.19,20.

31 Trwy ormodedd y bu feirw llawer, ond yr hwn a ymgeidw, a estyn ei hoedl.

## PEN. XXXVIII.

1 Y dylai y meddyg barch, a pha ham. 16 Pa fodd y mae wylo a galaru tros y marw. 24 Doethineb y dyscedig, a'r llafurwr, a'r crefftwr, a'r defnydd sydd o honynt.



Anrhydedda y meddyg ag anrhydedd dyledus iddo, am fod yn rhaid wrtho ef: oblegit yr Arglwydd a'i creawdd ef.

2 Canys oddi wrth y Goruchaf y daeth meddiginiaeth, ac efe a gaiff || ogoniant gan y brenin.

|| rhodd.

3 Gwybodaeth y meddyg a dderchafa ei ben ef, ac yngŵydd gwyr mawr y perchir ef.

4 Yr Arglwydd a greawdd feddiginiaethau o'r ddaiar, ac ni bydd ffiaidd gan wr call mo honynt.

5 *Oni wnaed y dwfr yn beraidd â phren, fel y gwybyddei dynion ei rinwedd ef?

*Exod.15.

6 Ac efe a roddes wybodaeth i ddynion fel y gogoneddid ef am ei ryfeddodau.

7 A'r rhai hynny y mae efe yn meddiginiaethu, ac yn tynnu ymmaith boen dyn.

8 A'r rhai hynny y gwna yr apothecari eli, ac ar ei waith nid oes diben, o herwydd oddi wrth [yr Arglwydd] y mae heddwch ar wyneb y ddaiar.

9 Fy mab na fydd esceulus yn dy glefyd, eithr * gweddia ar yr Arglwydd, ac efe a'th iachâ di.

*Esa.38.2.

10 Tro oddi wrth anwiredd, ac iawnhefna dy ddwylo, a glanhâ dy galon oddi wrth bob pechod.

11 Dôd bêr-arogl a choffadwriaeth o beilliaid, a dôd offrwm brâs, fel || un heb fôd.

|| un marw.

12 Yna dôd le i'r meddyg, o blegid yr Arglwydd a'i creawdd ef, nac ymadawed â thi, o herwydd fe sydd rhaid it wrtho ef.

13 Y mae amser pan fyddo ffynniant ar eu llaw hwynt.

14 Canys hwy a weddiant hefyd ar yr Arglwydd ar iddo ef lwyddo yr hyn y maent hwy yn ei roddi, er esmwythdra ac iechyd i estyn einioes.

15 Yr hwn a becho yngŵydd yr hwn a'i gwnaeth, syrthied yn llaw y meddyg.

16 Fy mab gollwng ddagrau tros y marw, a dechreu alaru, fel pe bait yn dioddef anfad niwed; ac yna amdoa ei gorph ef yn ôl yr arfer, ac na ddirmyga ei gladdedigaeth ef.

17 Wyla yn chwerw, a gofidia yn dost, a galara fel yr haeddei ef, ddiwrnod neu ddau, rhag cael anair: yna cymmer ddiddanwch am dy dristwch.

18 Oblegit o dristwch y daw marwolaeth, * a thristwch calon a blyga gryfder.

Dihar.15. & 17.22.

19 Mewn cystudd yr erys tristwch, a melldith calon yw bywyd y tlawd.

20 Na ddod tristwch at dy galon, tro ef ymmaith, a meddwl am y diwedd.

21 Nac anghofia [hyn,] o herwydd ni elli ddychwelyd: ni elli di ddaioni iddo ef, ond niwed a wnei i ti dy hun.

22 Cofia y farn sydd || i mi; felly y bydd yr eiddo tithau: i mi ddoe, ac i tithau heddyw.

|| arnw ef.

23 Gorphywysed * coffadwriaeth y marw, pan orphywyso yntau: cymmer gyssur am dano ef, gan fyned ei yspryd oddi wrtho ef.

2.Sam.12.

24 Doethineb y dyscedic a geir wrth hamdden amserol: || a'r hwn a edrycho ychydig am ei waith, ni bydd efe doeth.

|| a'r hyn drafferth doeth.

25 Pa fodd y daw efe i ddoethineb, yr hwn sydd yn dal y penffestr, ac sydd a'i hoffter yn yr irai, ac sydd yn gyrru yr ychen, ac sydd yn arfer eu gwaith hwynt, ac yn chwedleua am fustachiaid.

26 Y mae efe yn rhoi ei feddwl ar droi cwysau; ac yn ddiwyd i roddi gwellt i'r gwartheg.

27 Felly pob saer, a phen-saer, yr hwn a weithia nos a dydd; yr hwn a gerfia gerfiadau

fladau feliau, ac a fydd affud i wneuthur amryw gerfiadau, ac a rydd ei feddwl ar ddynwared portreiadau, ac a fydd wiliadurus i orphen gwaith.

28 Felly y gôf yn eistedd wrth yr einion, ac yn ystyried y gwaith haiarn; angerdd y tân a wna iw gnawd ef ddihoeni, ac efe a ymladd â gwrês yr aelwyd: y mae sŵn y morthwyl a'r einion yn dyfod yn wastad iw glustiau ef, ar wedd y dodrefnyn y mae efe yn ei wneuthur y mae ei lygaid ef yn wastad: ei feddwl a rydd efe ar orphen ei waith, a'i ofal fydd am ei orphen yn hardd.

29 Felly y mae y crochenydd yn eistedd wrth ei waith, ac yn troi y droell â'i draed, yr hwn a esyd ar ei waith bob amser yn ofalus, a'i holl waith ef fydd tan rif.

30 Efe a lunia y clai â'i fraich, ac a'i medalha ef â'i draed; efe a esyd ei feddwl ar ei blymmio trosto, ac a fydd ofalus i yscubo yr odyn.

31 Y rhai hyn oll sydd yn ymddiried yn eu dwylo eu hun, a phob un a gais fod yn gelfydd yn ei waith.

32 Heb y rhai hyn nis cyfanneddir dinas, ac ni chânt hwy drigo lle y mynnont, na rhodio i fynu ac i wared.

33 Ni cheisir hwynt i fod o gyngor y bobl, ac ni dderchefir hwynt yn y gynulleidfa; nid eisteddant hwy ar orsedd-faingc ynadon, ac ni ddeallant gyfammod y gyfraith: ni fedrant egluro cyfiawnder a barn, ac ni byddant i'w cael lle y bo traethu dammegion.

34 Eithr y maent hwy yn cynnal y bŷd: a'i dymuniad sydd yngwaith ei celfyddyd:

PEN. XXXIX.

1 Portreiad y gwir ddoeth. 12 Annog i folianu Duw am ei weithredoedd, y rhai sy ddaionus i'r rhai da, a niweidiol i'r rhai drygionus.



Eithr yr hwn a roddo ei frŷd ar Gyfraith y goruchaf, ac a fyfyria ynddi, a gais ddoethineb y rhai oll a fuant gynt, ac a dreulia ei amser ||yn y Prophwydi.

2 Efe a geidw eiriau gwŷr enwoc: ac a fydd lle y bo dammegion call.

3 Efe a gais ddirgelwch diarebion, ac a erys ynghaled gwestiwnau dammegion.

4 Efe a wasanaetha ym mysc pendefigion, ac a ymddengys yngŵydd tywysogion: efe a dramwya trwy wlâd cenhedloedd dieithr, canys fe a brofodd y da a'r drwg ym mysc dynion.

5 Efe a rydd ei feddwl ar fyned yn foreu at yr Arglwydd, yr hwn a'i gwnaeth ef, ac efe a weddia ger bron y Goruchaf, ac a egyr ei enau mewn gweddi, ac a ymbil tros ei bechodau.

6 Pan fynno yr Arglwydd mawr, efe a lenwir ag yspryd deall: efe a draetha eiriau doethion, ac yn ei weddi efe a folianna yr Arglwydd.

7 Efe a gyfarwydda ei gyngor, a'i wybodaeth ef, yn ei ddirgelwch ef y myfyria ef.

8 Efe a ddengys addysc ei athrawiaeth, ac a lawenycha ynghyfraith cyfammod yr Arglwydd.

9 Llawer a ganmolant ei synwyr ef, ac ni's dileir hi byth: nid ymedy ei goffadwriaeth ef, eithr ei Enw a bery yn oes oesoedd.

10 Cenhedloedd a fynegant ei ddoethineb ef, a'r *gynulleidfa a draetha ei glôd ef.

11 Efe a âd enw gwell nâ mil, os bydd efe marw; ac os byw fydd, efe a'i chwanega.

12 Mynegaf etto yr hyn a feddyliais, oblegit yr ydwyf fi mor llawn a'r leuad yn y llawn lloneid.

13 Gwrandewch arnaf chwi rai sanctaidd, blodeuwch fel rhosyn wedi ei blannu wrth ||afon y maes:

14 A rhoddwch arogl peraidd fel thus, a dygwch flodau fel gardd lili, rhoddwch arogl, a chenwch fawl, a bendithiwch yr Arglwydd yn ei holl weithredoedd.

15 Mawrygwch ei Enw, a gosodwch allan ei fawl ef, gan ganu â gwefusau, ac â thelynau, a dywedwch yn eich clodforedd fel hyn:

16 *Holl weithredoedd yr Arglwydd ydynt dda odiaeth, a'i holl orchymynion ef [a wneir] mewn prŷd.

17 Ni all neb ddywedyd, beth yw hyn? pa ham y mae hyn accw? canys mewn prŷd y ceisir hwynt oll: wrth ei air ef y safodd y dwfr fel pentwr, a'r llynnau dyfroedd wrth air ei enau ef.

18 Yn ei orchymyn ef y mae pob dim a ryglyddo bodd iddo, ac nid oes a ddichon luddias ei iechydwriaeth ef?

19 Gweithredoedd pob cnawd sydd ger ei fron ef, ac ni ellir cuddio dim rhag ei olwg ef.

20 Y mae efe yn edrych o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb, ac nid oes dim rhyfedd ger ei fron ef.

21 Nid rhaid gan hynny ddywedyd, beth yw hyn? pam y mae hyn accw? oblegit efe a wnaeth bob peth i'r peth y mae yn rhaid wrthynt.

22 Ei fendith ef a orchguddiodd fel afon, ac a ddyfrhaodd y ddaiar fel llif.

23 Fel y trôdd efe y dyfroedd yn halltineb: felly y caiff y Cenhedloedd ei ddig ef yn etifeddiaeth.

24 *Ei ffyrdd ef sydd uniawn i'r rhai sanctaidd, a thramgwydd i'r anwir.

25 Pethau da a grewyd o'r dechreuad i'r rhai da, a phethau niweidiol i bechaduriaid.

26 Y pethau *pennaf o angenrheidiau bywyd dyn, yw dwfr, tân, a haiarn, a halen, a blawd gwenith, a llaeth, a mel, a ||gwin, ac olew, a dillad.

27 Y rhai hyn oll sydd dda i'r duwiol; felly y troir hwynt yn niwed i'r pechaduriaid.

28 Y mae yspyrydion a wnaed er dialedd, ac

Margin notes: *Exod. 15. — *Esa. 38. — ||yn marw. — Dan. — & 17. 12. — ||yn prophwydoliaethau. — ||a'r ef. — 2. Sam. — ||a'r bychan dysgeidiaeth doeth. — *Pen. 44. 13. — ||afonydd o ddyfroedd. — *Gen. 1. 31. mar. 7. 37. — *Hose. 14. 10. — *Pen. 29. 33. — ||gwaed y grawnwin.

ac yn eu dig y crysshaant hwy eu ffrewyllau: yn y diwedd hwy a dywalltant allan eu nerth, ac a ostegant lid yr hwn a'i gwnaeth.

29 Tân, a || môr, a newyn, a marwolaeth, y rhai hyn oll a wnaed er dialedd.

|| chenllysc.

30 Dannedd bwyst-filod, ac scorpionau, a || gwiberod, a'r cleddyf, sydd yn dial er dinistr ar yr annuwolion.

|| seirph.

31 Byddant lawen || pan gysodo efe, a pharod fyddant ar y ddaiar, pan fyddo rhaid wrthynt hwy, a phan ddelo eu hamser, nid ânt hwy tros ei orchymmyn ef.

|| yn ei orchymmyn ef.

32 Am hyn yr ymnerthais i o'r dechreuad, ac a feddyliais am y pethau hyn, ac [a'i] gadewais mewn scrifen.

33 Holl waith yr Arglwydd sydd dda; ac efe a'i dyry hwy wrth bob rhaid yn eu hamser.

34 Ni ellir dywedyd, gwaeth yw hyn nâ hyn accw: oblegid cymmeradwy fydd pob vn yn ei amser.

35 Am hynny yn awr â'r galon oll ac â'r genau, canmolwch, a bendithiwch Enw yr Arglwydd.

## PEN. XL.

1 Llawer o ofid sydd ym mywyd dyn. 12 Gwobr anghyfiawnder, a ffrwyth honestrwydd. 17 Gwraig rinweddol, a chydymaith ffyddlon a lawenhá'r galon, ond ofn yr Arglwydd sydd goruwch pob peth. 28 Digafog yw bywyd y tlawd.



Blinder mawr a grewyd i bob dyn, ac iau drom sydd ar feibion || dynion, o'r dydd y delont hwy o groth eu mam, hyd y dydd y dychwelont hwy i fam pob peth:

*Eccles.1.3.
|| Adda.

2 [Sef] eu meddyliau, a'i braw calon, eu disgwyliad am y pethau a ddaw, a'i dydd diwedd:

3 O'r hwn sydd yn eistedd ar deyrn-gadeir gogoniant, hyd yr isel-radd, yr hwn sydd yn y pridd a'r lludw:

4 O'r hwn sydd yn gwisco porphor a choron, hyd yr hwn a wisc liain cri.

5 Y mae dig a chenfigen, blinder a helbul, ac ofn marwolaeth, a llid, ac ymryson, ac yn amser cymmeryd esmwythdra yn ei wely, ei gwsc liw nos a newidia ei wybodaeth ef.

6 Megis yn nydd amser gwilio, felly yn ei gwsc, ychydig neu beth heb ddim yw ei esmwythdra ef: efe a gythryblir yn ei galon megis vn wedi ffoi o ryfel,

7 Pan fo pob peth yn ddiofal, efe a ddeffry, ac a ryfedda nad oedd yr ofn ddim.

8 [Felly y mae] i bob cnawd, yn ddyn ac yn anifail, ac i bechaduriaid y mae saith mwy nâ hyn.

9 *Marwolaeth, gwaed, ymryson, cleddyf, gorthrymder, newyn, cystudd, a ffrewyll.

*Pen.39.29,30

10 Yn erbyn yr annuwiol y gwnaed hyn oll, *ac er eu mwyn hwy y bu y diluw.

*Gen.7.11.

11 Pob peth *ar y sydd o'r ddaiar a ddychwel i'r ddaiar, hyn sy o'r *dyfroedd, a drois i'r môr.

*Gen.3.19.
*Pen.41.10.
Preg.1.7.

12 Pob derbyn gwobr ac anghyfiawnder, a ddeleir, ac vniondeb a bery byth.

13 Golud rhai anghyfiawn a â yn ddistyydd fel afon: ac a ddifanna trwy dwrwf, fel taran fawr ar law.

14 Tra yr agoro efe ei law, efe a fydd lawen: felly y derfydd am y troseddwyr.

15 Hiliogaeth yr annuwiol ni byddant ganghennog: eithr fel gwraidd aflan ydynt ar graig ddibyn.

16 Y *chwyn yn tyfu wrth bob dwfr, ac ynglan yr afon, a dynnir o flaen pob gwellt.

*Iob 8.11.& 16,12. Gen.41.2.

17 Caredigrwydd sydd fel gardd || baradwysaidd: a thrugaredd a bery byth.

|| fendigedig.

18 Melus yw buchedd yr hwn a weithio, ac *a fyddo bodlon iw gyflwr, gwell nâ'r ddau yw yr hwn a gaffo drysor.

*Phil.4.11. 1.tim.6.6.

19 Planta ac adeiladu dinas a siccrhâ enw: eithr gwraig ddifai a gyfrifir yn well nâ'r ddau.

20 Gwin a cherdd a lawenycha y galon, eithr hoffi doethineb sy fwy nâ'r ddau.

21 Pibell a psaltring a wnant gynghanedd felus: a thafod mwyn sydd well nâ'r ddau.

22 Pryd a thegwch a chwennych llygad: er hynny gwell yw egin glâs nâ'r ddau.

23 Cyfaill a chydymmaith a gyfarfyddant mewn pryd, gwraig gyd â'i gwr sydd well nâ'r ddau.

24 Brodyr a chymmorth sy dda yn amser adfyd, eithr elusen a wareda yn fwy nâ'r ddau.

25 Aur ac arian a sefydlant y troed, a chyngor sydd gymmeradwyach nâ'r ddau.

26 Golud a chryfder a dderchafa y galon, eithr ofn yr Arglwydd sydd fwy nâ'r ddau: nid oes eisieu yn ofn yr Arglwydd, ac nid rhaid iddo ef geisio help.

27 *Gardd || a fendithiwyd yw ofn yr Arglwydd, ac a'i gorchguddia ef vwch pob gogoniant.

*Esa.4.15.
|| ffrwythlawn

28 Fy mab, na fydd yn || wessai, gwell yw marw nâ || gwessa.

|| gardotyn.
|| chardotta.

29 Nid yw bywyd yr hwn a edrych ar fwrdd gwr arall, iw gyfrif yn fywyd, efe a haloga ei enaid am fwyd eraill; eithr y gwr call, a ddyscwyd yn dda, a ymochel rhag hynny.

30 Melus yw cardotta yngenau y digywilydd, ond yn ei fol ef y llysc tân.

## PEN. XLI.

1 Coffa angeu. 3 Nad ofner angeu. 5 Melldigedig fydd yr annuwiol. 11 Enw drwg, ac enw da. 14 Rhaid yw adrodd doethineb, ac nid ei chelu. 16 Pa bethau y dylem gywilyddio o'i hachos.

Angeu, mor chwerw yw meddwl am danat ti, i'r dŷn a fyddo yn byw mewn heddwch yn yr hyn sydd ganddo: i'r gŵr a fyddo dihelbul, ac yn llwyddiannus ym mhob peth; ac i'r hwn a ddichon etto gymmeryd ei fwyd!

2 Oh angeu, mor dda yw dy farn di i'r anghenus, ac i'r gwan! i'r hen ddihenydd, ac i'r hwn sydd yn flin arno am bob peth, ac i'r anobeithiol, ac i'r annioddefgar?

3 Nac ofna farn angeu, cofia y rhai a fu o'th flaen, ac a fydd ar dy ôl di: dymma farn yr Arglwydd ar bob cnawd.

4 Pa ham y gwrthwynebi di ewyllys y Goruchaf? pa un bynnac ai dec, ai cant, ai mil o flynyddoedd y buost ti fyw, nid oes gyfrif yn y bedd.

5 Plant ffiaidd yw plant pechaduriaid: felly y mae y rhai sydd yn byw yn nrhigfaeu yr annuwiol.

6 Etifeddiaeth plant yr annuwiol a ddifethir, a chyd â'i hiliogaeth hwynt yr erys gwradwydd yn wastad.

7 Rhag tâd annuwiol yr achwyn y plant: oblegit hwy a wradwyddir o'i achos ef.

8 Gwae chwi wŷr annuwiol y rhai a adawsoch Gyfraith y Duw goruchaf: oblegit er eich amlhau, chwi a ddifethir.

9 A phan aner chwi, chwi a enir i felldith, ac os meirw fyddwch chwi, rhoddir i chwi felldith yn rhan.

10 Pob peth â i'r ddaiar, a ddelo o'r ddaiar, felly yr â yr annuwiol o felldith i ddestryw.

11 Galar dynion fydd am eu cyrph, ond enw drwg dynion a ddeleir.

12 Bydd ofalus am enw da: canys hwnnw a erys gyd â thi yn hwy nâ mil o dryssorau mawrion o aur.

13 ‖ Buchedd dda a gaiff nifer o ddyddiau, ond enw da a bery byth.

14 Fy meibion, cedwch addysc mewn heddwch, canys * doethineb wedi ei chuddio, a thryssor heb ei weled, pa fudd sydd o'r ddau?

15 Gwell yw'r dŷn a guddio ei ffolineb, nâ'r dyn a guddio ei ddoethineb.

16 Gwladeiddia gan hynny yn ôl fy ngair i: oblegit nid da yw cadw pob gwladeidd-dra, ac nid yw gwbl gymmeradwy ymmhob peth.

17 Cywilyddiwch yngŵydd tâd a mam am odineb, ac yngŵydd tywysog neu bendefig am gelwydd;

18 Am fai o flaen yr ynad, a'r tywysog; am anwiredd yngŵydd y gynnulleidfa, â'r bobl; am anghyfiawnder yngŵydd cydymmaith a chyfaill;

19 Felly am ledrad o herwydd y lle y byddech yn aros ynddo; ac o herwydd gwirionedd Duw a'i gyfammod, ac am roddi dy benelin ar y bara, ‖ a phan i'th gerydder am roddi a derbyn;

20 Yr un modd am dewi wrth y rhai a'th gyfarchant, ac am edrych ar wraig butteinig;

21 Ac am droi [dy] wyneb oddi wrth dy gâr, am ddwyn rhodd neu ran, ac am ddal sulw ar wraig gŵr arall,

22 Neu am ‖ arfer maswedd â morwyn un arall, ac na thyred yn agos at ei gwely hi, [bydded gywilydd gennit] edliw ger bron cydymmaith, ac na ddannod wedi rhoddi:

‖ *Fod yn rhy bryssur.*

23 Ac am adrodd drachefn yr hyn a glywech, a dadcuddio cyfrinach.

24 Felly y byddi gywilyddgar, ac y cei di ffafor gan bob dŷn.

## PEN. XLII.

1 Am ba beth y dylem gywilyddio. 9 Cymmer ofal tros dy ferch. 12 Gochel wraig. 15 Gweithredoedd a mawredd Duw.

Ac yssyr berson i bechu, ac na fydded arnat gywilydd am y pethau hyn:

2 Sef am gyfraith y Goruchaf, a'i gyfammod, nac am y farn a wnel i'r annuwiol fod yn gyfiawn:

3 Am gyfrif â'th gyfeillion, a'th gydymdeithwŷr, neu am roddi etifeddiaeth cyfeillion:

4 Am fod yn ofalus am gloriannau a phwysau, ac am feddiannu llawer neu ychydig:

5 Am uniondeb yn prynu a gwerthu, am geryddu llawer ar blant, ac am dynnu gwaed o ystlys gwâs drwg.

6 Da yw ‖ sêl rhag gwraig ddrwg, a chloi lle y byddo llawer o ddwylo.

‖ *Cadw yn siccr.*

7 Pan roddech beth at arall, dod tan rif a phwys, dôd a derbyn wrth yscrifen.

8 Trwy ddyscu yr anoeth, a'r angall, a'r cleiriach a ymryso ag ieuengctid, y byddi di wir ddyscedic, a chymeradwy ger bron pob dŷn byw.

9 Merch a bair i'w thâd wilied yn ddirgel, a gofal am dani hi a rwystra ei gwsc ef, rhag iddi nac yn ei hieuengtid fyned tros flodau ei hoedran, na chael ei chasau wedi gwra.

10 Rhag ei halogi yn ei morwyndod, a'i beichiogi yn nhŷ ei thâd: ac iddi wneuthur bai pan fyddo gyd â gŵr, ac er cyttal fod yn ammhlantadwy.

11 Cadw yn siccr ferch wammal, rhag iddi dy wneuthur yn wawd i'th elynion, a pheri i'r ddinas sôn am danat, ac i'r bobl feio arnat, a'th wradwyddo yngŵydd y gynnulleidfa.

12 * Nac edrych ar degwch pob dŷn, ac nac aros ym mysc gwragedd.

* Pen.25.23.

13 Oblegit o ddillad y daw gwyfyn: * a drygioni gwraig o wraig.

* Gen.3.6.

14 Gwell yw gŵr ‖ drygionus na gwraig gymwynasgar, [sef] gwraig a wradwyddo yn gywilyddus.

*anlywodd.*

15 Mi a gofiaf weithredoedd yr Arglwydd,

wydd, ac a fynegaf yr hyn a welais: yngeiriau yr Arglwydd [y ceir] ei weithredoedd ef.

16 Pan oleuo yr haul, efe a oleua ar bob peth: felly y mae ei waith ef yn llawn o ogoniant yr Arglwydd.

17 Ni wnaeth yr Arglwydd i'w rai sanctaidd fynegi ei holl ryfeddodau ef, y rhai a siccrhaodd yr Holl-alluoc, fel y byddei pob peth yn siccr yn ei ogoniant ef.

18 Y mae efe yn chwilio allan y dyfnder, a'r galon, ac yn deall eu cyfrwysdra hwynt: canys y mae || y Goruchaf yn gwybod pob gwybodaeth, ac yn gweled arwyddion y byd.

|| yr Arglwydd.

19 Y mae efe yn mynegi pethau a fuant, a phethau a fyddant, ac yn dadcuddio ôl pethau dirgel.

20 * Nid â un meddwl heibio iddo ef, ac ni bydd un gair yn guddiedic oddi wrtho ef.

* Iob.41.4. Esa.29.15.

21 Efe a harddodd fawredd ei ddoethineb, ac y mae efe o dragywyddoldeb i dragywyddoldeb: ni ellir chwanegu atto ef, na thynnu oddi wrtho: nid rhaid iddo ef wrth gyngor neb.

22 Mor ddymunol yw ei holl weithredoedd ef! ie hyd yn oed mewn gwreichionen y gellir gweled hyn.

23 Y mae y rhai hyn oll yn byw, ac yn parhau byth; ac wrth bob rhaid, y maent hwy yn ufyddhau oll.

24 Y maent hwy oll yn ddau ddyblyg, y naill ar gyfer y llall, ac ni wnaeth efe ddim â diffyc arno.

25 Y mae y naill yn siccrhau daioni y llall, a phwy a gaiff ddigon o edrych ar ei ogoniant ef?

## PEN. XLIII.

1 Tragogoneddus, a rhyfeddol yw gweithredoedd Duw, yn y nef, ac yn y ddaiar, ac yn y mor. 29 Etto y mae Duw ei hun, yn ei allu, a'i ddoethineb, vwch-law pob dim.

GOgoniant yr vchelder, y ffurfafen eglur, tegwch y nefoedd, a'i olygiad gogoneddus;

2 Y mae yr haul hefyd || wrth ymddangos, yn mynegi; || offeryn rhyfedd, gwaith y Goruchaf.

|| ar ei gyfodiad.
|| dadrefnyn.

3 Ar hanner dydd efe a lysc y wlad, a phwy a ddichon aros ar gyfer ei wrês poeth ef?

4 Y mae un yn cadw ffwrn mewn gwaith brwd, tri mwy y llysc yr haul y mynyddoedd: gan chwythu allan angerdd tanllyd, ac yn discleirio â'i belydr y mae efe yn dallu y llygaid.

5 Mawr yw yr Arglwydd, yr hwn a'i gwnaeth ef, ac wrth ei orchymmyn ef, efe a || beidiodd â'i daith.

|| bryssurodd el.
* Gen.1.16.

6 Y * lleuad hefyd a wnaeth efe i wasanaethu yn ei hamser: i fod yn egluro yr amser, ac yn arwydd i'r byd.

7 * Wrth y lleuad y ceir gwybod yr wyl, sef goleuni yn lleihau || tu a'r diwedd.

* Exod.12.2.
|| yn ei berffeithrwydd.

8 Ar ei henw hi y mae y mis, a hi a gynydda yn rhyfedd yn ei chyfnewid: yn offeryn i'r lluoedd yn yr vchelder, yn llewyrchu yn ffurfafen y nefoedd.

9 Disclairdeb y sêr sydd yn degwch i'r nefoedd, ac yn harddwch yn discleirio yn vchel-leoedd yr Arglwydd.

10 Wrth orchymmyn yr un Sanctaidd y maent hwy yn sefyll yn eu trefn, ac nid ydynt yn deffygio yn eu gwiliadwriaeth.

11 * Gwêl yr enfys, a chlodfora yr hwn a'i gwnaeth hi, têg odiaeth yw hi yn ei discleirdeb.

* Gen 9.13

12 Y mae * hi yn amgylchu y nefoedd â chylch gogoneddus, dwylo yr Arglwydd a'i hannelodd hi.

* Esa.40.12

13 Y mae efe wrth ei orchymmyn yn gwneuthur i'r eira ddescyn ar frys, ac i daranau ei farn ef bryssuro.

14 Am hyn yr ymegyr y tryssorau, ac yr hêd y cwmmylau fel adar.

15 Yn ei fawredd y siccrhaodd efe y cwmmylau, ac a dorrodd yn fân y cerrig cenllysc.

16 A'r mynyddoedd a symmudant wrth ei olwg ef, wrth ei ewyllys ef y chwyth y deheu-wynt.

17 Twrwf ei daran ef a bair i'r ddaiar grynu, a thymhestl y gogledd-wynt, a'r trowynt: y mae efe yn tanu eira fel adar yn ehedeg, ac efe a syrth fel y discyn ceiliogod rhedyn.

18 Rhyfedd gan lygad weled tegwch ei wynder ef, a phob calon a synna wrth ei gawod ef.

19 Efe a dywallt rew ar y ddaiar fel halen, ac wedi iddo rewi, y mae efe yn || big-lym.

|| yn sefyll ben polion mion.

20 Pan chwytho y gogledd-wynt oer, a rhewi o'r dwfr yn ia, ar bob llyn dwfr y saif, ac efe a wisc y dyfroedd megis â lluric.

21 Y mae efe yn difa y mynyddoedd, ac yn llosci y diffaethwch, ac yn diffoddi pob gwyrdd-lesni fel tân.

22 Meddiginiaeth rhag y cwbl yw niwl a ddelo ar frys, a gwlith a ddelo yn ôl gwrês, a lawenycha.

23 Wrth ei gyngor y llonyddodd efe y dyfnder, ac y plannodd ynysoedd ynddo.

24 * Y rhai a hwyliant ar y môr a fynegant mor enbyd yw efe, a phan glywom ninnau â'n clustiau, nyni a ryfeddwn.

* Psal.1

25 Yno y mae dieithr weithredoedd a rhyfedd: pob amryw anifail, a'r morfeirch.

26 Trwyddo ef y mae || ei angel ef yn cael rhwydd-deb: a thrwy ei air ef y cyfansoddwyd pob peth.

|| eu diw... lwyn... llwyddi...

27 Nyni a ddywedwn lawer, er hynny yr ydym ni yn fyrr: i ddwedyd ar air, efe yw'r cwbl.

28 Pa fodd y gallwn ni ei ogoneddu ef? canys y mae efe uwchlaw ei holl waith.

29 Ofnadwy yw'r Arglwydd, * a mawr odiaeth, a rhyfedd yw ei allu ef.

* Psal.

30 Pan ogoneddoch chwi yr Arglwydd, derchefwch ef fwyaf ac y galloch, ac efe a ra-

a ragora lawer ar hynny: a phan dderchafoch ef, rhoddwch lawer o egni. Na flinwch, canys ni chyrhaeddwch chwi byth adref.

31 *Pwy a'i gwelodd ef, ac a fynega i ni? a phwy a'i mawryga ef megis y mae?

32 Y mae llawer peth mwy na hyn yn guddiedic: canys ychydic a welsom ni o'i weithredoedd ef.

33 Oblegid yr Arglwydd a wnaeth bob peth: ac i'r rhai duwiol y rhoddes efe ddoethineb.

## PEN. XLIIII.

1 Clod amryw wyr duwiol, 16 sef Enoch, 17 Noah, 19 Abraham, 22 Isaac, 23 ac Iacob.



Canmolwn yn awr y gwŷr enwoc, a'n tadau a'n cenhedlodd ni.

2 Llawer o ogoniant a wnaeth yr Arglwydd trwyddynt hwy, a'i fawredd er ioed.

3 Y rhai a lywodraethasant ar eu teyrnasedd, ac oeddynt wŷr enwoc o allu, yn cynghori yn synhwyrol, ac yn traethu prophwydoliaethau.

4 Blaenor-wyr y bobl trwy eu cyngor a thrwy ddeall addysc y bobl: doethion, ac ymadroddus oeddynt yn eu hathrawiaeth.

5 Hwy a geisiasant allan felusdra cerdd, ac a draethasant ganiadau scrifennedic.

6 Gwŷr cyfoethogion cedyrn o nerth, a heddychlon yn eu cartref oeddynt hwy.

7 Y rhai hyn oll yn eu cenhedlaethau a gawsant ogoniant, a gorfoledd yn eu dyddiau.

8 Bu [rai] o honynt hwy gyfryw ac a adawsant enw [ar eu hôl,] fel y mynegid [eu] clôd [hwynt.]

9 Bu hefyd rai heb fod coffa am danynt, y rhai *y darfu am danynt fel pe na buassent, ac a aethant fel pe na's ganesid hwynt, a'i plant a'r eu hôl hwynt.

10 Eithr gwŷr trugarog oedd y rhai hyn, cyfiawnder pa rai n'is anghofiwyd.

11 Gyd â'i hiliogaeth hwynt yr erys etifeddiaeth dda: y mae eu hiliogaeth hwynt yn y cyfammod hefyd.

12 Y mae eu hiliogaeth hwynt yn y cyfammod, a'i plant || ar eu hôl.

13 Byth y pery eu hiliogaeth, a'i gogoniant ni ddileir.

14 Eu cyrph a gladdwyd mewn heddwch; ac y mae eu henw yn byw byth.

15 Y bobl *a fynegant eu doethineb hwy, a'r gynnulleidfa a draetha eu clôd hwynt.

16 *Enoch a ryglyddodd fodd i Dduw, ac a fudwyd ymmaith, yn siampl o edifeirwch i'r cenhedlaethau oll.

17 *Noe a gafwyd yn berffaith, [ac] yn gyfiawn yn amser digter, efe a gymmerwyd yn gyfnewid [am y byd;] am hynny [pan] fu y diluw, y gadawyd ef yngweddill i'r ddaiar.

18 Cyfammod tragywyddol a wnaed ag ef, * na ddifethid pob cnawd trwy ddiluw [mwy.]

*Gen.9.11.

19 *Abraham fydd dâd mawr i lawer o genhedloedd, ac ni chafwyd ei fath ef mewn gogoniant:

*Gen.12.3. & 15.5. & 17.4.

20 Yr hwn a gadwodd Gyfraith y Goruchaf, ac a ddaeth mewn cyfammod ag ef: efe a osododd y cyfammod yn ei gnawd, ac * wrth ei brofi, efe a gafwyd yn ffyddlon.

*Gen.21.4.

21 Am hynny y siccrhaodd efe iddo ef *trwy lw, y bendithid y Cenhedloedd yn ei hâd ef; yr amlheid ef fel llwch y ddaiar, ac y dercheſid ei hâd ef fel y sêr, ac y caent hwy etifeddu o fôr i fôr, ac o'r afon i eithaf y ddaiar.

*Gen.22.16, 17, 18. gal. 3.8.

22 Felly * y siccrhaodd efe i Isaac (er mwyn Abraham ei dad) fendith pob dŷn, a'r cyfammod,

*Gen.26.2, 3.

23 Ac a wnaeth iddo orphywyso ar ben *Jacob. Efe a'i hadnabu ef gan ei fendithio, ac a roddodd iddo ef etifeddiaeth, ac a neilltuodd ei ran ef, ac a'i rhannodd ym mysc y deuddec-llwyth.

*Gen.28.14.

## PEN. XLV.

1 Clod Moses, 6 ac Aaron, 23 a Phinees.



Ac efe a ddug allan o honaw ef wr trugarog, yr hwn a gafodd ffafor yngolwg pob cnawd, sef Moses, yr hwn oedd * hoff gan Dduw a dynion, yr hwn y mae ei goffadwriaeth yn fendigedic.

*Exod.11.3. act.7.22.

2 Efe a'i gwnaeth ef yn debyg i'r Sainct gogoneddus, ac a'i mawrygodd ef, gan beri i'w elynion ei ofni ef:

3 Trwy ei eiriau ef y gwnaeth efe i ryfeddodau beidio, ac a'i gwnaeth ef * yn ogoneddus yngolwg brenhinoedd: efe a roddes gyd ag ef orchymmyn i'w bobl, ac a ddangosodd iddo ef ran o'i ogoniant.

*Exo.6.7, 8, 9.

4 Efe * a'i sancteiddiodd ef yn ei ffyddlondeb a'i larieidd-dra, ac a'i dewisodd ef o blith yr holl ddynion.

*Num.12.3.

5 Efe a wnaeth iddo glywed ei lais ef, ac a'i dug ef i'r cwmmwl tywyll, ac *a roddes orchymynion o'i flaen ef, sef Cyfraith bywyd a gwybodaeth, fel y dyscei efe y cyfammod i Jacob, a'i farnedigaethau i Israel.

*Exod.17.4.

6 Efe a * dderchafodd Aaron y sanct tebyg iddo ef, ei frawd o lwyth Lefi.

*Exod.4.23.

7 Efe a wnaeth ag ef gyfammod tragywyddol, ac a roddes iddo offeiriadaeth ym mysc y bobl: efe a'i || gwnaeth ef yn ddedwydd mewn hardd-wisc, ac a'i gwiscodd ef â gwisc ogoneddus.

|| gwychodd ef â harddwisc.

8 Efe a'i gwiscodd ef â gogonedd cyflawn, ac a'i gwregysodd ef || ag offer cadernid, a llodr, a gwisc laes, ac ag Ephod.

|| a gwiscoedd gwerthfawr.

9 Efe a'i hamgylchodd ef â phomgranadau, [ac] â chlŷch aur lawer o amgylch, i seinio * pan gerddei efe, i wneuthur sŵn a glywid yn y Deml, ac i fod yn goffadwriaeth i feibion ei bobl ef.

*Exod. 28.35.

10 A gwisc sanctaidd o aur, â sidan glâs, â phorphor, ac amryw waith, â dwy

fronnec barn, ag || arwyddion gwirionedd,

|| *Vrim a Thummim.*

11 Ac â gwaith cywrraint o scarlat plethedig, ac â meini gwerthfawr wedi eu cerfio fel sêl, a'i gosod mewn aur trwy waith eurych, ac scrifen wedi ei cherfio, er coffadwriaeth, yn ôl nifer meibion Israel.

12 Ar y meitr [y gosodasei efe] goron o aur, yn yr hon y cerfiesid Sancteiddrwydd, yn harddwch anrhydeddus, yn waith godidog, yn hyfryd i'r llygaid, yn hardd, ac yn dêg.

13 Ni bu y fath o'i flaen ef, ac er ioed ni wiscodd neb dieithr hwynt, ond ei feibion ef bob amser.

14 Dwy waith yn y dydd yn wastadol y poeth-offrymmir eu haberthau hwynt.

15 Moses a'i cyssegrodd ef, ac a'i heneiniodd ag olew sanctaidd, a hyn a wnaed, yn gyfammod tragywyddol iddo ef, ac i'w hâd, cyhŷd ac y parhao y nefoedd, gael o honynt ei wasanaethu ef, ac offeiriadu hefyd, a bendithio y bobl yn ei Enw ef.

16 Efe a'i dewisodd ef o flaen pob [dŷn] byw, i offrymmu offrwm i'r Arglwydd, mwgdarth, a phêr-arogl er coffadwriaeth, i wneuthur cymmod tros y bobl.

17 Efe a * roddes iddo ei orchymynion, ac ynghyfammod y Gyfraith awdurdod, i ddyscu ei dystiolaethau ef i Jacob, ac i egluro ei Gyfraith ef i Israel.

*Deut. 17.10. & 21.5.

18 * Dieithriaid a gydsafasant i'w erbyn ef, ac a genfigennasant wrtho ef yn yr anialwch, sef y gwŷr oedd gyd â Dathan, ac Abiram, a chynnulleidfa Core, mewn llid a digter.

*Num. 16.1.

19 Yr Arglwydd a welodd hyn, ac ni bu fodlon: a hwy a ddifethwyd yn llidiawgrwydd ei ddigter ef: efe a wnaeth arnynt wrthiau, gan eu difetha â fflam dân.

20 Eithr * efe a roddes ychwaneg o ogoniant i Aaron, ac a roddes iddo etifeddiaeth, blaen-ffrwyth y cyntaf-anedic a rannodd efe iddo, yn enwedic efe a arlwyodd ddigon o fara:

*Num. 17.8.

21 Oblegit y maent hwy yn cael bwyta o aberthau yr Arglwydd, y rhai a roddes efe iddo ef, ac i'w hâd.

22 Eithr * ni roddes efe etifeddiaeth iddo ef o dir y bobl, ac nid oedd iddo ef etifeddiaeth ym mysc y bobl: oblegid efe ei hun yw rhan ei etifeddiaeth ef.

*Deut. 12.12. & 18.10.

23 * Phinees mab Eleazar oedd y trydydd mewn gogoniant: am iddo ddwyn zêl yn ofn yr Arglwydd, a sefyll i fynu ag ewyllys da a pharod, a gwneuthur cymmod tros Israel, pan droessei y bobl ymmaith.

*Num. 25.12, 13. 1. Mac. 2. 54.

24 Am hynny y gwnaeth efe ag ef gyfammod heddychlon, y cai efe fod yn bennaf ar y cyssegr, ac ar ei bobl, fel y byddei braint yr offeiriadaeth iddo ef, ac i'w hâd byth.

25 Yn ôl y cyfammod a wnaethid â Dafydd mab Jesse, o lwyth Juda, y byddei etifeddiaeth y brenin i'w eppil ef yn unig; ac y byddai etifeddiaeth Aaron i'w hâd ef yr un modd.

26 Rhodded [Duw] ddoethineb yn eich calon chwi, i farnu ei bobl ef yn gyfiawn, fel na ddileer eu daioni hwynt, ac y parhao eu gogoniant hwy, trwy eu cenedlaethau.

## PEN. XLVI.

1 Clod Iosua, 9 Caleb, 13 a Samuel.



Cryf mewn rhyfel oedd * Jesus mab Nafe, a dilynwr Moses mewn prophwydoliaethau, yr hwn, yn ôl ei enw, oedd fawr, er iechydwriaeth i etholedigion Duw, ac i ddial ar y gelynion a gyfodent i'w herbyn hwynt, fel y cai Israel ei etifeddiaeth.

*Num. 27. deut. 34.9. ios. 1.1. & 11.7.

2 Pa * ogoniant a gafodd efe yn derchafu ei ddwylo, ac yn tynnu ei gleddyf yn erbyn y dinasoedd?

*Ios. 10.12, 14.

3 Pwy o'i flaen ef a safodd felly? canys || efe oedd dywysog ar ryfel yr Arglwydd.

|| yr arglwydd ei hun a ddug ei elynion ef.

4 Onid trwy ei waith ef y safodd yr haul, ac y gwnaed un diwrnod cyhyd â dau?

5 Efe a alwodd ar y Llywydd goruchaf, pan oedd y gelynion yn pwyso arno ef o bob parth, a'r mawr Jôr a'i gwrandawodd ef:

6 * Ac â cherrig cessair mawr allu, efe a ruthrodd ar y cenhedloedd â rhyfel, ac yngoriwared [Bethoron,] efe a ddifethodd y gwrthwynebwŷr, fel y gallei y cenhedloedd adnabod ei holl arfogaeth ef, mai o flaen yr Arglwydd yr oedd efe yn rhyfela, oblegid efe oedd yn canlyn ar ôl y Gallu.

*Ios. 10.11.

7 Yn amser Moses hefyd y gwnaeth efe â Chaleb hefyd fab Jephunne waith elusen, gan sefyll yn erbyn y gynnulleidfa, ac attal y bobl rhag pechu, a lluddio y grwgnach drygionus.

8 A hwynt hwy ill dau a ddianghasant, * o chwe chan mil o wŷr traed, i'w dwyn hwynt i mewn i'r etifeddiaeth, sef i'r wlâd oedd yn llifeirio o laeth a mêl.

*Num. 14. deut. 1.35.

9 I Caleb hefyd y rhoddes yr Arglwydd gryfder, yr hwn a barhaodd gyd ag ef hyd ei henaint, fel yr aeth efe i uchelder y wlâd, a'i hâd ef a'i goresgynnodd hi yn etifeddiaeth.

*Ios. 14.11.

10 Fel y gallei holl feibion Israel weled mai da yw dilyn yr Arglwydd.

11 Y barnwyr hefyd bôb un erbyn ei henw, y rhai oll ni phuteiniodd eu calon, a pha rai bynnac ni throesant oddi wrth yr Arglwydd, bydded eu coffadwriaeth hwynt yn fendigedig.

12 Bydded * eu hescyrn yn iraidd yn eu lle, a bydded eu henw hwynt, y rhai oedd anrhydeddus, yn aros ar eu plant.

*Pen. 49.

13 Samuel Prophwyd yr Arglwydd, yr hwn oedd hoff gan ei Arglwydd, * a osododd frenhiniaethau, ac a eneiniodd dywysogion ar ei bobl ef.

*1. Sam. 10. & 16.13.

14 Trwy Gyfraith yr Arglwydd y barnodd efe y gynnulleidfa, a'r Arglwydd a ymwelodd wrth Jacob.

15 Efe a gafwyd yn wir Brophwyd wrth ei ffydd, ac efe a adnabuwyd wrth ei eiriau ei fod yn ffyddlon mewn gweledigaeth.

16 Ac

16 Ac efe * a alwodd ar yr Arglwydd galluog, pan oedd ei elynion ef o amgylch yn pwyso arno wrth offrymmu yr oen sugno.

17 A'r Arglwydd a daranodd o'r nefoedd, ac a wnaeth glywed ei leferydd â swn mawr.

18 Felly y drylliodd efe dywysogion y Syriaid, a holl bennaethiaid y Philistiaid.

19 A * chyn amser ei hir hûn, efe a dystiolaethodd o flaen yr Arglwydd, a'i eneiniog, ni chymmerais o dda neb, gymmaint ac esgid: ac nid achwynodd neb rhagddo ef.

20 Ac * wedi iddo ef huno, efe a brophwydodd, ac a ddangosodd i'r brenin ei ddiwedd, ac a dderchafodd ei lef o'r ddaiar mewn prophwydoliaeth, i ddileu anwiredd y bobl.

## PEN. XLVII.

1 Clod Nathan, 2 Dafydd, 12 Gogoniant Salomon: a'i wendid; 23 A'i ddiwedd, a'i gospedigaeth.

Wedi hyn y cyfododd y * Prophwyd Nathan yn nyddiau Dafydd.

2 Fel y neilltuir y brasder oddi wrth yr offrwm: felly y dewiswyd Dafydd o feibion Israel.

3 Efe || a chwaraodd â llewod * megis â mynnod: ac ag eirth megis ag wyn defaid.

4 * Oni laddodd efe gawr yn ei ieuengtid? ac oni thynnodd efe ymmaith wradwydd y bobl; pan gyfododd efe ei law â charreg dafl: a bwrw i lawr falchder Goliah?

5 Canys efe a alwodd ar yr Arglwydd goruchaf, ac yntef a roddes nerth iw ddeheulaw ef, i ladd y dŷn cryf yn y rhyfel, fel y derchafei efe gorn ei bobl.

6 Felly [y bobl] a'i * anrhydeddodd yntef â myrddiwn, ac a'i canmolodd ym-mendithion yr Arglwydd, pan roes iddo ef goron y gogoniant.

7 Efe * a ddrylliodd y gelynion o amgylch, ac a ddifethodd y Philistiaid oedd wrthwyneb-wyr [iddo,] ac a ddrylliodd eu corn hwy hyd heddyw.

8 Yn ei holl waith y rhoddes efe glodforedd i'r hwn sydd Sanctaidd a Goruchaf, â geiriau anrhydeddus, ac â'i holl galon y canodd efe ganiadau, ac y carodd ef yr hwn a'i gwnaeth.

9 Ac * efe a osododd gantorion o flaen yr allor, fel y gwnaent gerdd felus ar dafod, ac y clodforent [Dduw] beunydd â'i caniadau.

10 Efe a roddes drefn weddaidd am y gwyliau, ac a gymhwysodd yr amserau yn berffaith, fel y clodforent hwy ei Enw Sanctaidd ef, ac y gwnaent iw Gyssegr ef seinio yn foreu.

11 * Yr Arglwydd a ddileodd ei bechodau ef, ac a dderchafodd ei gorn ef byth, ac a roddes iddo gyfammod y frenhiniaeth, a gorsedd-faingc || gogoniant yn Israel.

|| teyrnas.

12 Ar ôl hwn y cododd mab doeth, ac a breswyliodd mewn ehangder er ei fwyn ef.

13 * Salomon a deyrnasodd mewn amser heddychlon, ac a oedd anrhydeddus: canys Duw a barasei lonyddwch o'i amgylch ef, fel yr adeiladei efe dŷ iw Enw ef, ac y darparei Gyssegr tros byth:

1.Bren.4.21. 24.

14 * Mor ddoeth || oedd efe yn ei ieuengtid; a megis afon yn llawn o synwyr!

1.Bren.4.29. 30. || oeddyt yn dy.

15 Dy enaid a orchuddiodd yr holl ddaiar, ac a'i llanwodd â diharebion dammegol.

16 Dy enw a aeth ym mhell i'r ynysoedd, a chu oeddit am dy heddwch.

17 * Ryfeddodd y gwledydd wrth dy ganiadau, a'th ddiharebion, a'th gyffelybiaethau, a'th ddeongliadau.

1.Bren.4 31.

18 Trwy Enw Arglwydd Dduw yr holl ddaiar, yr hwn a elwir dy Dduw di Israel, y cesclaist ti * aur fel alcam, ac y cesaist arian cyn amled a'r plwm.

1 Bren.10.27.

19 * Ti a ogwyddaist dy lwynau i wragedd, ac a'th ddarostyngwyd yn dy gorph.

1.Bren.11.1.

20 Ti a anefaist dy ogoniant, ac a halogaist dy || hiliogaeth, gan ddwyn digofaint yn erbyn dy blant, a dwyn gofid am dy ynfydrwydd:

|| hâd.

21 Felly y * rhannwyd y frenhiniaeth, ac y dechreuodd brenhiniaeth anufyddgar fod o Ephraim.

1.Bren.12.15.

22 * Er hynny ni âd yr Arglwydd ei drugaredd ymmaith byth, ac ni ddifethir un o'i weithredoedd ef, ac ni ddilea efe hiliogaeth ei etholedic, ac ni ddwg ymmaith || eppil yr hwn a'i câr ef: o ba herwydd efe a adawodd weddill i Jacob, a gwreiddyn i Ddafydd, o honaw ef.

1.Sam.7.15. || hâd.

23 Yna Salomon a orphywysodd gyd â'i dadau, ac a adawodd o'i hiliogaeth ar ei ôl, Roboam ynfydrwydd y bobl, ac un disynhwyr, yr hwn a yrrodd y bobl ymmaith â'i gyngor; * ac yr oedd Jeroboam mab Nabat, yr hwn a * wnaeth i Israel bechu, ac a ddangosodd y ffordd i Ephraim i bechu:

1.Bren.12. 10,11.13.14. *1.Bren.12. 28.30.

24 A'i pechodau hwy a amlhasant mor ddirfawr, hyd oni thrŵodd efe hwynt allan o'r wlâd.

25 Canys hwy a geisiasant allan bob anwired, hyd oni ddaeth dig a dialedd arnynt hwy.

## PEN. XLVIII.

1 Clod Elias, 12 ac Elisæus, 17 ac Ezecias.

Yna y cododd * Elias y Prophwyd fel tân, a'i air ef a loscei fel lusern.

1.Bren.17.1.

2 Yr hwn a ddug arnynt hwy newyn mawr, a thrwy ei zêl a'i gwnaeth hwy yn ychydig.

3 Efe a gaeodd y nefoedd trwy air yr

Arglwydd, a *thair gwaith y dug efe dân i wared.

1.Bren.18.38. & 2.bren.1.10.

4 Oh Elias, mor ogoneddus fuost ti yn dy ryfeddodau! a phwy a ddichon ymffrostio fel tydi?

5 Yr hwn *a gyfodaist [y] marw o farwolaeth, || a dŷn o'r bedd, trwy air y Goruchaf.

1.Bren.17.21. || ei enaid o le y meirw.

6 Yr hwn a ddygaist frenhinoedd i ddinistr, a phendefigion o'i || heisteddfa.

2.Bren.1.16. || gwelau.

7 Yr hwn a glywaist gerydd yr Arglwydd yn Sinai, a barnedigaethau dialedd *yn Horeb.

1.Bren.19.15.

8 Yr hwn *a eneiniodd frenhinoedd i dalu y pwyth, a phrophwydi i ddilyn ar ei ôl ef.

1.Bren.19.16.

9 * Yr hwn a godwyd i fynu mewn tro-wynt o dân, ac mewn cerbyd meirch tânllyd.

2.Bren.2.11.

10 *Yr hwn a ordeiniwyd i geryddu mewn pryd, ac i ostegu digter barn yr Arglwydd, cyn iddo dorri allan yn llid, ac i droi calon y tad at y mab, ac i || gyweirio llwythau Jacob.

Malach.4.5. || sicrhau.

11 Gwyn eu byd hwy a'th welsant di, ac a || hunasant mewn cariad: canys nyni a fyddwn byw yn ddiau.

|| barddwyd â chariad.

12 Elias * a orchuddiwyd a thro-wynt: ac Elizeus a lanwyd â'i yspryd ef: ni syflodd efe er tywysogion yn ei ddyddiau, ac ni allodd neb ei ddarostwng ef.

2.Bren.2.11. 15.

13 Ni orchfygodd || dim ef, ac wedi ei huno, ei gorph ef a brophwydodd.

|| yn gair. 2.Bren.13.21.

14 Efe a wnaeth ryfeddodau yn ei fywyd, ac yn ei ddiwedd rhyfedd oedd ei weithredoedd ef.

15 Er hyn oll ni chymmerodd y bobl edifeirwch, ac ni chiliasant oddi wrth eu pechodau, * hyd oni chaethgludwyd hwynt o'i gwlâd, a'i gwasgaru ym mhob gwlâd: etto gadawyd ychydig bobl, a thywysog yn nhŷ Ddafydd.

2.Bren.18.11.

16 Rhai o honynt hwy a wnaethant yr hyn oedd yn rhyglyddu bodd i Dduw, a rhai a wnaethant lawer o bechodau.

17 * Ezecias a gadarnhaodd ei ddinas, ac a ddug ddwfr iw chanol hi: efe a gloddiodd y graig â haiarn, ac a wnaeth ffynhonnau i'r dwfr.

2.Bren.18.2.

18 Yn ei ddyddiau ef * y daeth Senacherib i fynu, ac a anfonodd Rabsaces o Lachis, ac a dderchafodd ei law yn erbyn Sion, ac a ymffrostiodd yn ei falchder.

2.Bren.18.13.

19 Yna y crynnodd eu calonnau a'i dwylo hwynt, ac yr ymofidiasant fel gwragedd yn escor.

20 Ond hwy a alwasant ar yr Arglwydd trugarog, gan estyn eu dwylo atto ef, a'r Sanctaidd a'i gwrandawodd hwy o'r nefoedd, ac a'i gwaredodd hwy trwy law Esai.

21 Efe * a darawodd lu yr Assyriaid, a'i Angel ef a'i dinistriodd hwynt.

2 Bren.19.35. esa.37.36. tob.1.18. 1.mac.7.41. 2.mac.8.19.

22 O blegit Ezecias a wnaethei yr hyn oedd fodlon gan yr Arglwydd, ac a ddilynodd ffyrdd Dafydd ei dad yn lew, fel y gorchymynnasei y prophwyd Esai, yr hwn oedd fawr a || pharchedic yn ei olwg ef.

|| ffyddlon yn ei weledigaeth.

23 Yn * ei ddyddiau ef yr aeth yr haul yn ei ôl, ac efe a estynnodd hoedl y brenin.

2.Bren.20.10. esa.38.8.

24 Trwy yspryd godidog y gwelodd efe y pethau a fyddent yn y diwedd, ac y cyssurodd efe y rhai oedd yn galaru yn Sion.

25 Efe a ddangosodd y pethau a ddeuei byth, a phethau dirgel cyn eu dyfod.

## PEN. XLIX.

1 Clod Iosias, 4 a Dafydd, ac Ezecias, 6 a Ieremi, 8 ac Ezeciel, 11 a Zorobabel, 12 a Iesus fab Iosedec. 13 Nehemiah, Enoch, Seth, Sem, ac Addaf.



Coffadwriaeth * Josias sydd fel cymmysc arogl-darth trwy gyfarwydd waith yr apothecari: melus ydyw fel y mêl yn mhob genau, ac fel || cerdd mewn gwledd o win.

2.Bren.22.1. 2.cron.34.1. || music.

2 Efe a || gafodd rwydd-deb yn troi y bobl, ac a ddug ymmaith ffieidd-dra anwiredd.

|| a ymddug uniawn yn ychwr-liad

3 * Efe a gyfeiriodd ei galon at yr Arglwydd, ac a gadarnhaodd dduwioldeb yn amser pechaduriaid.

2.Bren.23.

4 Pawb ond Dafydd, Ezecias, a Josias, a wnaethant fai: canys hwy a adawsant gyfraith y Goruchaf, brenhinoedd Juda hefyd a ballasant.

5 Yntef a roddes eu || corn hwynt i arall, a'i gogoniant i genedl ddieithr.

|| gallu.

6 Hwy a losgasant ddinas etholedic y Cyssegr, ac * a anrheithiasant ei heolydd hi, yn ôl prophwydoliaeth Jeremias.

2.Bren.25.

7 Canys ei gystuddio ef a wnaethant, ac yntef * wedi ei sancteiddio yn brophwyd o groth ei fam, i ddiwreiddio, a niweidio, a difetha: felly hefyd i adeiladu, ac i blannu.

Iere 38.6. Iere.1.5.

8 * Ezeciel yntef a welodd weledigaeth ogoneddus, yr hon a ddangoswyd iddo ef ar gerbyd y Cherubiaid.

Ezec.1.3.

9 Efe a gofiodd y gelynion yn y gafod, ac a gyfarwyddodd y rhai uniawn eu ffyrdd.

Ezec.13. & 38.11. & 46.11.

10 Felly bendigedic fyddo coffadwriaeth y deuddec prophwyd, ac ireiddied eu hescyrn o'i lle: canys hwy a gyssurasant Jacob, ac a'i gwaredasant â gobaith sicr.

11 Pa fodd * y mawrygwn ni Zorobabel; yntef oedd megis sêl ar y llaw ddehau.

Hag.1.1. ezr.4.1.

12 Felly * Jesus fab Josedec: y rhai yn eu dyddiau a adeiladasant y tŷ, ac a gyfodasant Demel sanctaidd i'r Arglwydd, yr hon a ddarparwyd yn ogoniant tragywyddol.

Zach.3.1. ezr.3.2. nehem.

13 Nehemias hefyd oedd o'r rhai etholedic, am yr hwn y mae mawr goffa, yr hwn a gododd i ni y caerau a syrthiasei, ac a osododd i fynu y pyrth, a'r barrau, ac a gyfododd ein || tai ni.

|| cartrefi.

14 Ni chrewyd ar y ddaiar fath * Enoch, canys efe a gyfodwyd i fynu oddi ar y ddaiar.

* Gen. pen.44. heb.11.

15 Ac ni bu y fath wr a * Joseph, yr hwn oedd bennaeth ar ei frodyr, a chynhaliwr y bobl, yr hwn yr edrychodd yr Arglwydd am ei escyrn.

* Gen. & 42.6. & 45.

16 Sem a Seth a gawsant barch gan ddynion: ac Adda oedd yn y greadwriaeth goruwch pôb peth byw.

Gen.5. & 11.1.

PEN.

58 Ac yr oedd llawenydd mawr ymmhlith y bobl, am droi gwaradwydd y Cenhedloedd ymmaith.

59 Felly Judas a'i frodyr, a holl gynnulleidfa Israel a ordeiniodd gadw dyddiau cyssegriad yr allor yn eu hamserau, yn uchel-wyl bob blwyddyn tros wyth niwrnod, gan ddechreu y pummed dydd ar hugain o'r mis Casleu, trwy orfoledd a llawenydd.

60 Ac ar yr un amser, hwy a adeiladasant fynydd Sion i fynu â chaerau uchel, ac â thyrau cedyrn oddi amgylch, rhag dyfod o'r Cenhedloedd a'i sathru ef i lawr, fel y gwnaethent o'r blaen.

61 A hwy a osodasant ynddo gryfdwr i'w gadw ef, ac a gadarnhasant Beth-sura i'w gadw ef, fel y cai yr bobl amddeffynfa yn erbyn Idumæa.

PEN. V.

3 Iudas yn taro meibion Dan, Bean, ac Ammon. 17 Danfon Simon i Galilæa. 15 Gwroliaeth Iudas yn Galaad. 51 Y mae efe yn distrywio Ephron, am naccau iddo gael myned trwyddi. 56 Lladd llawer a fynnai ymladd â'i gelynion yn absen Iudas.



Digwyddodd hefyd pan glybu y Cenhedloedd oddi amgylch ddarfod adeiladu yr allor, ac adnewyddu yr Cyssegr, fel y buasent o'r blaen, yna digio yn ddirfawr a wnaethant.

2 Am hynny hwy a ymgynghorasant i ddestrywio cenhedl Jacob, yr hon oedd yn eu plith hwy, ac a ddechreuasant ladd ac erlid y bobl.

3 Yna Judas a ymladdodd yn erbyn plant Esau yn Idumæa, yn || Arabathane, am eu bôd yn gwarchae ar Israel: ac efe a'i tarawodd â phla mawr, ac a'i darostyngodd, ac a ddug eu hyspail hwynt.

4 Efe a gofiodd hefyd falis ac anffyddlondeb plant || Bean, fel yr oeddynt hwy'n rhwyd, ac yn rhwystr i'r bobl, ac yn eu cynllwyn hwy yn y ffyrdd.

5 Am hynny efe a'i cauodd hwy mewn tyrau, ac a wersyllodd yn eu herbyn, ac a'i destrywiodd hwy yn llwyr, ac a loscodd eu tyrau hwy, a || phawb a'r oedd ynddynt.

6 Wedi hynny efe a aeth trosodd at blant Ammon, ac a gafodd yno lu cadarn, a llawer o bobl, gyd â Thimotheus eu capten hwynt.

7 Ac efe a ymladdodd â hwynt mewn llawer o ryfeloedd, a hwy a ddestrywied o'i flaen ef, ac efe a'i tarawodd hwynt.

8 Ac wedi iddo ennill Jazar, a'r trefydd oedd yn perthynu iddi hi, efe a ddychwelodd i Judæa.

9 Yna y Cenhedloedd yn Galaad a ymgasclasant yn erbyn yr Israeliaid, y rhai oedd o fewn eu terfynau hwy, i'w lladd hwy; ond hwy a ffoesant i gastell Dathema;

10 Ac a anfonasant lythyrau at Judas a'i frodyr gan ddywedyd, y Cenhedloedd, y rhai sy o'n hamgylch ni, a ymgasclasant yn ein herbyn ni, i'n destrywio ni.

11 Ac yr awron y maent hwy yn ymbaratoi i ddyfod, ac i amgylchu 'r castell, lle y ffoesom ni: a Thimotheus ydyw capten eu llu hwy.

12 Tyret ynawr gan hynny, a gwared ni allan o'i dwylo hwy, canys llawer o honom ni a laddwyd eusys.

13 A'n holl frodyr, y rhai oedd yn lleoedd Tobie, a laddwyd, eu gwragedd hefyd a'i plant a ddygasant hwy ymmaith yn gaethion, a'i da a ddygasant, ac a laddasant yno ynghylch mil o wyr.

14 Pan oedd y llythyrau hyn etto yn eu darllen, wele, cenadon eraill a ddaeth o Galilea, wedi rhwygo eu dillad, y rhai a fynegasant yn ôl y geiriau hyn,

15 Ac a ddywedasant, ymgasclodd y rhai sy o Ptolemais, a Thyrus, a Sidon, a holl Galilea y Cenhedloedd, yn ein herbyn ni, i'n destrywio ni.

16 Pan glybu Judas a'r bobl hyn ymma, cynnulleidfa fawr a ymgasclodd i ymgynghori pa beth a wnaent hwy i'w brodyr oedd mewn gorthrymder, ac a rhyfel yn eu herbyn.

17 A Judas a ddywedodd wrth Simon ei frawd, dewis allan wyr, a dôs i achub dy frodyr yn Galilea, ac myfi a'm brawd Jonathan a awn i wlâd Galaad.

18 Ac efe a adawodd Joseph fab Zacharias, ac Azarias, yn gapteniaid ar y bobl, a gweddill y llu yn Judæa, i'w chadw hi.

19 Ac efe y orchymynnodd iddynt hwy gan ddywedyd, llywodraethwch y bobl ymma, a mogelwch osod rhyfel yn erbyn y Cenhedloedd, hyd oni ddychwelom ni.

20 Ac fe roddwyd teir-mil o wyr Simon, i fyned i Galilea, ac wyth-mil o wyr Judas, yn erbyn gwlâd Galaad.

21 Yna Simon a aeth i Galilea, ac a darawodd ar y Cenhedloedd, mewn llawer o ryfeloedd, ac a'i gorchfygodd hwy.

22 Ac efe a'i canlynodd hwy hyd byrth Ptolemais, ac ynghylch teir-mil o wyr o'r Cenhedloedd a laddwyd; ac efe a gymmerodd eu hyspail hwy;

23 Ac a ddygodd yr Israeliaid ymmaith, y rhai oedd yn garcharorion yn Galilea, ac yn Arbattis, a'i gwragedd, a'i plant, a chymmaint ac a feddent, ac a'i dygodd hwy i Judæa, â llawenydd mawr.

24 A Judas Maccabæus, a'i frawd Jonathan, a aethant tros Jorddonen, ac a aethant daith tridiau yn yr anialwch:

25 Lle y cyfarfuant hwy â'r Nabathiaid, a hwy a ddaethant attynt yn heddychol, ac a fynegasant iddynt hwy bob peth a ddigwyddasei i'w brodyr hwy yngwlâd Galaad:

26 Ac fel y cauasid llawer o honynt hwy yn || Bosora, Bosor, Alima, || Chascor, Maceda, a Charnaim (dinasoedd cryfion a mawrion ydyw y rhai hyn oll.)

|| Bosorra.
|| Chasphor.

27 A'i bod wedi cau arnynt yn y lleill o ddina-

ddinasoedd gwlad Galaad, ‖ a'i bod hwy wedi bwriadu dwyn eu llu yn erbyn yr ymddeffynfaoedd i'w dal hwy, ac i'w difetha oll yn yr un dydd.

‖ a lôd y Cenhedloedd.

28 Ac ar hyn Judas a'i lu a drôdd ar frys, ar hyd ffordd yr anialwch tu â ‖ Bosor, ac a ennillodd y ddinas, ac a laddodd yr holl rai gwr-rywiaid â'r cleddyf, ac a gymmerodd eu holl yspail hwy, ac a loscodd y ddinas â thân.

‖ Bosorra.

29 Ac efe a symmudodd oddi yno liw nos, ac a ddaeth tua 'r castell.

30 A phan oedd hi yn forau ddydd, hwy a godasant eu golwg i fynu, ac wele lu aneirif o bobl yn dwyn yscalion, ac offer-rhyfel i fynu i ennill y castell, ‖ ac yr oeddynt wedi gosod arnynt hwy.

‖ a'r Cenhedloedd a osodasant ar yr Iddewon.

31 Pan welodd Judas ddechreu o'r rhyfel, a bod gwaedd y ddinas yn derchafu tua 'r nef gan udcyrn, a llef uchel;

32 Efe a ddywedodd wrth ei lu, ymleddwch heddyw tros eich brodyr.

33 Ac efe a ddaeth o'r tu ôl iddynt, mewn tair byddin, a hwy a ganasant yr udcyrn, ac a lefasant ynghŷd â gweddi.

34 Pan wybu gwersyll Timotheus mai Maccabæus oedd yno, hwy a ffoesant rhagddo ef, ond efe a'i tarawodd hwy â lladdfa fawr, ac ynghylch wyth-mil o wŷr a ladded o honynt hwy y diwrnod hwnnw.

35 Yna Judas a drôdd tua Maspha, ac a osododd arni, ac a'i hennillodd hi, ac a laddodd bôb gwr-ryw ynddi, ac a gymmerodd ei hyspail hi, ac a'i lloscodd hi â thân.

36 Efe a aeth oddi yno ac a ennillodd Casphon, Maged, Bosor, a'r dinasoedd eraill yn Galaad.

37 Wedi hyn Timotheus, a gasclodd lu arall, ac a werssyllodd o flaen Raphon, o'r tu draw i'r afon.

38 A Judas a anfonodd i spio 'r gwerssyll, a hwy a ddygasant air iddo, gan ddywedyd; y mae 'r holl genhedloedd sy o'n hamgylch ni wedi ymgasclu atto ef, yn llu lluosog iawn.

39 Ac efe a gyflogodd yr Arabiaid i'w cymmorth hwy, a hwy o werssyllasant o'r tu draw i'r afon, ac y maent yn barod i ddyfod, ac i ymladd â thi; a Judas a aeth i gyfarfod â hwynt.

40 A Thimotheus a ddywedodd wrth gapteniaid ei lu, pan ddelo Judas a'i lu yn agos at yr afon, os daw efe trosodd yn gyntaf attom ni, ni allwn ni ei wrthwynebu ef, o blegit efe a fydd trêch nâ nyni o lawer.

41 Ond os arswyda efe ddyfod trosodd, a gwerssyllu o'r tu draw i'r afon, nyni a awn trosodd atto ef, ac nyni a fyddwn gryfach nag ef.

42 Ond pan nessaodd Judas at yr afon, efe a osododd scrifennyddion y bobl ynglan yr afon, ac a orchymynnodd iddynt hwy, gan ddywedyd, na adewch i un dŷn aros yn y gwersyll, ond deued pawb i'r rhyfel.

43 Ac efe a aeth trosodd yn gyntaf attynt hwy, a'i holl bobl ar ei ôl: a'r holl genhedloedd a orchfyged ger ei fron ef, a hwy a daflasant eu harfau ymmaith, ac a ffoesant i'r deml oedd yn Carnaim.

44 A Judas a ennillodd y ddinas, ac a loscodd y deml a phawb ar oedd ynddi hi; felly y gorchfyged Carnaim, ac ni allodd hi wrthwynebu Judas.

45 A Judas a gasclodd yr holl Israeliaid oedd yngwlâd Galaad, o'r lleiaf hyd y mwyaf, a'i gwragedd hwy, a'i plant, a'i mûd, llû mawr iawn, i ddyfod i wlâd Judæa.

46 A hwy a ddaethant i Ephron (yr hon oedd ddinas fawr gadarn iawn, ar y ffordd yr elent hwy:) nid oedd fodd iddynt hwy fyned heb ei llaw hi, nac ar y llaw ddehau, nac ar y llaw asswy, ond myned trwy ei chanol hi oedd raid iddynt.

47 Yna gwŷr y ddinas a'i caeasant hwynt allan, ac a gaeasant y pyrth â cherric.

48 A Judas a ddanfonodd attynt hwy â geiriau heddychol, gan ddywedyd, gedwch i ni fyned trwy eich gwlâd chwi, fel y gallom fyned i'n gwlâd ein hun, ac ni chaiff neb wneuthur i chwi ddrwg, nid awn ni trwodd ond ar draed: ond ni fynnent hwy agoryd iddo ef.

49 Am hynny Judas a orchymynnodd gyhoeddi trwy y llu, ar i bôb un werssyllu yn y fan yr ydoedd efe.

50 Ac felly gwŷr y llu a werssyllasant, ac a ryfelasant yn erbyn y ddinas yr holl ddiwrnod hwnnw, a'r holl noson honno, a'r ddinas a roddwyd yn ei law ef.

51 Ac efe a laddodd yr holl rai gwr-rywiaid â mîn y cleddyf, ac a ddiwreiddiodd y ddinas, ac a gymmerodd ei hyspail hi, ac a dramwyodd trwy 'r ddinas, ar draws y rhai a laddassid.

52 Yna hwy a aethant tros yr Iorddonen, i'r gwastadedd mawr sydd o flaen Bethsan.

53 A Judas oedd yn casclu ynghyd y rhai *‖ olaf, ac yn ‖ cynghori y bobl rhyd yr holl ffordd, hyd oni ddaeth efe i wlâd Judæa.

*Num. 10.

54 A hwy a aethant i fynu i fynydd Sion mewn gorfoledd, a llawenydd, ac a offrymmasant ‖ boeth offrymmau, am na laddasid neb o honynt hwy, oni ddychwelasent mewn heddwch.

55 Ac yn y dyddiau hynny, y rhai yr oedd Judas a Jonathan yngwlâd Galaad, a Simon eu brawd hwy yngwlâd Galilea, o flaen Ptolemais,

56 Yna Joseph mâb Zacharias, ac Azarias, capteniaid y llu, a glywsant y gweithredoedd ardderchawg, a'r rhyfeloedd a wnaethent hwy.

57 A hwytheu a ddywedasant, gedwch i ninnau hefyd ennill enw i ni, a myned i ymladd yn erbyn y cenhedloedd sy o'n hamgylch.

58 A hwy a roddasant orchymmyn i'r rhai oedd yn y llu oedd gyd â hwynt, ac a

a aethant

a aethant tu a Jamnia.

59 Yna Gorgias a'i wŷr a ddaeth allan o'r ddinas i || ymladd yn eu herbyn hwy.

60 Ond Joseph, ac Azarias a yrrwyd i ffoi, ac a ymlidiwyd hyd terfynau Judæa, a dwy fil o wŷr o bobl Israel a laddwyd y diwrnod hwnnw.

61 Fel hyn y bu colled fawr ym-mhlith pobl Israel, am na wrandawsent hwy ar Judas a'i frodyr, eithr meddwl gwneuthur rhyw wroliaeth.

62 Hefyd nid oeddynt hwy o hâd y gwŷr hynny y rhoddasid ar eu dwylaw achub Israel.

63 Ond y gwr Judas a'i frodyr a ogoneddid yn fawr ger bron holl Israel a'r holl genhedloedd, pa le bynnac y clywid eu henw hwy.

64 A'r bobl a ymgasclei attynt hwy i gyfarch gwell iddynt.

65 Wedi hynny Judas a'i frodyr a aethant allan, ac a ryfelasant yn y wlâd sy yn gorwedd tu â'r dehau, yn erbyn meibion Esau, ac yno efe a orescynnodd Hebron a'i phentrefydd, ac a dynnodd i lawr ei chastell hi, a'i || thyrau hi a loscodd efe oddi amgylch.

66 Yna efe a ymadawodd i fyned i wlâd y || dieithriaid, ac a aeth trwy Samaria.

67 Ar yr un amser y lladdwyd [rhai o] Offeiriaid y dinasoedd, y rhai oedd yn ewyllysio gwneuthur gwrolaeth, am fyned o honynt i ymladd heb gyngor.

68 A phan ddaeth Judas i Azotus yngwlâd y || dieithriaid, efe a ddestrywiodd eu hallorau hwy, ac a loscodd eu delwau cerfiedig hwy, ac a gymmerodd yspail y dinasoedd, ac a ddychwelodd i wlâd Judæa.

## PEN. VI.

8 Antiochus yn marw; 12 ac yn cyffaddef mai am y cam a wnaethai efe â Ierusalem y poenir ef. 20 Iudas yn gwarchae ar y rhai oedd yn y twr yn Ierusalem. 28 Hwythau yn cael gan Antiochus ieuangaf, ddyfod i Iudæa. 51 Yntau yn gwarchae ar Sion, 60 ac yn heddychu ag Israel: 62 ac er hynny yn bwrw i lawr gaerau Sion.



AC Antiochus y brenin a dramwyodd trwy 'r gwledydd uchaf, ac a glybu fod Elymais o fewn Persia yn ddinas enwog iawn am olud, am arian ac aur;

2 A bod teml gyfoethog iawn ynddi hi, a gwiscoedd o aur, a llurigau, a tharianau, y rhai a adawsei Alexander mab Philip brenin Macedonia yno, yr hwn a deyrnasasei yn gyntaf ym mysc y Groec-wŷr.

3 Am hynny efe a ddaeth, ac a geisiodd ennill y ddinas, a'i hyspeilio hi, ond ni allei efe, oblegit cael o'r dinasyddion wybod y peth.

4 A hwy a godasant yn ei erbyn ef i ryfel, ac efe a ffôdd, ac a ymadawodd oddi yno mewn tristwch mawr, ac a ddychwelodd i Babilon.

5 Hefyd rhyw un a ddaeth, ac a fynegodd iddo ef yn Persia, ymlid ymmaith y lluoedd a aethei i wlâd Judæa,

6 Ac fel yr aethei Lysias â llu cadarn yn gyntaf, ac yr ymlidiesid ef o'i blaen hwynt, ac fel yr aethent hwy yn gryfach o ran arfau a llu, ac yspail lawer, y rhai a ddygasent hwy oddi ar y lluoedd a dorrasent hwy ymmaith:

7 Ac fel y tynnasent hwy i lawr y ffieidd-beth a osodasai efe ar yr allor yn Jerusalem, ac yr amgylchasent hwy 'r Cyssegr â chaerau uchel, fel y buasei efe o'r blaen, a Bethsura ei ddinas ef hefyd.

8 Pan glybu y brenin y geiriau hyn, fe synnodd arno, ac a gythruddodd yn ddirfawr: am hynny efe a orweddodd ar ei wely, ac a syrthiodd mewn clefyd oddi wrth y tristwch hwnnw, a'r cwbl am na ddigwyddasei iddo ef fel yr oedd efe yn disgwyl.

9 Ac efe a arhôdd yno lawer o ddyddiau, canys ei dristwch ef oedd fwy-fwy, ac efe a wnaeth gyfrif y byddei efe farw.

10 Am hynny efe a ddanfonodd am ei holl garedigion, ac a ddywedodd wrthynt hwy, mae 'r cyscu wedi ymadel â'm llygaid, ac fe lescaodd fy nghalon o wir ofal:

11 Ac mi a ddywedais yn fy nghalon, i ba drallod y deuthym, ac ym-mha afonydd o drymder yr ydwyf yr awron, lle 'r oeddwn i o'r blaen yn hael, ac yn gariadus yn fy awdurdod.

12 Ac yr awron yr ydwyf yn cofio 'r drwg a wneuthym i yn Jerusalem, fel y dygais i ymmaith yr holl lestri aur, ac arian oedd ynddi hi, ac fel y danfonais i ddestrywio trigolion Judæa yn ddiachos.

13 Mysi a wn mai am hynny y daeth y drygau hyn arnaf, ac wele darfu am danaf fi trwy alaeth mawr, mewn gwlâd ddieithr.

14 Yna efe a alwodd am Philip, un o'i garedigion, ac a'i gosododd ef yn llywodraeth-wr ar ei holl deyrnas,

15 Ac a roddes iddo ef ei goron, a'i fantell, a'i fodrwy, fel y || gallei efe gymmeryd Antiochus ei fab ef atto, a'i ddwyn ef i fynu i deyrnasu.

|| lygei ef Antiochus ei fab ef i fynu, ac y meithrinei ef.

16 Ac Antiochus y brenin a fu farw yno, yn y nawfed flwyddyn a deugain a chant.

17 Pan wybu Lysias farw o'r brenin, efe a osododd i deyrnasu yn ei le ef Antiochus ei fab ef, yr hwn a ddygasei efe i fynu yn ieuangc, ac a'i galwodd ef Eupator.

18 A'r rhai oedd yn y castell [yn Jerusalem] a gadwasant yr Israeliaid i mewn o amgylch y Cyssegr, ac a geisiasant eu drygu hwy yn wastadol, a chadarnhau 'r Cenhedloedd.

19 Am hynny y bwriadodd Judas eu destrywio hwy, ac efe a gasclodd yr holl bobl ynghyd, i'w hamgylchynu hwy.

20 Felly hwy a ddaethant ynghyd, ac a'i haw-

haw-

hamgylchynasant hwy yn y ddecfed flwyddyn a deugain a chant; ac efe a wnaeth leoedd i'r tafl-wŷr i sefyll, a rhyfel-offer eraill.

21 Er hynny rhai o'r rhai yr oeddid yn eu hamgylchu, a aethant allan, a rhai o wŷr annuwiol Israel a lynasant wrthynt hwy,

22 Ac a aethant at y brenin, ac a ddywedasant, pa hŷd y byddi di heb wneuthur cospedigaeth a dialedd ar ein brodyr ni?

23 Yr oeddym ni yn fodlon i wasanaethu dy dâd ti, i rodio fel y dywedei efe, ac i ufyddhau i'w orchymynion ef.

24 Am hynny ein pobl a ymddieithrasant oddi wrthym ni, a pha le bynnac y cawsant hwy neb o honom ni, hwy a'i lladdasant; a hwy a yspeiliasant ein etifeddiaeth ni.

25 Ac nid estynnasant hwy eu dwylo yn unic yn ein herbyn ni, ond yn erbyn || ein holl gyffiniau.

|| eu.

26 Ac wele, y maent hwy wedi gwersyllu heddyw yn erbyn y castell sydd yn Jerusalem, i'w orescyn ef, a hwy a gadarnhasant y Cyssegr, a Bethsura.

27 Ac oddieithr i ti achub eu blaen hwy yn fuan, hwy a wnant bethau mwy nâ'r rhai'n, fel na's gellych di eu rheoli hwynt.

28 Pan glybu'r brenin hynny, efe a ddigiodd, ac a gasclodd ei holl garedigion ynghyd, capteiniaid ei lu, a'r rhai oedd ar ei wŷr meirch ef.

29 Yna y daeth atto ef oddiwrth frenhinoedd eraill, ac o ynysoedd y môr, lu ar gyflog.

30 A rhifedi ei lu ef oedd gan-mil o wŷr traed, ac ugein-mil o wŷr meirch, a deuddec ar hugain o elephantiaid wedi eu dyscu i ryfela.

31 Y rhai hyn a ddaethant trwy Idumæa, ac a wersyllasant yn erbyn Bethsura, ac a ryfelasant tros lawer o ddyddiau, ac a osodasant allan lawer o ryfel-offer yn ei herbyn hi; ond || [yr Iddewon] a ddaethant allan, ac a loscasant y rhei'ny â thân, ac a ymladdasant fel gwŷr.

|| [y rhai o Bethsura.]

32 Yna Judas a ymadawodd oddi wrth castell, ac a wersyllodd yn Bathzacharias, gyferbyn a gwersyll y brenin.

33 A'r brenin a gyfododd yn foreu iawn, ac a ddygodd y llu ar ruthr tua Bathzacharias, ac a || ymrannodd i ryfela, ac a ganodd udcyrn.

|| ymbaratoodd

34 A hwy a ddangosasant || sugn grawnwin, a mor-wŷdd, i'r elephantiaid, i'w hannog hwy i ymladd;

|| waed.

35 Ac a rannasant yr anifeiliaid ym mysc y byddinoedd, ac a ordeiniasant fil o wŷr wedi eu gwisco mewn llurigau o fodrwyau, ac â helmau o brês am eu pennau, i bob elephant, a phum cant o wŷr meirch etholedic a ordeiniwyd hefyd i bob || elephant.

|| anifail.

36 Y rhai hyn oedd barod bob amser, lle byddei yr anifail y byddent, gan fyned i ba le bynnac yr elei efe, ac ni ymadawent hwy oddi wrtho ef.

37 A phob || elephant a orchuddiasid â thŵr cadarn o goed, wedi ei siccrhau arno ef || ag offer, ac ar bôb un yr oedd deuddec ar hugain o wŷr i ymladd oddi arno ef, a gŵr o India [i lywodraethu]'r anifail.

|| anifail.

|| trwy gelfyddyd.

38 A hwy a osodasant weddill y gwŷr meirch o'r tu ymma, ac o'r tu accw, wrth ddwy ran y llu, || gan roddi arwyddion iddynt beth a wnaent, ac wedi eu holl-arfogi ym mysc y byddinoedd.

|| gan eu cyn... hyrfu hwynt, ... ac wedi eu hamgylchu ... byddinoedd, ... eu ymddiffyn ... â'r dyffrynnoedd.

39 A phan dywynnei yr haul ar y tarianau aur a phres, y mynyddoedd a ddiscleiriei oddi wrthynt hwy, ac yr oeddynt yn llewyrchu fel lampau tân.

40 A rhan o lu y brenin oedd wedi ymdanu ar y mynyddoedd uchel, a rhan ar y lleoedd isel; ac felly hwy a aethant yn ddiogel, ac mewn trefn.

41 A synnu a wnaeth ar bawb a'r a glybu sŵn eu lliaws hwy, a cherddediad y llu, a thrwst yr arfau yn taro ynghyd; canys yr oedd y llu yn fawr anianol, ac yn gryf.

42 Judas hefyd a'i lu a nessaodd i'r rhyfel, ac fe laddwyd chwe-chant o wŷr o lu y brenin.

43 Pan welodd Eleazar [a'i gyfenw] Sauaran, un o'r elephantiaid wedi ei wisco ag arfau brenhinawl, ac yn uwch nâ'r anifeiliaid eraill, efe a feddyliodd fod y brenin ar hwnnw:

44 Ac a ymroes i achub ei bobl, ac i ennill iddo ei hun enw tragywyddol:

45 Ac a redodd yn galonnoc at yr elephant hwnnw, trwy ganol y fyddin, ac a'i lladdodd hwy ar y llaw ddehau, ac ar y llaw asswy, || oni ymwahanasant hwy oddi wrtho ef o bob tu.

|| fel y ... ef hwynt ... ddylion.

46 Ac efe a aeth tan yr elephant, ac a'i brathodd oddi tano, ac a'i lladdodd ef: yna'r elephant a syrthiodd i lawr arno ef, ac efe a fu farw yno.

47 Ond pan welodd [yr Iddewon eraill] gryfdwr y brenin, a nerth y lluoedd, hwy a giliasant oddi wrthynt hwy.

48 A'r rhai oedd o lu y brenin a aethant i fynu i gyfarfod â hwynt i Jerusalem, a'r brenin a wersyllodd || yn erbyn Judæa, ac yn erbyn mynydd Sion.

|| yn Iudea...

49 Hefyd y brenin a wnaeth heddwch rhyngddo a'r rhai oedd yn Bethsura, || a hwy a ddaethant allan o'r ddinas, am nad oedd ganddynt ymborth yno, i aros y gwarchae, oblegit ei bod hi yn Sabboth i'r tir.

|| ... allan o ... phau, a ... ymrwymasant.

50 Felly y brenin a gymmerodd Bethsura, ac a osododd wŷr i'w chadw hi.

51 Ac efe a osododd ryfel yn erbyn y Cyssegr tros lawer o ddyddiau, || ac a osododd yno dafl-arfau a rhyfel-offer, bwâu, a gwaith i seuthu tân, a gwaith i saethu cerrig, ac yscorpionau i seuthu saethau a thaflau.

|| a wnaeth ... frynian i ... gydio oddi ... arnynt.

52 Yr Iddewon hefyd a wnaethant ryfel-offer yn erbyn yr eiddynt hwythau, ac a ymladdasant â hwynt tros hir amser.

53 Ond nid oedd mo'r bwyd yn eu llestri, (oblegit y seithfed flwyddyn oedd hi, a'r rhai yn Judæa a'r a achubasid o blith y Cenhedloedd, a fwyttasent eu holl stôr hwy.)

54 Ac

54 Ac ni adawsid ond ychydig wŷr yn y Cyssegr, oblegit newyn a'i gorchfygasei hwy, oni thynnasent hwy ymmaith bob vn i'w le ei hun.

55 Pan glybu Lysias fod Philip (yr hwn a ordasei Antiochus y brenin, pan oedd efe etto yn fyw, i ddwyn Antiochus ei fab i fynu i deyrnasu.)

56 Wedi dyfod trachefn o Persia, a Media, â llu'r brenin, yr hwn a aethei gyd ag ef, a'i fod efe yn ceisio cymmeryd matterion y frenhiniaeth a'r ei law:

57 Yna efe a frysiodd, ac a aeth, ac a ddywedodd wrth y brenin, a chapteniaid y llu, a'r gwŷr [eraill:] yr ydym ni yn lleihau beunydd, ac nid oes gennym ni ond ychydig ymborth; drachefn, y lle yr ydym ni yn ei amgylchu sy gadarn, ac arnom ni y mae cymmeryd gofal am y deyrnas.

58 Am hynny rhoddwn ddehau-ddwylaw i'r gwŷr hyn, gwnawn heddwch rhyngom a hwynt, ac a'i holl genedl:

59 ‖ A chaniatawn iddynt fyw yn ôl eu cyfraith, fel yr oeddynt o'r blaen, canys am hyn y maent hwy wedi cythruddo, a hyn oll a wnaethant hwy am ddilêu o honom ni eu cyfreithiau hwynt.

60 A'r brenin a'r tywysogion a fuant fodlon; ac efe a ddanfonodd attynt hwy i gynnyg heddwch, a hwy a'i derbyniasant.

61 A'r brenin a'r tywysogion a dyngasant iddynt hwy, ac ar hynny hwy a ddaethant allan o'r castell.

62 A'r brenin a aeth i fynu i fynydd Sion, ond pan welodd efe gadernid y lle, efe a dorrodd y llw a dyngasei efe, ac a orchymynnodd dynnu y gaer i lawr oddi amgylch.

63 Yna efe a ymadawodd ar frŷs, ac a ddychwelodd i Antiochia, ac a gafodd Philip yn arglwyddiaethu ar y ddinas, ac a ymladdodd ag ef, ac a orescynnodd y ddinas wrth grysder.

PEN. VII.

1 Lladd Antiochus, a Demetrius yn teyrnasu yn ei le ef. 5 Alcimus yn chwennych bod yn Archoffeiriad, ac yn achwyn ar Iudas wrth y brenin: 16 yn lladd triugain o'r Asidæaid. 43 Lladd Nicanor, a gorchfygu gallu 'r brenin gan Iudas. 49 Cadw dydd yr oruchafiaeth hon yn wyl ym mhob man.



YN yr vnfed flwyddyn ar ddêc â deugain a chant yr ymadawodd Demetrius mab Seleucus o Rufain, ac a ddaeth ag ychydic wŷr ‖ i ddinas ynglan y môr, ac a deyrnasodd yno.

2 A phan ddaeth efe i ‖ frenhin-dŷ ei henafiaid, digwyddodd i'w lu ef ddal Antiochus a Lysias i'w dwyn atto ef.

3 A phan wybu efe hynny, efe a ddywedodd, na ddangoswch i mi eu hwynebau hwy.

4 A'r llu a'i lladdodd hwynt, a Demetrius a eisteddodd ar orseddfa ei frenhiniaeth.

5 Yna yr hôll ddynion drygionus annuwiol o Israel a ddaethant atto ef, ac Alcimus oedd eu capten hwy, yr hwn oedd yn chwennychu bod yn Arch-offeiriad:

6 Ac a gyhuddasant y bobl wrth y brenin, gan ddywedyd, Judas a'i frodyr a laddasant dy holl garedigion di, ac a'n gyrrasant ni allan o'n ‖ gwlâd.

‖ i'r ein hun.

7 Am hynny danfon ryw wr yr ydwyt yn ymddiried iddo, ac aed ac edryched yr holl ddestryw a wnaeth efe arnom ni, ac ar wlâd y brenin, a chosped efe hwynt, a phawb sydd yn eu cynhorthwyo.

8 Yna 'r brenin a ddewisodd Bacchides caredig y brenin, yr hwn oedd yn llywodraethu o'r tu draw i'r afon, ac oedd wr mawr yn y deyrnas, ac yn ffyddlon i'r brenin:

9 Ac efe a'i danfonodd ef gyd ag Alcimus annuwiol, yr hwn a wnaethei efe yn Arch-offeiriad, ac a orchymynnodd iddo ddial ar blant Israel.

10 A hwy a ymadawsant, ac a ddaethant â llu mawr i wlâd Judæa, ac a ddanfonasant gennadon at Judas a'i frodyr, ac a ddywedasant eiriau heddychol yn dwyllodrus wrthynt hwy.

11 Eithr ni wnaethant hwy goel ar eu geiriau hwy: canys hwy a welsant ddyfod o honynt hwy â llu mawr.

12 Wedi hyn, cynnulleidfa o'r ‖ scrifennyddion a ymgasclodd at Alcimus a Bacchides, i geisio cyfiawnder.

‖ swyddogion, llywodraethwyr, goreugwyr, neu wyr mewn awdurdod.

13 A'r Asideaid oedd y rhai cyntaf ymmhith plant Israel a geisiasant heddwch ganddynt hwy,

14 Gan ddywedyd, daeth vn sy Offeiriad o hâd Aaron gyd â'r llû ymma, ac ni wna efe gam â nyni.

15 Ac efe a roes eiriau heddychol iddynt hwy, ac a dyngodd wrthynt gan ddywedyd, ni wnawn ni ddrwg i chwi, nac i'ch caredigion.

16 A hwy a'i credasant ef, ond efe a ddaliodd dri-ugein-wr o honynt hwy, ac a'i lladdodd hwy mewn vn diwrnod, yn ôl y geiriau a scrifennodd [Dafydd:]

17 Hwy *a daflasant allan gig dy Saint di, ac a dywalltasant eu gwaed hwy o amgylch Jerusalem, ac nid oedd neb a'i claddei hwynt.

* Psal. 79. 2.

18 A'i hofn hwynt a'i dychryn a ddaeth ar yr holl bobl, y rhai a ddywedent, nid oes na gwirionedd na ‖ chyfiawnder ynddynt hwy, oblegit hwy a dorrasant y llw a'r ammod a wnaethant.

‖ barn.

19 A Bacchides a symmudodd o Jerusalem, ac a werssyllodd yn Bezeth, ac a ddanfonodd allan oddi yno, ac a ddaliodd lawer o'r rhai a'i gadawsent ef, a rhai o'r bobl, ac a'i lladdodd hwy, ac a'i taflodd i'r pydew mawr.

20 Yna efe a orchymynnodd y wlâd i Alcimus, ac a adawodd ryfel-wŷr gyd ag ef, i'w gynhorthwy ef; a Bacchides a aeth at y brenin.

21 Ac felly Alcimus a ‖ ymrysonodd am yr Arch-offeiriadaeth.

‖ ymegniodd i ymddiffyn ei Archoffeiriadaeth.

22 A'r holl rai oedd yn cythryblu y bobl, a ym-

a ymgasclasant atto ef, ac a ennillasant wlâd Juda, ac a wnaethant ddrwg mawr yn Israel.

23 Pan welodd Judas yr holl ddrwg a wnaethei Alcimus, a'r rhai oedd gyd ag ef i'r Israeliaid, ie mwy nag a [wnaethei] yr Cenhedloedd,

24 Efe a dramwyodd trwy holl derfynau Juda oddi amgylch, ac a wnaeth ddialedd ar y gwŷr a ffoesent ymmaith oddi wrtho ef at y gelynion, oni pheidiasant hwy a dyfod mwy || i'r wlâd.

|| yn erbyn y wlâd.

25 Pan welodd Alcimus fod Judas a'r rhai oedd gyd ag ef wedi || cael y llaw uchaf, a gwybod na allei efe eu haros hwy, efe a ddychwelodd at y brenin, ac || a'i cyhuddodd hwy o ddrygioni.

|| mwned yn gryfion iawn.
|| a ddywedodd waetha y gallei am danynt.

26 Yna 'r brenin a ddanfonodd Nicanor, un o'i dywysogion anrhydeddus, yr hwn oedd yn casâu, ac yn dwyn gelyniaeth i Israel, ac a orchymynnodd iddo ddestrywio 'r bobl yn llwyr.

27 A Nicanor a ddaeth i Jerusalem â llu mawr, ac a ddanfonodd eiriau heddychol at Judas a'i frodyr, ond trwy dwyll, gan ddywedyd,

28 Na fydded rhyfel rhyngof a chwi, mi a ddeuaf ag ychydig wŷr i weled eich wynebau chwi yn heddychol.

29 Felly efe a ddaeth at Judas, a hwy a gyfarchasant ei gilydd yn heddychol, ond yr oedd y gelynion yn barod i gippio Judas i ffordd.

30 Etto yspyswyd y peth i Judas, mai trwy dwyll y daethei efe atto ef: ac efe a'i hofnodd ef yn fawr, ac ni fynnei weled ei wyneb ef mwy.

31 Pan wybu Nicanor ddatcuddio ei fwriad ef, efe a aeth allan i || ymladd yn erbyn Judas, yn ymmyl || Capharsalama.

|| gyfarfod â Judas mewn rhyfel.
|| Carphasalama.

32 Ac ynghylch pum-mil o wŷr o lu Nicanor a laddwyd, a'r [llaill] a ffoesant i ddinas Dafydd.

33 Wedi hyn, Nicanor a aeth i fynu i fynydd Sion, a rhai o'r Offeiriaid, a henaduriaid y bobl a aethant allan o'r Cyssegr i gyfarch iddo ef yn heddychol, ac i ddangos iddo ef y poeth offrymmau yr oeddid yn eu hoffrwm tros y brenin.

34 Ond efe a chwarddodd am eu pennau hwy, ac a'i gwatworodd hwy, ac || a'u halogodd hwy, ac a ddywedodd yn falch.

|| a wnaeth gan cywilydd us a hwynt.

35 Ac efe a dyngodd yn ei ddig gan ddywedyd, oni roddir yn awr Judas a'i werssyll yn fy nwylo i, os dychwelaf mewn heddwch, myfi a loscaf y tŷ ymma: ac yna efe a aeth allan mewn digllondeb mawr.

36 Yna 'r Offeiriaid a ddaethant i mewn, ac a safasant o flaen yr allor a'r Deml, gan wylo, a dywedyd,

37 O Arglwydd, ti a ddewisaist y tŷ yma, || i alw ar dy enw di ynddo, ac i fod yn dŷ gweddi, ac ymbil i'th bobl.

|| i'w alw ar dy Enw.

38 Gwna ddialedd ar y gŵr hwn a'i werssyll, oni ladder hwy â'r cleddyf; cofia eu cabledigaethau hwy, ac na ddioddef iddynt hwy barhau.

39 A Nicanor a aeth allan o Jerusalem, ac a werssyllodd yn Bethoron, ac yno llu o Syria a gyfarfu ag ef.

40 A Judas a werssyllodd yn Adasa, a their-mil o wŷr, ac a wnaeth ei weddi gan ddywedyd,

41 * O Arglwydd, pan ddaeth rhai oddi wrth y brenin i'th gablu di, yr Angel a aeth allan, ac a laddodd gant a phump a phedwar ugain o filoedd o honynt hwy.

* 2. Br. 19… Esa. 37. 3… Eccl. 48. 2… 2. Mac 8…

42 Destrywia felly y gwerssyll hwn o'n blaen ni heddyw, fel y gallo pobl eraill wybod, ddywedyd o honaw efe yn ddrwg am dy gyssegr di, a barna ef yn ôl ei ddrygioni.

43 A'r gwerssylloedd a darawsant ynghyd, y trydydd dydd ar ddêc o'r mis Adar, a llu Nicanor a orchfyged, ac efe ei hun a ladded yn gyntaf yn y rhyfel.

44 Pan welodd rhyfelwŷr Nicanor ei ladd ef, hwy a daflasant eu harfau ymmaith, ac a ffoesant.

45 Ond [yr Iddewon] a'i hymlidiasant hwy daith un diwrnod, o Adasa nes dyfod i Gasera, ac a ganasant larwm mewn udcyrn ar eu hôl hwynt.

46 A'r [Iddewon] a ddaethant allan o holl drefi Judæa oddi amgylch, ac a'i herlidiasant hwy: a hwy a droesant yn erbyn y rhai a'i herlidient, ac felly y lladded hwy oll â'r cleddyf, ac ni adawed neb o honynt hwy, na ddo un.

47 Yna hwy a gymmerasant yr yspail, a'r ysclyfaeth, ac a dorrasant ben Nicanor ymmaith, a'i law ddehau ef, yr hon a estynnasei efe allan cyn falched, ac a'i dygasant hwy ymmaith gyd â hwynt, ac a'i crogasant o flaen Jerusalem.

48 Am hynny 'r bobl a lawenychasant yn ddirfawr, ac a fwriasant y diwrnod hwnnw trwy orfoledd mawr;

49 Ac a ordeiniasant gadw y diwrnod hwnnw, [sef] y trydydd dydd ar ddêc o'r mis Adar bob blwyddyn.

50 Ac felly gwlad Juda a gafodd heddwch tros ychydig amser.

## PEN. VIII.

1 Judas yn cael yspysrwydd o allu a chyfrwysdra y Rhufeiniaid: 20 ac yn gwneuthur ammodau heddwch â hwynt. 24 Pyngciau yr heddwch hwnnw.

IUdas hefyd a glybu sôn am y Rhufein-wŷr, eu bod hwy yn alluoc, ac yn wŷr cedyrn, ac yn fodlon i dderbyn y rhai a ymgyssylltei â hwynt, ac yn gwneuthur heddwch â phawb a'r oedd yn cyrchu attynt,

2 A'i bôd yn alluog o nerth: a heb law hyn, eu rhyfeloedd hwy, a'r gwrolaeth a wnaethent hwy ym mysc y || Galatiaid, a fynegwyd iddynt hwy, ac fel y gorchfygasent hwynt, ac a'i dygasent tan deyrn-ged,

|| Ffranc…

3 A pha bethau a wnaethent hwy yngwlad Hispaen, i ennill y mwyn-glodddiau arian

arian ac aur oedd yno;

4 Ac fel y gorescynnasent || bob lle trwy eu doethineb a'i dioddefgarwch, (er pelled fyddei y lle oddi wrthynt hwy,) a'r brenhinoedd hefyd y rhai a ddaethei yn eu herbyn hwy o eithaf y ddaiar, nes eu gorchfygu, a'i taro yn drwm iawn: ac fel yr oedd y llaill yn talu teyrn-ged iddynt hwy bob blwyddyn,

5 Ac fel y gorchfygasent hwy mewn rhyfel Philip, a Pherseus brenin y || Macedoniaid, ac eraill y rhai a ymgodasei yn eu herbyn hwy, ac y gorchfygasent hwynt:

6 Fel y gorchfygasent hwy Antiochus y brenin mawr o Asia, yr hwn a fynnei ymladd â hwynt, ac oedd ganddo chweugain o Elephantiaid, a gwyr meirch, a cherbydau, a llu mawr iawn,

7 Ac fel y daliasent hwy ef yn fyw, ac yr ardeiniasent hwy iddo ef, ac i'r rhai a deyrnasei ar ei ôl ef, dalu teyrn-ged fawr iddynt hwy, a rhoddi meichiau ar yr hyn a gyttunesid arno;

8 Fel y dygasent hwy oddi arno ef wlad India, a Media, a Lydia, ei wledydd goreu ef, ac y rhoddasent hwy y rhai hynny i'r brenin Eumenes:

9 A pha fodd y rhoddasei y Groec-wyr eu bryd ar ddyfod a'i difetha hwynt:

10 Ac y danfonasent hwytheu pan wybuant, gapten yn eu herbyn hwy, ac y lladdasent lawer o honynt hwy, ac y caethgludasent eu gwragedd hwy a'i plant, ac yr yspeiliasent hwy, ac y cymmerasent feddiant yn eu tir hwy, ac y destrywiasent eu dinasoedd cedyrn hwy, ac a'i darostyngasent hwy i fod yn gaeth-wyr iddynt hyd y dydd heddyw:

11 Ac fel y darfuasei iddynt hwy ddestrywio, a chaethiwo teyrnasoedd, ac ynysoedd eraill, y rhai a fuasei un amser yn eu gwrthwynebu hwy,

12 Ac fel yr oeddynt hwy yn cadw cydymdeithas â'i cydymdeithion, ac â'r rhai oedd a'i hyder arnynt hwy, ac fel yr ennillasent hwy deyrnasoedd ym mhell, ac yn agos, a bod pawb yn eu hofni hwy a'r a glywsei sôn am danynt.

13 O blegit pwy bynnac a chwennychent hwy eu cymhorth i deyrnasu, y rhai hynny oedd yn teyrnasu; a thrachefn, y nêb a fynnent, a ddiswyddent hwy: ac fel yr oeddynt hwy wedi dyfod i oruchafiaeth mawr:

14 Ac er hyn i gyd nad oedd un o honynt yn gwisco coron, nac yn ymddilladu â phorphor i'w fawrygu felly,

15 Ond gwneuthur o honynt hwy dy cynghor iddynt eu hunain, lle yr oedd trychant, ac ugain, yn eistedd beunydd mewn cyngor, yn ymgynghori yn wastadol tros y bobl, i'w cadw hwynt mewn trefn dda:

16 Ac fel yr oeddynt hwy yn ymddiried i un gwr bob blwyddyn i'w llywodraethu hwynt, ac i arglwyddiaethu ar eu holl wlad hwy, i'r hwn yr oedd pawb yn ufydd: ac nad oedd na chenfigen nac || eiddigedd yn eu plith hwy.

17 Yna Judas a ddewisodd Eupolemus fab Joan, fab Accas, a Jason fab Eleazar, ac a'i danfonodd hwy i Rufain i wneuthur cyfammod caredigrwydd a || chydymdeithas â hwynt:

18 Ac i ddeisyf arnynt hwy dynnu yr iau oddi arnynt hwy: oblegit yr oeddynt hwy yn gweled fod brenhiniaeth y Groegwyr yn gorthrymmu Israel â chaethiwed.

19 A hwy a aethant i Rufain, ac yr oedd y ffordd yn bell iawn, ac a aethant i mewn i dy 'r cyngor, lle y llefarasant ac y dywedasant,

20 Judas Maccabæus a'i frodyr, a phobl yr Iddewon, a'n danfonodd ni attoch chwi, i ymrwymo mewn ammodau cydymdeithas a heddwch â chwychwi, ac i chwithau ein scrifennu ninnau yn gydymdeithion, ac yn garedigion i chwithau.

21 Ac yr oedd y chwedl ymma yn rhyngu bodd i'r Rhufeiniaid yn dda iawn.

22 Ac dymma goppi o'r scrifen a orgraphodd [y cyngor] mewn llechau pres, ac a anfonasant hwy i Jerusalem, fel y byddei yno gyd â hwy yn goffadwriaeth o'r heddwch, ac o'r gydymdeithas.

23 || Bid yn dda i'r Rhufein-wyr, ac i bobl yr Iddewon, ar fôr ac ar dir yn dragywydd: a phell fyddo 'r cleddyf a'r gelyn oddi wrthynt.

24 Os daw rhyfel yn gyntaf yn erbyn y Rhufein-wyr, nac yn erbyn neb o'i cydymdeithion hwy, trwy eu holl arglwyddiaeth hwy,

25 Pobl yr Iddewon a'i cymhorthant hwy, fel y || gofynno 'r amser, ag ewyllys eu calon:

26 Ac ni roddant ddim i'r rhai a ryfelant yn eu herbyn hwynt, ac ni chynhorthwyant hwynt nac â bwyd, nac ag arian, nac â llongau, fel y rhyngodd bodd i'r Rhufein-wyr; eu hammodau a gadwant heb gymmeryd dim am hynny.

27 Yn yr un ffunyd, os digwydd i bobl yr Iddewon yn gyntaf gaffael rhyfel, y Rhufein-wyr a ymladdant gyd â hwy o ewyllys da, fel y gosoder yr amser iddynt:

28 Ac ni roddant i elynion yr Iddewon na bwyd, nac arfau, nac arian, na llongau, fel y gwelodd y Rhufein-wyr yn dda: eithr hwy a gadwant yr ammodau hyn, a hynny yn ddidwyll.

29 Yn ôl y geiriau hyn y gwnaeth y Rhufein-wyr ammod â phobl yr Iddewon.

30 Ac os ewyllysia yr un o'r ddwy blaid o hyn allan chwanegu at, neu dynu oddi wrth y geiriau hyn, gwnant wrth eu hewyllys: a pha beth bynnac a chwanegant attynt, neu a dynnant oddi wrthynt, hynny a saif.

31 Ac am y drwg y mae Demetrius yn ei wneuthur i'r Iddewon, ni a scrifennasom atto ef, gan ddywedyd, pa ham y gwnaethost

|| chydgyfeillach.

|| Llwyddiant.

|| gosoder yr.

gwnaethost ti dy iau yn drwm ar ein caredigion ni a'n cydymdeithion yr Iddewon?

32 Os achwynant hwy rhagot ti drachefn, nyni a wnawn gyfiawnder iddynt, ac a ymladdwn â thi ar fôr ac ar dir.

PEN. IX.

1 Alcimus a Bacchides yn dyfod trachefn a galluoedd newydd i Iudæa : 7 A llu Iudas yn cilio oddiwrtho, 17 a'i ladd yntef. 30 Ionathan yn dyfod yn ei le ef, 40 Ac yn dial cam ei frawd Ioan. 55 Plau Alcimus, ac ynteu yn marw. 70 Bacchides yn heddychu â Ionathan.



A phan glybu Demetrius ladd Nicanor a'i lu mewn rhyfel, efe a aeth rhagddo, ac a ddanfonodd Bacchides, ac Alcimus drachefn i Judæa, a chadernid ei lu gyd â hwynt.

2 A hwy a aethant allan rhyd y ffordd sydd yn myned tua || Galgala, ac a werssyllasant o flaen Masaloth, yr hon sy yn Arbela, ac a'i ennillasant hi, ac a laddasant lawer o bobl.

|| *neu, Galilea.*

3 Y mis cyntaf hefyd o'r ddeuddecfed flwyddyn a deugain a chant, hwy a werssyllasant, o flaen Jerusalem.

4 Ond gan gyfodi y gwerssyll i fynu, hwy a aethant i || Berea, ag ugein-mil o wyr traed, a dwy-fil o wyr meirch.

|| *Berretha: Ios.*

5 Judas yntef a werssyllasei yn Eleasa, a thair mil o wyr detholedig gyd ag ef.

6 A phan welsant hwy luosogrwydd y llu arall, ei fod efe cymmaint, hwy a ofnasant yn ddirfawr, a llawer a dynnasant allan o'r gwerssyll, ac nid arhôdd yno ond wyth-gant o wyr.

7 Pan welodd Judas fod ei lu ef wedi cilio, a'r rhyfel yn pwyso arno, efe a fawr drallodwyd yn ei galon, o eisieu caffael amser i'w casclu hwy ynghyd, ac a ddigalonnodd.

8 Etto efe a ddywedodd wrth y rhai a drigasent gyd ag ef, cyfodwn, ac awn yn erbyn ein gelynion, nid hwyrach i ni allu ymladd â hwynt.

9 Ond hwy a fynnasent ei droi ef gan ddywedyd, ni allwn ni ddim; || am hynny achubwn ein henioes yn awr, ac yn ôl hyn, ni a ddychwelwn ynghyd â'n brodyr, ac a ymladdwn yn eu herbyn hwy: canys nid ydym ni ond ychydig:

|| *yn ôl y coppi Lladin y mae hwn.*

10 Yna Judas a ddywedodd, na adawo Duw i mi wneuthur hyn, a ffoi oddi wrthynt hwy: am hynny os ein hamser ni a ddaeth, gedwch i ni farw fel gwyr tros ein brodyr, ac na adawn || fai yn y byd ar ein gogoniant.

|| *achos da i ddywedyd yn erbyn ein gogoniant.*

11 A llu [Bacchides] a aeth allan o'r gwerssyll, ac a safodd || yn eu herbyn hwy, a'r gwyr meirch a gyfranned yn ddwy || ran: y taflyddion a'r saethyddion a gerddasant o flaen y llu, a'r rhai oll oedd yn blaenori y llu oeddynt wyr cryfion.

|| *neu, yn erbyn yr Iddewon.*
|| *fyddin.*

12 A Bacchides ei hun oedd yn yr adain ddehau, a'r fyddin a nessaodd ar y ddeu-tu, a hwy a ganasant yr udcyrn.

13 Gwyr Judas a ganasant yr udcyrn hefyd, a'r ddaiar a yscydwodd wrth dwrwf y lluoedd: a hwy a darawsant ynghyd o'r boreu hyd y nôs.

14 A phan welodd Judas fod Bacchides, a chryfder ei lu, ar y tu dehau, efe a gymmerodd yr holl wyr calonnog gyd ag ef,

15 Ac a ddryllioDD adain ddehau eu byddin hwy, ac a'i herlidiodd hyd ym mynydd Azotus.

16 Pan welodd y rhai oedd yn yr adain asswy fod y rhai o'r adain ddehau wedi eu dryllio; hwy a galynasant ar Judas a'i wyr, wrth eu sodlau, o'r tu ôl.

17 Ac yna yr aeth y rhyfel yn frwd, a llawer a laddwyd, ac a archollwyd o'r ddwyblaid.

18 Judas hefyd a laddwyd, a'r llaill a ffoesant.

19 A Jonathan a Simon a gymmerasant Judas eu brawd, ac a'i claddasant ef ym medd ei dadau yn Modin.

20 A hwy a wylasant; a holl bobl Israel a wnaethant farw-nad mawr am dano ef, ac a alarasant tros ddyddiau lawer, gan ddywedyd,

21 Pa fodd y cwympodd y gwr galluog oedd yn achub Israel?

22 Ond ni scrifennwyd y pethau eraill oedd yn perthyn i Judas, a'i ryfeloedd, a'i weithredoedd ardderchog, a'i fawredd ef; canys llawer iawn oeddynt hwy.

23 Wedi marw Judas, dynion drygionus a ddercharasant eu pennau o fewn holl derfynau Israel, a phawb a'r oeddynt yn gwneuthur anwiredd, a gyfodasant.

24 Yr oedd newyn mawr iawn yn y dyddiau hynny, a'r holl wlâd a ymadawodd ar eu hôl || hwynt.

|| *sef, Bacchides a'i wyr.*

25 A Bacchides a ddewisodd wyr annuwiol, ac a'i gwnaeth hwy yn arglwyddi ar y wlad.

26 Y rhai hynny a geisiasant, ac a chwiliasant am garedigion Judas, ac a'i dygasant hwy at Bacchides, ac efe a ddialodd arnynt hwy, ac || a'i gwatworodd hwy yn ddirfawr.

|| *watwarodd ddirmyg*

27 A chystudd mawr a ddigwyddodd yn Israel; ni bu y fath er pan ni welwyd prophwyd yn eu plith hwy.

28 A holl garedigion Judas a ymgasclasant, ac a ddywedasant wrth Jonathan;

29 Er pan fu farw dy frawd Judas, nid oes gennym nêb tebyg iddo ef i fyned allan yn erbyn ein gelynion, a Bacchides, ac yn erbyn y rhai o'n cenedl sydd elynion i ni.

30 Am hynny nyni a'th ddewisasom di heddyw yn ei le ef, i fod yn dywysog, ac yn gapten i ni, i ymladd ein rhyfeloedd ni.

31 A Jonathan a gymmerodd y dywysogaeth arno yr amser hwnnw, ac a gododd i fynu yn lle Judas ei frawd.

32 Pan wybu Bacchides hynny, efe a geisiodd ei ladd ef.

33 Ond Jonathan a Simon ei frawd, a phawb a'r oedd gyd â hwy a wybuant hyn, ac a ffoesant i anialwch Thecoe, ac a werssyllasant wrth ddwfr llyn Asphar.

34 || Pan ddeallodd Bacchides hynny, efe a ddaeth a'i holl lu yn agos i'r Jorddonen ar y dydd Sabboth.

35 A [Jonathan] a ddanfonasei ei frawd [|| Joan] capten y bobl, i ddymuno ar ei garedigion y Nabathiaid, gaffael o honynt hwy adel eu || hoffer gyd â hwy i'w cadw, oblegit yr oedd llawer ganddynt hwy.

36 Ond plant Jambri a ddaethant allan o Medaba, ac a ddaliasant Joan, a'r holl bethau oedd ganddo ef, ac a aethant ymmaith â hwynt ganddynt.

37 Yn ôl y pethau hyn y daeth gair i Jonathan ac i Simon ei frawd, fod plant Jambri yn gwneuthur neithior fawr, ac yn dwyn y ferch o || Medaba â || chynhebrwng mawr, oblegit merch oedd hi i un o bennaethiaid mawrion Canaan.

38 Yna hwy a gofiasant Joan eu brawd, ac a aethant i fynu, ac a ymguddiasant ynghyscod y mynydd.

39 A hwy a godasant eu golwg i fynu, ac a edrychasant, ac wele, yr oedd || trwst ac arswy mawr: a'r priodas-fab a ddaethei allan â'i garedigion, ac â'i frodyr, i'w cyfarfod hwy, â thympanau, || ag offer cerdd, ac ag arfau lawer.

40 Yna Jonathan a'r rhai oedd gyd ag ef a godasant i fynu allan o'i llochesau yn eu herbyn hwy, ac a laddasant lawer o honynt hwy, a'r lleill a ffoesant i'r mynydd, a hwy a gymmerasant eu holl yspail hwy.

41 Felly y briodas a droed yn alar, a llais eu cerddorion hwy yn farw-nad.

42 Ac felly wedi iddynt hwy lwyr ddial gwaed eu brawd, hwy a ddychwelasant i || gors yr Jorddonen.

43 Pan glybu Bacchides hynny, efe a ddaeth i lan yr Jorddonen â llu mawr, ar y dydd Sabboth.

44 A Jonathan a ddywedodd wrth y rhai oedd gyd ag ef, cyfodwn heddyw i fynu, ac ymladdwn am ein heneidiau, canys nid ydym heddyw yn sefyll yn yr un cyflwr ac yr oeddym ni er ys dyddiau.

45 Wele y mae 'r rhyfel o'n blaen ac o'n hôl ni, a dwfr yr Jorddonen o'r naill du, ac o'r tu arall suglennydd a choedydd, ac nid oes i ni le i gilio.

46 Am hynny gwaeddwch yr awron tua'r nef, fel yr achuber chwi o law eich gelynion.

47 Ac felly hwy a darawsant ynghyd, a Jonathan a estynnodd allan ei law i daro Bacchides, ond efe a giliodd yn ôl oddi wrtho ef.

48 Yna Jonathan a'r rhai oedd gyd ag ef a neidiasant i'r Jorddonen, ac a nofiasant trosodd i'r lann draw: ond nid aeth y lleill tros yr Jorddonen ar eu hôl hwy.

49 Ac ynghylch || mil o wŷr Bacchides a laddwyd y diwrnod hwnnw.

50 Am hynny [Bacchides] a ddychwelodd i Jerusalem, ac a || adeiladodd y dinasoedd cedyrn oedd yn Judæa, a'r amddiffynfa yn Jericho, ac Emmaus, a Bethoron, a Bethel, a Thamnatha, a Pharathoni, a || Thaphon, â chaerau uchel, â phyrth, ac â barrau:

51 Ac a osododd wŷr ynddynt i'w cadw, ac i wneuthur gelyniaeth ag Israel.

52 Efe a adeiladodd gaerau ynghylch y ddinas || Bethsura, a Gazara, a'r castell, ac a osododd wŷr a bwyd ynddynt hwy.

53 Efe a gymmerodd hefyd feibion pennaethiaid y wlad yn wystlon, ac a'i rhoddodd hwy yn y castell yn Jerusalem, i'w cadw.

54 Wedi hynny, yn y drydedd flwyddyn ac ddêc a deugein a chant, yr ail mis, Alcimus a orchymynnodd iddynt hwy dynnu i lawr gaerau cyntedd y cyssegr nesaf i mewn, ac efe a dynnod i lawr waith y Prophwydi.

55 Ond ac efe yn dechreu tynnu i lawr, yr amser hwnnw, y tarawyd Alcimus, a'i orchwyl ef a rwystred; a'i enau ef a gaewyd, ac efe a syrthiodd yn y parlys; fel na's gallei efe ymddiddan mwy, n[...] [...]chymmyn dim ynghylch ei dŷ.

56 Alcimus a fu farw yr amser hwnnw mewn gofid mawr.

57 Pan welodd Bacchides farw Alcimus, efe a ddychwelodd at y brenin, a gwlâd Judea a gafodd lonyddwch ddwy flynedd.

58 Yna 'r holl wŷr annuwiol a ymgynghorasant gan ddywedyd, wele y mae Jonathan a'i wŷr mewn esmwythdra, ac yn trigo mewn diofalwch, am hynny dygwn Bacchides ymma yn awr, ac efe a'i deil hwy oll mewn un noswaith.

59 Ac felly hwy a aethant ac a ymgynghorasant ag ef.

60 Ac efe a gododd i ddyfod â llu mawr, ac a ddanfonodd lythyrau yn ddirgel at ei holl gyfeillion oedd yn Judea, ar iddynt ddal Jonathan a'r rhai oedd gyd ag ef: ond ni allent hwy, oblegit y lleill a wybuant eu bwriad hwy.

61 A Jonathan a ddaliodd ddêc a deugain o wŷr y wlad, y rhai oedd flaenoriaid yn y drwg hwnnw, ac a'i lladdodd hwy.

62 Yna Jonathan, a Simon, a'r rhai oedd gyd â hwy, a aethant ymmaith i Bethbasi, yr hon sydd yn yr anialwch, a hwy a adnewyddasant yr hyn a syrthiasei o honi hi, ac a'i cadarnhasant hi.

63 Pan wybu Bacchides hyn, efe a gasclodd ei holl lu, ac a ddanfonodd air i'r rhai || oedd yn Judea.

64 Yna efe a ddaeth ac a werssyllodd yn erbyn Bethbasi, ac a ymladdodd yn ei herbyn hi lawer o ddyddiau, ac a wnaeth offer rhyfel.

65 A Jonathan a adawodd ei frawd Simon yn y ddinas, ac a aeth allan i'r wlâd, ac a aeth â rhifedi [o wŷr:]

|| dwy fil Ios. Ant. l. 13. c. 1.

|| gyweiriodd.

|| Ios. Tecboa.

|| yn Bothsura.

|| or wlad oeddent garedigion iddo, i gymmeryd ei blaid ef.

|| Odonarra.

66 Ac a laddodd || Odonarces a'i frodyr, a meibion Phasiron yn eu lluest.

67 A phan ddechreuodd efe eu taro hwynt, a dyfod i fynu â'i fyddinoedd, Simon yntef a'r rhai oedd gyd ag ef a aethant allan o'r ddinas, ac a loscasant yr offer rhyfel,

68 Ac a ymladdasant yn erbyn Bacchides, ac a'i gorchfygasant ef, ac a'i cystuddiasant ef yn ddirfawr, am fod ei gyngor a'i daith ef yn ofer.

69 Am hynny efe a fu lidiog wrth y gwyr annuwiol a'i cynghorasent ef i ddyfod i'r wlâd, ac a laddodd lawer o honynt hwy, yna efe a fwriadodd fyned ymmaith i'w wlad ei hun.

70 Pan wybu Jonathan hynny, efe a ddanfonodd genadon atto ef, i wneuthur heddwch rhyngddo ag ef, ac i roddi iddynt hwy y carcharorion.

71 A Bacchides a gydtunodd i hynny, ac a wnaeth fel yr oedd ei ddymuniad ef, ac a dyngodd hefyd na wnai efe niwed fyth iddo ef holl ddyddiau ei einioes;

72 Ac a adferodd iddo ef yr holl garcharorion a ddaliasei efe o'r blaen o wlad Judea, ac yna efe a ddychwelodd ac a aeth ymmaith i'w wlad ei hun, ac ni ddaeth efe mwy i'w terfynau hwynt.

73 Ac felly y peidiodd y cleddyf yn Israel: a Jonathan a drigodd ym-Machmas, ac a ddechreuodd || farnu 'r bobl; ac efe a ddifreiddiodd y rhai annuwiol allan o Israel.

|| lywodraethu.

## PEN. X.

1 Demetrius yn cynnyg yn helaeth am gael heddwch Ionathan. 25 Ei lythyrau et at yr Iuddewon. 47 Ionathan yn heddychu ag Alexander, 50 ac ynteu yn lladd Demetrius, 58 ac yn priodi merch Ptolomeus; 62 ac yn danfon am Ionathan, ac yn gwneuthur iddo barch mawr. 75 Ionathan yn cael y maes yn erbyn galluoedd Demetrius ieuangaf, 84 ac yn llosci teml Dagon.



N yr wyth-vgeinfed flwyddyn, Alexander mab Antiochus a gyfenwid Epiphanes a aeth i fynu ac a ennillodd Ptolemais, a'r dinassyddion a'i derbyniasent ef, ac efe a deyrnasodd yno.

2 Pan glybu Demetrius hynny, efe a gasclodd lu mawr anfeidrol, ac a aeth allan yn ei erbyn ef i ryfela.

3 A Demetrius a ddanfonodd lythyrau at Jonathan â geiriau || heddychol, gan ei fawrygu ef.

|| caredig.

4 Canys efe a ddywedodd; Nyni a wnawn dangnheddyf ag ef yn gyntaf, cyn heddychu o hono ef ag Alexander yn ein herbyn ni.

5 Os amgen efe a gofia yr holl ddrwg a wnaethom ni yn ei erbyn ef, ac yn erbyn ei frodyr, a'i bobl.

6 Ac efe a roddes awdurdod i Jonathan i gasclu llu o wyr, ac i ddarparu arfau, fel y cynhorthwyei efe ef mewn rhyfel: ac efe a orchymynnodd roddi y gwystlon oedd yn y castell iddo ef.

7 Yna Jonathan a ddaeth i Jerusalem, ac a ddarllennodd y llythyrau, lle yr oedd yr holl bobl, a'r rhai oedd yn y castell, yn clywed.

8 A hwy a ofnasant yn ddirfawr pan glywsant hwy roddi o'r brenin awdurdod iddo ef i gasclu llu.

9 A'r rhai oedd yn y castell a roesant y gwystlon i Jonathan, ac efe a'i hadferodd hwy i'w rhieni.

10 Jonathan hefyd a drigodd yn Jerusalem, ac a ddechreuodd adeiladu, ac adnewyddu y ddinas.

11 Ac efe a orchymynnodd i'r gweithwyr adeiladau y caerau, a mynydd Sion o'i amgylch â cherrig pedwar ochrog, i fod yn lle cadarn: ac felly y gwnaethant hwy.

12 Yna y cenhedloedd, y rhai oedd yn y cestyll a wnaethei Bacchides, a ffoesant.

13 A phob un a adawodd ei le, ac a aeth ymmaith i'w wlad ei hun.

14 Yn unic yn Bethsura yr arhosodd rhai o'r rhai a wrthodasent y Gyfraith a'r gorchymynion, oblegit honno oedd eu noddfa hwy.

15 Pan glywodd Alexander y brenin yr addewidion a wnaethei Demetrius i Jonathan, a phan fynegasant hwy iddo ef y rhyfeloedd a'r gwrolder a wnaethei efe a'i frodyr, a'r boen a gymmerasent hwy;

16 Efe a ddywedodd, a gawn ni y fath wr a hwn? gan hynny, nyni a'i gwnawn ef yn gyfaill ac yn gydymmaith i ni.

17 Ac ar hyn, efe a scrifennodd ac a ddanfonodd lythyr atto ef o'r geiriau hyn, gan ddywedyd,

18 Y mae 'r brenin Alexander yn cyfarch ei frawd Jonathan.

19 Ni a glywsom am danat ti, dy fod ti yn wr galluoc nerthol, ac yn gymmwys i fod yn un o'n caredigion ni;

20 Am hynny ni a'th osodasom di heddyw yn Arch-offeiriad ar dy bobl, ac i'th alw yn garedig ddyn i'r brenin (ac efe a ddanfonodd wisc o borphor, a choron o aur iddo ef) ac i gymmeryd ein plaid ni, ac i gadw caredigrwydd â nyni.

21 A Jonathan a wiscodd y wisc sanctaidd am dano, y seithfed mis o'r wyth-vgeinfed flwyddyn, ar wyl y pebyll: ac efe a gasclodd lu, ac a baratôdd lawer o arfau.

22 Pan glywodd Demetrius y geiriau hyn, efe a dristâodd yn ddirfawr, ac a ddywedodd,

23 Pa ham y gwnaethom ni hyn, pan ragflaenei Alexander nyni, yn gwneuthur cyfeillach â'r Iddewon, i'w gryfhau ei hun?

24 Minneu a scrifennaf attynt eiriau conffordus, [ac a addawaf] godiad a rhoddion iddynt hwy, fel y byddont yn gymhorthwyr i mi.

25 Ac

44 Ond pan gilliasant hwy yn fuan yn ôl, ac ymrannu, efe a syrthiodd i lawr i'r gwâg-le.

45 Er hynny ac efe etto yn fyw, yn llosci o lid, efe a gododd i fynu, ac er bôd ei waed yn rhedeg fel ffrydau, a'i weliau yn ofidus, etto efe a redodd drwy ganol yr ymwasc, ac a safodd ym mhen craig uchel.

46 Wedi yr awron colli ei waed oll, efe a dynnodd allan ei berfedd, ac a'i cymmerth hwy yn ei ddwylo, ac a'i taflodd at y dyrfa: a chan alw ar Arglwydd y bywyd, a'r yspryd, ar iddo eu rhoddi hwynt iddo drachefn, efe a fu farw fel hyn.

## PEN. XV.

1 Cabledd Nicanor. 8 Iudas yn rhoi calon yn ei wyr trwy ddangos ei freuddwyd iddynt. 28 Lladd Nicanor.



Ond Nicanor wrth glywed fôd Judas a'i lu yn nheuddau Samaria, a ymrodd heb ddim perygl i ddyfod ar eu huchaf hwy ar y dydd Sabboth.

2 Er hynny, yr Iddewon, y rhai a gymhellwyd iw ganlyn, a ddywedasant, ô na ddestrywia mor greulon, ac mor annrhugarog: eithr dyro anrhydedd i'r dydd, yr hwn y darfu i'r hwn sydd yn gweled pôb peth, ei anrhydeddu â sancteiddrwydd, uwch law [dyddiau eraill.]

3 Yna y dŷn sceler ymma a ofynnodd, a ydoedd un Galluog yn y nef, yr hwn a orchymynnasei gadw y dydd Sabboth.

4 A phan attebasant, y mae yn y nêf Arglwydd bywiol galluog, yr hwn a orchymynnodd gadw y seithfed dydd,

5 Yna eb y llall, a minneu hefyd wyf alluog ar y ddaiar, ac yr wyf yn gorchymyn i chwi gymmeryd arfau, a dwyn i ben fatterion y brenin: er hynny ni allei efe ddwyn i ben ei annuwiol amcan.

6 Felly Nicanor, gan ymdderchafu â mawr falchedd, a rodd ei frŷd ar wneuthur côf o'r oruchafiaeth a gaffei efe ar Judas, a'r rhai oedd gyd ag ef.

7 Ond Maccabeus oedd bôb amser yn ymddiried trwy fawr obaith y byddei'r Arglwydd yn amddeffynnwr iddo.

8 Am hynny efe a gynghorodd ei wŷr nad ofnent ddyfodiad y Cenhedloedd yn ei herbyn, ond gan fod yn eu côf y cymmorth hwy a gawsent o'r blaen o'r nef, edrych o honynt yn awr hefyd am yr oruchafiaeth a'r cymmorth a ddeuei iddynt oddi wrth yr Hollalluog.

9 Ac felly gan eu cyssuro hwy allan o'r Gyfraith, a'r prophwydi; ac am ben hynny gan gofio iddynt y rhyfeloedd a wnaethent o'r blaen yn llwyddianus, efe a'i gwnaeth hwy yn llawenach.

10 Ac wedi iddo godi calonnau ynddynt, efe a roddes iddynt eu siars, gan ddangos hefyd iddynt ffalster y Cenhedloedd, a thorriad eu llwon.

11 Felly efe a arfogodd bob un o honynt nid yn gymmaint â diogelwch tariannau a gwaywffyn, ac â chyssur trwy eiriau da: a hefyd efe a ddangosodd iddynt freuddwyd credadwy, ac a'i llawenychodd yn fawr.

12 A hyn ydoedd ei weledigaeth ef; fôd Onias, yr hwn a fuasei yn Arch-offeiriad, gwr rhinweddol a da, parchedig o ymarweddiad, addfwyn o naws, ymadroddus hefyd, ac wedi llafurio er yn fachgen ym mhob pwngc o rinwedd, yn codi ei ddwylo, ac yn gweddio tros holl gorph yr Iddewon.

13 Pan ddarfu hyn, yn yr un ffunyd fe a ymddangosodd iddo wr pen-llwyd, yn rhagori mewn gogoniant, yr hwn oedd o ryfeddol a rhagorol fawredd.

14 Yna'r attebodd Onias gan ddywedyd; dymma un sydd hoff ganddo y brodyr, yr hwn sydd yn gweddio llawer tros y bobl a'r ddinas sanctaidd, sef, Jeremias Prophwyd Duw.

15 Ar hynny, fe a estynnodd Jeremias ei ddeheulaw, ac a roddodd i Judas gleddyf aur, ac wrth ei roddi a ddywedodd fel hyn.

16 Cymmer y cleddyf sanctaidd ymma, rhodd Duw, â'r hwn yr archolli di dy wrthwyneb-wŷr.

17 Fel hyn wedi eu cyssuro yn dda trwy eiriau Judas, y rhai oedd dda iawn a nerthol iw cynnhyrfu at wroldeb, ac i gyssuro calonnau y gwŷr ieuaingc, hwy a fwriadasant na wersyllent, ond y gosodent hwy arnynt yn rymmus, ac yn wrol y dibennent y matter law i law, yn gymmeint â bôd y ddinas, y Cyssegr, a'r Deml mewn perigl.

18 Canys yr oedd y gofal a gymerasant hwy am eu gwragedd, a'i plant, eu brodyr, a'i ceraint, yn y cyfrif lleiaf gyd â hwynt: ond yr ofn mwyaf a'r pennaf oedd am y Deml sanctaidd.

19 Hefyd yr oedd yn fawr gofal y rhai oedd yn y ddinas, dros y llu ydoedd allan mewn ymdrech.

20 Ac fel yr oedd pawb yn disgwil beth a fyddei'r diben, a'r gelynion weithian wedi nessau, a'r llu wedi ymfyddino, a'r anifeiliaid wedi eu nailltuo i leoedd cymmwys, a'r gwŷr meirch wedi eu cyfleu yn yr escyll;

21 Maccabeus gan weled dyfodiad y lliaws, a'r amryw baratôad arfau, a chreulondeb y bwyst-filod, a estynnodd allan ei ddwylo tu a'r nef, ac a alwodd ar yr Arglwydd, yr hwn sydd yn gwneuthur rhyfeddodau, gan wybod nad yw goruchafiaeth yn dyfod wrth arfau; ond ei fod efe yn ei rhoddi i'r rhai teilwng, megis ac y gwelo efe yn dda.

22 Ac wrth weddio efe a ddywedodd fel hyn: Tydi Arglwydd a ddanfonaist dy Angel yn amser Ezekias brenin Judea, * yr hwn a ddifethodd o wersyll Sennacherib gant a phump a phedwar ugain mil.

* 2.Bren.19.35.

23 Felly yr awron, ô Arglwydd y nefoedd, anfon Angel da o'n blaen ni, er ofn ac arswyd iddynt.

24 A thrwy nerth dy fraich di tarawer hwy â dychryn, y rhai sydd yn dyfod yn erbyn dy sanctaidd bobl i gablu. Ac fel hyn y diweddodd efe.

25 Yna Nicanor, a'r rhai oedd gyd ag ef, a ddynesasant ag utcyrn; ac â chaniadau.

26 Ond Judas a'r rhai oedd gyd ag ef a aethant ynghyd â'r gelynion drwy weddi ac ymbil.

27 Felly yn wir, gan ymladd â'i dwylo, a gweddio ar Dduw â'u calonnau, hwy a laddasant nid llai nâ phymtheng mil ar hugain: canys trwy ymddangosiad Duw, yr oeddynt hwy yn llawen iawn.

28 Yr awron pan ddarfu y rhyfel, hwy yn dychwelyd â llawenydd, a wybuant fôd Nicanor yn gorwedd yn farw yn ei arfogaeth.

29 Yna hwy a lefasant yn uchel, ac a fendithiasant yr Arglwydd yn iaith ei gwlâd.

30 A Judas, pen-ymddyffynnwr y dinaswyr, ynghorph ac enaid, yr hwn erioed a ddygasei ewyllys da i'r rhai oedd o'i genedl, a orchymynnodd dorri pen Nicanor, a'i law, a'i ysgwydd, a'i dwyn i Jerusalem.

31 A phan ddaeth efe yno, wedi galw ynghyd ei genedl ei hun, a gosod yr offeiriaid ger bron yr allor, efe a alwodd am y rhai oedd o'r tŵr:

32 Ac a ddangosodd iddynt ben Nicanor sceler, a llaw'r cablwr, yr hon drwy fawr falchedd a estynnasei efe allan yn erbyn tŷ sanctaidd yr Holl-alluog.

33 Ac wedi iddo dorri ymmaith dafod Nicanor annuwiol; efe a ddywedodd y rhoddei efe ef i'r adar yn ddrylliau, ac y crogei efe wobr ei ynfydrwydd ef gyferbyn â'r Deml.

34 Felly pawb a foliannasant tu a'r nef y gogoneddus Arglwydd, gan ddywedyd, bendigedig fyddo yr hwn a gadwodd ei fangre ei hun yn ddihalog.

35 Yna y crogodd ef ben Nicanor ar y tŵr, yn arwydd amlwg, ac eglur i bawb, o gymmorth yr Arglwydd.

36 A hwy a ordeiniasant i gyd drwy ddeddf gyffredin, na ollyngid heibio y dydd hwn mewn modd yn y byd yn anenwog: ond cadw yn ŵyl y trydydd dydd ar ddeg o'r deuddegfed mîs, yr hwn a elwir yn iaith y Syriaid Adar, y dydd o flaen gŵyl Mardocheus.

37 Am hynny gan ddigwyddo fel hyn i Nicanor, a meddiannu o'r Hebræaid y ddinas er yr amser hynny, minneu hefyd a ddiweddaf ymma.

38 Ac os da y gwneuthum, ac megis y gweddei i'r stori, hynny yw'r peth a ewyllisiais; ond os yn llesc ac yn annoeth, hynny yw yr hyn a allwn ei ddwyn i ben.

39 Canys megis ac y mae yn ddrwg yfed gwin o'r naill du, ac felly drachefn ddwfr: ac megis y mae gwin wedi ei gymmyscu â dwfr, yn hyfryd ac yn flasus: felly gosodiad y matter allan sydd yn flasus i glustiau y rhai a ddarllennant yr ystori. Ac ymma y bydd diwedd.

Diwedd yr Apocrypha.





# YR EFENGYL YN OL SANCT MATTHEW.

## PENNOD. I.

1 Achau Christ o Abraham i Ioseph. 18 Ei genhedlu ef o'r Yspryd glân, a'i eni o Fair forwyn, wedi ei dyweddio hi â Ioseph. 19 Yr angel yn bodloni camdybus feddyliau Ioseph, ac yn deongl enwau Christ.



Lyfr *cenhedliad Jesu Grist, fâb Dafydd, fâb Abraham.

2 *Abraham a genhedlodd Isaac, ac *Isaac a genhedlodd Jacob, ac *Jacob a genhedlodd Judas a'i frodyr.

3 A *Judas a genhedlodd Phares a Zara o Thamar, a *Phares a genhedlodd Esrom, ac Esrom a genhedlodd Aram.

4 Ac Aram a genhedlodd Aminadab, ac Aminadab a genhedlodd Naasson, a Naasson a genhedlodd Salmon.

5 A Salmon a genhedlodd Boos o Rachab, a Boos a genhedlodd Obed o Ruth, ac Obed a genhedlodd Jesse.

6 A *Jesse a genhedlodd Dafydd frenin, a *Dafydd frenin a genhedlodd Solomon, o'r hon [a fuasei wraig] Urias.

7 A *Solomon a genhedlodd Roboam, a Roboam a genhedlodd Abia, ac Abia a genhedlodd Asa.

8 Ac Asa a genhedlodd Josaphat, a Josaphat a genhedlodd Joram, a Joram a genhedlodd Ozias.

9 Ac Ozias a genhedlodd Joatham, a Joatham a genhedlodd Achaz, ac Achaz a genhedlodd Ezekias.

10 Ac *Ezekias a genhedlodd Manasses, a Manasses a genhedlodd Amon, ac Amon a genhedlodd Josias.

11 A Josias a genhedlodd Jechonias a'i frodyr, ynghylch amser y symmudiad i Babylon.

12 Ac wedi y symmudiad i Babilon *Jechonias a genhedlodd Salathiel, a Salathiel a genhedlodd Zorobabel.

13 A Zorobabel a genhedlodd Abiud, ac Abiud a genhedlodd Eliakim, ac Eliakim a genhedlodd Azor.

14 Ac Azor a genhedlodd Sadoc, a Sadoc a genhedlodd Achim, ac Achim a genhedlodd Eliud.

15 Ac Eliud a genhedlodd Eleazar, ac Eleazar a genhedlodd Matthan, a Matthan a genhedlodd Jacob.

16 Ac Jacob a genhedlodd Joseph, gŵr Mair, o'r hon y ganed Jesu, yr hwn a elwir Christ.

17 Felly yr holl genhedlaethau o Abraham hyd Ddafydd sydd bedair cenhedlaeth ar ddêg, ac o Ddafydd hyd y symmudiad i Babylon pedair cenhedlaeth ar ddêg, ac o'r symmudiad i Babylon hyd Grist, pedair cenhedlaeth ar ddêg.

18 A *genedigaeth yr Jesu Grist oedd fel hyn: wedi dyweddio Mair ei fam ef â Joseph, cyn eu dyfod hwy ynghŷd, hi a gafwyd yn feichiog o'r Yspryd glân.

*Luc. 1.27

19 A Joseph ei gŵr hi, gan ei fôd yn gyfiawn, ac heb chwennych ei gwneuthur hi yn siampl, a ewyllysiodd ei rhoi hi ymmaith yn ddirgel.

20 Ac efe yn meddwl y pethau hyn, wele, angel yr Arglwydd a ymddangosodd iddo mewn breuddwyd, gan ddywedyd, Joseph mab Dafydd, nac ofna gymmeryd Mair dy wraig, oblegid yr hyn a genhedlwyd ynddi, sydd o'r Yspryd glân.

21 A hi a escor ar fab, *a thi a elwi ei enw ef Jesu, oblegid efe a wared ei bobl oddi wrth eu pechodau.

*Luc. 1.31.

22 (A hyn oll a wnaethpwyd fel y cyflawnid yr hyn a ddywetpwyd gan yr Arglwydd trwy 'r prophwyd, gan ddywedyd.

23 *Wele, Morwyn a fydd feichiog, ac a escor ar fâb, a ||hwy a alwant ei enw ef Emmanuel, yr hyn, o'i gyfieithu, yw, Duw gyd â ni.)

*Esa. 7.14.
||Neu, gelwir ei enw ef.

24 A Joseph pan ddeffroes o gwsc, a wnaeth megis y gorchymynasei Angel yr Arglwydd iddo, ac a gymmerodd ei wraig.

25 Ac nid adnabu efe hi, hyd oni escorodd hi ar ei mâb cyntaf-anedig, a galwodd ei henw ef Jesu.

## PEN. II.

Y doethion yn cael eu cyfarwyddo at Grist drwy weinidogaeth seren: 11 yn ei addoli ef, ac yn cyflwyno eu hanrhegion. 14 Ioseph yn ffo i'r Aipht, efe ac Iesu a'i fam. 16 Herod yn lladd y plant. 20 Ac yn marw. 23 Dwyn Christ yn ei ôl i Galilee i Nazareth.

Yr Efengyl ar ddigwyl Ystwyll. *Luc.2.6.



*C wedi geni 'r Iesu ym-Methlehem Judæa, yn nyddiau Herod frenin, wele, doethion a ddaethant o'r dwyrain i Jerusalem;

2 Gan ddywedyd, pa le y mae 'r hwn a anwyd yn frenin yr Iddewon? canys gwelsom ei seren ef yn y dwyrain, a daethom i'w addoli ef.

3 Ond pan glybu Herod frenin, efe a gyffrowyd, a holl Jerusalem gyd ag ef.

4 A chwedi dwyn ynghyd yr holl Arch-offeiriaid, ac scrifennyddion y bobl, efe a ymofynnodd â hwynt pa le y genid Christ.

5 A hwy a ddywedasant wrtho, Ym-Methlehem Judæa, canys felly 'r scrifennwyd trwy 'r prophwyd,

*Mic.5.2. Io.7.41.

6 A * thitheu Bethlehem tir Juda, nid lleiaf wyt ym-mhlith tywysogion Juda, canys o honot ti y daw tywysog yr hwn a fugeilia fy mhobl Israel.

7 Yna Herod wedi galw y doethion yn ddirgel, a'u holodd hwynt yr fanwl am yr amser yr ymddangosasei y seren.

8 Ac wedi eu danfon hwy i Bethlehem, efe a ddywedodd, Ewch, ac ymofynnwch yn fanwl am y mab bychan, a phan gaffoch [ef,] mynegwch i mi, fel y gallwyf finneu ddyfod, a'i addoli ef.

9 Hwythau wedi clywed y brenin, a aethant, ac wele, y seren a welsent yn y dwyrain, a aeth o'u blaen hwy, hyd oni ddaeth hi a sefyll goruwch y lle yr oedd y mâb bychan.

10 A phan welsant y seren, llawenhasant â llawenydd mawr dros ben.

11 A phan ddaethant i'r tŷ, hwy a ‖ welsant y mâb bychan gyd â Mair ei fam, a hwy a syrthiasant i lawr, ac a'i haddolasant ef: ac wedi agoryd eu trysorau, a offrymmasant iddo anrhegion; aur, a thus, a myrrh.

‖ *gawsant.*

12 Ac wedi eu rhybuddio hwy gan Dduw trwy freuddwyd, na ddychwelent at Herod, hwy a aethant drachefn i'w gwlad ar hyd ffordd arall. ☞

Yr Efengyl ar ddigwyl y Gwirioniaid.

13 ☞ Ac wedi iddynt ymado, wele Angel yr Arglwydd yn ymddangos i Joseph mewn breuddwyd, gan ddywedyd, Cyfod, cymmer y mâb bychan a'i fam, a ffo i'r Aipht; a bydd yno hyd oni ddywedwyf i ti; canys ceisio a wna Herod y mab bychan, i'w ddifetha ef.

14 Ac yntau pan gyfododd a gymmerth y mâb bychan a'i fam o hŷd nôs, ac a giliodd i'r Aipht.

15 Ac a fu yno hyd farwolaeth Herod, fel y cyflawnid yr hyn a ddywedpwyd gan yr Arglwydd, trwy 'r prophwyd gan ddywedyd, * O'r Aipht y gelwais fy mâb.

*Ose.11.1.

16 Yna Herod pan weles ei siommi gan y doethion, a ffrommodd yr aruthr, ac a ddanfonodd ac a laddodd yr holl fechgyn [oedd] yn Bethlehem, ac yn ei holl gyffiniau, o ddwyflwydd oed, a than hynny, wrth yr amser yr ymofynnasei efe yn fanwl â'r doethion.

17 Yna y cyflawnwyd yr hyn a ddywedasid gan * Jeremias y prophwyd, gan ddywedyd,

*Ier.31.15.

18 Llef a glybuwyd yn Rama, galar, ac wylofain, ac ochain mawr, Rachel yn wylo am ei phlant, ac ni fynnei ei chysuro, am nad oeddynt. ☞

19 Ond wedi marw Herod, wele Angel yr Arglwydd mewn breuddwyd yn ymddangos i Joseph yn yr Aipht,

20 Gan ddywedyd, Cyfod a chymmer y mâb bychan a'i fam, a dôs i dir Israel: canys y rhai oedd yn ceisio einioes y mâb bychan a fuant feirw.

21 Ac wedi ei gyfodi, efe a gymmerth y mâb bychan a'i fam, ac a ddaeth i dir Israel.

22 Eithr pan glybu efe fod Archelaus yn teyrnasu ar Judæa, yn lle ei dâd Herod, efe a ofnodd fyned yno, ac wedi ei rybuddio gan Dduw mewn breuddwyd, efe a giliodd i barthau Galilæa.

23 A phan ddaeth, efe a drigodd mewn dinas a elwid Nazareth: fel y cyflawnid yr hyn a ddywedasid trwy y prophwydi, y gelwid ef yn Nazarêad.

## PEN. III.

1 Pregeth Ioan, a'i swydd, a'i fuchedd, a'i fedydd; 7 y mae yn ceryddu y Pharisæaid, 13 ac yn bedyddio Crist yn yr Iorddonen.



C yn y dyddiau hynny y daeth * Joan Fedyddiwr, gan bregethu yn niffaethwch Judæa,

*Mar.1.4. luc.3.2.

2 A dywedyd, Edifarhewch, canys nesaodd teyrnas nefoedd.

3 Oblegid hwn yw efe, yr hwn y dywedwyd am dano gan Esaias y prophwyd, gan ddywedyd, * Llef un yn llefain yn y diffaethwch, Paratowch ffordd yr Arglwydd, gwnewch yn uniawn ei lwybrau ef.

*Esa.40.3. mar.1.3.

4 A'r Joan hwnnw oedd a'i ddillad o flew camel, a gwregys o groen ynghylch ei lwynau: a'i fwyd oedd locustiaid, a mêl gwyllt.

5 Yna yr aeth allan atto ef Jerusalem, a holl Judæa, a'r holl wlad o amgylch yr Iorddonen.

6 A hwy a fedyddiwyd ganddo ef yn yr Iorddonen, gan gyffesu eu pechodau.

7 A phan welodd efe lawer o'r Pharisæaid, ac o'r Saducæaid yn dyfod i'w fedydd ef, efe a ddywedodd wrthynt hwy, * O genhedlaeth gwiberod, pwy a'ch rhagrybuddiodd i ffoi rhag y llid a fydd?

*Pen.12.34.

8 Dygwch gan hynny ffrwythau addas i edifeirwch.

9 Ag

9 Ac na feddyliwch ddywedyd ynoch eich hunain, * y mae gennym ni Abraham yn dâd i ni; canys yr ydwyf yn dywedyd i chwi, y dichon Duw, ie o'r meini hyn gyfodi plant i Abraham.

10 Ac yr awrhon hefyd y mae y fwyall wedi ei gosod ar wreiddyn y prennau: *pôb pren gan hynny yr hwn nid yw yn dwyn ffrwyth da, a dorrir i lawr, ac a deflir yn tân.

11 * Myfi yn ddiau ydwyf yn eich bedyddio chwi â dwfr i edifeirwch: eithr yr hwn sydd yn dyfod ar fy ôl i, sydd gryfach ná myfi, yr hwn nid ydwyf deilwng i ddwyn ei esgidiau, efe a'ch bedyddia chwi â'r Yspryd glân, ac â thân.

12 Yr hwn [y mae] ei wyntill yn ei law, ac [efe] a lwyr lanhâ ei lawr dyrnu, ac a gasgl ei wenith i'w yscubor, eithr yr us a lysc [efe] â thân anniffoddadwy.

13 Yna y daeth yr * Iesu o Galilæa i'r Iorddonen at Ioan, i'w fedyddio ganddo;

14 Eithr Ioan a orafunodd iddo ef, gan ddywedyd, y mae arnaf fi eisieu fy medyddio gennit ti; ac a ddeui di attaf fi?

15 Ond yr Iesu a attebodd, ac a ddywedodd wrtho ef, Gâd yr awrhon, canys fel hyn y mae yn weddus i ni gyflawni pôb cyfiawnder; yna efe a adawodd iddo.

16 A'r Iesu wedi ei fedyddio a aeth yn y fan i fynu o'r dwfr: ac wele, y nefoedd a agorwyd iddo, ac [ efe ] a welodd Yspryd Duw yn descyn fel colommen, ac yn dyfod arno ef.

17 Ac wele lef o'r nefoedd, yn dywedyd, Hwn yw fy anwyl fâb, yn yr hwn i'm bodlonwyd.

## PEN. IIII.

1 Ympryd Christ, a'i demtiad. 11 Yr Angylion yn gweini iddo. 13 Efe yn trigo yn Capernaum, 17 yn dechreu pregethu, 18 yn galw Pedr ac Andreas, 21 Iaco ac Ioan: 23 ac yn iachâu yr holl gleifion.

Yr Efengyl y Sul cyntaf o'r Grawys. *Mar.1.12. Luk.4.1.



Yna yr * Iesu a arweiniwyd i fynu i'r anialwch gan yr Yspryd, i'w demptio gan ddiafol.

2 Ac wedi iddo ymprydio ddeugain nhiwrnod a deugain nôs, yn ôl hynny efe a newynodd.

3 A'r temptiwr pan ddaeth atto, a ddywedodd, Os mâb Duw wyt ti, arch i'r cerrig hyn fôd yn fara.

4 Ac yntef a attebodd, ac a ddywedodd, Scrifennwyd,* Nid trwy fara yn unig y bydd byw dŷn, ond trwy bôb gair a ddaw allan o enau Duw.

5 Yna y cymmerth diafol ef i'r ddinas sanctaidd, ac a'i gosododd ef ar binacl y deml;

6 Ac a ddywedodd wrtho, Os mâb Duw wyt ti, bwrw dy hun i lawr; canys scrifennwyd,* y rhydd efe orchymmyn i'w angelion am danat, a hwy a'th ddygant yn eu dwylo, rhag taro o honot un amser dy droed wrth garreg.

7 Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Scrifennwyd drachefn,* Na themptia yr Arglwydd dy Dduw. (Deut.6.16.)

8 Trachefn y cymmerth diafol ef i fynydd tra uchel, ac a ddangosodd iddo holl deyrnasoedd y bŷd, a'u gogoniant.

9 Ac a ddywedodd wrtho, Hyn oll a roddaf i ti, os syrthi i lawr a'm haddoli i.

10 Yna yr Iesu a ddywedodd wrtho, ymmaith Satan: canys scrifennwyd, *yr Arglwydd dy Dduw a addoli, ac ef yn unig a wasanaethi. (Deut.6.13.& 10.20.)

11 Yna y gadawodd diafol ef: ac wele, angelion a ddaethant, ac a weinasant iddo.☜

12 A * phan glybu 'r Iesu draddodi Ioan, efe a aeth i Galilæa. (*Mar.1.14. luc.4.14. io.4.43.)

13 A chan ado Nazareth, efe a aeth ac a arhosodd yn Capernaum, yr hon sydd wrth y môr, ynghyffiniau Zabulon a Nephthali:

14 Fel y cyflawnid yr hyn a ddywedpwyd trwy Esaias y prophwyd, gan ddywedyd,

15 * Tir Zabulon, a thir Nephthali, [wrth] ffordd y môr, o'r tu hwnt i'r Iorddonen, Galilæa y cenhedloedd. (Esa.9.1.)

16 Y bobl oedd yn eistedd mewn tywyllwch, a welodd oleuni mawr: ac i'r rhai a eisteddent ym-mro a chyscod angeu, y cyfododd goleuni iddynt.

17 * O'r prŷd hynny y dechreuodd yr Iesu bregethu, a dywedyd, Edifarhewch: canys nessaodd teyrnas nefoedd. (Mar.1.14.)

18 ☞ * A'r Iesu yn rhodio wrth fôr Galilæa, efe a ganfu ddau frodyr, Simon yr hwn a elwir Petr, ac Andreas ei frawd, yn bwrw rhwyd i'r môr; (canys pyscod-wŷr oeddynt.) (Yr Efengyl ar ddigwyl S. Andreas. Mar.1.16.)

19 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Dowch ar fy ôl i, ac mi a'ch gwnaf yn byscod-wŷr dynion.

20 A hwy yn y fan, gan adel y rhwydau, a'i canlynasant ef.

21 Ac wedi myned rhagddo oddi yno, efe a welodd ddau frodyr eraill, Iaco [fâb] Zebedæus, ac Ioan ei frawd, mewn llong gyda Zebedæus eu tâd, yn cyweirio eu rhwydau: ac a'u galwodd hwy.

22 Hwythau yn ebrwydd gan adel y llong a'u tâd, a'i canlynasant ef.☜

23 A'r Iesu a aeth o amgylch holl Galilæa, gan ddyscu yn eu Synagogau, a phregethu Efengyl y deyrnas, ac iachau pôb clefyd a phôb afiechyd ym-mhlith y bobl.

24 Ac aeth sôn am dano ef trwy holl Syria; a hwy a ddygasant atto yr holl rai drwg eu hwyl, a'r rhai yr oedd amryw glefydau a chnofeydd yn eu dals, a'r rhai cythreulig, a'r rhai lloerig, a'r sawl oedd a'r parlys arnynt, ac efe a'u hiachaodd hwynt.

25 A thorfeydd lawer a'i canlynasant ef o Galilæa, a Decapolis, a Ierusalem, a Iudæa, ac o'r tu hwnt i'r Iorddonen.

## PEN. V.

1 Crist yn dechreu ei bregeth ar y mynydd: 3 ac yn dangos pwy sydd ddedwydd,

13 Pwy yw halen y ddaiar, 14 goleuni y byd; dinas ar fryn, 15 y ganwyll. 17 Ei ddyfod ef i gyflawni y gyfraith. 21 Beth yw lladd, 27 a godinebu, 33 a thyngu. 38 Y mae yn annog i ddioddef cam, 44 i garu ie ein gelynion, 48 ac i ymegnio at berffeithrwydd.

Yr Efengyl ar ddigwyl yr Holl saint.



A Phan welodd [ yr Iesu ] y tyrfaodd, efe a escynnodd i'r mynydd: ac wedi iddo eistedd, ei ddiscyblion a ddaethant atto.

2 Ac efe a agorodd ei enau, ac a'u dyscodd hwynt, gan ddywedyd,

3 * Gwyn eu byd y tlodion yn yr yspryd: canys eiddynt yw teyrnas nefoedd.

*Luc.6.20.

4 Gwyn eu byd y rhai sydd yn galaru: canys hwy a ddiddenir.

5 * Gwyn eu byd y rhai addfwyn: canys hwy a etifeddant y ddaiar.

*Psal.37.11.

6 Gwyn eu byd y rhai sydd arnant newyn a syched am gyfiawnder: * canys hwy a ddiwellir.

*Esa.65.13.

7 Gwyn eu byd y rhai trugarogion: canys hwy a gânt drugaredd.

8 * Gwyn eu byd y rhai pûr o galon: canys hwy a welant Dduw.

Psal.24.4.

9 Gwyn eu byd y tangnefeddyf-wyr: canys hwy a elwir yn blant i Dduw.

10 * Gwyn eu byd y rhai a erlidir o achos cyfiawnder: canys eiddynt yw teyrnas nefoedd.

1 Pet.3.14.

11 Gwyn eich byd * pan i'ch gwradwyddant, ac i'ch erlidiant, ac y dywedant bob drwg-air yn eich erbyn, er fy mwyn i, a hwy yn gelwyddog.

1 Pet.4.14.

12 Byddwch lawen a hyfryd, canys mawr yw eich gwobr yn y nefoedd: oblegid felly yr erlidiasant hwy y prophwydi a fu o'ch blaen chwi.

13 Chwi yw halen y ddaiar: * eithr o diflasodd yr halen, â pha beth yr helltir ef? ni thâl efe mwy ddim onid i'w fwrw allan, a'i sathru gan ddynion.

Mar.9.50. luc.14.34.

14 Chwi yw goleuni y byd: dinas a osodir ar fryn ni ellir ei chuddio.

15 Ac ni oleuant ganwyll, a'i dodi dan lestr, * ond mewn canhwyll-bren: a hi a oleua i bawb sy yn y ty.

Mar.4.21. luc.8.16.& 11.33.

16 Llewyrched felly eich goleuni ger bron dynion, * fel y gwelont eich gweithredoedd da chwi, ac y gogoneddont eich Tâd yr hwn sydd yn y nefoedd.

1 Pet.2.12.

17 Na thybiwch fy nyfod i dorri 'r gyfraith, neu'r prophwydi, ni ddaethym i dorri, ond i gyflawni.

18 Canys yn wir meddaf i chwi, * Hyd onid êl y nef a'r ddaiar heibio, nid â un iot nac un tippyn o'r gyfraith heibio, hyd oni chwplaer oll.

Luc.16.17.

19 Pwy * bynnag gan hynny a dorro un o'r gorchymynion lleiaf hyn, ac a ddysco i ddynion felly, lleiaf y gelwir ef yn nheyrnas nefoedd: ond pwy bynnag [a'i] gwnelo, ac [a'i] dysco [ i eraill, ] hwn a elwir yn fawr yn nheyrnas nefoedd.

Iac.2.10.

Yr Efengyl ar y chweched Sul wedi 'r Drindod.

20 Canys meddaf i chwi, oni bydd eich cyfiawnder yn helaethach na [ chyfiawnder] yr Scrifennyddion, a'r Phariseaid, nid ewch i mewn i deyrnas nefoedd.

21 Clywsoch ddywedyd || gan y rhai gynt, * Na ladd: a phwy bynnag a laddo, euog fydd o farn.

|| Neu, wrth. Exod.20.13. deut.5.17.

22 Eithr yr ydwyf fi yn dywedyd i chwi, pôb un a ddigio wrth ei frawd heb achos, a fydd euog o farn: a phwy bynnag a ddywedo wrth ei frawd, Raca, a fydd euog o gyngor: a phwy bynnag a ddywedo, ô ynfyd, a fydd euog o dân uffern.

23 Gan hynny, os dygi dy rodd i'r allor, ac yno dyfod i'th gof fod gan dy frawd ddim yn dy erbyn,

24 Gâd yno dy rodd ger bron yr allor, a dôs ymmaith: yn gyntaf cymmoder di â'th frawd, a chwedi dyfod, ac offrwm dy rodd.

25 * Cytuna â'th wrthwyneb-wr ar frys, tra fyddech ar y ffordd gyd ag ef: rhag un amser i'th wrthwyneb-wr dy roddi di yn llaw 'r barn-wr, ac i'r barn-wr dy roddi at y swyddog, a'th daflu yngharchar.

Luc.12.58.

26 Yn wir meddaf i ti, ni ddeui di allan oddi-yno hyd oni thalech y ffyrling eithaf.

27 Clywsoch ddywedyd gan y rhai gynt, * Na wna odineb.

Exod.20.14.

28 Eithr yr ydwyf fi yn dywedyd i chwi, fod pob un sydd yn edrych ar wraig, i'w chwennychu hi, wedi gwneuthur eusys odineb â hi yn ei galon;

29 * Ac os dy lygad dehau a'th rwystra, tynn ef allan, a thafl oddi wrthit, canys da i ti golli un o'th aelodau, ac na thafler dy holl gorph i uffern.

Pen.18.8. mar.9.47.

30 Ac os dy law ddehau a'th rwystra, torr hi ymmaith, a thafl oddi wrthit, canys da i ti golli un o'th aelodau, ac na thafler dy holl gorph i uffern.

31 A dywetpwyd, * Pwy bynnag a ollyngo ymmaith ei wraig, rhoed iddi lythyr yscar.

Deut.24.1. luc 16.18. 1 cor.7.10.

32 Ond yr ydwyf fi yn dywedyd i chwi, fod pwy bynnag a ollyngo ymmaith ei wraig, ond o achos godineb, yn peri iddi wneuthur godineb: a phwy bynnag a briodo yr hon a yscarwyd, y mae efe yn gwneuthur godineb.

33 Trachefn, clywsoch ddywedyd gan y rhai gynt, * Na thwng anudon: eithr tâl dy lwon i'r Arglwydd.

Exo.20.7. levit.19.12. deut.5.11.

34 Ond yr ydwyf fi yn dywedyd wrthych chwi, Na thwng ddim: nag i'r nef, canys gorseddfa Duw ydyw:

35 Nac i'r ddaiar, canys troed-faingc ei draed ydyw: nac i Jerusalem, canys dinas y brenin mawr ydyw.

36 Ac na thwng i'th ben, am na elli wneuthur un blewyn yn wynn, neu yn ddu.

37 * Eithr bydded eich ymadrodd chwi, Ie, Ie, nag ê nag ê: oblegid beth bynnag sydd tros ben hyn, o'r drwg y mae.

Iac.5.12.

38 Clywsoch ddywedyd, * Llygad am lygad, a dant am ddant.

Exo.21.24. levit.24.20. deut.19.21.

39 Eithr yr ydwyf fi yn dywedyd wrthych chwi, * Na wrthwynebwch ddrwg, ond pwy bynnag

*Luc.6.29. rhuf.12.17. 1 cor.6.7.

bynnag a'th daraw̄o ar dy rudd ddehau, tro 'r llall iddo hefyd.

40 Ac i'r neb a fynno ymgyfreithio â thi, a dwyn dy bais, gâd iddo dy gochl hefyd.

41 A phwy bynnag a'th gymmhello vn filltir, dos gyd ag ef ddwy.

42 * Dyro i'r hwn a ofynno gennit: ac na thro oddiwrth yr hwn fydd yn ewyllysio echwyna gennit.

43 Clywsoch ddywedyd, * Câr dy gymydog, a chasâ dy elyn.

44 Eithr yr ydwyf fi yn dywedyd wrthych chwi, * Cerwch eich gelynion, bendithiwch y rhai a'ch melldithiant: gwnewch dda i'r sawl a'ch casânt, a * gweddiwch tros y rhai a wnêl niwed i chwi, ac a'ch erlidiant.

45 Fel y byddoch blant i'ch tâd yr hwn fydd yn y nefoedd: canys y mae efe yn peri i'w haul godi ar y drwg a'r da, ac yn glawio ar y cyfiawn a'r anghyfiawn.

46 * Oblegid os cerwch y sawl a'ch caro, pa wobr fydd i chwi? oni wna'r Publicanod hefyd yr vn peth?

47 Ac os cyfarchwch well i'ch brodyr yn vnig, pa ragoriaeth yr ydych chwi yn ei wneuthur? onid ydyw y Publicanod hefyd yn gwneuthur felly?

48 Byddwch chwi gan hynny yn berffaith, fel y mae eich Tad yr hwn fydd yn y nefoedd yn berffaith.

PEN. VI.

1 Crist yn myned rhagddo yn ei bregeth ar y mynydd, gan draethu am Elusen, 5 a Gweddi, 14 maddeu i'n brodyr: 16 ac ympryd, 19 p'le y mae i ni roddi ein tryssor i gadw, 24 ynghylch gwasanaethu Duw a Mammon: 25 yn annog na bydder gofalus am bethau bydol: 33 ond am geisio teyrnas Dduw.



Ochelwch rhag gwneuthur eich elusen yngŵydd dynion, er mwyn cael eich gweled ganddynt, os amgen, ni chewch dâl gan eich Tâd yr hwn fydd yn y nefoedd.

2 Am hynny * pan wnelych elusen, na vdcana o'ch flaen, fel y gwna'r rhagrithwyr yn y synagogau, ac ar yr heolydd, fel y molianner hwy gan ddynion: yn wir meddaf i chwi, y maent yn derbyn eu gwobr.

3 Eithr pan wnelych di elusen, na wyped dy [law] asswy pa beth a wna dy [law] ddehau:

4 Fel y byddo dy elusen yn y dirgel: a'th Dâd yr hwn a wêl yn y dirgel, efe a dâl i ti yn yr amlwg.

5 A phan weddiech, na fydd fel y rhagrithwyr, canys hwy a garant weddio yn sefyll yn y synagogau ac ynghonglau yr heolydd, fel yr ymddangosont i ddynion: yn wir meddaf i chwi, y maent yn derbyn eu gwobr.

6 Ond tydi pan weddiech, dôs i'th stafell, ac wedi cau dy ddrws, gweddia ar dy Dâd yr hwn [fydd] yn y dirgel: a'th Dâd yr hwn a wêl yn y dirgel, a dâl i ti yn yr amlwg.

7 A phan weddioch na fyddwch * siaradus, fel y cenhedloedd: canys y maent hwy yn tybied y cânt eu gwrandaw am eu haml eiriau.

8 Na fyddwch gan hynny debyg iddynt hwy: canys gŵyr eich Tâd pa bethau sy arnoch eu heisieu, cyn gofyn o honoch ganddo.

9 Am hynny gweddiwch chwi fel hyn, * Ein Tâd yr hwn [wyt] yn y nefoedd, sancteiddier dy Enw.

10 Deled dy deyrnas: gwneler dy ewyllys, megis yn y nef, [felly] ar y ddaiar hefyd.

11 Dyro i ni heddyw ein bara beunyddiol.

12 A maddeu i ni ein dyledion, fel y maddeuwn ninnau i'n dyled-wyr.

13 Ac nac arwain ni i brofedigaeth, eithr gwared ni rhag drwg: canys eiddot ti yw'r deyrnas, a'r nerth, a'r gogoniant, yn oes oesoedd. Amen.

14 * Oblegid os maddeuwch i ddynion eu camweddau, eich Tâd nefol a faddeu hefyd i chwithau.

15 Eithr oni faddeuwch i ddynion eu camweddau, ni faddeu eich Tâd eich camweddau chwithau.

16 Hefyd ☞ pan ymprydioch, na fyddwch fel y rhagrith-wyr, yn wyneb-drist: canys anffurfio eu hwynebau y maent, fel yr ymddangosont i ddynion eu bôd yn ymprydio, yn wir meddaf i chwi, y maent yn derbyn eu gwobr.

17 Eithr pan ymprydiech di, enneinia dy ben, a golch dy wyneb,

18 Fel nad ymddangosech i ddynion dy fôd yn ymprydio, ond i'th Dâd yr hwn fydd yn y dirgel; a'th Dâd yr hwn fydd yn gweled yn y dirgel, a dâl i ti yn yr amlwg.

19 Na thryssorwch i'wch dryssorau ar y ddaiar, lle y mae gwyfyn a rhwd yn llygru, a lle y mae lladron yn cloddio trwodd, ac yn lladratta.

20 * Eithr tryssorwch i'wch dryssorau yn y nef, lle nid oes na gwyfyn na rhwd yn llygru, a lle ni's cloddia lladron trwodd, ac ni's lladrattânt.

21 Canys lle y mae eich tryssor, yno y bydd eich calon hefyd. ☜

22 * Canwyll y corph yw'r llygad: am hynny o bydd dy lygad yn syml, dy holl gorph fydd yn oleu.

23 Eithr os bydd dy lygad yn ddrwg, dy holl gorph fydd yn dywyll. Am hynny os bydd y goleuni fydd ynot, yn dywyllwch, pa faint [fydd] y tywyllwch?

24 * ☞ Ni ddichon neb wasanaethu dau arglwydd, canys naill ai efe a gasâ y naill, ac a gâr y llall, ai efe a ymlyn wrth y naill, ac a esceulusa'r llall. Ni ellwch wasanaethu Duw a Mammon.

25 Am hynny meddaf i chwi, * na ofelwch am eich bywyd, pa beth a fwyttaoch, neu pa beth a yfoch: nac am eich corph, pa beth a wiscoch; onid yw'r bywyd yn fwy nâ'r bwyd, a'r corph [yn fwy] nâ'r dillad?

26 Edrychwch ar adar y nefoedd: oblegid nid ydynt yn hau, nac yn medi, nac yn cywain i yscuboriau, ac y mae eich Tâd nefol yn

Margin notes: * Luc. 11. 2. * Mar. 11. 25. Yr Efengyl y dydd cyntaf o'r Grawys. * Luc. 12. 33. 1 tim. 6. 19. * Luc. 11. 34. Yr Efengyl ar y xv Sul wedi 'r Drindod. * Luc. 16. 13. * Luc. 12. 22. psal. 55. 22. 1. pet. 5. 7.

yn eu porthi hwy: onid ydych chwi yn rhagori llawer arnynt hwy?

27 A phwy o honoch gan ofalu a ddichon chwanegu vn cufydd at ei faintioli?

28 A pha ham yr ydych chwi yn gofalu am ddillad? ystyriwch lili 'r maes, pa fodd y maent yn tyfu: nid ydynt nac yn llafurio, nac yn nyddu;

29 Eithr yr wyf yn dywedyd i chwi, na wiscwyd Solomon yn ei holl ogoniant, fel vn o'r rhai hyn.

30 Am hynny os dillada Duw felly lysieun y maes, yr hwn sydd heddyw, ac y foru a fwrir i'r ffwrn: oni[ddillada efe]chwi yn hytrach o lawer, ô chwi o ychydig ffydd?

31 Am hynny na ofelwch, gan ddywedyd, Beth a fwytawn, neu beth a yfwn, neu â pha beth yr ymddilladwn?

32 (Canys yr holl bethau hyn y mae y cenhedloedd yn eu ceisio) oblegid gwyr eich Tâd nefol fôd arnoch eisieu yr holl bethau hyn.

33 Eithr yn gyntaf ceisiwch deyrnas Dduw, a'i gyfiawnder ef, a'r holl bethau hyn a roddir i chwi yn ychwaneg.

34 Na ofelwch gan hynny tros drannoeth: canys trannoeth a ofala am ei bethau ei hun, digon i'r diwrnod ei ddrwg ei hun. ☜

PEN. VII.

1 Crist yn gorphen ei bregeth ar y mynydd, ac yn gwahardd barn ehud, 6 a bwrw pethau sanctaidd ei gwn, 7 yn annog i weddio, 13 i fyned i mewn i'r porth cyfyng, 15 i ymgadw rhac gau brophwydi, 21 na byddom wranda-wyr, ond gwneuthur-wyr y gair, 24 a chyffelyb i dai wedi eu hadeiladu ar graig, 26 ac nid ar y tywod.

NA *fernwch, fel na'ch barner. [*Luc.6.37. rhuf.2.1.]

2 Canys â pha farn y barnoch, i'ch bernir: *ac â pha fesur y mesuroch, yr adfesurir i chwithau. [*Mar.4.24. luc.6.38.]

3 A *pha ham yr wyt yn edrych ar y brycheuyn [sydd] yn llygad dy frawd, ac nad ydwyt yn ystyried y trawst [sydd] yn dy lygad dy hun? [*Luc.6.41.]

4 Neu pa fodd y dywedi wrth dy frawd, Gâd i mi fwrw allan y brycheuyn o'th lygad: ac wele drawst yn dy lygad dy hun?

5 Oh ragrithiwr, bwrw allan yn gyntaf y trawst o'th lygad dy hun, ac yna y gweli yn eglur fwrw y brycheuyn allan o lygad dy frawd.

6 Na roddwch y peth [sydd] sanctaidd i'r cŵn, ac na theflwch eich gemmau o flaen y môch: rhag iddynt eu sathru dan eu traed, a throi, a'ch rhwygo chwi.

7 *Gofynnwch, a rhoddir i chwi: ceisiwch, a chwi a gewch: curwch, ac fe agorir i chwi. [*Pen.21.22. mar.11.24. luc.11.9. io.16.24. iac.1.6.]

8 Canys pob vn sy'n gofyn sy'n derbyn, a'r neb sy'n ceisio sy'n cael, ac i'r hwn sydd yn curo yr agorir.

9 Neu a oes vn dyn o honoch, yr hwn os gofyn ei fab iddo fara, a rydd iddo garreg?

10 Ac os gofyn efe byscodyn, a ddyry efe sarph iddo?

11 Os chwy-chwi gan hynny, a chwi yn ddrwg, a fedrwch roddi rhoddion da i'ch plant, pa faint mwy y rhydd eich Tâd yr hwn [sydd] yn y nefoedd, bethau da i'r rhai a ofynnant iddo?

12 Am hynny *pa bethau bynnag oll a ewyllysioch eu gwneuthur o ddynion i chwi, felly gwnewch chwithau iddynt hwy: canys hyn yw 'r gyfraith a'r prophwydi. [*Luc.6,31.]

13 *Ewch i mewn trwy 'r porth cyfyng: canys ehang [yw] 'r porth, a llydan [yw] 'r ffordd sydd yn arwain i ddestryw, a llawer yw y rhai sydd yn myned i mewn trwyddi. [*Luc.13,24.]

14 Oblegid cyfyng [yw] 'r porth, a chul [yw]'r ffordd sydd yn arwain i'r bywyd, ac ychydig yw y rhai sydd yn ei chael hi.

15 ☞ Ymogelwch rhag y gau brophwydi, y rhai a ddeuant attoch yng wiscoedd defaid, ond oddi-mewn bleiddiaid rheipus ydynt hwy. [Yr Efengyl yr wythfed Sul wedi'r Drindod.]

16 Wrth eu ffrwythau yr adnabyddwch hwynt. *A gascl rhai rawn-win oddiar ddrain, neu ffigys oddiar yscall? [*Luc.6,43.]

17 Felly pôb pren da sydd yn dwyn ffrwythau da, ond y pren drwg sydd yn dwyn ffrwythau drwg.

18 Ni ddichon pren da ddwyn ffrwythau drwg, na phren drwg ddwyn ffrwythau da.

19 *Pôb pren heb ddwyn ffrwyth da, a dorrir i lawr, ac a deflir yn tân. [*Pen.3,10.]

20 O herwydd pa ham, wrth eu ffrwythau yr adnabyddwch hwynt.

21 *Nid pob vn sydd yn dywedyd wrthif, Arglwydd Arglwydd, a ddaw i mewn i deyrnas nefoedd, ond yr hwn sydd yn gwneuthur ewyllys fy Nhâd, yr hwn [sydd] yn y nefoedd. ☜ [*Rom.2.13. iac.1.22.]

22 Llawer a ddywedant wrthif yn y dydd hwnnw, Arglwydd, Arglwydd, oni phrophwydasom yn dy enw di? ac oni fwriasom allan gythreuliaid yn dy enw di? ac oni wnaethom wyrthiau lawer yn dy enw di?

23 Ac yna yr addefaf iddynt *Ni's adnabûm chwi erioed: *ewch ymmaith oddi wrthif, chwi weithred-wyr anwiredd. [*Luc 13,… *Psal.6,8.]

24 Gan hynny *pwy bynnag sy'n gwrando fy ngeiriau hyn, ac yn eu gwneuthur, mi a'i cyffelybaf ef i wr doeth, yr hwn a adeiladodd ei dŷ ar y graig. [*Luc.6,47.]

25 A'r glaw a ddescynnodd, a'r llifeiriaint a ddaethant, a'r gwyntoedd a chwythasant, ac a ruthrasant ar y tŷ hwnnw, ac ni syrthiodd, oblegid sylfaenesid ef ar y graig.

26 A phôb vn ar sydd yn gwrando fy ngeiriau hyn, ac heb eu gwneuthur, a gyffelybir i wr ffôl, yr hwn a adeiladodd ei dŷ ar y tywod.

27 A'r glaw a ddescynnodd, a'r llif-ddyfroedd a ddaethant, a'r gwyntoedd a chwythasant, ac a gurasant ar y tŷ hwnnw, ac [efe] a syrthiodd, a'i gwymp a fu fawr.

28 A bu, wedi i'r Iesu orphen y geiriau hyn, *y torfeydd a synnasant wrth ei ddysceidiaeth ef. [*Mar.1… luc.4,3…]

29 Canys yr oedd efe yn eu dyscu hwynt, fel [vn] ag awdurdod ganddo, ac nid fel yr Scrifennyddion.

PEN.

## PEN. VIII.

1 Crist yn glanhau y gwahan-glwyfus, 5 yn iachâu gwâs y Canwriad, 14 a mam gwraig Petr, 16 a llawer o rai clwyfus eraill: 18 yn dangos pa fodd y mae ei ddilyn ef: 23 yn gostegu y dymestl ar y môr, 28 yn gyrru cythreuliaid allan o ddau-gythreulig, 31 ac yn canhiadu iddynt fyned i'r môch.



☞ AC wedi ei ddyfod ef i wared o'r mynydd, torfeydd lawer a'i canlynasant ef.

2 *Ac wele, [un] gwahan-glwyfus a ddaeth, ac a'i haddolodd ef, gan ddywedyd, Arglwydd, os mynni, ti a elli fy nglanhau i.

3 A'r Iesu a estynnodd [ei] law, ac a gyffyrddodd ag ef, gan ddywedyd, Mynnaf, glanhaer di. Ac yn y fan ei wahan-glwyf ef a lanhawyd.

4 A dywedodd yr Iesu wrtho. Gwél na ddywedych wrth neb: eithr dôs, dangos dy hun i'r offeiriad, ac offrymma y rhodd a orchymynnodd * Moses, er tystiolaeth iddynt.

5 * Ac wedi dyfod yr Iesu i mewn i Capernaum, daeth atto ganwriad, gan ddeisyfu arno,

6 A dywedyd, Arglwydd, y mae fy ngwâs yn gorwedd gartref yn glaf o'r parlys, ac mewn poen ddir-fawr.

7 A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Mi a ddeuaf, ac a'i hiachâf ef.

8 A'r canwriad a attebodd, ac a ddywedodd, Arglwydd nid ydwyf fi deilwng i ddyfod o honot tan fy nghronglwyd: eithr yn unig dywed y gair, a'm gwâs a iachêir.

9 Canys dŷn ydwyf finneu tan awdurdod, a chennif filwŷr tanaf: a dywedaf wrth hwn, cerdda, ac efe â: ac wrth arall, Tyred, ac efe a ddaw: ac wrth fy ngwâs, Gwna hyn, ac efe a'i gwna.

10 A'r Iesu pan glybu a ryfeddodd, ac a ddywedodd wrth y rhai oedd yn canlyn, Yn wir meddaf i chwi, ni chefais gymmaint ffydd, na ddo yn yr Israel.

11 Ac yr ydwyf yn dywedyd i chwi, y daw llawer o'r dwyrain a'r gorllewin, ac a eisteddant gyd ag Abraham, ac Isaac, a Iacob, yn nheyrnas nefoedd:

12 Ond plant y deyrnas a deflir i'r tywyllwch eithaf: yno y bydd wylofain a rhingcian dannedd.

13 A dywedodd yr Iesu wrth y canwriad, dôs ymmaith, a megys y credaist bydded i ti. A'i wâs a iachawyd yn yr awr honno. ☜

14 * A phan ddaeth yr Iesu i dŷ Petr, efe a welodd || ei chwegr ef yn gorwedd, ac yn glaf o'r crŷd.

15 Ac [efe] a gyffyrddodd â'i llaw hi: a'r crŷd a'i gadawodd hi: a [hi] a gododd, ac a wasanaethodd arnynt.

16 * Ac wedi ei hwyrhau hi, hwy a ddygasant atto lawer o rai cythreulig: ag [efe] a fwriodd allan yr yspryd ion [â'i] air, ac a iachaodd yr holl gleifion:

*Mar.1.32. luc.4.40.

17 Fel y cyflawnid yr hyn a ddywedasid trwy Esaias y prophwyd, gan ddywedyd, * Efe a gymmerodd ein gwendid ni, ag a ddug ein clefydau.

*Esay.53.4. 1.Pet.2.24.

18 A'r Iesu, pan welodd dorfeydd lawer o'i amgylch, a orchymynnodd fyned trosodd i'r lan arall.

19 A * rhyw Scrifennydd a ddaeth, ac a ddywedodd wrtho, Athro, mi a'th ganlynaf i ba le bynnag yr elych.

*Luc 9.57.

20 A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Y mae ffaeau gan y llwynogod, a chan ehediaid y nefoedd nythod: ond gan fab y dŷn nid oes le i roddi ei ben i lawr.

21 Ac un arall o'i ddiscyblion a ddywedodd wrtho, Arglwydd gâd i mi yn gyntaf fyned, a chladdu fy nhâd.

22 A'r Iesu a ddywedodd wrtho, canlyn fi, a gâd i'r meirw gladdu eu meirw.

23 ☞ Ac wedi iddo fyned i'r llong, ei ddiscyblion a'i canlynasant ef.

Yr Efengyl y pedwerydd Sul ar ol yr Ystwyll.

24 *Ac wele, bu cynnwrf mawr yn y môr, hŷd oni chuddiwyd y llong gan y tonnau: eithr efe oedd yn cyscu.

*Mar.4.37. luc.8.23.

25 A'i ddiscyblion a ddaethant atto, ac a'i deffroasant, gan ddywedyd, Arglwydd cadw ni, darfu am danom.

26 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pa ham yr ydych yn ofnus, ô chwi o ychydig ffydd? Yna y cododd efe, ac y ceryddodd y gwyntoedd a'r môr; a bu dawelwch mawr.

27 A'r dynion a ryfeddasant, gan ddywedyd, Pa ryw un yw hwn, gan fôd y gwyntoedd hefyd a'r môr yn ufyddhau iddo?

28 *Ac wedi ei ddyfod ef i'r lan arall i wlâd y Gergesiaid, dau ddieflig a gyfarfuant ag ef, y rhai a ddeuent o'r beddau, yn dra ffyrnig, fel na allai neb fyned y ffordd honno.

*Mar.5.1. luc 8.26.

29 Ac wele, hwy a lefasant, gan ddywedyd, Iesu fâb Duw, beth sydd i ni [a wnelom] â thi: a ddaethost ti ymma i'n poeni ni cyn yr amser?

30 Ac yr oedd ym-mhell oddi wrthynt genfaint o fôch lawer yn pori.

31 A'r cythreuliaid a ddeisyfasant arno, gan ddywedyd, Os bwri ni allan, caniadhâ i ni fyned ymmaith i'r genfaint fôch.

32 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Ewch. A hwy wedi myned allan, a aethant i'r genfaint fôch. Ac wele, yr holl genfaint fôch a ruthrodd tros y dibyn i'r mor, ac a fuant feirw yn y dyfroedd.

33 A'r meichiaid a ffoesant: ac wedi eu dyfod hwy i'r ddinas, hwy a fynegasant bôb peth, a pha beth a ddarfuasei i'r rhai dieflig.

34 Ac wele, yr holl ddinas a ddaeth allan i gyfarfod â'r Iesu: a phan ei gwelsant, attolygasant [ iddo ] ymadel o'u cyffiniau hwynt. ☜

PEN.

## PEN. IX.

1 Crist yn iachau vn clâf o'r parlys, 9 yn galw Matthew o'r dollfa, 10 yn bwytta gyda phublicanod a phechaduriaid, 14 yn ymddiffyn ei ddiscyblion am nad ymprydient, 20 yn iachau y difer-lif gwaed, 23 yn cyfodi merch Iairus o farw, 27 yn rhoddi eu golwg i ddau ddyn dall, 32 yn iachau mudan cythreulig, 36 ac yn tosturio wrth y dyrfa.

Yr Efengyl y xix Sul wedi'r Drindod.

*Mar.2.3. luc.5.18.



Ce efe a aeth i mewn i'r llong, ac a aeth trosodd, ac a ddaeth i'w ddinas ei hun.

2 *Ac wele, hwy a ddygasant atto [wr] claf o'r parlys, yn gorwedd mewn gwely: a'r Iesu yn gweled eu ffydd hwy, a ddywedodd wrth y claf o'r parlys, Ha fab, cymmer gyssur, maddeuwyd i ti dy bechodau.

3 Ac wele, rhai o'r Scrifennyddion a ddywedasant ynddynt eu hunain, y mae hwn yn cablu.

4 A phan welodd yr Iesu eu meddyliau, efe a ddywedodd, Pa ham y meddyliwch ddrwg yn eich calonnau?

5 Canys pa vn hawsaf, ai dywedyd, maddeuwyd i ti dy bechodau, ai dywedyd, cyfod a rhodia?

6 Eithr fel y gwypoch fod awdurdod gan fab y dyn ar y ddaiar i faddeu pechodau (yna y dywedodd efe wrth y claf o'r parlys) cyfod, cymmer dy wely i fynu, a dôs i'th dŷ.

7 Ac efe a gyfodes, ag a aeth ymmaith i'w dŷ ei hun.

8 A'r torfeydd pan welsant, rhyfeddu a wnaethant, a gogoneddu Duw, yr hwn a roesei gyfryw awdurdod i ddynion. ☜

Yr Efengyl ar ddigwyl Fathew.

*Marc.2.14. luc.5.27.

9 ☞ *Ac fel yr oedd yr Iesu yn myned oddi yno, efe a ganfu wr yn eistedd wrth y dollfa, a elwid Matthew: ac a ddywedodd wrtho, canlyn fi. Ac efe a gyfodes, ac a'i canlynodd ef.

10 A bu ac efe yn eistedd i fwytta yn y tŷ, wele hefyd, publicanod lawer a phecaduriaid a ddaethant, ac a eisteddasant gyd â'r Iesu a'i ddiscyblion.

11 A phan welodd y Pharisæaid, hwy a ddywedasant wrth ei ddiscyblion ef, Pa ham y bwytty eich Athro chwi gyd â'r publicanod a'r pechaduriaid?

12 A phan glybu'r Iesu, efe a ddywedodd wrthynt, Nid rhaid i'r rhai iach wrth feddyg, ond i'r rhai cleifion.

13 Ond ewch, a dyscwch pa beth yw [hyn,] *Trugaredd yr ydwyf yn ei ewyllysio, ag nid aberth: canys ni ddaethym i alw rhai cyfiawn,* ond pechaduriaid i edifeirwch. ☜

*Ose.6.6. pen.12.7.

*1.Tim.1.15.

14 Yna y daeth discyblion Ioan atto, gan ddywedyd, *Pa ham yr ydym ni a'r Pharisæaid yn ymprydio yn fynych, ond dy ddiscyblion di nid ydynt yn ymprydio?

*Mar.2.18. luc.5.33.

15 A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, A all plant yr ystafell briodas alaru tra fo y priod-fab gyd â hwynt? ond y dyddiau a ddaw, pan ddyger y priod-fab oddi arnynt, ac yna yr ymprydiant;

16 Hefyd, ni ddŷd neb lain o frethyn newydd at hên ddilledyn: canys y cyflawniad a dynn oddi wrth y dilledyn, a'r rhwyg a wneir yn waeth.

17 Ac ni ddodant win newydd mewn costrelau hên: os amgen, y costrelau a dyrr, a'r gwin a rêd allan, a'r costrelau a gollir: eithr gwin newydd a ddodant mewn costrelau newyddion, ac [felly] y cedwir y ddau.

Yr Efengyl ar y xxiiij. Sul ar ol y Drindod.

*Mar.5.22. luc.8.41.

18 ☞ *Tra oedd efe yn dywedyd hyn wrthynt, wele, daeth rhyw bennaeth, ac a'i haddolodd ef, gan ddywedyd, Bu farw fy merch yr awr hon: eithr tyred a gosod dy law arni, a byw fydd hi.

19 A'r Iesu a godes, ac a'i canlynodd ef, a'i ddiscyblion.

20 (Ac wele, gwraig y buasei gwaed-lif arni ddeuddeng mhlynedd, a ddaeth o'r tu cefn iddo, ac a gyffyrddodd ag ymyl ei wisc ef.

21 Canys hi a ddywedasei ynddi ei hun, Os câf yn vnig gyffwrdd â'i wisc ef, iach fyddaf.

22 Yna'r Iesu a drôdd, a phan ei gwelodd hi, efe a ddywedodd, Ha ferch bydd gyssurus; dy ffydd a'th iachaodd. A'r wraig a iachawyd o'r awr honno.)

23 A phan ddaeth yr Iesu i dŷ'r pennaeth, a gweled y cerddorion, a'r dyrfa yn terfyscu,

24 Efe a ddywedodd wrthynt, Ciliwch: canys ni bu farw'r llangces, ond cyscu y mae hi. A hwy a'i gwatwarasant ef.

25 Ac wedi bwrw y dyrfa allan, efe a aeth i mewn, ac a ymaflodd yn ei llaw hi: a'r llangces a gyfodes.

26 A'r gair o hyn a aeth tros yr holl wlâd honno. ☜

27 A phan oedd yr Iesu yn myned oddi yno, dau ddeillion a'i canlynasant ef, gan lefain a dywedyd, Mâb Dafydd, trugarhâ wrthym.

28 Ac wedi iddo ddyfod i'r tŷ, y deillion a ddaethant atto, a'r Iesu a ddywedodd wrthynt, A ydych chwi yn credu y gallaf wneuthur hyn? Hwy a ddywedasant wrtho, Ydym Arglwydd.

29 Yna y cyffyrddodd efe â'u llygaid hwy, gan ddywedyd, Yn ôl eich ffydd bydded i chwi.

30 A'u llygaid a agorwyd: a'r Iesu a orchymynnodd iddynt trwy fygwth, gan ddywedyd, Gwelwch na's gwypo neb.

31 Ond wedi iddynt ymado, hwy a'i clodforasant ef trwy'r holl wlâd honno.

Luc.11.14.

32 *Ac a hwy y myned allan, wele rhai a ddygasant atto ddyn mud cythreulig.

33 Ac wedi bwrw y cythrael allan, llefarodd y mudan: a'r torfeydd a ryfeddasant, gan ddywedyd, Ni welwyd y cyffelyb erioed yn Israel.

34 Ond y Pharisæaid a ddywedasant,

*Trwy

*Trwy bennaeth y cythreuliaid y mae efe yn bwrw allan gythreuliaid.

35 *A'r Iesu a aeth o amgylch yr holl ddinasoedd a'r trefydd, gan ddyscu yn eu synagogau hwynt, a chan bregethu Efengyl y deyrnas, ac iachau pôb clefyd, a phôb afiechyd ymmhlith y bobl.

36 A *phan welodd efe y torfeydd, efe a dosturiodd wrthynt, am eu bôd wedi blino, a'u gwascaru fel *defaid heb ganddynt fugail.

37 Yna y dywedodd efe wrth ei ddiscyblion, Y *cynhaiaf yn ddiau [sydd] fawr, ond y gweith-wŷr yn anaml.

38 Am hynny attolygwch i Arglwydd y cynhaiaf anfon gweith-wŷr i'w gynhaiaf.

## PEN. X.

1 Crist yn anfon ei ddeuddec Apostl, gan roddi gallu iddynt i wneuthur rhyfeddodau: 5 yn rhoddi gorchymyn iddynt, ac yn eu dyscu, 16 ac yn eu cyssuro yn erbyn erlidiau: 40 ac yn addo bendith i'r rhai a'i derbynio hwynt.



AC *wedi galw ei ddeuddeg discybl atto, efe a roddes iddynt awdurdod || yn erbyn ysprydion aflan, i'w bwrw hwynt allan, ac i iachau pôb clefyd a phôb afiechyd.

2 A henwau y deuddeg Apostolion yw y rhai hyn: y cyntaf, Simon yr hwn a elwir Petr, ac Andreas ei frawd: Iaco [mâb] Zebedæus, ac Ioan ei frawd:

3 Philip, a Bartholomæus: Thomas, a Matthew y publican: Iaco [mâb] Alphæus, a Lebbæus yr hwn a gyf-enwid Thadæus:

4 Simon y Cananead, a Iudas Iscariot, yr hwn hefyd a'i bradychodd ef.

5 Y deuddeg hyn a anfonodd yr Iesu, ac a orchymynodd iddynt, gan ddywedyd, Nag ewch i ffordd y cenhedloedd, ac i ddinas y Samariaid nac ewch i mewn.

6 Eithr *ewch yn hytrach at gyfrgolledig ddefaid tŷ Israel.

7 Ac wrth fyned pregethwch, gan ddywedyd, fôd *teyrnas nefoedd yn nessau.

8 Iachewch y cleifion, glanhewch y rhai gwahan-glwyfus, cyfodwch y meirw, bwriwch allan gythreuliaid: derbyniasoch yn rhâd, rhoddwch yn rhâd.

9 Na *feddwch aur, nac arian, nac efydd i'ch pyrsau:

10 Nac yscrepan i'r daith, na dwy bais, nac escidiau, na ffonn: *canys teilwng i'r gweithi-wr ei fwyd.

11 *Ac i ba ddinas bynnag neu dref yr eloch, ymofynnwch pwy sydd deilwng ynddi: ac yno trigwch hyd onid eloch ymmaith.

12 A phan ddeloch i dŷ, cyfarchwch well iddo.

13 Ac os bydd y tŷ yn deilwng, deued eich tangnheddyf arno: ac oni bydd yn deilwng, dychweled eich tangnheddyf attoch.

14 *A phwy bynnag ni'ch derbynio chwi, ac ni wrandawo eich geiriau, pan ymadawoch o'r tŷ hwnnw, neu o'r ddinas honno, *escydwch y llwch oddiwrth eich traed.

*Mar.6.11. *Act.13.51.

15 Yn wir meddaf i chwi, esmwythach fydd i dir y Sodomiaid a'r Gomorriaid yn nydd y farn, nag i'r ddinas honno.

16 Wele, yr *ydwyf i yn eich danfon fel defaid ynghanol bleiddiaid: byddwch chwithau gall fel y seirph, a diniwed fel y colomennod.

*Luc.10.3.

17 Eithr ymogelwch rhag dynion: canys hwy a'ch rhoddant chwi i fynu i'r cyngor, ac a'ch ffrewyllant chwi yn eu Synagogau,

18 A chwi a ddygir at lywiawd-wŷr a brenhinoedd o'm hachos i, er tystiolaeth iddynt hwy, ac i'r cenhedloedd.

19 *Eithr pan i'ch rhoddant chwi i fynu, na ofelwch pa fodd, neu pa beth a lefaroch: canys rhoddir i chwi yn yr awr honno, pa beth a lefaroch.

*Mar.13.11. luc.12.11.

20 Canys nid chwy-chwi yw 'r rhai sy yn llefaru, onid Yspryd eich Tâd yr hwn sydd yn llefaru ynoch.

21 *A brawd a rydd frawd i fynu i farwolaeth, a thâd ei blentyn: a phlant a godant i fynu yn erbyn eu rhieni, ac a barant eu marwolaeth hwynt.

*Luc.21.16.

22 A châs fyddwch gan bawb er mwyn fy enw i: ond *yr hwn a barhao hyd y diwedd, efe fydd cadwedig.

*Mar.13.13.

23 A phan i'ch erlidiant yn y ddinas hon, ffowch i un arall: canys yn wir y dywedaf wrthych, na orphennwch ddinasoedd Israel, nes dyfod Mâb y dŷn.

24 *Nid yw 'r discybl yn uwch nâ'i athro, na'r gwâs yn uwch nâ'i arglwydd.

*Luc.6.40. Ia.13.16.

25 Digon i'r discybl fôd fel ei athro, a'r gwâs fel ei arglwydd: os galwasant berchen y tŷ yn Beelzebub, pa faint mwy ei dylwyth ef?

26 Am hynny nac ofnwch hwynt: o blegid *nid oes dim cuddiedig a'r nas datcuddir, na dirgel, ar nas gwybyddir.

*Mar.4.22. luc.8.17. & 12.2.

27 Yr hyn yr ydwyf yn ei ddywedyd wrthych chwi yn y tywyllwch, dywedwch yn y goleuni: a'r hyn a glywch yn y glust, pregethwch ar bennau y tai.

28 *Ac nac ofnwch rhag y rhai a laddant y corph, ac ni allant ladd yr enaid: eithr yn hytrach ofnwch yr hwn a ddichon ddestrywio enaid a chorph yn uffern.

*Luc.12.4.

29 Oni werthir dau aderyn y tô er ffyrling? ac ni syrth un o honynt ar y ddaiar heb eich Tâd chwi.

30 Ac y mae, iê holl wallt eich pen wedi eu cyfrif.

31 Nac ofnwch gan hynny; chwi a delwch fwy nâ llawer o adar y tô.

32 *Pwy bynnag gan hynny a'm cyffeso i yngwydd dynion, minneu a'i cyffesaf ynteu yngwydd fy Nhâd, yr hwn sydd yn y nefoedd:

*1.Sam.14.1 act.27.34.

33 *A phwy bynnag a'm gwado i yngwydd dynion,

Luc.12.8.

dynion, minneu a'i gwadaf ynteu yngwydd fy Nhâd yr hwn sydd yn y nefoedd.

*Luc.12.51.

34 *Na thybygwch fy nyfod i ddanfon tangneddyf ar y ddaiar: ni ddaethym i ddanfon tangneddyf, onid cleddyf.

35 Canys mi a ddaethym i osod dŷn i ymrafaelio yn erbyn ei dâd, a'r ferch yn erbyn ei mam, a'r waudd *yn erbyn ei chwegr.

*Mic.7.6.

36 A gelynion dŷn, [sydd] tŷ-lwyth ei dŷ ei hun.

*Luc.14.26.

37 Yr *hwn sydd yn caru tâd neu fam yn fwy na mysi, nid yw deilwng o honofi: a'r neb sydd yn caru mâb neu ferch yn fwy na mysi, nid yw deilwng o honofi.

*Pen.16.24. luc.9.23. mar.8.34.

38 *A'r hwn nid yw yn cymmeryd ei groes, ag yn canlyn ar fy ôl i, nid yw deilwng o honofi.

*Io.12.25.

39 *Y neb sydd yn cael ei einioes, a'i cyll: a'r neb a gollo ei einioes o'm plegid i, a'i caiff hi.

*Luc.10.16. io.13.20.

40 *Y neb sydd yn eich derbyn chwi, sydd yn fy nerbyn i: a'r neb sydd yn fy nerbyn i, sydd yn derbyn yr hwn a'm danfonodd i.

41 Y neb sydd yn derbyn prophwyd yn enw prophwyd, a dderbyn wobr prophwyd; a'r neb sydd yn derbyn [un] cyfiawn yn enw [un] cyfiawn, a dderbyn wobr [un] cyfiawn.

*Mar.9.41.

42 *A phwy bynnag a roddo i'w yfed i un o'r rhai bychain hyn, phioleid o [ddwfr] oer yn unic, yn enw discybl, yn wir meddaf i chwi, ni chyll efe ei wobr.

## PEN. XI.

1 Ioan yn anfon ei ddiscyblion at Grist. 7 Tystiolaeth Crist am Ioan. 18 Tyb y bobl am Ioan, a Christ. 20 Cristyn dannod anniolchgarwch a diedifeirwch Chorazin, Bethsaida, a Chapernaum: 25 a chan foliannu doethineb ei Dad yn egluro yr Efengl i'r rhai gwirion, 28 yn galw atto y rhai sydd yn clywed baich eu pechodau.



Bu, pan orphennodd yr Iesu orchymyn i'w ddeuddeg discybl, efe a aeth oddi yno i ddyscu ac i bregethu yn eu dinasoedd hwy.

Yr Efengyl y trydydd Sul yn Aduent. Luc.7.18.

2 ☞ *Ac Ioan, pan glybu yn y carchar weithredoedd Christ, wedi danfon dau o'i ddiscyblion,

3 A ddywedodd wrtho, Ai tydi yw'r hwn sy'n dyfod, ai un arall yr ydym yn ei ddisgwil?

4 A'r Iesu a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt, Ewch, a mynegwch i Ioan y pethau a glywch ac a welwch.

Esa.35.6.

5 *Y mae'r deillion yn gweled eil-waith, a'r cloffion yn rhodio, a'r cleifion gwahanol wedi eu glanhau, a'r byddariaid yn clywed: y mae y meirw yn cyfodi, a'r *tlodion yn cael pregethu yr Efengyl iddynt.

Esa.61.1.

6 A dedwydd yw'r hwn ni rwystrir ynofi.

7 Ac a hwy yn myned ymmaith, yr Iesu a ddechreuodd ddywedyd wrth y bobloedd am Ioan, Pa beth yr aethoch allan i'r anialwch i edrych am dano? a'i corsen yn yscwyd gan wynt?

8 Eithr pa beth yr aethoch allan i'w weled? ai dŷn wedi ei wisco â dillad esmwyth? wele, y rhai sy yn gwisco dillad esmwyth, mewn tai brenhinoedd y maent.

9 Eithr pa beth yr aethoch allan i'w weled? ai prophwyd? ie meddaf i chwi, a mwy na prophwyd.

*Mal.3.1.

10 Canys hwn ydyw efe am yr hwn yr scrifennwyd, *Wele, yr ydwyf yn anfon fy nghennad o flaen dy wyneb, yr hwn a barotoa dy ffordd o'th flaen.

11 Yn wir meddaf i chwi, ym-mlith plant gwragedd ni chododd neb mwy nag Ioan Fedyddiwr: er hynny yr hwn sydd leiaf yn nheyrnas nefoedd, sydd fwy nag ef.

*Luc.16.16.

12 *Ac o ddyddiau Ioan Fedyddiwr hyd yn awr, yr ydys yn treisio teyrnas nefoedd, a threiswyr sy yn ei chippio hi.

13 Canys yr holl brophwydi a'r gyfraith a brophwydasant hyd Ioan.

*Mal.4.5.

14 Ac os ewyllysiwch [ei] dderbyn, efe yw *Elias yr hwn oedd ar ddyfod.

15 Y neb sydd ganddo glustiau i wrando gwrandawed.

*Luc.7.31.

16 *Eithr i ba beth y cyffelybaf y genhedlaeth hon? cyffelyb yw i blant yn eistedd yn y marchnadoedd, ac yn llefain wrth eu cyfeillion:

17 Ac yn dywedyd, Canasom bibell i chwi, ac ni ddawnsiasoch: canasom alar-nâd i chwi, ac ni chwynfanasoch.

18 Canys daeth Ioan heb na bwytta, nac yfed, ac meddant, y mae cythrael ganddo.

19 Daeth mâb y dŷn yn bwytta ac yn yfed, ac meddant, Wele ddŷn glwth, ac yfwr gwin, cyfaill publicanod a phechaduriaid. A doethineb a gyfiawnhawyd gan ei phlant ei hun.

*Luc.10.13.

20 *Yna y dechreuodd efe edliw i'r dinasoedd, yn y rhai y gwnaethid y rhan fwyaf o'i weithredoedd nerthol ef, am nad edifarhasent.

21 Gwae di Chorazin, gwae di Bethsaida: canys pe gwnaethid yn Tyrus a Sidon y gweithredoedd nerthol a wnaethpwyd ynoch chwi, hwy a edifarhasent er ys talm mewn sach-liain a lludw.

22 Eithr meddaf i chwi, esmwythach fydd i Tyrus a Sidon yn nydd farn, nag i chwi.

23 A thydi Capernaum, yr hon a dderchafwyd hyd y nef, a dynnir i lawr hyd yn uffern: canys pe gwnaethid yn Sodom y gweithredoedd nerthol a wnaethpwyd ynot ti, hi a fuasai yn aros hyd heddyw.

24 Eithr yr ydwyf yn dywedyd i chwi, y bydd esmwythach i dir Sodom yn nydd farn, nag i ti.

Yr Efengyl ar wyl S. Mathias. *Luc.10.21.

25 ☞ *Yr amser hynny yr attebodd yr Iesu, ac y dywedodd, i ti yr ydwyf yn diolch, o Dâd, Arglwydd nef a daiar, am i ti guddio

guddio y pethau hyn rhag y doethion a'r rhai deallus, a'u datcuddio o honot i rai bychain.

26 Ie o Dâd, canys felly y rhyngodd bodd i ti.

27 *Pob peth a roddwyd i mi gan fy Nhâd: ac nid edwyn neb y Mâb, ond y Tâd: *ac nid edwyn neb y Tâd, ond y Mâb, a'r hwn yr ewyllysio y Mâb [ei] ddatcuddio iddo.

28 Dewch attafi bawb ac y sydd yn flinderog, ac yn llwythog; ac mi a esmwythaf arnoch.

29 Cymmerwch fy iau arnoch, a dyscwch gennif, canys addfwyn ydwyf, a gostyngedig o galon: *a chwi a gewch orphywystra sch eneidiau.

30 *Canys fy iau [sydd] esmwyth, a'm baich sydd yscafn.

## P E N. XII.

1 Crist yn ceryddu dallineb y Pharisæaid, o ran torri y Sabboth, 3 trwy Scrythyrau, 9 trwy reswm, 13 a thrwy ryfeddod: 22 yn iachau y dyn cythreulig, mud, a dall. 31 Ni faddeuir byth gabledd yn erbyn yr Yspryd glan. 36 Y rhoddir cyfrif am eiriau segur. 38 Y mae yn ceryddu yr anffyddloniaid a geisient arwydd; 49 ac yn dangos pwy yw ei frawd, a'i chwaer, a'i fam.



YR amser hynny *yr aeth yr Iesu ar y [dydd] Sabbath trwy'r ŷd: ac yr oedd chwant bwyd ar ei ddiscyblion, a hwy a ddechreuasant dynnu tywys, a bwytta.

2 A phan welodd y Pharisæaid, hwy a ddywedasant wrtho, Wele, y mae dy ddiscyblion yn gwneuthur yr hyn nid yw ‖rydd ei wneuthur ar y Sabbath.

3 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Oni ddarllenasoch *pa beth a wnaeth Dafydd, pan oedd chwant bwyd arno ef, a'r rhai [oedd] gyd ag ef,

4 Pa fodd yr aeth efe i mewn i dŷ Dduw, ac y bwyttaodd ‖y bara gosod, yr hwn nid oedd rydd iddo ei fwytta, nac i'r rhai [oedd] gyd ag ef, *ond yn unic i'r offeiriaid?

5 Neu oni ddarllenasoch *yn y gyfraith, fôd yr offeiriaid ar y Sabbathau yn y Deml yn halogi y Sabbath, a'u bôd yn ddigerydd?

6 Eithr yr ydwyf yn dywedyd i chwi fôd ymma un mwy na'r Deml.

7 Ond pe gwybasech beth yw [hyn,] *Trugaredd a ewyllysiaf, ac nid aberth, ni farnasech chwi yn erbyn y rhai diniwed.

8 Canys Arglwydd ar y Sabbath hefyd yw Mâb y dŷn.

9 *Ac wedi iddo ymadel oddi yno, efe a aeth i'w synagog hwynt.

10 Ac wele, yr oedd dŷn a chanddo law wedi gwywo: a hwy a ofynnasant iddo, gan ddywedyd, Ai ‖rhydd iachau ar y Sabbathau? fel y gallent achwyn arno.

‖ cyfraithlawn.

11 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pa ddŷn o honoch sydd a chanddo un ddafad, ac o syrth honno mewn pwll ar y [dydd] Sabbath, nid ymeifl ynddi, a'i chodi allan?

12 Pa faint gwell gan hynny ydyw dŷn na dafad? felly ‖rhydd yw gwneuthur yn dda ar y Sabbathau.

‖ cyfraithlawn.

13 Yna y dywedodd efe wrth y dŷn, Estyn dy law. Ac efe a'i hestynnodd: a hi a wnaed yn iach fel y llall.

14 Yna'r aeth y Pharisæaid allan, ac a ‖ymgynghorasant yn ei erbyn ef, pa fodd y difethent ef.

‖ Neu, gymmerasant gyngor.

15 A'r Iesu gan wybod, a giliodd oddi yno: a thorfeydd lawer a'i canlynasant ef, ac efe a'u hiachâodd hwynt oll;

16 Ac a orchymynnodd iddynt na ‖wnaent ef yn gyhoedd.

‖ chyhoeddent ef.

17 Fel y cyflawnid yr hyn a ddywedasid trwy Esaias y prophwyd, gan ddywedyd,

18 *Wele fy ngwasanaethwr, yr hwn a ddewisais, fy anwylyd, yn yr hwn y mae fy enaid yn fodlon: gosodaf fy Yspryd arno, ac efe a draetha farn i'r cenhedloedd.

*Esai.42.1.

19 Nid ymryson efe, ac ni lefain, ac ni chlyw neb ei lais ef yn yr heolydd.

20 Corsen ysig ni's tyrr, a llin yn mygu ni's diffydd: hyd oni ddygo efe allan farn i fuddugoliaeth.

21 Ac yn ei enw ef y gobeithia y cenhedloedd.

22 *Yna y ducpwyd atto un cythreulig, dall a mud: ac efe a'i hiachaodd ef, fel y llefarodd, ac y gwelodd y dall a mud.

*Luc.11.14.

23 A'r holl dorfeydd a synnasant, ac a ddywedasant, Ai hwn yw mâb Dafydd?

24 *Eithr pan glybu y Pharisæaid, hwy a ddywedasant, Nid yw hwn yn bwrw allan gythreuliaid, onid trwy Beelzebub pennaeth y cythreuliaid.

*Pen.9.34.

25 A'r Iesu yn gwybod eu meddyliau, a ddywedodd wrthynt, Pôb teyrnas wedi ymrannu yn ei herbyn ei hun, a anghyfanneddir: a phôb dinas neu dŷ wedi ymrannu yn ei erbyn ei hun, ni saif.

26 Ac os Satan a fwrw allan Satan, efe a ymrannod yn ei erbyn ei hun: pa wedd gan hynny y saif ei deyrnas ef?

27 Ac os trwy Beelzebub yr ydwyfi yn bwrw allan gythreuliaid, trwy bwy y mae eich plant chwi yn eu bwrw hwynt allan? am hynny y byddant hwy yn farn-wyr arnoch chwi.

28 Eithr os ydwyfi yn bwrw allan gythreuliaid trwy Yspryd Duw, yna y daeth teyrnas Dduw attoch.

29 Neu pa fodd y dichon nêb fyned i mewn i dŷ un cadarn, a llwyr yspeilio ei ddodrefn ef, oddieithr iddo yn gyntaf rwymo y cadarn, ac yna yr yspeilia efe ei dŷ ef?

30 Y nêb nid yw gyd â mi, sydd yn fy erbyn: a'r nêb nid yw yn casclu gyd â mi, sydd yn gwascaru.

31 Am hynny y dywedaf wrthych chwi, *pôb pechod a chabledd a faddeuir i ddynion: onid cabledd yn erbyn yr Yspryd, ni faddeuir i dynion.

* Mar. 3. 28. luc. 12. 10. 1. Io. 5. 16.

32 A phwy bynnag a ddywedo air yn erbyn Mâb y dŷn, fe a faddeuir iddo: ond pwy bynnag a ddywedo yn erbyn yr Yspryd glân, ni's maddeuir iddo, nac yn y bŷd hwn, nac yn y bŷd a ddaw.

33 Naill ai gwnewch y pren yn dda, a'i ffrwyth yn dda: ai gwnewch y pren yn ddrwg, a'i ffrwyth yn ddrwg: canys y pren a adwaenir wrth ei ffrwyth.

34 Oh eppil gwiberod, pa wedd y gellwch lefaru pethau da, a chwi yn ddrwg? *canys o helaethrwydd y galon y llefara y genau.

* Luc. 6. 45.

35 Y dŷn da, o drysor da y galon, a ddwg allan bethau da: a'r dŷn drwg, o'r trysor drwg, a ddwg allan bethau drwg.

36 Eithr yr ydwyf yn dywedyd wrthych, mai am bôb gair segur a ddywedo dynion, y rhoddant hwy gyfrif yn-nydd farn.

37 Canys wrth dy eiriau i'th gyfiawnheir, ac wrth dy eiriau i'th gondemnir.

38 *Yna 'r attebodd rhai o'r Scrifennyddion a'r Pharisæaid, gan ddywedyd, Athro, ni a chwennychem weled arwydd gennit.

* Pen. 16. 1. luc. 11. 29. 1. Cor. 1. 22.

39 Ac efe a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt, Cenhedlaeth ddrwg a godinebus sydd yn ceisio arwydd: ac arwydd ni's rhoddir iddi, onid arwydd y Prophwyd Ionas.

40 *Canys fel y bu Ionas dridiau a thair nôs ym-mol y mor-fil, felly y bydd Mâb y dŷn dridiau a thair nôs ynghalon y ddaiar.

* Iona. 1. 17.

41 Gwyr Ninife a gyfodant yn y farn gyd â'r genhedlaeth hon, ac a'i condemnant hi: am iddynt hwy *edifarhau wrth bregeth Ionas: ac wele fwy nâ Ionas ymma.

* Iona. 3. 5.

42 *Brenhines y dehau a gyfyd yn y farn gyd â'r genhedlaeth hon, ac a'i condemna hi: am iddi hi ddyfod o eithafoedd y ddaiar, i glywed doethineb Solomon: ac wele fwy nâ Solomon ymma.

* 1. Brenhi. 10. 1.

43 *A phan êl yr Yspryd aflan allan o ddŷn, efe a rodia ar hŷd lleoedd sychion, gan geisio gorphwysfa, ac nid yw yn ei gael.

* Luc. 11. 24.

44 Yna medd efe, Mi a ddychwelaf i'm tŷ, o'r lle y daethym allan. Ac wedi y delo, y mae yn ei gael yn wâg, wedi ei yscubo, a'i drwsio.

45 Yna y mae efe yn myned, ac yn cymmeryd gyd ag ef ei hun saith yspryd eraill, gwaeth nag ef ei hun: ac wedi iddynt fyned i mewn, hwy a gyfanneddant yno: *ac y mae diwedd y dŷn hwnnw yn waeth nâ'i ddechreuad. Felly y bydd hefyd i'r genhedlaeth ddrwg hon.

* Hebr. 6. 4. & 10. 26. 2. Pet. 2. 20.

46 Tra ydoedd efe yn llefaru wrth y torfeydd, *wele, ei fam a'i frodyr oedd yn sefyll allan, yn ceisio ymddiddan ag ef.

* Mar. 3. 31. luc. 8. 20.

47 A dywedodd un wrtho, Wele, y mae dy fam di a'th frodyr yn sefyll allan, yn ceisio ymddiddan â thi.

48 Ac efe a attebodd, ac a ddywedodd wrth yr hwn a ddywedasei wrtho, Pwy yw fy mam i? a phwy yw fy mrodyr i?

49 Ac efe a estynnodd ei law tu ag at ei ddiscyblion, ac a ddywedodd, Wele fy mam i, a'm brodyr i.

50 Canys pwy bynnag a wna ewyllys fy Nhâd, yr hwn sydd yn y nefoedd, efe yw fy mrawd i, a'm chwaer, a'm mam.

## PEN. XIII.

1 Dammeg yr hau-wr, a'r hâd: 18 a'i ddeongliad. 24 Dammeg yr efrau. 31 Yr hâd mwstard, 33 y surdoes, 44 y tryssor cuddiedig, 45 Y perl, 47 a'r rhwyd. 53 Y modd y dirmygir Crist gan ei wladwyr ei hun.



Y dydd hwnnw yr aeth yr Iesu allan o'r tŷ, *ac yr eisteddodd wrth [lan] y môr.

* Mar. 4. 1.

2 A thorfeydd lawer a ymgynnullasant atto ef, fel yr aeth efe i'r llong, ac yr eisteddodd: a'r holl dyrfa a safodd ar y lan.

3 Ac efe a lefarodd wrthynt lawer o bethau drwy ddamhegion, gan ddywedyd, *Wele, yr hauwr a aeth allan i hau.

* Luc. 8. 5.

4 Ac fel yr oedd efe yn hau, peth a syrthiodd ar fin y ffordd: a'r adar a ddaethant, ac a'i difasant.

5 Peth arall a syrthiodd ar greig-leoedd, lle ni chawsant fawr ddaiar: ac yn y man yr eginasant, can nad oedd iddynt ddyfnder daiar.

6 Ac wedi codi 'r haul y poethasant, ac am nad oedd ganddynt wreiddyn, hwy a wywasant.

7 A pheth arall a syrthiodd ym-mhlith y drain: a'r drain a godasant, ag a'u tagasant hwy.

8 Peth arall hefyd a syrthiodd mewn tir da, ac a ddygasant ffrwyth, peth ar ei ganfed, arall ar ei driugeinfed, arall ar ei ddegfed ar hugain.

9 Y neb sydd ganddo glustiau i wrando, gwrandawed.

10 A daeth y discyblion, ac a ddywedasant wrtho, Pa ham yr wyti yn llefaru wrthynt trwy ddamhegion?

11 Ac efe a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt, Am roddi i chwi wybod dirgelion teyrnas nefoedd, ac ni roddwyd iddynt hwy.

12 *Oblegid pwy bynnag sydd ganddo, i hwnnw y rhoddir, ac efe a gaiff helaethrwydd: eithr pwy bynnag nid oes ganddo, oddi arno ef y dygir, ie yr hyn sydd ganddo.

* Pen. 25. 29.

13 Am hynny yr ydwyf yn llefaru wrthynt hwy ar ddamhegion, canys a hwy yn gweled nid ydynt yn gweled, ac yn yn clywed nid ydynt yn clywed, nac yn deall.

14 Ac ynddynt hwy y cyflawnir prophwydoliaeth

doliaeth Esaias, yr hon sydd yn dywedyd, *Gan glywed y clywch, ac ni ddeellwch: ac yn gweled y gwelwch, ac ni chanfyddwch.

15 Canys brasawyd calon y bobl hyn, a hwy a glywsant â'u clustiau yn drwm, ac a gauasant eu llygaid: rhag canfod â'u llygaid, a chlywed â'u clustiau, a deall â'r galon, a throi, ac i mi eu hiachau hwynt.

16 Eithr dedwydd yw eich llygaid chwi, am eu bôd yn gweled: a'ch clustiau, am eu bôd yn clywed.

17 O blegid yn wir y dywedaf i chwi, *chwennychu o lawer o brophwydi, a rhai cyfiawn, weled y pethau a welwch chwi, ac ni's gwelsant: a chlywed yr hyn a glywch chwi, ac ni's clywsant.

18 Gwrandewch chwithau gan hynny ddammeg yr hau-wr.

19 Pan glywo nêb air y deyrnas, ac heb [ei] ddeall, y mae y drwg yn dyfod, ac yn cippio'r hyn a hauwyd yn ei galon ef: dymma yr hwn a hauwyd ar fin y ffordd.

20 A'r hwn a hauwyd ar y creig-leoedd, yw'r hwn sydd yn gwrando y gair, ac yn ebrwydd drwy lawenydd yn ei dderbyn.

21 Ond nid oes ganddo wreiddyn ynddo ei hun, eithr dros amser y mae: a phan ddelo gorthrymder neu erlid oblegid y gair, yn y fan efe a rwystrir.

22 A'r hwn a hauwyd ym-mhlith y drain, yw'r hwn sydd yn gwrando y gair: ac y mae gofal y bŷd hwn, a thwyll cyfoeth, yn tagu y gair, ac y mae yn myned yn-ddiffrwyth.

23 Ond yr hwn a hauwyd yn y tir da, yw'r hwn sydd yn gwrando y gair, ac yn ei ddeall: sef yr hwn sydd yn ffrwytho, ac yn dwyn peth ei ganted, arall ei drigeinfed, arall ei ddegfed ar hugain.

24 Dammeg arall a osodes efe iddynt, gan ddywedyd, ☞ Teyrnas nefoedd sydd gyffelyb i ddŷn a hauodd hâd da yn ei faes.

25 A thra yr oedd y dynion yn cyscu, daeth ei elyn ef, ac a hauodd efrau ym-mhlith y y gwenith, ac a aeth ymmaith.

26 Ac wedi i'r eginyn dyfu, a dwyn ffrwyth, yna'r ymddangosodd yr efrau hefyd.

27 A gweision gŵr y tŷ a ddaethant, ac a ddywedasant wrtho, Arglwydd, oni hauaist ti hâd da yn dy faes? o ba le gan hynny y mae'r efrau ynddo?

28 Yntef a ddywedodd wrthynt, Y gelyn ddŷn a wnaeth hyn. A'r gweision a ddywedasant wrtho, A fynni di gan hynny i ni fyned, a'u casclu hwynt?

29 Ac efe a ddywedodd, na fynnaf: rhag i chwi wrth gasclu'r efrau, ddiwreiddio'r gwenith gyd â hwynt.

30 Gadewch i'r ddau gŷd-tyfu hyd y cynhaiaf: ac yn amser y cynhayaf y dywedaf wrth y medel-wŷr, Cesclwch yn gyntaf yr efrau, a rhwymwch hwynt yn yscubau, i'w llwyr-losci, ond cesclwch y gwenith i'm yscubor. ☜

31 Dammeg arall a osodes efe iddynt, gan ddywedyd, *Cyffelyb yw teyrnas nefoedd i ronyn o hâd mwstard, yr hwn a gymmerodd dŷn, ag a'i hauodd yn ei faes.

32 Yr hwn yn wir sydd leiaf o'r holl hadau: ond wedi iddo dyfu, mwyaf vn o'r llysiau ydyw, ac y mae efe yn myned yn bren: fel y mae adar y nef yn dyfod, ac yn nythu yn ei gangau ef.

33 *Dammeg arall a lefarodd efe wrthynt, Cyffelyb yw teyrnas nefoedd i fur-does, yr hwn a gymmerodd gwraig, ac a'i cuddiodd mewn tri phecceid o flawd, hyd oni surodd y cwbl.

34 *Hyn oll a lefarodd yr Iesu trwy ddammegion wrth y torfeydd: ac heb ddammeg ni lefarodd efe wrthynt:

35 Fel y cyflawnid yr hyn a ddywedpwyd trwy y prophwyd, gan ddywedyd, *Agoraf fy ngenau mewn dammegion: mynegaf bethau cuddiedig er pan seiliwyd y bŷd.

36 Yna yr anfonodd yr Iesu y torfeydd ymmaith, ac yr aeth i'r tŷ: a'i ddiscyblion a ddaethant atto, gan ddywedyd, Eglura i ni ddammeg efrau y maes.

37 Ac efe a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt, Yr hwn sydd yn hau yr hâd da, yw Mâb y dŷn.

38 A'r maes yw'r bŷd: a'r hâd da, hwynt hwy yw plant y deyrnas: a'r efrau yw plant y drwg.

39 A'r gelyn yr hwn a'u hauodd hwynt, yw diafol: * a'r cynhayaf yw diwedd y bŷd: a'r medel-wŷr yw'r angelion.

40 Megis gan hynny y cynhullir yr efrau, ac a'u llwyr-loscir yn tân, felly y bydd yn niwedd y bŷd hwn.

41 Mâb y dŷn a ddenfyn ei angelion, a hwy a gynhullant allan o'i deyrnas ef yr holl dramgwyddiadau, a'r rhai a wnant anwiredd.

42 Ac a'u bwriant hwy i'r ffwrn dân: yno y bydd wylofain a rhingcian dannedd.

43 *Yna y llewyrcha y rhai cyfiawn fel yr haul, yn nheyrnas eu Tâd. Yr hwn sydd ganddo glustiau i wrando, gwrandawed.

44 Drachefn, cyffelyb yw teyrnas nefoedd i drysor wedi ei guddio mewn maes, yr hwn wedi i ddŷn ei gaffael, a'i cuddiodd, ag o lawenydd am dano, sydd yn myned ymmaith, ac yn gwerthu yr hyn oll a fedd, ac yn prynu y maes hwnnw.

45 Drachefn, cyffelyb yw teyrnas nefoedd i farchnatta-wr, yn ceisio perlau têg:

46 Yr hwn wedi iddo gaffael vn perl gwerth-fawr, a aeth, ac a werthodd gymmaint oll ac a feddei, ac a'i prynodd ef.

47 Drachefn, cyffelyb yw teyrnas nefoedd i rwyd a fwriwyd yn y môr, ac a gasclodd o bôb rhyw beth:

48 Yr hon, wedi ei llenwi, a ddygasant i'r lan, ac a eisteddasant, ac a gasclasant y

*Mar.4.30. luc.13.9.
*Luc.13.20.
*Mar.4.33.
*Psal.78.2.
*Ioel 3.13. datc.14.15.
*Dan.12.3.

rhai da mewn llestri, ac a fwriasant allan y rhai drwg.

49 Felly y bydd yn niwedd y byd: yr angelion a ânt allan, ac a ddidolant y rhai drwg o blith y rhai cyfiawn:

50 Ac a'i bwriant hwy i'r ffwrn dân: yno y bydd wylofain a rhincian dannedd.

51 Iesu a ddywedodd wrthynt, A ddarfu i chwi ddeall hyn oll? Hwythau a ddywedasant wrtho, Do Arglwydd.

52 A dywedodd yntau wrthynt, Am hynny pob Scrifennydd wedi ei ddyscu i deyrnas nefoedd, sydd debyg i ddŷn o berchen tŷ, yr hwn sydd yn dwyn allan o'i dryssor [bethau] newydd a hên.

53 A bu, wedi i'r Iesu orphen y damhegion hyn: efe a ymadawodd oddi yno.

*Mar.6.1.

54 *Ac efe a ddaeth i'w wlâd ei hun, ac a'u dyscodd hwynt yn eu Synagog: fel y synnod arnynt, ac y dywedasant, O ba le y daeth y doethineb hyn, a'r gweithredoedd nerthol, i'r [dŷn] hwn?

*Io.6.42.

55 *Ond hwn yw mab y saer? ond Mair y gelwir ei fam ef, ac Iaco, a Ioses, a Simon, a Iudas, ei frodyr ef?

56 Ac onid yw ei chwiorydd ef oll gyd â ni? o ba le gan hynny y mae gan hwn y pethau hyn oll?

*Mar.6.4. luc.4.24. io.4.44.

57 A hwy a rwystrwyd ynddo ef. A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, *Nid yw prophwyd heb anrhydedd, ond yn ei wlâd ei hun, ac yn ei dŷ ei hun.

58 Ac ni wnaeth efe nemmor o weithredoedd nerthol yno, oblegid eu hanghrediniaeth hwynt.

## PEN. XIIII.

1 Tyb Herod am Grist. 3 Carchar Ioan, a'i ddihenydd. 13 Yr Iesu yn ymado i le anial: 15 lle y mae ef yn porthi pum mil o bobl â phum torth, ac â dau byscodyn: 22 yn rhodio ar y môr at ei ddiscyblion: 34 ac wedi tirio yn Genesareth yn iachâu y cleifion a gyffyrddai ag ymyl ei wisc ef.

*Mar.6.14. luc.9.7.



Y Pryd hynny y clybu *Herod y Tetrarch sôn am yr Iesu.

2 Ac efe a ddywedodd wrth ei weision, Hwn yw Ioan Fedyddi-wr: efe a gyfododd o feirw, ac am hynny y mae nerthoedd yn gweithio ynddo ef.

*Luc.3.19.

3 *Canys Herod a ddaliasei Ioan, ac a'i rhwymasei, ac a'i dodasei yngharchar, oblegid Herodias gwraig Philip ei frawd ef.

*Levit.18.16. & 20.21. ‖ rhydd. *Pen.21.26.

4 Canys Ioan a ddywedodd wrtho, *Nid ‖ cyfreithlawn i ti ei chael hi.

5 Ac efe yn ewyllysio ei roddi ef i farwolaeth, a ofnodd y dyrfa, *canys hwy a'i cymmerent ef megis prophwyd.

6 Eithr pan gadwyd dydd genedigaeth Herod, y dawnsiodd merch Herodias ger eu bron hwy, ac a ryngodd fodd Herod.

7 O ba herwydd efe a addawodd drwy lw, roddi iddi beth bynnag a ofynnei.

8 A hithau wedi ei rhag-ddyscu gan ei mam, a ddywedodd, Dyro i mi ymma ben Ioan Fedyddi-wr mewn dyscl.

9 A'r brenin a fu drist ganddo: eithr o herwydd y llw, a'r rhai a eisteddent gyd ag ef wrth y ford, efe a orchymmynodd i roi ef [iddi.]

10 Ac efe a anfonodd, ac a dorrodd ben Ioan yn y carchar.

11 A ducpwyd ei ben ef mewn dyscl, ac a'i rhoddwyd i'r llangces: a hi a'i dug ef i'w mam.

12 A'i ddiscyblion ef a ddaethant, ac a gymerasant ei gorph ef, ag a'i claddasant: ac a aethant, ac a fynegasant i'r Iesu.

*Mar.6.32. luc.9.10.

13 *A phan glybu 'r Iesu, efe a ymadawodd oddi yno mewn llong, i anghyfannedd-le o'r naill tu: ac wedi clywed o'r torfeydd, hwy a'i canlynasant ef ar draed allan o'r dinasoedd.

‖ bobl lawer.

14 A'r Iesu a aeth allan, ac a welodd ‖ dyrfa fawr: ac a dosturiodd wrthynt, ac efe a iachaodd eu cleifion hwynt.

*Io.6.5. mar.6.35.

15 *Ac wedi ei myned hi yn hwyr, daeth ei ddiscyblion atto, gan ddywedyd, Y lle sydd anghyfannedd, a'r awr a aeth weithian heibio: gollwng y dyrfa ymmaith, fel yr elont i'r pentrefi, ac y prynont iddynt fwyd.

16 A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Nid rhaid iddynt fyned ymmaith: rhoddwch chwi iddynt beth i'w fwytta.

17 A hwy a ddywedasant wrtho, Nid oes gennym ni ymma, onid pum torth, a dau byscodyn.

18 Ac efe a ddywedodd, Dygwch hwynt ymma i mi.

19 Ac wedi gorchymmyn i'r torfeydd eistedd ar y gwellt-glâs, a chymmeryd y pum torth a'r ddau byscodyn, efe a edrychodd i fynu tu a'r nêf, ac a fendithiodd, ac a dorrodd, ac a roddes y torthau i'r discyblion, a'r discyblion i'r torfeydd.

20 A hwynt oll a fwytâsant, ac a gawsant eu digon: ac a godasant o'r briw-fwyd oedd yngweddill, ddeuddeg bascedaid yn llawn.

21 A'r rhai a fwytasent, oedd ynghylch pum-mil o wŷr, heb law gwragedd a phlant.

22 Ac yn y fan y gyrrodd yr Iesu ei ddiscyblion i fyned i'r llong, ac i fyned i'r lan arall o'i flaen ef, tra fyddai efe yn gollwng y torfeydd ymmaith.

*Mar.6.4[6] *Io.6.16.

23 *Ac wedi iddo ollwng y torfeydd ymmaith, efe a escynnodd i'r mynydd wrtho ei hun, i weddio. *Ac wedi ei hwyrhau hi, yr oedd efe yno yn unig.

24 A'r llong oedd weithian ynghanol y môr, yn drallodus gan donnau. Canys gwynt gwrthwynebus ydoedd.

25 Ac yn y bedwaredd wylfa o'r nôs, yr aeth yr Iesu attynt, gan rodio ar y môr.

26 A phan welodd y discyblion ef yn rhodio

rhodio ar y môr, dychrynasant, gan ddywedyd, Drychiolaeth ydyw: a hwy a waeddasant rhag ofn.

27 Ac yn y man y llefarodd yr Iesu wrthynt, gan ddywedyd, Cymmerwch gyssur: myfi ydyw, nac ofnwch.

28 A Phetr a'i attebodd, ac a ddywedodd, ô Arglwydd, os tydi yw, arch i mi ddyfod attat ar y dyfroedd.

29 Ac efe a ddywedodd, Tyred. Ac wedi i Petr ddescyn o'r llong, efe a rodiodd ar y dyfroedd, i ddyfod at yr Iesu.

30 Ond pan welodd efe y gwynt yn gryf, efe a ofnodd: a phan ddechreuodd suddo, efe a lefodd, gan ddywedyd, Arglwydd, cadw fi.

31 Ac yn y man yr estynnodd yr Iesu ei law, ac a ymaflodd ynddo ef, ac a ddywedodd wrtho, Tydi o ychydig ffydd, pa ham y petrusaist?

32 A phan aethant hwy i mewn i'r llong, peidiodd y gwynt.

33 A daeth y rhai oedd yn y llong, ac a'i haddolasant ef, gan ddywedyd, Yn wîr Mâb Duw ydwyt.

34 * Ac wedi iddynt fyned trosodd, hwy a ddaethant i dir Gennesaret.

35 A phan adnabu gwŷr y fan honno ef, hwy a anfonasant i'r holl wlâd honno o amgylch, ac a ddygasant atto y rhai oll oedd mewn anhwyl.

36 Ac a attolygasant iddo gael cyffwrdd yn unic ag ymyl ei wisc ef: a chynnifer ac a gyffyrddodd, a iachawyd.

## PEN. XV.

1 Christ yn argyoeddi yr Scrifennyddion a'r Phariseaid, am dorri gorchymynion Duw trwy eu traddodiadau eu hunain: 11 yn dyscu nad yw y pêth sydd yn myned i mewn i'r genau, yn halogi dyn: 21 yn iachau merch y wraig o Canaan, 30 a thorfoedd eraill lawer: 32 ac â saith dorth, ac ychydic byscod bychain, yn porthi saith mîl o wyr, heb law gwragedd a phlant.

YNa 'r Scrifennyddion a'r Phariseaid, y rhai oedd o Jerusalem, * a ddaethant at yr Iesu, gan ddywedyd,

2 Paham y mae dy ddiscyblion di yn troseddu traddodiad yr hynafiaid? canys nid ydynt yn golchi eu dwylo pan fwyttaont fara.

3 Ac efe a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt, A pha ham yr ydych chwi yn troseddu gorchymyn Duw, trwy eich traddodiad chwi?

4 Canys Duw a orchymmynodd, gan ddywedyd, * Anrhydedda dy dâd, a'th fam: * a'r hwn a felldithio dâd neu fam, lladder ef yn farw:

5 Eithr yr ydych chwi yn dywedyd, Pwy bynnag a ddywedo wrth ei Dâd neu ei fam, * Rhodd [yw] pa beth bynnag y ceit lês oddi wrthifi, ac ni anrhydeddo ei dâd neu ei fam, [ di-fai fydd.]

6 Ac [fel hyn] y gwnaethoch orchymmyn Duw yn ddi-rym, trwy eich traddodiad eich hun.

7 Oh ragrith-wŷr, da y prophwydodd Esaias am danoch chwi, gan ddywedyd,

8 * Nesau y mae y bobl hyn attaf â'i genau, a'm anrhydeddu â'u gwefusau: a'u calon sydd bell oddi wrthif. (Esa.29.14.)

9 Eithr yn ofer i'm anrhydeddant i, gan ddyscu gorchymynion dynion yn ddysceidiaeth.

10 * Ac wedi iddo alw y dyrfa atto, efe a ddywedodd wrthynt, Clywch a deellwch. (Mar.7.14.)

11 Nid yr hyn sydd yn myned i mewn i'r genau, sydd yn halogi dŷn, ond yr hyn sydd yn dyfod allan o'r genau, hynny sydd yn halogi dŷn.

12 Yna y daeth ei ddiscyblion atto, ac a ddywedasant wrtho, A wyddosti ymrwystro o'r Phariseaid wrth glywed yr ymadrodd hyn?

13 Ac yntef a attebodd, ac a ddywedodd, * Pôb planhigyn yr hwn nis plannodd fy Nhâd nefol, a ddiwreiddir. (Io.15.2.)

14 Gadewch iddynt: * tywysogion deillion i'r deillion ydynt. Ac os y dall a dywys y dall, y ddau a syrthiant yn y ffôs. (Luc.6.39.)

15 * A Phetr a attebodd, ac a ddywedodd wrtho, Eglura i ni y ddammeg hon. (Mar.7.17.)

16 A dywedodd yr Iesu, A ydych chwithau etto heb ddeall?

17 Onid ydych chwi yn deall etto fôd yr hyn oll sydd yn myned i mewn i'r genau yn cilio i'r bola, ac y bwrir ef allan i'r gau-dŷ?

18 Eithr y pethau a ddeuant allan o'r genau, sy yn dyfod allan o'r galon, ar [pethau] hynny a halogant ddŷn.

19 * Canys o'r galon y mae meddyliau drwg yn dyfod allan, lladdiadau, tor-priodasau, godinebau, lladradau, cam-destiolaethau, cablau. (Gen.6.5.& 8.21.)

20 Dymma y pethau sy yn halogi dŷn: eithr bwytta â dwylo heb olchi, ni haloga ddŷn.

21 ☞ A'r Iesu a aeth oddi yno, ac a giliodd i dueddau Tyrus a Sidon. (Y Efengyl yr ail Sul o'r Garawys.)

22 * Ac wele, gwraig o Ganaan a ddaeth o'r parthau hynny, ac a lefodd, gan ddywedyd wrtho, Trugarhâ wrthif, o Arglwydd, fâb Dafydd, y mae fy merch yn ddrwg ei hwyl gan gythrael. (* Mar.7.24.)

23 Eithr nid attebodd efe iddi [un] gair. A daeth ei ddiscyblion atto, ac a attolygasant iddo, gan ddywedyd, Gollwng hi ymmaith, canys y mae hi yn llefain ar ein hôl.

24 Ac efe a attebodd, ac a ddywedodd, * Ni'm danfonwyd i ond at ddefaid colledig tŷ Israel. (Pen.10.6.)

25 Ond hi a ddaeth, ac a'i haddolodd ef, gan ddywedyd, Arglwydd cymmorth fi.

26 Ac efe a attebodd, ac a ddywedodd, Nid da

da cymmeryd bara y plant, a'i fwrw i'r cŵn.

27 Hithau a ddywedodd, Gwir [yw] Arglwydd: canys y mae'r cŵn yn bwytta o'r briwsion sy'n syrthio oddi ar fwrdd eu harglwyddi.

28 Yna yr attebodd yr Iesu, ac a ddywedodd wrthi, Ha wraig, mawr yw dy ffydd: bydded i ti fel yr wyt yn ewyllysio. A'i merch a iachawyd o'r awr honno allan.☞

*Mar.7.31.

29 *A'r Iesu a aeth oddi yno, ac a ddaeth ger llaw môr Galilæa; ac a escynnodd i'r mynydd, ac a eisteddodd yno.

*Esa.35.5.

30 *A daeth atto dorfeydd lawer, a chanddynt gyd â hwynt gloffion, deillion, mudion, anafusion, ac eraill lawer: a hwy a'u bwriasant i lawr wrth draed yr Iesu, ac efe a'u hiachaodd hwynt:

31 Fel y rhyfeddodd y torfeydd, wrth weled y mudion yn dywedyd, y rhai anafus yn iach, y cloffion yn rhodio, a'r deillion yn gweled: a hwy a ogoneddasant Dduw Israel.

*Mar.8.1.

32 * A galwodd yr Iesu ei ddiscyblion atto, ac a ddywedodd, yr ydwyf yn tosturio wrth y dyrfa, canys y maent yn aros gyd â mi dri-diau weithian, ac nid oes ganddynt ddim i'w fwytta: ac nid ydwyf yn ewyllysio eu gollwng hwynt ymmaith ar eu cythlwng, rhag eu llewygu ar y ffordd.

33 A'i ddiscyblion a ddywedent wrtho, O ba le y caem ni gymmaint o fara yn y diffaethwch, fel y digonid tyrfa gymmaint?

34 A'r Iesu a ddywedei wrthynt, Pa sawl torth sydd gennych? A hwy a ddywedasant, Saith, ac ychydig bysgod bychein.

35 Ac efe a orchymynnodd i'r torfeydd eistedd ar y ddaiar.

36 A chan gymmeryd y saith dorth a'r pyscod, a diolch, efe a'u torrodd, ac a'u rhoes i'w ddiscyblion, a'r discyblion i'r dyrfa.

37 A hwy oll a fwyttasant, ac a gawsant eu digon: ac a godasant o'r briw-fwyd oedd yngweddill saith fascedaid yn llawn.

38 A'r rhai a fwyttasent, oedd bedair mil o wŷr, heb law gwragedd a phlant.

39 Ac wedi iddo ollwng y torfeydd ymmaith, efe a aeth i long, ac a ddaeth i barthau Magdala.

## PEN. XVI.

1 Y Pharisæiad yn gofyn arwydd. 6 Iesu yn rhybuddio ei ddiscyblion am lefain y Pharisæaid, a'r Saducæaid. 13 Tyb y bobl am Grist, 16 a chyffes Petr am dano. 21 Iesu yn rhagfynegi ei farwolaeth, 23 yn ceryddu Petr am ei gynghori i'r gwrth-wyneb: 24 Ac yn rhybuddio y sawl a fynnent ei galyn ef, i ddwyn y groes.

*Mar.8.11. luc.12.54.



C * wedi i'r Pharisæaid a'r Saducæaid ddyfod atto, a'i demtio, hwy a attolygasant iddo ddangos iddynt arwydd o'r nef.

2 Ac efe a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt, Pan fyddo yr hwyr y dywedwch, Tywydd têg, canys y mae'r wybr yn gôch.

3 A'r boreu, Heddyw dryg-hin: canys y mae'r wybr yn gôch, [ac] yn bruddaidd. O rhagrith-wŷr, chwi a fedrwch ddeall wyneb yr wybren, ac oni fedrwch arwyddion yr amserau?

4 Y mae cenhedlaeth ddrwg a godinebus yn ceisio arwydd, ac arwydd ni's rhoddir iddi, onid arwydd y prophwyd Ionas. Ac efe a'u gadawodd hwynt, ac a aeth ymmaith.

5 Ac wedi dyfod ei ddiscyblion ef i'r lan arall, hwy a ollyngasent tros gof gymmerydd bara [centhynt.]

6 A'r Iesu a dywedodd wrthynt, Edrychwch ac ymogelwch rhag sur-does y Pharisæaid, a'r Saducæaid.

7 A hwy a ymresymmiasant yn eu plith eu hunain, gan ddywedyd, [Hyn sydd] am na chymmerasom fara [gennym.]

8 A'r Iesu yn gwybod, a ddywedodd wrthynt, Chwy-chwi o ychydig ffydd, paham yr ydych yn ymresymmu yn eich plith eich hunain, am na chymmerasoch fara [gyd â chwi?]

*Pen.14.17.

9 *Onid ydych chwi yn ddeall etto, nac yn cofio pum torth y pum-mil, a pha sawl bascedaid a gymmerasoch [i fynu?]

*Pen.15.34.

10 *Na saith dorth y pedeir-mil, a pha sawl cawelleid a gymmerasoch [i fynu?]

11 Pa fodd nad ydych yn deall nad am fara y dywedais wrthych, ar ymogelyd rhag sur-does y Pharisæaid, a'r Saducæaid?

12 Yna y deallasant na ddywedasei efe am ymogelyd rhag surdoes bara, ond rhag athrawiaeth y Pharisæaid, a'r Saducæaid.

Yr Efengyl ddigwyl Be[dr]

*Mar.8.27. luc.9.18.

13 ☞ Ac wedi dyfod yr Iesu i dueddau Cæsarea Philippi, efe a ofynnodd i'w ddiscyblion, gan ddywedyd, * Pwy y mae dynion yn dywedyd fy mod i, Mab y dyn?

14 A hwy a ddywedasant, Rhai mai Ioan Fedyddi-wr, a rhai mai Elias, ac eraill mai Ieremias, neu vn o'r prophwydi.

15 Efe a ddywedodd wrthynt, Ond pwy meddwch chwi ydwyf i?

*Ioh.6.69.

16 A Simon Petr a attebodd, ac a ddywedodd, * Ti yw Christ, Mâb y Duw byw.

17 A'r Iesu gan atteb a ddywedodd wrtho, Gwyn dy fyd ti Simon mâb Iona: canys nid cig a gwaed a ddatcuddiodd [hyn] i ti, ond fy Nhâd, yr hwn sydd yn y nefoedd.

*Ioh.1.42.

18 Ac yr ydwyf finneu yn dywedyd i ti, *mai ti yw Petr, ac ar y graig hon yr adeiladaf fy Eglwys: a phyrth vffern ni's gorchfygant hi.

*Ioh.20.23.

19 *A rhoddaf i ti agoriadau teyrnas nefoedd: a pha beth bynnag a rwymech ar y ddaiar, a fydd rhwymedig yn y nefoedd: a pha beth bynnag a ryddhaech ar y ddaiar, a fydd wedi ei ryddhau yn y nefoedd.☞

20 Yna y gorchymynnodd efe i'w ddiscyblion na ddywedent i nêb mai efe oedd Iesu Grist.

21 O hynny allan y dechreuodd yr Iesu ddangos i'w ddiscyblion fôd yn rhaid iddo fyned i Jerusalem, a dioddef llawer gan yr Henuriaid, a'r Arch-offeiriaid, a'r Scrifennyddion, a'i ladd, a chyfodi y trydydd dydd.

22 A Phetr, wedi ei gymmeryd ef atto, a ddechreuodd ei geryddu ef, gan ddywedyd, Arglwydd trugarhâ wrthit dy hun; ni's bydd hyn i ti.

23 Ac efe a drôdd, ac a ddywedodd wrth Petr; Dôs yn fy ôl i, Satan, rhwystr ydwyt ti i mi: am nad ydwyt yn synnied y pethau sy o Dduw, ond y pethau sy o ddynion.

24 * Yna y dywedodd yr Iesu wrth ei ddiscyblion, Os myn nêb ddyfod ar fy ol i, ymwaded ag ef ei hun, a chyfoded ei groes, a chanlyned fi.

*Pen.10.38. mar.8.34.

25 Canys pwy bynnag a ewyllysio gadw ei fywyd, a'i cyll: a phwy bynnag a gollo ei fywyd o'm plegit i, a'i caiff.

26 Canys pa lesâd i ddyn os ynnill efe yr holl fyd, a cholli ei enaid ei hun? neu pa beth a rydd dyn yn gyfnewid am ei enaid?

27 Canys Mâb y dyn a ddaw yngogoniant ei Dâd gyd â'i Angelion, * ac yna y rhydd efe i bawb yn ôl ei weithred.

*Psal.62.12. rhuf.2.6.

28 Yn wir y dywedaf wrthych, y * mae rhai o'r sawl sydd yn sefyll ymma, a'r ni phrofant angeu, hyd oni welont Fâb y dyn yn dyfod yn ei frenhiniaeth.

*Mar.9.1. luc.9.27.

PEN. XVII.

1 Gwedd-newidiad Christ. 14 Y mae ef yn iachau y lloerig, 22 yn rhag-fynegi ei ddioddefaint, 24 ac yn talu teyrnged.

*Mar.9.2. luc.9.28.



AC * yn ôl chwe diwrnod, y cymmerodd yr Iesu Petr, ac Jaco, ac Joan ei frawd, ac a'u dug hwy i fynydd uchel, o'r naill-tu.

2 A gwedd-newidiwyd ef ger eu bron hwy: a'i wyneb a ddisgleiriodd fel yr haul, a'i ddillad oedd cyn wynned a'r goleuni.

3 Ac wele, Moses ac Elias a ymddangosodd iddynt, yn ymddiddan ag ef.

4 A Phetr a attebodd, ac a ddywedodd wrth yr Iesu, O Arglwydd, da yw i ni fod ymma: os ewyllysi, gwnawn ymma dair pabell: un i ti, ac un i Moses, ac un i Elias.

5 * Ac efe etto yn llefaru, wele, cwmwl goleu a'u cyscododd hwynt: ac wele lef o'r cwmwl, yn dywedyd, Hwn yw fy anwyl fâb, yn yr hwn i'm bodlonwyd: gwrandewch arno ef.

*2.Pet.1.17.

6 A phan glybu y discyblion [hynny,] hwy a syrthiasant ar eu hwyneb, ac a ofnasant yn ddirfawr.

7 A daeth yr Iesu, ac a gyffyrddodd â hwynt, ac a ddywedodd, Cyfodwch, ac nac ofnwch.

8 Ac wedi iddynt dderchafu eu llygaid, ni welsant neb ond yr Iesu yn unic.

9 Ac fel yr oeddynt yn descyn o'r mynydd, gorchymynnodd yr Iesu iddynt, gan ddywedyd, Na ddywedwch y weledigaeth i neb, hyd oni adgyfodo Mâb y dyn o feirw.

10 A'i ddiscyblion a ofynnasant iddo, gan ddywedyd, * Pa ham gan hynny y mae'r Scrifennyddion yn dywedyd, fôd yn rhaid dyfod o Elias yn gyntaf?

*Pen.11.14. mar.9.11.

11 A'r Iesu a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt, Elias yn wir a ddaw yn gyntaf, ac a edfryd bob peth.

12 Eithr yr ydwyf yn dywedyd i chwi ddyfod o Elias eusys, ac nad adnabuant hwy ef, ond gwneuthur o honynt iddo beth bynnag a fynnasant: felly y bydd hefyd i Fâb y dyn ddioddef ganddynt hwy.

13 Yna y deallodd y discyblion mai am Joan Fedyddiwr y dywedasei efe wrthynt.

14 * Ac wedi eu dyfod hwy at y dyrfa, daeth atto ryw ddŷn, ac a ostyngodd iddo ar ei liniau,

*Mar.9.17. luc.9.38.

15 Ac a ddywedodd, Arglwydd trugarhâ wrth fy mâb, oblegid y mae efe yn lloerig, ac yn flin arno: canys y mae efe yn syrthio yn y tân yn fynych, ac yn y dwfr yn fynych.

16 Ac mi a'i dugym ef at dy ddiscyblion di, ac ni allent hwy ei iachau ef.

17 A'r Iesu a attebodd, ac a ddywedodd, O genhedlaeth anffyddlon a throfaus, pa hyd y byddaf gyd â chwi? pa hyd y dioddefaf chwi? dygwch ef ymma attaf.

18 A'r Iesu a geryddodd y cythrael, ac efe a aeth allan o honaw: a'r bachgen a iachawyd o'r awr honno.

19 Yna y daeth y discyblion at yr Iesu o'r naill-tu, ac y dywedasant, Pa ham na allem ni ei fwrw ef allan?

20 A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Oblegid eich anghrediniaeth: canys yn wir y dywedaf i chwi, * pe bai gennych ffydd megis gronyn o hâd mwstard, chwi a ddywedech wrth y mynydd hwn, Symmud oddi ymma draw, ac efe a symmudai: ac ni bydd dim amhossibl i chwi.

*Luc.17.6.

21 Eithr nid â y rhywogaeth hyn allan, onid trwy weddi ac ympryd.

22 * Ac fel yr oeddynt hwy yn aros yn Galilæa, dywedodd yr Iesu wrthynt, Mâb y dyn a draddodir i ddwylo dynion:

*Pen.10.17. mar.9.31. luc.9.44.

23 A hwy a'i lladdant, a'r trydydd dydd y cyfyd efe. A hwy a aethant yn drist iawn.

24 Ac wedi dyfod o honynt i Capernaum, y rhai oedd yn derbyn arian y deyrn-ged, a ddaethant at Petr, ac a ddywedasant, Onid yw eich athro chwi yn talu teyrn-ged?

25 Yntef a ddywedodd, Ydyw. Ac wedi ei ddyfod ef i'r tŷ, yr Iesu a achubodd ei flaen ef, gan ddywedyd, Beth yr wyt ti yn ei dybied, Simon? gan bwy y cymmer brenhinoedd y ddaiar deyrn-ged, neu dreth?

gan eu plant eu hun, ynteu gan estroniaid?

26 Petr a ddywedodd wrtho, Gan estroniaid. Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Gan hynny y mae y plant yn rhyddion.

27 Er hynny, rhag i ni eu rhwystro hwy, dôs i'r môr, a bwrw fach, a chymmer y pyscodyn a ddêl i fynu yn gyntaf: ac wedi i ti agoryd ei safn, ti a gei ddarn o arian: cymmer hwnnw, a dyro iddynt drosofi a thitheu.

## PEN. XVIII.

1 Christ yn rhybuddio ei ddiscyblion, i fôd yn ostyngedic, ac yn ddiniwed; 7 i ochelyd rhwystrau, ac na ddirmygent yr rhai bychain: 15 yn dyscu pa fodd y mae i ni ymddwyn tuac at ein brodyr, pan wnelont i'n herbyn: 21 a pha sawl gwaith y maddeuwn iddynt: 23 yr hyn beth y mae yn ei osod allan drwy ddammeg y brenin a gymmerai gyfrif gan ei weision, 32 ac a gospodd yr hwn ni wnaethei drugaredd â'i gydymmaith.

Yr Efengyl ar ddigwyl Fihangel. * Mar.9.33. luc.9.46.



AR * yr awr honno y daeth y discyblion at yr Iesu, gan ddywedyd, Pwy sydd fwyaf yn nheyrnas nefoedd?

2 A'r Iesu a alwodd atto fachgennyn, ac a'i gosodes yn eu canol hwynt,

3 Ac a ddywedodd, Yn wir y dywedaf i chwi, * o ddieithr eich troi chwi, a'ch gwneuthur fel plant bychain, nid ewch chwi ddim i mewn i deyrnas nefoedd.

Pen.19.14. 1.cor.14.20.

4 Pwy bynnag gan hynny a'i gostyngo ei hunan fel y bachgennyn hwn, hwnnw yw'r mwyaf yn nheyrnas nefoedd.

5 A phwy bynnag a dderbynio gyfryw fachgennyn yn fy enw i, a'm derbyn i.

6 * A phwy bynnag a rwystro vn o'r rhai bychain hyn a gredant ynofi, da fyddai iddo pe crogid maen melin am ei wddf, a'i foddi yn eigion y môr.

Mar.9.42. luc.17.1.2.

7 Gwae'r bŷd oblegid rhwystrau: canys angenrhaid yw dyfod rhwystrau: er hynny gwae y dŷn hwnnw drwy'r hwn y daw y rhwystr.

8 * Am hynny, os dy law, neu dy droed a'th rwystra, torr hwynt ymmaith, a thafl oddi wrthit: gwell yw i ti fyned i mewn i'r bywyd yn gloff, neu yn anafus, nag â chennit ddwy law neu ddau droed, dy daflu i'r tân tragywyddol.

Pen.5.30. mar.9.45.

9 Ac os dy lygad a'th rwystra, tynn ef allan, a thafl oddi wrthit: gwell yw i ti yn vn-llygeidiog fyned i mewn i'r bywyd, nag â dau lygad gennit, dy daflu i dân vffern.

10 Edrychwch na ddirmygoch yr vn o'r rhai bychain hyn: canys yr ydwyf yn dywedyd i chwi, fod eu hangelion hwy yn y nefoedd, bôb amser yn gweled wyneb fy Nhâd, yr hwn sydd yn y nefoedd. ☞

11 * Canys daeth Mâb y dŷn i gadw yr hyn a gollasid.

Luc.19.10.

12 * Beth dybygwch chwi? o bydd gan ddŷn gant o ddefaid, a myned o vn o honynt ar ddisperod, oni âd efe yr am yn vn cant, a myned i'r mynyddoedd, a cheisio yr hon a aeth ar ddisperod?

* Luc.15.4.

13 Ac os bydd [iddo] ei chael hi, yn wir meddaf i chwi, y mae yn llawenhau am honno, mwy nag am yr amyn vn cant, y rhai nid aethant ar ddisperod.

14 Felly nid yw ewyllys eich Tâd, yr hwn sydd yn y nefoedd, gyfrgolli'r vn o'r rhai bychain hyn.

15 * Ac os pecha dy frawd i'th erbyn, dôs, ac argyoedda ef rhyngot ti ac ef ei hun: os efe a wrendy arnat, ti a ennillaist dy frawd:

Leuit.19.17. luc.17.3.

16 Ac os efe ni wrendy, cymmer gyd â thi etto vn neu ddau, * fel yngenau dau neu dri o dystion, y byddo pôb gair yn safadwy.

* Deut.19.15. io.8.17. 2.cor.13.1. heb.10.28.

17 Ac os efe ni wrendy arnynt hwy, dywed i'r Eglwys: ac os efe ni wrendy ar yr Eglwys chwaith, * bydded ef i ti megis yr ethnic a'r Publican.

* 1.Cor.5.9. 2.thes.3.14.

18 Yn wir meddaf i chwi, * pa bethau bynnag a rwymoch ar y ddaiar, fyddant wedi eu rhwymo yn y nef: a pha bethau bynnag a ryddhaoch ar y ddaiar, a fyddant wedi eu rhyddhau yn y nef.

* Io 20.23. 1.cor.5.4.

19 Trachefn meddaf i chwi, os cydsynnia dau o honoch ar y ddaiar, am ddim oll, beth bynnag a'r a ofynnant, efe a wneir iddynt gan fy Nhâd, yr hwn sydd yn y nefoedd.

20 Canys lle mae dau neu dri wedi ymgynnull yn fy enw i, yno yr ydwyf yn eu canol hwynt.

Yr Efengyl ar y xxij Sul wedi'r Drindod.

21 ☞ Yna y daeth Petr atto ef, ac a ddywedodd, Arglwydd, pa sawl gwaith y pecha fy mrawd i'm herbyn, ac y maddeuaf iddo? * ai hyd seith-waith?

* Luc.17.4.

22 Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Nid ydwyf yn dywedyd wrthit, hyd seith-waith, onid hyd ddeng-waith a thrugain seithwaith.

23 Am hynny y cyffelybir teyrnas nefoedd i ryw frenin, a fynnei gael cyfrif gan ei weision.

24 A phan ddechreuodd gyfrif, fe a ddygpwyd atto vn a oedd yn ei ddylêd ef o ddengmil o dalentau.

25 A chan nad oedd ganddo [ddim] i dalu, gorchymynnodd ei arglwydd ei werthu ef, a'i wraig, a'i blant, a chwbl a'r a feddei, a thalu ['r ddylêd.]

26 A'r gwas a syrthiodd i lawr, ac a'i haddolodd ef, gan ddywedyd, Arglwydd, bydd ymarhous wrthif, a mi a dalaf i ti y cwbl oll.

27 Ac Arglwydd y gwâs hwnnw a dosturiodd [wrtho;] ac a'i gollyngodd, ac a faddeuodd iddo y ddylêd.

28 Ac wedi myned o'r gwas hwnnw allan, efe a gafodd vn o'i gyd-weision, yr hwn oedd yn ei ddylêd ef o gan ceiniog: ac efe

efe a ymaflodd ynddo, ac a'i llindagodd, gan ddywedyd, Tâl i mi yr hyn sydd ddyledus arnat.

29 Yna y syrthiodd ei gyd-wâs wrth ei draed ef, ac a ymbiliodd ag ef, gan ddywedyd Bydd ymarhous wrthif, a mi a dalaf i ti y cwbl oll.

30 Ac nis gwnai efe: ond myned, a'i fwrw ef yngharchar, hyd oni thalei yr hyn oedd ddyledus.

31 A phan weles ei gyd-weision y pethau a wnelsid, bu ddrwg dros ben ganddynt: a hwy a ddaethant, ac a fynegasant i'w harglwydd yr holl bethau a fuasei.

32 Yna ei arglwydd, wedi ei alw ef atto, a ddywedodd wrtho, Ha wâs drwg, maddeuais i ti yr holl ddyled honno, am i ti ymbil â mi:

33 Ac oni ddylesit titheu drugarhau wrth dy gyd-wâs, megis y trugarheais innau wrthit ti?

34 A'i arglwydd a ddigiodd, ac a'i rhoddes ef i'r poen-wŷr, hyd oni thalei yr hyn oll oedd ddyledus iddo.

35 Ac felly y gwna fy Nhâd nefol i chwithau, oni faddeuwch o'ch calonnau bôb vn i'w frawd eu camweddau.

## PEN. XIX.

2 Crist yn iachau y cleifion: 3 yn atteb y Phariseaid am Yscariaeth: 10 yn dangos pa bryd y mae Priodas yn angenrheidiol: 13 yn derbyn plant bychain: 16 yn dyscu i'r gwr ieuangc y modd i gael bywyd tragwyddol, 20 ac i fôd yn berffaith: 23 yn dywedyd i'w ddiscyblion, mor anhawdd ydyw i'r goludoc fyned i mewn i deyrnas Dduw, 27 ac yn addo gwobr i'r sawl a ymdawant á dim er mwyn ei ganlyn ef.



A Bu, * pan orphennodd yr Iesu yr ymadroddion hyn, efe a ymadawodd o Galilæa, ag a ddaeth i derfynau Iudæa, tu hwnt i'r Iorddonen.

2 A thorfeydd lawer a'i canlynasant ef: ac efe a'u hiachaodd hwynt yno.

3 A daeth y Phariseaid atto gan ei demtio, a dywedyd wrtho, Ai || cyfraithlawn i wr yscar â'i wraig am bôb achos?

4 Ac efe a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt, Oni ddarllennasoch * i'r hwn a'u gwnaeth o'r dechreu eu gwneuthur hwy yn wrryw a benyw?

5 Ac efe a ddywedodd, * Oblegid hyn y gâd dyn dâd a mam, ac y glŷn wrth ei wraig: * a'r ddau fyddant yn vn cnawd.

6 O herwydd pa ham, nid ydynt mwy yn ddau, onid yn vn cnawd. Y peth gan hynny a gysylltodd Duw, nac yscared dyn.

7 Hwythau a ddywedasant wrtho, * Pa ham gan hynny y gorchymynnodd Moses roddi llythyr yscar, a'i gollwng hi ymmaith?

8 Yntef a ddywedodd wrthynt, Moses || o herwydd caledrwydd eich calonnau a oddefodd i chwi yscar â'ch gwragedd: eithr o'r dechreu nid felly yr oedd.

9 * Ac meddaf i chwi, pwy bynnag a yscaro â'i wraig, ond am odineb, ac a briodo vn arall, y mae efe yn torri priodas: ac y mae yr hwn a briodo yr hon a yscarwyd, yn torri priodas.

10 Dywedodd ei ddiscyblion wrtho, Os felly y mae'r achos rhwng gŵr a gwraig; nid da gwreica.

11 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Nid yw pawb yn derbyn y gair hwn, ond y rhai y rhoddwyd iddynt.

12 Canys y mae Eunuchiaid a aned felly o groth [eu] mam: ac y mae Eunuchiaid a wnaed gan ddyniō yn Eunuchiaid: ac y mae Eunuchiaid a'u gwnaethant eu hun yn Eunuchiaid er mwyn teyrnas nefoedd. Y neb a ddichon [ei] dderbyn, derbynied.

13 Yna * y dygpwyd atto blant bychain, fel y rhoddei ei ddwylo arnynt, ac y gweddiei: a'r discyblion a'u ceryddodd hwynt.

14 A'r Iesu a ddywedodd, Gadewch i blant bychain, ac na waherddwch iddynt ddyfod attafi: canys eiddo y cyfryw rai yw teyrnas nefoedd.

15 Ac wedi iddo roddi ei ddwylo arnynt, efe a aeth [ymmaith] oddi yno.

16 * Ac wele, vn a ddaeth, ac a ddywedodd wrtho, Athro da, pa beth da a wnaf, fel y caffwyf fywyd tragywyddol?

17 Yntef a ddywedodd wrtho, Pa ham y gelwi fi yn dda? nid da neb ond vn, [sef] Duw: ond os ewyllysi fyned i mewn i'r bywyd, cadw'r gorchymynion.

18 Efe a ddywedodd wrtho yntef, Pa rai? A'r Iesu a ddywedodd, * Na ladd, na odineba, na ledratta, na ddwg gam dystiolaeth,

19 Anrhydedda dy dâd a'th fam, a Châr dy gymmydog fel di dy hun.

20 Y gŵr ieuangc a ddywedodd wrtho, Mi a gedwais y rhai hyn oll o'm hieuengtid: beth sydd yn eisieu i mi etto?

21 Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Os ewyllysi fôd yn berffaith, dôs, gwerth yr hyn sydd gennit, a dyro i'r tlodion: a thi a gei drysor yn y nef: a thyred, canlyn fi.

22 A phan glybu y gŵr ieuangc yr ymadrodd, efe a aeth i ffordd yn drist: canys yr oedd yn berchen da lawer.

23 Yna y dywedodd yr Iesu wrth ei ddiscyblion, Yn wir y dywedaf i chwi, mai yn anhawdd yr â goludog i mewn i deyrnas nefoedd.

24 A thrachefn meddaf i chwi, Haws yw i gamel fyned trwy grau y nodwydd ddur, nag i oludog fyned i mewn i deyrnas Duw.

25 A phan glybu ei ddiscyblion ef [hyn,] synnu

|| at galedrwydd.

Pen. 5. 32. mar. 10. 11. luc. 16. 18. 1. cor. 7. 11.

Mar. 10. 13. luc. 18. 15.

Mar. 10. 17. luc. 18. 18.

Exod 20. 13.

synnu a wnaethant yn ddirfawr, gan ddywedyd, Pwy gan hynny a all fôd yn gadwedig?

26 A'r Iesu a edrychodd arnynt, ac a ddywedodd wrthynt, Gyd â dynion ammhossibl yw hyn, ond gyd â Duw pôb peth sydd bossibl.

Yr Efengyl ar ddigwyl S. Paul. *Mar.10.28. luc.18.28.

27 ☞ * Yna Petr a attebodd, ac a ddywedodd wrtho, Wele, nyni a adawsom bôb peth, ac a'th ganlynasom di: beth gan hynny a fydd i ni?

28 A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Yn wir meddaf i chwi, y cewch chwi y rhai a'm canlynasoch i, yn yr adenedigaeth pan eisteddo Mab y dŷn ar orsedd ei ogoniant, * eistedd chwithau ar ddeuddeg gorsedd, yn barnu deuddeg-llwyth Israel.

*Luc.22.30.

29 A phôb un a'r a adawodd dai, neu frodyr, neu chwiorydd, neu dâd, neu fam, neu wraig, neu blant, neu diroedd, er mwyn fy enw i, a dderbyn y can cymmaint, a bywyd tragywyddol a etifedda efe.

30 * Ond llawer o'r rhai blaenaf a fyddant yn olaf: a'r rhai olaf yn flaenaf. ☜

Pen.20.16. mar.10.31. luc.13.30.

## PEN. XX.

1 Crist, trwy ddammeg y gweithwyr yn y winllan, yn dangos nad ydyw Duw yn ddyledwr i neb: 17 yn rhag-fynegi ei ddioddefaint: 20 Trwy atteb i fam meibion Zebedæus, yn dyscu iw ddiscyblion fôd yn ostyngedic: 30 ac yn rhoddi i ddau ddyn dall eu golwg.

Yr Efengyl ar Sul y Septuagesima.



CAnys teyrnas nefoedd sydd debyg i wr o berchen tŷ, yr hwn a aeth allan a hi yn dyddhau, i gyflogi gweith-wŷr i'w win-llan.

2 Ac wedi cytuno â'r gweith-wŷr er ceiniog y dydd, efe a'u hanfonodd hwy i'w winllan.

3 Ac efe a aeth allan ynghylch y drydedd awr, ac a welodd eraill yn sefyll yn segur yn y farchnadfa:

4 Ac a ddywedodd wrthynt, Ewch chwithau i'r win-llan, a pha beth bynnag a fyddo cyfiawn, mi a'i rhoddaf i chwi.

5 A hwy a aethant ymmaith. [Ac] efe a aeth allan drachefn ynghylch y chweched a'r nawfed awr, ac a wnaeth yr un modd.

6 Ac efe a aeth allan ynghylch yr unfed awr ar ddêg, ac a gafas eraill yn sefyll yn segur, ac a ddywedodd wrthynt, Pa ham y sefwch chwi ymma ar hyd y dydd yn segur?

7 Dywedasant wrtho, Am na chyflogodd neb nyni. Dywedodd yntef wrthynt, Ewch chwithau i'r win-llan, a pha beth bynnag fyddo cyfiawn, chwi a'i cewch.

8 A phan aeth hi yn hwyr, arglwydd y win-llan a ddywedodd wrth ei oruchwiliwr, Galw'r gweith-wŷr, a dyro iddynt eu cyflog, gan ddechreu o'r rhai diweddaf, hyd y rhai cyntaf.

9 A phan ddaeth y rhai [a gyflogasid] ynghylch yr unfed awr ar ddeg, hwy a gawsant bob un geiniog.

10 A phan ddaeth y rhai cyntaf, hwy a dybiasant y caent hwy: a hwythau a gawsant bôb un geiniog.

11 Ac wedi iddynt gael, grwgnach a wnaethant yn erbyn gwr y tŷ:

12 Gan ddywedyd, Un awr || y gweithiodd y rhai olaf hyn, a thi a'u gwnaethost hwynt yn gystal a ninneu, y rhai a ddygasom bwys y dydd a'r gwres.

|| Neu, yr arhosodd.

13 Yntef a attebodd, ac a ddywedodd wrth un o honynt, Y cyfaill, nid ydwyf yn gwneuthur cam â thi: onid er ceiniog y cytunaist â mi?

14 Cymmer yr hyn sydd eiddot, a dôs ymmaith: yr ydwyf yn ewyllysio rhoddi i'r olaf hwn, megis i titheu.

15 Ai nid || cyfreithlawn i mi wneuthur a fynnwyf a'r eiddof fy hun? neu a ydyw dy lygad ti yn ddrwg, am fy môd i yn dda?

|| rhydd.

16 Felly * y rhai olaf fyddant yn flaenaf, a'r rhai blaenaf yn olaf: canys llawer sy wedi eu galw, ac ychydig wedi eu dewis. ☜

*Pen.19.30.

17 * Ac a'r Iesu yn myned i fynu i Jerusalem, efe a gymmerth y deuddeg discybl o'r neilltu ar y ffordd, ac a ddywedodd wrthynt,

*Mar.10.32. luc.18.31.

18 Wele, yr ydym ni yn myned i fynu i Jerusalem, a mâb y dŷn a draddodir i'r Archoffeiriaid a'r Scrifennyddion, a hwy a'i condemniant ef i farwolaeth:

19 * Ac a'i traddodant ef i'r cenhedloedd, i'w watwar, ac i'w ffrangellu, ac i'w groeshoelio: a'r trydydd dydd efe a adgyfyd.

*Io.18.32.

20 ☞ * Yna y daeth mam meibion Zebedæus atto, gyd â'i meibion, gan addoli, a deisyf rhyw beth ganddo.

Yr Efengyl ar ddigwyl Iaco. *Mar.10.35.

21 Ac efe a ddywedodd wrthi, Pa beth a fynni? Dywedodd hitheu wrtho, Dywed am gael o'm dau fâb hyn eistedd, y naill ar dy law ddehau, a'r llall ar dy law asswy, yn dy frenhiniaeth.

22 A'r Iesu a attebodd, ac a ddywedodd, Ni wyddoch chwi beth yr ydych yn ei ofyn. A ellwch chwi yfed o'r cwppan yr ydwyf fi ar yfed o honaw, a'ch bedyddio â'r bedydd y bedyddir fi? Dywedasant wrtho, Gallwn.

23 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Diau yr yfwch o'm cwppan, ac i'ch bedyddir â'r bedydd i'm bedyddir ag ef: eithr eistedd ar fy llaw ddehau, ac ar fy llaw asswy, nid eiddof [ei] roddi, ond i'r sawl y darparwyd gan fy Nhâd.

24 A phan glybu y dêg [hyn,] hwy a sorrasant wrth y ddau frodyr.

25 A'r Iesu a'u galwodd hwynt atto, ac a ddywedodd, * Chwi a wyddoch fôd pennaethiaid y cenhedloedd yn tra-arglwyddiaethu arnynt, a'r rhai mawrion yn tra-awdurdodi arnynt hwy.

*Luc.22.25.

26 Eithr

26 Eithr nid felly y bydd yn eich plith chwi: ond pwy bynnag a fynno fôd yn fawr yn eich plith chwi, bydded yn weinidog i chwi.

27 A phwy bynnag a fynno fôd yn bennaf yn eich plith, bydded yn wâs i chwi.

28 Megis na ddaeth * Mab y dŷn i'w wasanaethu, ond i wasanaethu, ac i roddi ei einioes yn brid-werth dros lawer. ☞

29 Ac a hwy * yn myned allan o Jericho, tyrfa fawr a'i canlynodd ef.

30 Ac wele, dau ddeillion yn eistedd ar fin y ffordd, pan glywsant fôd yr Jesu yn myned heibio, a lefasant gan ddywedyd, Arglwydd, fâb Dafydd, trugarhâ wrthym.

31 A'r dyrfa a'u ceryddodd hwynt, fel y tawent, hwythau a lefasant fwy-fwy, gan ddywedyd, Arglwydd, fâb Dafydd, trugarhâ wrthym.

32 A'r Jesu a safodd, ac a'u galwodd hwynt, ac a ddywedodd, Pa beth a ewyllysiwch ei wneuthur o honof i chwi?

33 Dywedasant wrtho, Arglwydd; agoryd ein llygaid ni.

34 A'r Jesu a dosturiodd wrthynt, ac a gyffyrddodd â'u llygaid: ac yn ebrwydd y cafodd eu llygaid olwg, a hwy a'i canlynasant ef.

## PEN. XXI.

1 Criſt yn marchogaeth ar aſſyn i Ieruſalem, 12 yn gyrru y prynwyr a'r gwerthwyr o'r Deml, 17 yn mellrithio y ffigyſ-bren, 23 yn goſtegu yr offeiriaid a'r henuriaid, 28 ac yn eu ceryddu trwy gyffelybrwydd y ddau fâb, 35 a'r llafur-wyr a laddaſant y rhai a anfonwyd attynt.



A * Phan ddaethant yn gyfagos i Jerusalem, a'u dyfod hwy i Bethphage, i fynydd yr olewydd, yna yr anfonodd yr Jesu ddau ddiscybl:

2 Gan ddywedyd wrthynt, Ewch i'r pentref sydd ar eich cyfer, ac yn y man chwi a gewch assyn yn rhwym ac ebol gyd â hi: gollyngwch [hwynt,] a dygwch attafi.

3 Ac os dywed neb ddim wrthych, dywedwch, Y mae'n rhaid i'r Arglwydd wrthynt: ac yn y man efe a'u denfyn hwynt.

4 A hyn oll a wnaethpwyd, fel y cyflawnid yr hyn a ddywedasid trwy'r prophwyd, yn dywedyd,

5 * Dywedwch i ferch Sion, wele, dy frenin yn dyfod i ti yn addfwyn, ac yn eistedd ar assyn, ac ebol llwdn [assyn] arferol â'r iau.

6 Y * discyblion a aethant, ac a wnaethant fel y gorchymynnasei 'r Jesu iddynt.

7 A hwy a ddygasant yr assyn a'r ebol, ac a ddodasant eu dillad arnynt, ac a'i gosodasant [ef] i eistedd ar hynny.

8 A thyrfa ddirfawr a danasant eu dillad ar y ffordd: eraill a dorrasant gangau o'r gwŷdd, ac a'u tanasant ar hŷd y ffordd.

9 A'r torfeydd, y rhai oedd yn myned o'r blaen, a'r rhai oedd yn dyfod ar ôl, a lefasant, gan ddywedyd, Hosanna i fâb Dafydd, Bendigedig yw'r hwn sydd yn dyfod yn enw'r Arglwydd, Hosanna yn y goruchafion.

10 * Ac wedi ei ddyfod ef i mewn i Jerusalem, y ddinas oll a gynhyrfodd, gan ddywedyd, Pwy yw hwn?

*Mar.11.15. luc.19.45. io.2.13.

11 A'r torfeydd a ddywedasant, Hwn yw Jesu y prophwyd o Nazareth yn Galilæa.

12 A'r Jesu a aeth i mewn i Deml Dduw, ac a fwriodd allan bawb a'r oedd yn gwerthu ac yn prynu yn y Deml: ac a ddymchwelodd i lawr fyrddau y newidwyr arian, a chadeiriau y rhai oedd yn gwerthu colommennod.

13 Ac a ddywedodd wrthynt, Scrifennwyd, * Tŷ gweddi y gelwir fy nhŷ i: eithr * chwi a'i gwnaethoch yn ogof lladron. ☞

*Esa.56.7.
*Iere.7.11. mar.11.17. luc.19.46.

14 A daeth y deillion a'r cloffion atto, yn y Deml, ac efe a'u iachaodd hwynt.

15 A phan welodd yr Arch-offeiriaid a'r Scrifennyddion y rhyfeddodau a wnaethai efe, a'r plant yn llefain yn y Deml, ac yn dywedyd, Hosanna i fâb Dafydd, hwy a lidiasant:

16 Ac a ddywedasant wrtho, A wyt ti yn clywed beth y mae y rhai hyn yn ei ddywedyd? A'r Jesu a ddywedodd wrthynt, Ydwyf. Oni ddarllenasoch chwi erioed, * O enau plant bychain, a rhai yn sugno, y perffeithiaist foliant?

*Psal.8.2.

17 Ac efe a'u gadawodd hwynt, ac a aeth allan o'r ddinas, i Bethania, ac a letteuodd yno.

18 A'r boreu, fel yr oedd efe yn dychwelyd i'r ddinas, yr oedd arno chwant bwyd:

19 * A phan welodd efe ffigys-bren ar y ffordd, efe a ddaeth atto, ac ni chafodd ddim arno, onid dail yn unig: ac efe a ddywedodd wrtho, Na thyfed ffrwyth arnat byth mwyach. Ac yn ebrwydd y crinodd y ffigys-bren

*Mar.11.13.

20 A phan welodd y discyblion, hwy a ryfeddasant, gan ddywedyd, Mor ddisymmwth y crinodd y ffigys-bren?

21 A'r Jesu a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt, Yn wir meddaf i chwi, os bydd gennych ffydd, ac heb ammau, ni wnewch yn unig hyn [a wnaethym] i'r ffigys-bren, eithr hefyd os dywedwch wrth y mynydd hwn, Coder di i fynu, a bwrier di i'r môr, [hynny] a fydd.

22 A pha beth bynnag a ofynnoch mewn gweddi, gan gredu, chwi a'i derbyniwch.

23 * Ac wedi ei ddyfod ef i'r Deml, yr Arch-offeiriaid a Henuriaid y bobl a ddaethant atto, fel yr oedd efe yn athrawiaethu, gan ddywedyd, Trwy ba

Mar.11.27. luc.20.1.

awdurdod

awdurdod yr wyti yn gwneuthur y pethau hyn? a phwy a roddes i ti yr awdurdod hon?

24 A'r Iesu a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt, Minneu a ofynnaf i chwithau vn gair, yr hwn os mynegwch i mi, minneu a fynegaf i chwithau drwy ba awdurdod yr wyf yn gwneuthur y pethau hyn.

25 Bedydd Ioan, o ba le yr oedd? ai o'r nef, ai o ddynion? A hwy a ymresymmasant yn eu plith eu hunain, gan ddywedyd, Os dywedwn, O'r nef: efe a ddywed wrthym, Pa ham gan hynny na's credasoch ef?

26 Ond os dywedwn, O ddynion: y mae arnom ofn y bobl: * canys y mae pawb yn cymmeryd Ioan megis prophwyd.

*Pen.14.5.

27 A hwy a attebasant i'r Iesu, ac a ddywedasant, Ni wyddom ni. Ac yntef a ddywedodd wrthynt, Nid wyf finneu yn dywedyd i chwi drwy ba awdurdod yr wyf yn gwneuthur y pethau hyn.

28 Ond beth dybygwch chwi? Yr oedd gan wr ddau fâb, ac efe a ddaeth at y cyntaf, ac a ddywedodd, [fy] mâb, dôs, gweithia heddyw yn fy ngwinllan.

29 Ac yntef a attebodd, ac a ddywedodd, Nid âf. Ond wedi hynny efe a edifarhaodd ac a aeth.

30 A phan ddaeth efe at yr ail, efe a ddywedodd yr vn modd. Ac efe a attebodd, ac a ddywedodd, Wyfi [a âf] Arglwydd, ac nid aeth efe.

31 Pa vn o'r ddau a wnaeth ewyllys y tâd? Dywedasant wrtho, Y cyntaf. Yr Iesu a ddywedodd wrthynt, Yn wir meddaf i chwi, yr â'r Publicanod a'r putteiniaid i mewn i deyrnas Dduw o'ch blaen chwi.

32 Canys * daeth Ioan attoch yn ffordd cyfiawnder, ac ni chredasoch ef: ond y Publicanod a'r putteiniaid a'i credasant ef: chwithau yn gweled nid edifarhasoch wedi hynny, fel y credech ef.

*Pen.3.1.

33 Clywch ddammeg arall. Yr oedd rhyw ddŷn o berchen tŷ,* yr hwn a blannodd winllan, ac a osododd gae yn ei chylch hi, ac a gloddiodd ynddi win-wŷsc, ac a adeiladodd dŵr, ac a'i gosododd hi allan i lafur-wŷr, ac a aeth oddi cartref.

*Esa.5.1. ier.2.21. mar 12.1. luc.20.9.

34 A phan nessaodd amser ffrwythau, efe a ddanfonodd ei weision at y llafur-wŷr, i dderbyn ei ffrwythau hi.

35 A'r llafur-wŷr a ddaliasant ei weision ef, ac vn a gurasant, ac arall a laddasant, ac arall a labyddiasant.

36 Trachefn efe a anfonodd weision eraill fwy na'r rhai cyntaf: a hwy a wnaethant iddynt yr vn modd.

37 Ac yn ddiweddaf oll efe a anfonodd attynt ei fab ei hun, gan ddywedyd, Hwy a barchant fy mâb i.

38 A phan welodd y llafur-wŷr y mâb, hwy a ddywedasant yn eu plith eu hun, Hwn *yw'r etifedd, deuwch lladdwn ef, a daliwn ei etifeddiaeth ef.

*Pen.26.3. Ioh.11.53.

39 Ac wedi iddynt ei ddal, hwy a'i bwriasant ef allan o'r winllan, ac a'i lladdasant.

40 Am hynny pan ddêl arglwydd y winllan, pa beth a wna efe i'r llafurwŷr hynny?

41 Hwy a ddywedasant wrtho, Efe a ddifetha yn llwyr y dynion drwg hynny, ac a esyd y win-llan i lafur-wŷr eraill, y rhai a dalant iddo y ffrwythau yn eu hamserau.

42 Yr Iesu a ddywedodd wrthynt, *Oni ddarllennasoch chwi erioed yn yr Scrythyrau? Y maen a wrthododd yr adeiladwŷr, hwn a wnaethpwyd yn ben congl: gan yr Arglwydd y gwnaethpwyd hyn, a rhyfedd yw yn ein golwg ni.

*Psal.118.22. Act.4.11.

43 Am hynny meddaf i chwi y dygir teyrnas Dduw oddi arnoch chwi, ac a'i rhoddir i genedl a ddygo ei ffrwythau.

44 *A phwy bynnag a syrthio ar y maen hwn, efe a ddrylliir: ac ar bwy bynnag y syrthio, efe a'i mâl ef yn chwilfriw.

*Rhuf.9.33. 1.pet.2.7. esa.8.14.

45 A phan glybu'r Arch-offeiriaid a'r Pharisæaid ei ddamhegion ef, hwy a wybuant mai am danynt hwy y dywedai efe.

46 Ac a hwy yn ceisio ei ddala, hwy a ofnasant y torfeydd, am eu bôd yn ei gymmeryd ef fel prophwyd.

## PEN. XXII.

1 Dammeg priodas mâb y brenin. 9 Galwedigaeth y Cenhedloedd. 12 Cospedigaeth yr hwn nid oedd ganddo y wisc briodas. 15 Y dylid talu teyrnged i Cesar. 23 Crist yn cau safnau y Saducæaid ynghylch yr adgyfodiad, 34 yn atteb y Cyfreithiwr, pa vn yw yr gorchymmyn cyntaf, a'r mawr: 41 ac yn holi y Pharisæaid ynghylch y Messias.

Yr Efengyl xx Sul wedi Drindod.



'R Iesu a attebodd, *ac a lefarodd wrthynt drachefn mewn damhegion, gan ddywedyd,

*Luc.14.16 Datc.19.9.

2 Cyffelyb yw teyrnas nefoedd i ryw frenin a wnaeth briodas i'w fâb:

3 Ac a ddanfonodd ei weision i alw y rhai a wahoddasid i'r briodas, ac ni fynnent hwy ddyfod.

4 Trachefn efe a anfonodd weision eraill, gan ddywedyd, Dywedwch wrth y rhai a wahoddwyd, Wele, paratoais fy nghinio, fy ychen a'm pascedigion a laddwyd, a phôb peth [sydd] barod, deuwch i'r briodas.

5 A hwy yn ddiystyr ganddynt, a aethant ymmaith, vn i'w faes, ac arall i'w fasnach.

6 A'r llaill, a ddaliasant ei weision ef, ac a'u hammharchasant, ac a'u lladdasant.

7 A phan glybu y brenin, efe a lidiodd, ac a ddanfonodd eu lluoedd, ac a ddinistriodd y lleiddiaid hynny, ac a losgodd eu dinas hwynt.

8 Yna efe a ddywedodd wrth ei weision,

Yn

yn wir y briodas sydd barod, ond y rhai a wahoddasid nid oeddynt deilwng.

9 Ewch gan hynny || i'r priffyrdd, a chynniser ac a gaffoch, gwahoddwch i'r briodas.

10 A'r gweision hynny a aethant allan i'r prif-ffyrdd, ac a gasclasant ynghyd gynniser oll ac a gawsant, drwg a da: a llanwyd y briodas o wahoddedigion.

11 A phan ddaeth y brenin i mewn i weled y gwahoddedigion, efe a ganfu yno ddyn heb wisc priodas am dano.

12 Ac efe a ddywedodd wrtho, Y cyfaill, pa fodd y daethost i mewn yma, heb fod genit wisc priodas? Ac yntef a aeth yn fud.

13 Yna y dywedodd y brenin wrth y gweinidogion, Rhwymwch ei draed a'i ddwylo, a chymmerwch ef ymmaith, a thefiwch i'r tywyllwch eithaf: yno y bydd wylofain a rhingcian dannedd.

14 *Canys llawer sy wedi eu galw, ac ychydig wedi eu dewis. ☜

☞ 15 Yna'r aeth y Phariseaid ac a gymmerasant gyngor pa fodd y rhwydent ef yn [ei] ymadrodd.

16 A hwy a ddanfonasant atto eu discyblion ynghyd a'r Herodianiaid, gan ddywedyd, Athro, ni a wyddom dy fod yn eir-wir, ac yn dyscu ffordd Duw mewn gwirionedd, ac nad oes arnat ofal rhag neb: oblegid nid wyti yn edrych ar wyneb dynion.

17 Dywed i ni gan hynny, beth yr wyt ti yn ei dybieid: ai cyfreithlawn rhoddi teyrnged i Cæsar, ai nid yw?

18 Ond yr Iesu a wybu eu drygioni hwy, ac a ddywedodd, Pa ham yr ydych yn fy nhemptio i, [chwi] ragrith-wyr?

19 Dangoswch i mi arian y deyrn-ged. A hwy a ddygasant atto geiniog.

20 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Eiddo pwy yw y ddelw hon a'r argraph?

21 Dywedasant wrtho, Eiddo Cæsar. Yna y dywedodd wrthynt, Telwch* chwithau yr eiddo Cæsar i Cæsar, a'r eiddo Duw i Dduw.

22 A phan glywsant hwy [hyn,] rhyfeddu a wnaethant, a'i adel ef a myned ymmaith. ☜

23 *Y dydd hwnnw y daeth atto y Saducæaid, * y rhai sy'n dywedyd nad oes adgyfodiad, ac a ofynnasant iddo,

24 Gan ddywedyd; Athro, * dywedodd Moses, Os bydd marw neb heb iddo blant, prioded ei frawd ei wraig ef, a chyfoded hâd i'w frawd.

25 Ar yr oedd gyd â ni saith o frodyr: a'r cyntaf, a briododd wraig, ac a fu farw: ac efe heb hiliogaeth iddo, a adawodd ei wraig i'w frawd.

26 Felly hefyd yr ail, a'r trydydd, hyd y seithfed.

27 Ac yn ddiweddaf oll, bu farw y wraig hefyd.

28 Yn yr adgyfodiad gan hynny, gwraig i bwy o'r saith fydd hi? canys hwynt-hwy oll a'i cawsant hi.

29 A'r Iesu a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt, Yr ydych yn cyfeiliorni, gan na wyddoch yr Scrythyrau, na gallu Duw.

30 Oblegid yn yr adgyfodiad nid ydynt nac yn gwreica, nac yn gwra: eithr y maent fel angelion Duw yn y nef.

31 Ac am adgyfodiad y meirw, oni ddarllenasoch yr hyn a ddywedpwyd wrthych gan Dduw, yn dywedyd,

32 *Myfi yw Duw Abraham, a Duw Isaac, a Duw Iacob? nid yw Duw, Dduw y rhai meirw, ond y rhai byw.

Exod. 3.6.

33 A phan glybu y torfeydd [hynny,] hwy a synnasant wrth ei athrawiaeth ef.

34 ☞ *Ac wedi clywed o'r Phariseaid ddarfod [i'r Iesu] ostegu y Saducæaid, hwy a ymgynnullasant ynghyd i'r un lle.

Yr Efengyl y xviij Sul wedi 'r Drindod. Mar. 12. 28.

35 Ac un o honynt, [sef] hwn oedd gyfreithiwr, a ofynnodd [iddo] gan ei demtio, a dywedyd,

36 Athro, pa un [yw]'r gorchymyn mawr yn y gyfraith?

37 A'r Iesu y ddywedodd wrtho, * Ceri yr Arglwydd dy Dduw a'th holl galon, ac a'th holl enaid, ac a'th holl feddwl.

Deut. 6.5. Luc. 10.27.

38 Hwn yw 'r cyntaf, a'r gorchymyn mawr.

39 A'r ail [sydd] gyffelyb iddo, * Car dy gymydog fel ti dy hun.

Leuit. 19.18.

40 Ar y ddau orchymmyn hyn, y mae'r holl gyfraith a'r prophwydi yn sefyll.

41 Ac * wedi ymgasclu o'r Phariseaid ynghyd, yr Iesu a ofynnodd iddynt,

Mar. 12.35. Luc. 20.41.

42 Gan ddywedyd, Beth a dybygwch chwi am Grist? mâb i bwy ydyw? dywedent wrtho, [Mâb] Dafydd.

43 Dywedai yntef wrthynt, Pa fodd gan hynny y mae Dafydd yn yr Yspryd yn ei alw ef yn Arglwydd? gan ddywedyd,

44 Dywedodd yr Arglwydd wrth fy Arglwydd, * Eistedd ar fy neheu-law, hyd oni osodwyf dy elynion yn droed-faingc i'th draed ti.

Psa. 110. 1.

45 Os yw Dafydd gan hynny yn ei alw ef yn Arglwydd, pa fodd y mae efe yn fâb iddo?

46 Ac ni allodd neb atteb gair iddo: ac ni feiddiodd neb o'r dydd hwnnw allan ymofyn ac ef mwyach. ☜

## PEN. XXIII.

1 Christ yn rhybuddio y bobl i ddilyn athrawiaeth dda, ac nid esamplau drwg yr Scrifennyddion a'r Pharisæaid. 5 Rhaid i ddiscyblion, Christ ochelyd eu rhyfyg hwy. 13 Mae efe yn cyhoeddi wyth wae yn erbyn eu rhagrith a'i dallineb hwy, 34 ac yn prophwydo dinistr Ierusalem.



Yna y llefarodd yr Iesu wrth y torfeydd a'i ddiscyblion,

2 Gan ddywedyd, Ynghadair Moses yr eisteddodd yr Scrifennyddion a'r Phariseaid,

3 Yr hyn oll gan hynny a ddywedant wrthych am eu cadw, cedwch a gwnewch, eithr ar ôl eu gweithredoedd na wnewch, canys dywedant ac ni's gwnânt.

*Luc.11.46.

4 * Oblegid y maent yn rhwymo beichiau trymion, ac anhawdd eu dwyn, ac yn eu gosod ar yscwyddau dynion: ond ni ewyllysiant eu syflyd hwy, ag [un] o'i bysedd.

5 Ond y maent yn gwneuthur eu holl weithredoedd er mwyn eu gweled gan ddynion: *canys y maent yn gwneuthur yn llydain eu phylacterau, ac yn gwneuthur ymyl-waith eu gwiscoedd yn helaeth.

*Num.15.38. Deut.22.12.

6 A *charu y maent y lle uchaf mewn gwleddoedd, a'r prif-gadeiriau yn y Synagogau.

*Mar.12.38. Luc.11.43.

7 A chyfarch yn y marchnadoedd, a'u galw gan ddynion Rabbi, Rabbi.

8 * Eithr na'ch galwer chwi Rabbi: canys un yw eich athro chwi [sef] Christ: chwithau oll brodyr ydych.

*Iac.3.1.

9 Ac na elwch neb yn dâd i chwi ar y ddaiar: * canys un Tâd sydd i chwi, yr hwn [sydd] yn y nefoedd.

*Mal.1.6.

10 Ac na'ch galwer yn athrawon: canys un yw eich athro chwi, [sef] Christ.

11 A'r mwyaf o honoch, a fydd yn weinidog i chwi.

12 A *phwy bynnag a'i dyrchafo ei hun, a ostyngir: a phwy bynnag a'i gostyngo ei hun, a ddyrchefir.

*Luc.14.11. ac 18.14.

13 Eithr * gwae chwi Scrifennyddion a Pharisæaid ragrith-wyr, canys yr ydych yn cau teyrnas nefoedd o flaen dynion: canys chwi nid ydych yn myned i mewn, a'r rhai sy yn myned i mewn, ni's gadewch i fyned i mewn.

*Luc.11.52.

14 * Gwae chwi Scrifennyddion a Pharisæaid ragrithwyr, canys yr ydych yn llwyr-fwytta tai gwragedd gweddwon, a hynny yn rhith hir weddio: am hynny y derbyniwch farn fwy.

*Mar.12.40. Luc.20.47.

15 Gwae chwi Scrifennyddion a Pharisæaid ragrith-wyr, canys amgylchu yr ydych y môr a'r tir, i wneuthur un proselyt: ac wedi y gwneler, yr ydych yn ei wneuthur ef yn fâb uffern, yn ddau mwy nâ chwi eich hunain.

16 Gwae chwi dywysogion deillion, y rhai ydych yn dywedyd, Pwy bynnag a dwng i'r Deml, nid yw ddim: ond pwy bynnag a dwng i aur y Deml, y mae efe mewn dylêd.

17 Ffyliaid a deillion: canys pa un sydd fwyaf? yr aur, ai'r Deml sydd yn sancteiddio'r aur?

18 A, Pwy bynnag a dwng i'r allor, nid yw ddim: ond pwy bynnag a dyngo i'r rhodd sydd arni, y mae efe mewn dylêd.

19 Ffyliaid a deillion: canys pa un fwyaf? y rhodd, ai'r allor sydd yn sancteiddio y rhodd?

20 Pwy bynnag gan hynny a dwng i'r allor, sydd yn tyngu iddi, ac i'r hyn oll sydd arni.

21 A phwy bynnag a dwng i'r Deml, sydd yn tyngu iddi, ac i'r hwn sydd yn preswylio ynddi:

22 A'r hwn a dwng i'r nef, sydd yn tyngu i orsedd-faingc Duw, ac i'r hwn sydd yn eistedd arni.

23 Gwae chwi Scrifennyddion a Pharisæaid ragrith-wyr, * canys yr ydych yn degymmu y mintys, a'r anys, a'r cwmin, ac a adawsoch heibio y pethau trymmach o'r gyfraith, barn, a thrugaredd, a ffydd: rhaid oedd wneuthur y pethau hyn, ac na adewid y lleill heibio.

*Luc.11.42.

24 Tywysogion deillion, y rhai ydych yn hidlo gwybedyn, ac yn llyngcu camel.

25 Gwae chwi Scrifennyddion a Pharisæaid-ragrith-wyr, * canys yr ydych yn glanhau y tu allan i'r cwppan a'r ddysgl, ac o'r tu mewn y maent yn llawn o drawsedd, ac anghymedroldeb.

*Luc.11.39.

26 Ti Pharisæaid dall, glanhâ yn gyntaf yr hyn sydd oddi fewn i'r cwppan a'r ddysgl, fel y byddo yn lân hefyd yr hyn sydd oddi allan iddynt.

27 Gwae chwi Scrifennyddion a Pharisæaid ragrith-wyr, canys tebyg ydych chwi i feddau wedi eu gwynnu, y rhai sydd yn ymddangos yn dêg oddi-allan, ond oddi mewn sydd yn llawn o escyrn y meirw, a phôb aflendid.

28 Ac felly chwithau oddi allan ydych yn ymddangos i ddynion yn gyfiawn, ond o fewn yr ydych yn llawn rhagrith, ac anwiredd.

29 Gwae chwi Scrifennyddion a Pharisæaid ragrith-wyr, canys yr ydych yn adeiladu beddau 'r prophwydi, ac yn addurno beddau y rhai cyfiawn:

30 Ac yr ydych yn dywedyd, Pe buasem ni yn nyddiau ein tadau, ni buasem ni gyfrannogion â hwynt yngwaed y prophwydi.

31 Felly yr ydych yn tystiolaethu am danoch eich hunain, eich bôd yn blant i'r rhai a laddasant y prophwydi.

32 Cyflawnwch chwithau hefyd fesur eich tadau.

33 Oh seirph, hiliogaeth gwiberod, pa fodd y gellwch ddiangc rhag barn uffern?

34 Am hynny ☞ wele yr ydwyf yn anfon attoch brophwydi, a doethion, ac Scrifennyddion: a rhai o honynt a leddwch, ac a groes-hoeliwch, a rhai o honynt a fflangellwch yn eich Synagogau, ac a erlidiwch o dref i dref:

Yr Efengyl ar ddigwyl Stephan.

35 Fel y delo arnoch chwi yr holl waed cyfiawn, a'r a ollyngwyd ar y ddaiar, *o waed Abel gyfiawn, hyd waed Zacharias fab Barachias, yr hwn a laddasoch rhwng y Deml a'r allor.

*Gen.4.8.

36 Yn wir meddaf i chwi, daw hyn oll ar ‖ y genhedlaeth hon.

‖ yr oes hon.

37 *Jerusalem, Jerusalem, yr hon wyt yn lladd y prophwydi, * ac yn llabyddio y rhai a ddanfonir attat, pa sawl gwaith y mynnaswn * gasclu dy blant ynghyd, megis y cascl iâr ei chywion tan ei hadenydd, ac ni's mynnech?

*Luc.13.34. *2.Chro.24.21. *2.Esd.1.30.

38 Wele, yr ydys yn gadel eich tŷ i chwi yn anghyfannedd.

39 Canys meddaf i chwi, Ni'm gwelwch yn ôl hyn hyd oni ddywedoch, Bendigedig [yw] yr hwn sydd yn dyfod yn enw yr Arglwydd.

PEN.

## PEN. XXIIII.

1 Christ yn rhag-ddywedyd dinistr y Deml, 3 pa fath, a pha faint o gystuddiau a fydd o'r blaen. 29 Arwyddion ei ddyfodiad ef i farn, 36 ac o ran bôd y dydd a'r awr yn anysbys, 42 y dylem ni wilied fel gweision da, yn disgwyl bob amser am ddyfodiad ein meistr.



A'R* Iesu a aeth allan, ac a ymadawodd o'r deml: a'i ddiscyblion a ddaethant atto, i ddangos iddo adeiladau y Deml.

2 A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Oni welwch chwi hyn oll? yn wir meddaf i chwi, * ni adewir ymma garreg ar garreg, a'r ni ddattodir.

3 Ac efe yn eistedd ar fynydd yr olewydd, y discyblion a ddaethant atto o'r naill-tu, gan ddywedyd, Mynega i ni pa bryd y bydd y pethau hyn, a pha arwydd [fydd] o'th ddyfodiad, ac o ddiwedd y byd.

4 A'r Iesu a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt, Edrychwch rhag i neb eich twyllo chwi.

5 Canys daw llawer yn fy enw i, gan ddywedyd, myfi yw Christ; ac a dwyllant lawer.

6 A chwi a gewch glywed am ryfeloedd, a sôn am ryfeloedd: gwelwch na chyffroer chwi; canys rhaid yw bôd [hyn] oll: eithr nid yw y diwedd etto.

7 Canys cyfyd cenedl yn erbyn cenedl, a theyrnas yn erbyn teyrnas: ac fe fydd newyn, a nodau, a daiar-grynfaau, mewn mannau.

8 A dechreuad gofidiau [yw] hyn oll.

9 Yna * i'ch traddodant chwi i'ch gorthrymmu, ac a'ch lladdant, a chwi a gaseir gan yr holl genhedloedd, er mwyn fy enw i.

10 Ac yna y rhwystrir llawer, ac y bradychant ei gilydd, ac y casant ei gilydd.

11 A gau-brophwydi lawer a godant, ac a dwyllant lawer.

12 Ac o herwydd yr amlhâ anwiredd, fe a oera cariad llawer.

13 Eithr y neb a barhâo hyd y diwedd, hwnnw a fydd cadwedig.

14 A'r Efengyl hon [am] y deyrnas a bregethir trwy'r holl fyd, er tystiolaeth i'r holl genhedloedd: ac yna y daw y diwedd.

15 Am hynny * pan weloch y ffieidd-dra anghyfanneddol, a ddywedpwyd trwy *Daniel brophwyd, yn sefyll yn y lle sanctaidd, (y neb a ddarllenno ystyried.)

16 Yna y rhai a fyddant yn Judæa, ffoant i'r mynyddoedd.

17 Y neb [a fyddo] a'r ben y tŷ, na ddisgynned i gymmeryd dim allan o'i dŷ.

18 A'r hwn [a fyddo] yn y maes, na ddychweled yn ei ôl, i gymmeryd ei ddillad.

19 A gwae y rhai beichiogion, a'r rhai yn rhoi bronnau, yn y dyddiau hynny.

20 Eithr gweddiwch na byddo eich ffoedigaeth y gaiaf, nac ar y [dydd] Sabbath.

21 Canys y pryd hynny y bydd gorthrymder mawr, y fath ni bu o ddechreu y byd hyd yr awr hon, ac ni bydd chwaith.

22 Ac oni bai fyrrhau y dyddiau hynny, ni buasei gadwedig un cnawd oll: eithr er mwyn yr etholedigion, fe fyrrheir y dyddiau hynny.

23 * Yna os dywed neb wrthych, Wele, llymma Grist, neu llymma: na chredwch.

*Mar.13.21. Luc.17.23.

24 Canys cyfyd gau-Gristiau, a gau-brophwydi, ac a roddant arwyddion mawrion, a rhyfeddodau, hyd oni thwyllant, pe byddei bossibl, ie yr etholedigion.

25 Wele, rhag-ddywedais i chwi.

26 Am hynny os dywedant wrthych, Wele, y mae efe yn y diffaethwch, nac ewch allan. Wele, yn yr stafelloedd: na chredwch.

27 Oblegid fel y daw y fellten o'r dwyrain, ac y tywynna hyd y gorllewin, felly hefyd y bydd dyfodiad Mâb y dŷn.

28 * Canys pa le bynnag y byddo y gelain, yno'r ymgasgl yr eryrod.

*Luc.17.37.

29 Ac yn y fan, wedi gorthrymder y dyddiau hynny, * y tywyllir yr haul, a'r lleuad ni rydd ei goleuni, a'r sêr a syrth o'r nef, a nerthoedd y nefoedd a ysgydwir.

*Mar.13.24. Luc.21.25. Esa.13.10. Ioel.2.31. Ezec.32.7.

30 Ac yna yr ymddengys arwydd Mâb y dŷn yn y nef: ac yna y galara holl lwythau'r ddaiar, a * hwy a welant Fâb y dŷn yn dyfod ar gymmylau'r nef, gyd â nerth a gogoniant mawr.

*Dan.7.

31 Ac * efe a ddenfyn ei Angelion || â mawr sain ud-corn: a hwy a gasclant ei etholedigion ef ynghŷd, o'r pedwar gwynt, o eithafoedd y nefoedd, hyd eu heithafoedd hwynt.

*1 Cor.15.52. 1.Thes.4.16. ||Neu, ag udcorn a sain mawr.

32 Ond dyscwch ddammeg oddiwrth y ffigys-bren: pan yw ei gangen eusys yn dyner, a'i ddail yn torri allan, chwi a wyddoch fôd yr hâf yn agos:

33 Ac felly chwithau, pan weloch hyn oll, gwybyddwch [ei] fôd yn agos, wrth y drysau.

34 Yn wir meddaf i chwi, nid â y genhedlaeth hon heibio, hyd oni wneler hyn oll.

35 * Nef a daiar a ânt heibio, eithr fy ngeiriau i, nid ânt heibio ddim.

Mar.13.31.

36 Ond am y dydd hwnnw a'r awr, ni's gŵyr neb, nac Angelion y nefoedd, onid fy Nhâd yn unig.

37 Ac fel yr oedd dyddiau Noe, felly hefyd y bydd dyfodiad Mâb y dŷn.

38 Oblegid * fel yr oeddynt yn y dyddiau ym-mlaen y diluw, yn bwytta, ac yn yfed, yn priodi, ac yn rhoi i briodas, hyd y dydd yr aeth Noe i mewn i'r arch:

Gen.7. Luc.17.26.

39 Ac ni wybuant hyd oni ddaeth y diluw, a'u cymmeryd hwy oll ymmaith: felly hefyd y bydd dyfodiad Mâb y dŷn.

40 Yna y bydd dau yn y maes: y naill a gymmerir, a'r llall a adewir.

41 Dwy [a fyddo] yn malu mewn melin: un a gymmerir, a'r llall a adewir.

42 * Gwiliwch gan hynny, am na wyddoch pa awr y daw eich Arglwydd.

Mar.13.35.

43 A * gwybyddwch hyn, pe gwybasei

*Luc.12.39. 1.Thes.5.2. Dat.16.15.

gŵr y tŷ pa wiliadwriaeth y deuai y lleidr, efe a wiliasei, ac ni adawsei gloddio ei dŷ trwodd.

44 Am hynny byddwch chwithau barod: canys yn yr awr ni thybioch, y daw Mâb y dŷn.

45 Pwy *gan hynny sydd wâs ffyddlon a doeth, yr hwn a osododd ei arglwydd ar ei deulu, i roddi bwyd iddynt mewn pryd?

*Luc.12.42.

46 Gwyn ei fŷd y gwâs hwnnw, yr hwn y caiff ei arglwydd ef pan ddelo, yn gwneuthur felly.

47 Yn wir meddaf i chwi, ar ei holl dda y gesyd efe ef.

48 Ond os dywed y gwâs drwg hwnnw yn ei galon, Y mae fy arglwydd yn oedi dyfod:

49 A dechreu curo ei gŷd-weision, a bwytta ac yfed gyd â'r meddwon:

50 Arglwydd y gwâs hwnnw a ddaw yn y dydd nid yw efe yn disgwil am dano, ac mewn awr ni's gŵyr efe:

51 Ac efe a'i gwahana ef, ac a esyd ei ran ef gyd â'r rhagrithwyr: yno y bydd wylofain, a rhingcian dannedd.

PEN. XXV.

1 Dammeg y dêc morwyn, 14 a'r Talentau, 31 a dull y farn ddiweddaf.



Yna tebyg fydd teyrnas nefoedd i ddêg o forwynion, y rhai a gymmerasant eu lampau, ac a aethant allan i gyfarfod â'r priod-fâb.

2 A phump o honynt oedd gall, a phum yn ffôl.

3 Y rhai [oedd] ffôl a gymmerasant eu lampau, ac ni chymmerasant olew gyd â hwynt:

4 A'r rhai call a gymmerasant olew yn eu llestri, gŷd â'u lampau.

5 A thra'r oedd y priod-fâb yn aros yn hir, yr hepiasant oll, ac yr hunasant.

6 Ac ar hanner nôs y bu gwaedd, Wele, y mae y priod-fâb yn dyfod, ewch allan i gyfarfod ag ef.

7 Yna y cyfododd yr holl forwynion hynny, ac a drwsiasant eu lampau.

8 A'r rhai ffôl a ddywedasant wrth y rhai call, Rhoddwch i ni o'ch olew chwi, canys y mae ein lampau yn diffoddi.

9 A'r rhai call a attebasant, gan ddywedyd, Rhag na byddo digon i ni ac i chwithau: ond ewch yn hytrach at y rhai sydd yn gwerthu, a phrynwch i chwi eich hunain.

10 A thra'r oeddynt yn myned ymmaith i brynu, daeth y priod-fâb: a'r rhai oedd barod a aethant i mewn gyd ag ef i'r briodas, a chaewyd y drws.

11 Wedi hynny y daeth y morwynion eraill hefyd, gan ddywedyd, Arglwydd, Arglwydd, agor i ni.

12 Ac efe a attebodd ac a ddywedodd, Yn wir meddaf i chwi, nid adwaen chwi.

13 *Gwiliwch gan hynny, am na wyddoch na'r dydd na'r awr y daw Mâb y dŷn.

*Pen.24.42. Marc.13.33.

14 *Canys fel dŷn yn myned i wlâd ddieithr, yr hwn a alwodd ei weision, ac a roddes ei dda attynt:

*Luc.19.12.

15 Ac i un y rhoddes efe bum talent, ac i arall ddwy, ac i arall un: i bob un yn ôl ei allu ei hun: ac yn y fan, efe a aeth oddi cartref.

16 A'r hwn a dderbyniasei y pum talent, a aeth, ac a farchnattaodd â hwynt, ac a wnaeth bum talent eraill.

17 A'r un modd yr hwn [a dderbyniasei] y ddwy, a ennillodd yntef ddwy eraill.

18 Ond yr hwn a dderbyniasei un, a aeth, ac a gloddiodd yn y ddaiar, ac a guddiodd arian ei arglwydd.

19 Ac wedi llawer o amser, y mae arglwydd y gweision hynny yn dyfod, ac yn cyfrif â hwynt.

20 A daeth yr hwn a dderbyniasei bum talent, ac a ddug bum talent eraill, gan ddywedyd, Arglwydd, pum talent a roddaist attaf: wele, mi a ennillais bum talent eraill attynt.

21 A dywedodd ei arglwydd wrtho, Da, wâs da a ffyddlon: buost ffyddlon ar ychydig, mi a'th osodaf ar lawer: dôs i mewn i lawenydd dy arglwydd.

22 A'r hwn a dderbyniasei ddwy dalent, a ddaeth, ac a ddywedodd, Arglwydd, dwy dalent a roddaist attaf: wele, dwy eraill a ennillais attynt.

23 Ei arglwydd a ddywedodd wrtho, Da, wâs da a ffyddlon: buost ffyddlon ar ychydig, mi a'th osodaf ar lawer: dôs i mewn i lawenydd dy arglwydd.

24 A'r hwn a dderbyniasei 'r un talent, a ddaeth, ac a ddywedodd, Arglwydd, mi a'th adwaenwn di, mai gŵr caled ydwyt, yn medi lle ni's hauaist, ac yn casclu lle ni wasceraist:

25 Ac mi a ofnais, ac a aethym, ac a guddiais dy dalent yn y ddaiar: wele, yr wyt yn cael yr eiddot dy hun.

26 A'i arglwydd a attebodd, ac a ddywedodd wrtho, O wâs drwg, a diog, ti a wyddit fy môd yn medi lle ni's hauais, ac yn casclu lle ni's gwascerais:

27 Am hynny y dylesit ti roddi fy arian at y cyfnewid-wyr, a mi pan ddaethwn, a gawswn dderbyn yr eiddof fy hun gyd â llôg.

28 Cymmerwch gan hynny y talent oddi wrtho, a rhoddwch i'r hwn sydd ganddo ddeg talent.

29 *(Canys i bob un y mae ganddo y rhoddir, ac efe a gaiff helaethrwydd: ac oddi ar yr hwn nid oes ganddo, y dygir oddi arno, ie yr hyn sydd ganddo.)

*Pen.13.12. Mar.4.25. Luc.8.18.

30 A bwriwch allan y gwâs anfuddiol i'r tywyllwch eithaf: yno y bydd wylofain, a rhingcian dannedd.

31 A Mâb y dŷn pan ddêl yn ei ogoniant, a'r holl Angelion sanctaidd gŷd ag ef, yna yr eistedd ar orsedd-faingc ei ogoniant.

32 A chyd-gesclir ger ei fron ef yr holl gen-

genhedloedd: ac efe a'u didola hwynt oddi wrth ei gilydd, megis y didola y bugail y defaid oddi wrth y geifr:

33 Ac a esyd y defaid ar ei ddeheu-law, ond y geifr ar yr asswy.

34 Yna y dywed y Brenin wrth y rhai ar ei ddeheu-law, Deuwch chwi fendigedigion fy-Nhâd, etifeddwch y deyrnas a baratowyd i chwi er seiliad y byd.

35 * Canys bum newynog, a chwi a roesoch i mi fwyd: bu arnaf syched, a rhoesoch i mi ddiod: bum ddieithr, a dygasoch fi gyd â chwi:

*Esa.58.7. Ezec.18.7.

36 Noeth, a dilladasoch fi: bum glaf, ac ymwelsoch â mi: bum yngharchar, a daethoch attaf.

37 Yna yr attyb y rhai cyfiawn iddo, gan ddywedyd, Arglwydd, pa bryd i'th welsom yn newynog, ac i'th borthasom? neu yn sychedig, ac y rhoesom i ti ddiod?

38 A pha bryd i'th welsom yn ddieithr, ac i'th ddygasom gyd â ni? neu yn noeth, ac i'th ddilladasom?

39 A pha bryd i'th welsom yn glaf, neu yngharchar, ac y daethom attat?

40 A'r Brenin a ettyb, ac a ddywed wrthynt, Yn wir meddaf i chwi, yn gymmaint a'i wneuthur o honoch i un o'r rhai hyn fy mrodyr lleiaf, i mi y gwnaethoch.

41 Yna y dywed efe hefyd wrth y rhai a fyddant ar y llaw asswy, *Ewch oddi wrthif rai melldigedig i'r tân tragwyddol, yr hwn a baratowyd i ddiafol, ac i'w angylion.

*Psal.6.8. Pen.7.23.

42 Canys bum newynog, ac ni roesoch i mi fwyd: bu arnaf syched, ac ni roesoch i mi ddiod:

43 Bum ddieithr, ac ni'm dygasoch gyd â chwi: noeth, ac ni'm dilladasoch: yn glaf, ac yngharchar, ac ni ymwelsoch â mi.

44 Yna yr attebant hwythau hefyd iddo, gan ddywedyd, Arglwydd, pa bryd i'th welsom yn newynog, neu yn sychedig, neu yn ddieithr, neu yn noeth, neu yn glaf, neu yngharchar, ac ni weinasom i ti?

45 Yna 'r ettyb efe iddynt, gan ddywedyd, Yn wir meddaf i chwi, yn gymmaint ac na's gwnaethoch i'r un o'r rhai lleiaf hyn, ni's gwnaethoch i minneu.

46 A'r * rhai hyn a ânt i gospedigaeth dragwyddol: ond y rhai cyfiawn i fywyd tragwyddol.

*Dan.12.2. Io.5.29.

## PEN. XXVI.

1 Y llywodraeth-wyr yn cyd-fwriadu yn erbyn Christ. 6 Y wraig yn enneinio ei draed ef. 14 Iudas yn ei werthu ef. 17 Christ yn bwytta y Pasc: 26 yn ordeinio ei swpper sanctaidd: 36 yn gweddio yn yr ardd: 47 ac wedi ei fradychu â chusan, 57 yn cael ei arwain at Caiaphas, 69 a'i wadu gan Petr.

Yr Efengyl ar y Sul nessaf o flaen y Pasc. *Mar.14.1. Luc.22.1. Io.13.1.



Bu wedi i'r Iesu orphen y geiriau hyn oll, efe a ddywedodd wrth ei ddiscyblion,

2 *Chwi a wyddoch mai gwedi deu-ddydd y mae 'r Pâsc, a Mâb y dyn a draddodir i'w groes-hoelio.

3 *Yna yr ymgasclodd yr Arch-offeiriaid, a'r Scrifennyddion, a Henuriaid y bobl, i lŷs yr Arch-offeiriad, yr hwn a elwid Caiaphas:

*Io.11.47.

4 A hwy a gyd-ymgynghorasant fel y dalient yr Iesu trwy ddichell, ac y lladdent [ef.]

5 Eithr hwy a ddywedasant, Nid ar yr wyl, rhag bôd cynnwrf ym mhlith y bobl.

6 *Ac a'r Iesu yn Bethania, yn nhŷ Simon y gwahan-glwyfus,

*Mar.14.3. Io.11.1.

7 Daeth atto wraig a chenddi flwch o ennaint gwerthfawr, ac a'i tywalltodd ar ei ben, ac efe yn eistedd wrth y ford.

8 A phan welodd ei ddiscyblion, hwy a sorrasant, gan ddywedyd, I ba beth [y bu] y golled hon?

9 Canys fe a allasid gwerthu yr ennaint hwn er llawer, a'i roddi i'r tlodion.

10 A'r Iesu a wybu, ac a ddywedodd wrthynt, Pa ham yr ydych yn gwneuthur blinder i'r wraig? canys hi a weithiodd weithred dda arnaf.

11 *Oblegid y mae gennych y tlodion bôb amser gyd â chwi: a mi nid ydych yn ei gael bôb amser.

*Deut.15.11.

12 Canys hi yn tywallt yr ennaint hwn ar fy nghorph, a wnaeth [hyn] i'm claddu i.

13 Yn wir meddaf i chwi, pa le bynnag y pregether yr Efengyl hon yn yr holl fyd, mynegir yr hyn a wnaeth hi hefyd, er coffa am dani hi.

14 *Yna 'r aeth un o'r deuddeg, yr hwn a elwid Judas Iscariot, at yr Arch-offeiriaid,

*Mar.14.10. Luc.22.3.

15 Ac a ddywedodd [wrthynt,] Pa beth a roddwch i mi, ac mi a'i traddodaf ef i chwi? A hwy a osodasant iddo ddeg ar hugain o arian.

16 Ac o hynny allan y ceisiodd efe amser cyfaddas i'w fradychu ef.

17 *Ac ar y [dydd] cyntaf o wŷl y bara croyw, y discyblion a ddaethant at yr Iesu, gan ddywedyd wrtho, Pa le y mynni i ni baratoi i ti fwytta 'r Pasc?

*Mar.14.12. Luc.22.7.

18 Ac yntef a ddywedodd, Ewch i'r ddinas at || y cyfryw un, a dywedwch wrtho, Y mae 'r Athro yn dywedyd, Fy amser sydd agos: gyd â thi y cynhaliaf y Pâsc, mi a'm discyblion.

|| hwn a hwn.

19 A'r discyblion a wnaethant y modd y gorchymynnasei 'r Iesu iddynt, ac a baratoesant y Pâsc.

20 *Ac wedi ei myned hi yn hwyr, efe a eisteddodd gyd â'r deuddeg.

*Mar.14.18. Luc.22.14. Io.13.21.

21 Ac fel yr oeddynt yn bwytta, efe a ddywedodd, Yn wir yr wyf yn dywedyd i chwi, || mai un o honoch chwi a'm bradycha i.

|| Neu, y bradycha yn o honoch fi.

22 A hwythau yn drist iawn, a ddechreuasant ddywedyd wrtho, bôb un o honynt, Ai myfi yw, Arglwydd?

23 Ac efe a attebodd, ac a ddywedodd, *Yr hwn a wlŷch ei law gyd â mi yn y ddysgl, hwnnw a'm bradycha i.

*Psal.41.9.

24 Mâb y dyn yn ddiau sydd yn myned,

fel y mae yn scrifennedig am dano: eithr gwae 'r dŷn hwnnw trwy 'r hwn y bradychir Mâb y dŷn: da a fuasei i'r dŷn hwnnw pe na's ganesid ef.

25 A Judas yr hwn a'i bradychodd ef a attebodd, ac a ddywedodd, Ai myfi yw [efe,] Athro? Yntef a ddywedodd wrtho, Ti a ddywedaist.

*1 Cor.11.24. ||Neu, ddiolch.

26 Ac fel yr oeddynt yn bwytta, *yr Jesu a gymmerth y bara, ac wedi iddo || fendithio, efe a'i torrodd, ac a'i rhoddodd i'r discyblion, ac a ddywedodd, Cymmerwch, bwyttewch, hwn yw fy nghorph.

27 Ac wedi iddo gymmeryd y cwppan, a diolch, ef a'i rhoddes iddynt, gan ddywedyd, Yfwch bawb o hwn.

28 Canys hwn yw fy ngwaed o'r Testament newydd, yr hwn a dywelltir tros lawer, er maddeuant pechodau.

29 Ac yr ydwyf yn dywedyd i chwi, nad yfaf o hyn allan o ffrwyth hwn y win-wydden, hyd y dydd hwnnw pan yfwyf ef gyd â chwi yn newydd, yn nheyrnas fy Nhâd.

||Neu, mawl-nau, Psalm.

30 Ac wedi iddynt ganu || hymn, hwy a aethant allan i fynydd yr Olewydd.

*Mar.14.27. Io.16.32. *Zech.13.7.

31 Yna y dywedodd yr Jesu wrthynt, *Chwy-chwi oll a rwystrir heno o'm plegid i: canys scrifennedig yw, *Tarawaf y bugail, a defaid y praidd a wascerir.

*Mar.14.28. & 16.7.

32 Eithr wedi fy adgyfodi, *mi a âf o'ch blaen chwi i Galilæa.

33 A Phetr a attebodd, ac a ddywedodd wrtho, Pe rhwystrid pawb o'th blegid ti, [etto] ni'm rhwystrir i byth.

*Io.13.38.

34 Yr Jesu a ddywedodd wrtho, *Yn wir yr wyf yn dywedyd i ti, mai 'r nôs hon, cyn canu o'r ceiliog, i'm gwedi deirgwaith.

35 Petr a ddywedodd wrtho, Pe gorfyddei i mi farw gyd â thi, ni'th wadaf ddim. Yr un modd hefyd y dywedodd yr holl ddiscyblion.

*Mar.14.32. Luc.22.39.

36 *Yna y daeth yr Jesu gyd â hwynt i fan a elwid Gethsemane, ac a ddywdodd wrth ei ddiscyblion, Eisteddwch ymma, tra'r elwyf, a gweddio accw.

37 Ac efe a gymmerth Petr, a dau fâb Zebedæus, ac a ddechreuodd dristâu, ac ymofidio.

38 Yna efe a ddywedodd wrthynt, Trist iawn yw fy enaid hyd angeu, arhoswch ymma, a gwiliwch gyd â mi.

39 Ac wedi iddo fyned ychydig ym-mlaen, efe a syrthiodd ar ei wyneb, gan weddio, a dywedyd, Fy Nhâd, os yw bossibl, aed y cwppan hwn heibio oddi wrthif: etto nid fel yr ydwyf fi yn ewyllysio, ond fel yr ydwyt ti.

40 Ac efe a ddaeth at y discyblion, ac a'u cafas hwy yn cyscu, ac a ddywedodd wrth Petr, Felly, oni ellych chwi wilied un awr gyd â mi?

41 Gwiliwch a gweddiwch, fel nad eloch i brofedigaeth. Yr yspryd yn ddiau [sydd] yn barod, eithr y cnawd sydd wann.

42 Efe a aeth drachefn yr ail waith, ac a weddiodd, gan ddywedyd, Fy Nhâd, onis gall y cwppan hwn fyned heibio oddi wrthif, na byddo i mi yfed o hono, gwneler dy ewyllys di.

43 Ac efe a ddaeth, ac a'u cafas hwy yn cyscu drachefn: canys yr oedd eu llygaid hwy wedi trymhau.

44 Ac efe a'u gadawodd hwynt, ac aeth ymmaith drachefn, ac a weddiodd y drydedd waith, gan ddywedyd yr un geiriau.

45 Yna y daeth efe at ei ddiscyblion, ac a ddywedodd wrthynt, Cyscwch bellach, a gorphwyswch: wele y mae 'r awr wedi nessau, a Mâb y dŷn a draddodir i ddwylo pechaduriaid.

46 Codwch, awn: wele, nessaodd yr hwn sydd yn fy mradychu.

*Mar.14.43. Luc.22.47. Io.18.3.

47 Ac *efe etto yn llefaru, wele, Judas un o'r deuddeg, a ddaeth, a chŷd ag ef dyrfa fawr a chleddyfau a ffynn, oddi wrth yr Arch-offeiriaid, a Henuriaid y bobl.

48 A'r rhwn a'i bradychodd ef, a roesei arwydd iddynt, gan ddywedyd, Pa un bynnag a gusanwyf, hwnnw yw efe: deliwch ef.

49 Ac yn ebrwydd y daeth at yr Jesu, ac a ddywedodd, Henffych well Athro, ac a'i cusanodd ef.

50 A'r Jesu a ddywedodd wrtho, Y cyfaill, i ba beth y daethost? Yna y daethant, ac y rhoesant ddwylo ar yr Jesu, ac a'i daliasant ef.

51 Ac wele, un o'r rhai oedd gŷd â'r Jesu, a estynnodd ei law, ac a dynnodd ei gleddyf, ac a darawodd wâs yr Arch-offeiriad, ac a dorrodd ei glust ef.

*Gen.9.6. Dat.13.10.

52 Yna y dywedodd yr Jesu wrtho, Dychwel dy gleddyf i'w le: *canys pawb a'r a gymmerant gleddyf, a ddifethir â chleddyf.

53 A ydwyt ti yn tybied na's gallaf yr awr hon ddeisyf ar fy Nhâd, ac efe a rydd yn y fan i mi fwy nâ deuddeg lleng o Angelion?

Esa.53.10.

54 Pa fodd ynteu y cyflawnid yr Scrythyrau, *mai felly y gorfydd bôd?

55 Yn yr awr honno y dywedodd yr Jesu wrth y torfeydd, Ai megis at leidr y daethoch chwi allan, â chleddyfau a ffynn i'm dal i? yr oeddwn i beunydd gŷd â chwi yn eistedd yn dyscu yn y Deml, ac ni'm daliasoch.

*Galat.4.10.

56 A hyn oll a wnaethpwyd *fel y cyflawnid Scrythyrau y Prophwydi. Yna 'r holl ddiscyblion a'i gadawsant ef, ac a ffoesant.

*Mar.14.53. Luc.22.54. Io.18.13.

57 A'r *rhai a ddaliasent yr Jesu a'i dygasant ef ymmaith at Caiphas yr Arch-offeiriad, lle 'r oedd yr Scrifennyddion a'r Henuriaid wedi ymgasclu ynghŷd.

58 A Phetr a'i canlynodd ef o hir-bell, hyd yn llŷs yr Arch-offeiriad; ac a aeth i mewn, ac a eisteddodd gŷd â'r gweision, i weled y diwedd.

59 A'r Arch-offeiriaid, a'r Henuriaid, a'r holl gyngor, a geisiasant gau dystiolaeth yn erbyn yr Jesu, fel y rhoddent ef i farwolaeth,

60 Ac ni's cawsant: ie er dyfod [yno] gau-dystion lawer, ni chawsant: eithr o'r diwedd fe a ddaeth dau gau-dyst,

61 Ac a ddywedasant, Hwn a ddywedodd, *Mi a allaf ddinistrio Teml Dduw, a'i hadeiladu mewn tri diwrnod.

62 A chyfododd yr Arch-offeiriad, ac a ddywedodd wrtho, A attebi di ddim? Beth y mae y rhai hyn yn ei dystiolaethu yn dy erbyn?

63 Ond yr Iesu a dawodd. A'r Arch-offeiriad gan atteb a ddywedodd wrtho, Yr ydwyf yn dy dynghedu di trwy'r Duw byw, ddywedyd o honot i ni, ai tydi yw y Christ Mab Duw.

64 Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Ti a ddywedaist: eithr meddaf i chwi, *ar ôl hyn y gwelwch Fâb y dŷn yn eistedd ar ddeheulaw 'r gallu, ac yn dyfod ar gymmylau'r nef.

65 Yna y rhwygodd yr Arch-offeiriad ei ddillad, gan ddywedyd, efe a gablodd. Pa raid i ni || mwy wrth dystion? wele, yr awron clywsoch ei gabledd ef.

66 Beth dybygwch chwi? Hwythau gan atteb a ddywedasant, Y mae efe yn euog o farwolaeth.

67 *Yna y poerasant yn ei wyneb, ac a'i cernodiasant: eraill a'i tarawsant ef â gwiail,

68 Gan ddywedyd, Prophwyda i ni, ô Christ, pwy yw'r hwn a'th darawodd.

69 A *Phetr oedd yn eistedd allan yn y llys: a daeth morwynig atto, ac a ddywedodd, A thitheu oeddit gŷd ag Iesu y Galilæad.

70 Ac efe a wadodd ger eu bron hwy oll, ac a ddywedodd, Ni's gwn beth yr wyt yn ei ddywedyd.

71 A phan aeth efe allan i'r porth, gwelodd un arall ef: a hi a ddywedodd wrth y rhai oedd yno, Yr oedd hwn hefyd gŷd â'r Iesu o Nazareth.

72 A thrachefn efe a wadodd trwy lw, Nid adwaen i y dŷn.

73 Ac ychydig wedi, daeth y rhai oedd yn sefyll ger llaw, ac a ddywedasant wrth Petr, Yn wir yr wyt titheu yn un o honynt, canys y mae dy leferydd yn dy gyhuddo.

74 Yna y dechreuodd efe regu, a thyngu, Nid adwaen i y dŷn. Ac yn y man y canodd y ceiliog.

75 A chofiodd Petr air yr Iesu, yr hwn a ddywedasei wrtho, Cyn canu o'r ceiliog, ti a'm gwedi deir-gwaith. Ac efe a aeth allan, ac a wylodd || yn chwerw-dost.

## PEN. XXVII.

1 Rhoddi Christ yn rhwym at Pilat. 3 Iudas yn ymgrogi. 19 Pilat wedi ei rybuddio gan ei wraig, 24 yn golchi ei ddwy-law: 26 Coroni Christ â drain, 34 a'i groeshoelio, 40 a'i ddifenwi, 50 yntef yn marw, ei gladdu ef. 66 Selio a gwilio ei fêdd ef.



A Phan ddaeth y boreu, cydymgynghorodd *yr holl Arch-offeiriaid, a Henuriaid y bobl, yn erbyn yr Iesu, fel y rhoddent ef i farwolaeth.

*Mar.15.1. Luc.22.66. Io.18.28.

2 Ac wedi iddynt ei rwymo, hwy a'i dygasant ef ymmaith, ac a'i traddodasant ef i Pontius Pilat y rhaglaw.

3 Yna pan weles Iudas, yr hwn a'i bradychodd ef, ddarfod ei gondemnio ef, bu edifar ganddo, ac a ddug drachefn y deg ar hugain arian i'r Arch-offeiriaid, a'r Henuriaid,

4 Gan ddywedyd, Pechais, gan fradychu gwaed gwirion. Hwytheu a ddywedasant, Pa beth yw hynny i ni? edrych di.

5 Ac wedi iddo fwrw 'r arian yn y Deml, *efe a ymadawodd, ac a aeth, ac a ymgrogodd.

*Act.1.18.

6 A'r Arch-offeiriaid a gymmerasant yr arian, ac a ddywedasant, Nid cyfreithlawn [i ni] eu bwrw hwynt yn y drysor-fa: canys || gwerth gwaed ydyw.

|| Neu, pris.

7 Ac wedi iddynt gyd-ymgynghori, hwy a brynasant â hwynt faes y crochenydd, yn gladd-fa dieithriaid.

8 Am hynny y galwyd y maes hwnnw, *Maes y gwaed, hyd heddyw.

*Act.1.19.

9 (Yna y cyflawnwyd yr hyn a ddywedpwyd trwy Ieremias y prophwyd, gan ddywedd, A *hwy a gymmerasant y deg ar hugain arian, || pris y prisiedig, yr hwn || a brynasent gan feibion Israel,

*Zec.11.12. || Neu. gwerth y gwerthedig. || Neu, a brisiasai meibion Israel.

10 Ac a'u rhoesant hwy am faes y crochenydd, megis y gosodes yr Arglwydd i mi.)

11 A'r Iesu a safodd ger bron y rhaglaw: a'r rhaglaw a ofynnodd iddo, gan ddywedyd, Ai ti yw Brenin yr Iddewon? A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Yr wyt ti yn dywedyd.

12 A phan gyhuddid ef gan yr Arch-offeiriaid a'r Henuriaid, nid attebodd efe ddim.

13 Yna y dywedodd Pilat wrtho, Oni chlywi di faint o bethau y maent hwy yn eu tystiolaethu yn dy erbyn di?

14 Ac nid attebodd efe iddo i un gair: fel y rhyfeddodd y rhag-law yn fawr.

15 *Ac ar yr wyl [honno] yr arferei y rhaglaw ollwng yn rhydd i'r bobl un carcharor, yr hwn a fynnent.

*Luc.23.17.

16 Ac yna yr oedd ganddynt garcharor hynod, a elwid Barabbas.

17 Wedi iddynt gan hynny ymgasglu ynghŷd, Pilat a ddywedodd wrthynt, Pa un a fynnwch i mi ei ollwng yn rhydd i chwi? Barabbas, ai yr Iesu, yr hwn a elwir Christ?

18 Canys efe a wyddei mai o genfigen y traddodasent ef.

19 Ac efe yn eistedd ar yr orsedd-faingc, ei wraig a ddanfonodd atto, gan ddywedyd, Na fydded i ti a wnelych â'r cyfiawn hwnnw: canys goddefais lawer heddyw mewn breuddwyd o'i achos ef.

20 *A'r

*Io.18.40. Act.3.14.

20 *A'r Arch-offeiriaid a'r Henuriaid, a berswadiasant y bobl, fel y gofynnent Barabbas, ac y difethent yr Iesu.

21 A'r rhaglaw a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt, Pa vn o'r ddau a fynnwch i mi ei ollwng yn rhydd i chwi? Hwytheu a ddywedasant, Barabbas.

22 Pilat a ddywedodd wrthynt, Pa beth gan hynny a wnaf i'r Iesu, yr hwn a elwir Christ? Hwythau oll a ddywedasant wrtho, Croes-hoelier ef.

23 A'r rhaglaw a ddywedodd, Ond pa ddrwg a wnaeth efe? Hwytheu a lefasant yn fwy, gan ddywedyd, Croes-hoelier ef.

24 A Philat, pan welodd nad oedd dim yn tyccio, ond yn hytrach bôd cynnwrf, a gymmerth ddwfr, ac a olchodd ei ddwylo ger bron y bobl, gan ddywedyd, Di-euog ydwyf oddi wrth waed y cyfiawn hwn: edrychwch chwi.

25 A'r holl bobl a attebodd, ac a ddywedodd, [Bydded] ei waed ef arnom ni, ac ar ein plant.

26 Yna y gollyngodd efe Barabbas yn rhydd iddynt: ond yr Iesu a fflangellodd efe, ac a'i rhoddes i'w groes-hoelio.

*Io.19.1. ||Neu, i dy y rhaglaw.

27 *Yna mil-wyr y rhaglaw a gymmerasant yr Iesu || i'r dadleu-dŷ, ac a gynnullasant atto yr holl fyddin.

28 A hwy a'i diosgasant ef, ac a roesant am dano fantell o scarlat:

29 A chwedi iddynt blethu coron o ddrain, hwy a'i gosodasant ar ei ben ef, a chorsen yn ei law ddehau, ac a blygasant eu gliniau ger ei fron ef, ac a'i gwatwarasant, gan ddywedyd, Henffych well, Brenin yr Iddewon.

30 A hwy a boerasant arno, ac a gymmerasant y gorsen, ac a'i tarawsant ar ei ben.

31 Ac wedi iddynt ei watwar, hwy a'i diosgasant ef o'r fantell, ac a'i gwiscasant â'i ddillad ei hun, ac a'i dygasant ef ymmaith i'w groes-hoelio.

*Mar.15.21. Luc.23.26.

32 *Ac fel yr oeddynt yn myned allan, hwy a gawsant ddŷn o Cyrêne, a'i enw Simon, hwn a gymmhellasant i ddwyn ei groes ef.

*Io.19.17.

33 *A phan ddaethant i le a elwid Golgotha, yr hwn a elwir Lle 'r benglog,

34 Hwy a roesant iddo i'w yfed finegr yn gymmyscedig â bustl: ac wedi iddo ei brofi, ni fynnodd efe yfed.

35 Ac wedi iddynt ei groes-hoelio ef, hwy a rannasant ei ddillad, gan fwrw coelbren: er cyflawni y peth a ddywetpwyd trwy'r prophwyd, *Hwy a rannasant fy nillad yn eu plith, ac ar fy ngwisc y bwriasant goel-bren.

*Psal.22.18.

36 A chan eistedd hwy a'i gwiliasant ef yno.

37 A gosodasant hefyd vwch ei ben ef, ei achos yn scrifennedig, HWN YW IESU, BRENIN YR IDDEWON.

38 Yna y croes-hoeliwyd gyd ag ef ddau leidr, vn ar y llaw ddehau, ac vn ar yr asswy.

39 A'r rhai oedd yn myned heibio a'i cablasant ef, gan yscwyd eu pennau,

40 A dywedyd, Ti yr hwn a ddinistri'r Deml, ac a'i hadeiledi mewn tridiau, gwared dy hun: os ti yw Mâb Duw, descyn oddi ar y groes.

41 A'r vn modd yr Arch-offeiriaid hefyd, gan watwar, gŷd â'r Scrifennyddion a'r Henuriaid, a ddywedasant,

42 Efe a waredodd eraill, ei hunan nis gall efe ei waredu: os brenin Israel yw, descynned yr awron oddi ar y groes, ac ni a gredwn iddo.

*Psal.22.8. Doet.2.15.16.

43 *Ymddiriedodd yn Nuw: gwareded efe ef yr awron, os efe a'i mynn ef: canys efe a ddywedodd, Mâb Duw ydwyf.

44 A'r vn peth hefyd a edliwiodd y lladron iddo, y rhai a groes-hoeliasid gyd ag ef.

45 Ac o'r chweched awr y bu tywyllwch ar yr holl || ddaiar, hyd y nawfed awr.

|| dir.

46 Ac ynghylch y nawfed awr y llefodd yr Iesu â llef vchel, gan ddywedyd, Eli, Eli, Lama Sabachthani? hynny yw, *Fy Nuw, fy Nuw, pa ham i'm gadewaist?

*Psal.22.1.

47 A rhai o'r sawl oedd yn sefyll yno, pan glywsant, a ddywedasant, Y mae hwn yn galw am Elias.

48 Ac yn y fan, vn o honynt a redodd, ac a gymmerth yspwrn, *ac a'i llanwodd o finegr, ac a'i rhoddes ar gorsen, ac a'i diododd ef.

*Psal.69.21.

49 Ar llaill a ddywedasant, Paid, edrychwn a ddaw Elias i'w waredu ef.

50 A'r Iesu, wedi llefain drachefn â llef vchel, a ymadawodd â'r yspryd.

51 Ac wele, llen y Deml a rwygwyd yn ddau, oddi fynu hyd i wared: a'r ddaiar a grynodd, a'r main a holltwyd.

52 A'r beddau a agorwyd: a llawer o gyrph y sainct a hunasent, a gyfodasant.

53 Ac a ddaethant allan o'r beddau ar ôl ei gyfodiad ef, ac a aethant i mewn i'r ddinas sanctaidd, ac a ymddangosasant i lawer.

54 Ond y canwriad, a'r rhai oedd gŷd ag ef yn gwilied yr Iesu, wedi gweled y ddaiar-gryn a'r pethau a wnaethid, a ofnasant yn fawr, gan ddywedyd, Yn wir Mâb Duw ydoedd hwn.

55 Ac yr oedd yno lawer o wragedd yn edrych o hir-bell, y rhai a ganlynasent yr Iesu o Galilæa, gan weini iddo ef:

56 Ym-mhlith y rhai yr oedd Mair Magdalen, a Mair mam Iaco a Ioses, a mam meibion Zebedæus.

*Mar.15. Luc.23.50. Io.19.38.

57 *Ac wedi ei myned hi yn hwyr, daeth gŵr goludog o Arimathæa, a'i enw Ioseph, yr hwn a fuasei ynteu yn ddiscybl i'r Iesu;

58 Hwn

58 Hwn a aeth at Pilat, ac a ofynnodd gorph yr Iesu. Yna y gorchymynnodd Pilat roddi 'r corph.

59 A Ioseph wedi cymmeryd y corph, a'i hamdôdd â lliain glân:

60 Ac a'i gosododd ef yn ei fedd newydd ei hun, yr hwn a dorrasei efe yn y graig, ac a dreiglodd faen mawr wrth ddrws y bedd, ac a aeth ymmaith.

61 Ac yr oedd yno Mair Magdalen, a Mair arall, yn eistedd gyferbyn a'r bedd.

62 A thrannoeth, yr hwn sydd ar ôl y darpar-wyl, yr ymgynhullodd yr Arch-offeiriaid a'r Phariseaid at Pilat,

63 Gan ddywedyd, Arglwydd, y mae yn gôf gennym ddywedyd o'r twyllwr hwnnw, ac efe etto yn fyw, Wedi tri-diau y cyfodaf.

64 Gorchymmyn gan hynny gadw y bedd yn ddiogel hyd y trydydd dydd, rhag dyfod ei ddiscyblion o hyd nos, a'i ladratta ef, a dywedyd wrth y bobl, Efe a gyfododd o feirw: a bydd yr amryfusedd diweddaf yn waeth nâ'r cyntaf.

65 A dywedodd Pilat wrthynt, Y mae gennych wiliadwriaeth, ewch, gwnewch mor ddiogel ac y medroch.

66 A hwy a aethant, ac a wnaethant y bedd yn ddiogel, ac a seliasant y maen, gyd â'r wiliadwriaeth.

## PEN. XXVIII.

1 Dangos adgyfodiad Christ i'r gwragedd gan Angel. 9 Christ ei hun yn ymddangos iddynt hwy. 11 Yr Arch-offeiriaid yn rhoddi arian i'r milwyr, i ddywedyd ddarfod ei ladratta ef allan o'r bedd. 16 Christ yn ymddangos iw ddiscyblion, 19 ac yn eu hanfon i fedyddio, ac i ddyscu yr holl genhedloedd.



*Mar. 16.1. Ioh. 20.1. ||Sabbathau.*

AC yn * niwedd y Sabbath, a hi yn dyddhau i'r dydd cyntaf o'r ||wythnos, daeth Mair Magdalen, a'r Fair arall, i edrych y bedd.

*||[illegible]*

2 Ac wele,|| bu daiar-gryn mawr: canys descynnodd Angel yr Arglwydd o'r nef, ac a ddaeth, ac a dreiglodd y maen oddi wrth y drws, ac a eisteddodd arno.

3 A'i wyneb-pryd oedd fel mellten, a'i wisc yn wen fel eira.

4 A rhag ei ofn ef y crynodd y ceidwaid, ac aethant megis yn feirw.

5 A'r Angel a attebodd, ac a ddywedodd wrth y gwragedd, Nac ofnwch: canys mi a wn mai ceisio 'r ydych yr Iesu, yr hwn a groes-hoeliwyd.

6 Nid yw efe ymma: canys cyfododd, megis y dywedodd. Deuwch, gwelwch y fan lle y gorweddodd yr Arglwydd.

7 Ac ewch ar frwst, a dywedwch i'w ddiscyblion gyfodi o hono o feirw. Ac wele, y mae efe yn myned o'ch blaen chwi i Galilæa: yno y gwelwch ef: wele, dywedais i chwi.

8 Ac wedi eu myned ymmaith ar frys oddi wrth y bedd, gyd ag ofn a llawenydd mawr, rhedasant i fynegi i'w ddiscyblion ef.

9 Ac fel yr oeddynt yn myned i fynegi i'w ddiscyblion, wele yr Iesu a gyfarfu â hwynt, gan ddywedyd, Henffych well. A hwy a ddaethant, ac a ymafaelasant yn ei draed ef, ac a'i haddolasant.

10 Yna y dywedodd yr Iesu wrthynt, Nac ofnwch: ewch, mynegwch i'm brodyr, fel yr elont i Galilæa, ac yno i'm gwelant i.

11 Ac wedi eu myned hwy, wele, rhai o'r wiliadwriaeth a ddaethant i'r ddinas, ac a fynegasant i'r Arch-offeiriaid yr hyn oll a wnaethid.

12 Ac wedi iddynt ymgasclu ynghyd gyd â'r Henuriaid, a chyd-ymgynghori, hwy a roesant ||arian lawer i'r mil-wyr,

*||swrn o arian.*

13 Gan ddywedyd, Dywedwch, ei ddiscyblion a ddaethant o hyd nôs, ac a'i lladrattasant ef a nyni yn cyscu.

14 Ac os clyw y rhaglaw hyn, ni||a'i perswadiwn ef, ac a'ch gwnawn chwi yn ddiofal.

*||a barwn iddo goelio.*

15 A hwy a gymmerasant yr arian, ac a wnaethant fel yr addyscwyd hwynt: || a thanwyd y gair hwn ym mhlith yr Iddewon, hyd y dydd heddyw.

*||a chyhoeddwyd.*

16 A'r un discybl ar ddeg a aethant i Galilæa, i'r mynydd lle 'r ordeiniasei 'r Iesu iddynt.

17 A phan welsant ef, hwy a'i haddolasant ef: ond rhai a amheuasant.

18 A'r Iesu a ddaeth, ac a lefarodd wrthynt, gan ddywedyd, Rhoddwyd i mi bôb awdurdod, yn y nef, ac ar y ddaiar.

19 *Ewch gan hynny, a dyscwch yr holl genhedloedd, gan eu bedyddio hwy yn enw 'r Tâd, a'r Mâb, a'r Yspryd glân:

**Mar. 16.15.*

20 Gan ddyscu iddynt gadw pôb peth a'r a orchymynnais i chwi: ac wele, yr ydwyf gyd â chwi bôb amser, hyd ddiwedd y byd. Amen.

YR



# YR EFENGYL YN ôl Sanct Marc.

## PENNOD. I.

1 Swydd Ioan Fedyddiwr. 9 Bedyddio yr Iesu, 12 a'i demtio. 14 Efe yn pregethu, 16 yn galw Petr, Andreas, Iaco, ac Ioan, 23 yn iachau dyn ac yspryd aflan ynddo, 29 a mam gwraig Petr, 32 a llawer o gleifion, 41 ac yn glanhau y gwahan-glwyfus.



Dechreu Efengyl Iesu Grist, fâb Duw:

2 Fel yr scrifennwyd yn y prophwydi, * Wele, yr ydwyf fi yn anfon fy nghennad o flaen dy wyneb, yr hwn a baratoa dy ffordd o'th flaen. [Malach.3.1.]

3 * Llef un yn llefain yn y diffaethwch, Paratowch ffordd yr Arglwydd, gwnewch yn uniawn ei lwybrau ef. [Esa.40.3. Luc.3.4. Ioh.1.23.]

4 Yr * oedd Ioan yn bedyddio yn y diffaethwch, ac yn pregethu bedydd edifeirwch, er maddeuant pechodau. [*Mat.3.1.]

5 Ac* aeth allan atto ef holl wlâd Iudæa, a'r Hierosolymitiaid, ac a'u bedyddiwyd oll ganddo yn afon yr Iorddonen, gan gyffessu eu pechodau. [Mat.3.5.]

6 Ac Ioan oedd wedi ei * wisco â blew camel, a gwregys croen ynghylch ei lwynau, ac yn bwytta locustiaid a mêl gwyllt. [Matt.3.4.]

7 Ac efe a bregethodd, gan ddywedyd, Y mae yn dyfod ar fy ôl i un cryfach nâ myfi, carrai escidiau yr hwn nid wyf fi deilwng i ymostwng, ac iw dattod.

8 Myfi yn wir a'ch bedyddiais chwi â dwfr, eithr efe a'ch bedyddia chwi â'r Yspryd glân.

9 * A bu yn y dyddiau hynny, ddyfod o'r Iesu o Nazareth yn Galilæa, ac efe a fedyddiwyd gan Ioan yn yr Iorddonen. [Matt.3.13.]

10 Ac yn ebrwydd wrth ddyfod i fynu o'r dwfr, efe a welodd y nefoedd yn agored, a'r Yspryd yn descyn arno, megys colommen.

11 A llef a ddaeth o'r nefoedd, Tydi yw fy anwyl fâb, yn yr hwn i'm bodlonwyd.

12 Ac* yn ebrwydd y gyrrodd yr Yspryd ef i'r diffaethwch. [Matt.4.1.]

13 Ac efe a fu yno yn y diffaethwch ddeugain nhiwrnod, yn ei demtio gan Satan: ac yr oedd efe gyd â'r gwylltfilod, a'r Angelion a weinasant iddo.

14 Ac yn ôl traddodi Ioan, yr * Iesu a ddaeth i Galilæa, gan bregethu Efengyl teyrnas Duw: [Matt.4.12.]

15 A dywedyd, Yr amser a gyflawnwyd, a theyrnas Dduw a nessaodd: edifarhewch, a chredwch yr Efengyl.

16 Ac* fel yr oedd efe yn rhodio wrth fôr Galilæa, efe a ganfu Simon ac Andreas ei frawd, yn bwrw rhwyd yn y môr: (canys pyscodwyr oeddynt.) [Matt.4.18.]

17 A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Deuwch ar fy ôl i, a gwnaf i'wch fôd yn byscod-wyr dynion.

18 Ac yn ebrwydd gan adel eu rhwydau, y canlynasant ef.

19 Ac wedi iddo fyned rhagddo ychydig oddi yno, efe a ganfu Iaco fâb Zebedæus, ac Ioan ei frawd ef, a hwy yn y llong yn cyweirio y rhwydau:

20 Ac yn y man efe a'u galwodd hwynt: a hwy a adawsant eu tâd Zebedæus yn y llong gyd â'r cyflog-ddynion, ac a aethant ar ei ôl ef.

21 * A hwy a aethant i mewn i Capernaum: ac yn ebrwydd ar y dydd Sabbath, wedi iddo fyned i mewn i'r Synagog, efe a athrawiaethodd. [Matt.4.13.]

22 A * synnasant wrth ei athrawiaeth ef: canys yr oedd efe yn eu dyscu hwy, megis un ac awdurdod ganddo, ac nid fel yr Scrifennyddion. [*Matt.7.28.]

23 * Ac yr oedd yn eu Synagog hwy ddŷn ac ynddo yspryd aflan, ac efe a lefodd, [*Luc.4.33.]

24 Gan ddywedyd, || Och, beth sydd i ni [a wnelom] â thi, Iesu o Nazareth? a ddaethost ti i'n difetha ni? mi a'th adwaen pwy ydwyt: Sanct Duw. [|| Paid.]

25 A'r Iesu a'i ceryddodd ef, gan ddywedyd, Taw, a dôs allan o honaw.

26 Yna wedi i'r yspryd aflan ei rwygo ef a gwaeddi â llef uchel, efe a ddaeth allan o honaw.

27 Ac fe a aeth ar bawb fraw, fel yr ymofynnasant yn eu mysc eu hun, gan ddywedyd, Beth yw hyn? pa athrawiaeth newydd yw hon, canys trwy awdurdod y mae efe yn gorchymmyn, ie yr yspyrdion aflan, a hwy yn ufyddhâu iddo?

28 Ac yn ebrwydd yr aeth sôn am dano tros yr holl wlâd o amgylch Galilæa.

29 Ac *yn y man wedi iddynt fyned allan o'r Synagog, hwy a aethant i dŷ Simon ac Andreas; gyd ag Iaco, ac Ioan.

30 Ac yr oedd || chwegr Simon yn gorwedd yn glaf o'r cryd: ac yn ebrwydd y dywedasant wrtho am dani hi.

31 Ac efe a ddaeth, ac a'i cododd hi i fynu, gan ymafyd yn ei llaw hi: a'r cryd a'i gadawodd hi yn y man, a hi a wasanaethodd arnynt hwy.

32 Ac wedi iddi hwyrhau, pan fachludodd yr haul, hwy a ddygasant atto yr holl rai drwg eu hwyl, a'r rhai cythreulig.

33 A'r holl ddinas oedd wedi ymgasclu wrth y drws.

34 Ac efe a iachaodd lawer o rai drwg eu hwyl o amryw heintiau, ac a fwriodd allan lawer o gythreuliaid, ac ni adawodd i'r cythreuliaid ddywedyd yr adwaenent ef.

35 A'r borau, yn blygeiniol iawn, wedi iddo godi, efe a aeth allan, ac a aeth i le anghyfannedd, ac yno y gweddiodd.

36 A Simon, a'r rhai oedd gyd ag ef, a'i dilynasant ef.

37 Ac wedi iddynt ei gael ef, hwy a ddywedasant wrtho, Y mae pawb yn dy geisio di.

38 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Awn i'r trefydd nessaf, fel y gallwyf bregethu yno hefyd: canys i hynny y daethym allan.

39 Ac yr oedd efe yn pregethu yn eu Synagogau hwynt, trwy holl Galilæa, ac yn bwrw allan gythreuliaid.

40 *A daeth atto ef [un] gwahan-glwyfus, gan ymbil ag ef, a gostwng ar ei liniau iddo, a dywedyd wrtho, Os mynni, ti a elli fy nglânhau.

41 A'r Iesu gan dosturio, a estynnodd ei law, ac a gyffyrddodd ag ef, ac a ddywedodd wrtho, Mynnaf, bydd lân.

42 Ac wedi iddo ddywedyd [hynny,] ymadawodd y gwahan-glwyf ag ef yn ebrwydd, a glanhawyd ef.

43 Ac wedi gorchymyn iddo yn gaeth, ef a'i hanfonodd ef ymmaith yn y man;

44 Ac a ddywedodd wrtho, Gwêl na ddywedych ddim wrth neb: eithr dôs ymmaith, dangos dy hun i'r offeiriad, ac offrymma dros dy lanhâd, y pethau a orchymynnodd Moses, er tystiolaeth iddynt hwy.

45 *Eithr efe a aeth ymmaith, ac a ddechreuodd gyhoeddi llawer, a thanu 'r gair ar lêd: fel na allei 'r Iesu fyned mwy yn amlwg i'r ddinas: eithr yr oedd efe allan mewn lleoedd anghyfannedd, ac o bôb parth y daethant atto ef.

PEN. II.

1 Christ yn iachau vn clâf or parlys, 14 yn galw Matthew o'r dollfa, 15 yn bwytta gydâ Phublicanod a phechaduriaid, 18 yn escusodi ei ddiscyblion am nad ymprydient, 23 ac am dynnu y tywys yd ar y dydd Sabboth.



A C efe * a aeth drachefn i Capernaum, wedi [rhai] dyddiau, a chlybuwyd ei fôd efe yn tŷ.

2 Ac yn y man, llawer a ymgasclasant ynghyd, hyd na annent, hyd yn oed yn y lleoedd ynghylch y drws: ac efe a bregethodd y gair iddynt hwy.

3 A daethant atto, gan ddwyn un claf o'r parlys, yr hwn a ddygid gan bedwar:

4 A chan na allent nesau atto gan y dyrfa, didoi y to a wnaethant lle 'r oedd efe: ac wedi iddynt dorri trwodd, hwy a ollyngasant i wared y gwely, yn yr hwn y gorweddei y claf o'r parlys.

5 A phan welodd yr Iesu eu ffydd hwynt, efe a ddywedodd wrth y claf o'r parlys, Ha fâb, maddeuwyd i ti dy bechodau.

6 Ac yr oedd rhai o'r Scrifennyddion yn eistedd yno, ac yn ymresymmu yn eu calonnau,

7 Beth a wna hwn fel hyn yn dywedyd cabledd? *pwy a all faddeu pechodau, onid Duw yn unig?

8 Ac yn ebrwydd, pan wybu 'r Iesu yn ei Yspryd eu bod hwy yn ymresymmu felly ynddynt eu hunain, efe a ddywedodd wrthynt, Pa ham yr ydych yn ymresymmu am y pethau hyn yn eich calonnau?

9 Pa un sydd hawsaf, ai dywedyd wrth y claf o'r parlys, Maddeuwyd i ti dy bechodau: ai dywedyd, Cyfod, a chymmer i fynu dy wely, a rhodia?

10 Eithr fel y gwypoch fôd gan fâb y dŷn awdurdod i faddeu pechodau ar y ddaiar, (eb efe wrth y claf o'r parlys,)

11 Wrthit ti yr wyf yn dywedyd, Cyfod, a chymmer i fynu dy wely, a dôs i'th dŷ.

12 Ac yn y man y cyfododd efe, ac y cymmerth i fynu ei wely, ac a aeth allan yn eu gwydd hwynt oll: hyd oni synnodd pawb, a gogoneddu Duw, gan ddywedyd, Ni welsom ni erioed fel hyn.

13 Ac efe a aeth allan drachefn wrth lan y môr: a'r holl dyrfa a ddaeth atto, ac efe a'u dyscodd hwynt.

14 Ac * efe yn myned heibio, efe a ganfu Lefi [fâb] Alphæus yn eistedd wrth y dollfa, ac a ddywedodd wrtho, Canlyn fi. Ac efe a gododd, ac a'i canlynodd ef.

15 A bu, a'r Iesu yn eistedd i fwytta yn ei dŷ ef, i lawer hefyd o Bublicanod a phechaduriaid eistedd gyd â'r Iesu, a'i ddiscyblion: canys llawer oeddynt, a hwy a'i canlynasent ef.

16 A phan welodd yr Scrifennyddion a'r Phariseaid ef yn bwytta gyd â'r Publicanod a'r pechaduriaid, hwy a ddywedasant wrth ei ddiscyblion ef, Pa ham y mae efe yn bwytta ac yn yfed gyd â'r Publicanod a'r pechaduriaid?

17 A'r Iesu pan glybu, a ddywedodd wrthynt, Y rhai sy iach nid rhaid iddynt wrth y meddyg, ond y rhai cleifion: ni ddaethym i alw y rhai cyfiawn, ond pechaduriaid i edifeirwch.

Marginal notes: Luc.4.38. || Neu, gwraig. Matt.4.23. Matt.4.18. Luc.5.12. Matt.4.23. *Matt.7.28. *Luc.4.33. || Taid. Luc.5.15. *Matt.9.1. *Io.14.4. Esa.43.25. *Matt.9.9.

Matt.9.4. Luc.5.32.

18 *A discyblion Joan a'r Pharisæaid oeddynt yn ymprydio: a hwy a ddaethant, ac a ddywedasant wrtho, Pa ham y mae discyblion Joan a'r Pharisæaid yn ymprydio, ond dy ddiscyblion di nid ydynt yn ymprydio?

19 A dywedodd yr Jesu wrthynt, A all plant yr stafell-briodas ymprydio, tra fyddo y priodas-fab gyd â hwynt? tra fyddo ganddynt y priodas-fab gyd â hwynt, ni allant ymprydio:

20 Eithr y dyddiau a ddaw pan ddyger y priodas-fab oddi arnynt, ac yna 'r ymprydiant, yn y dyddiau hynny.

21 Hefyd ni wnia neb ddernyn o frethyn newydd ar ddilledyn hên: os amgen, ei gyflawniad newydd ef a dynn oddi wrth yr hên, a gwaeth fydd y rhwyg.

22 Ac ni rydd neb win newydd mewn hên gostrelau: os amgen, y gwin newydd a ddryllia'r costrelau, a'r gwin a rêd allan, a'r costrelau a gollir: eithr gwin newydd sydd raid ei roi mewn costrelau newyddion.

Matt.12.1.

23 *A bu iddo fyned trwy'r ŷd ar y Sabbath: a'i ddiscyblion a ddechreuasant ymdaith tan dynnu'r tywys.

24 A'r Pharisæaid a ddywedasant wrtho, Wele pa ham y gwnânt ar y Sabbath yr hyn nid yw gyfreithlawn?

25 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Oni ddarllenasoch erioed beth a wnaeth Dafydd, pan oedd angen a chwant bwyd arno, efe a'r rhai oedd gyd ag ef?

26 Pa fodd yr aeth efe i dŷ Dduw tan Abiathar yr Arch-offeiriad, ac y bwyttaodd y || bara gosod, y rhai nid cyfreithlon eu bwytta, ond i'r offeiriaid yn unig, ac a'u rhoddes hefyd i'r rhai oedd gyd ag ef.

|| *torthau dangos.*

27 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Y Sabbath a wnaethpwyd er mwyn dŷn, ac nid dŷn er mwyn y Sabbath.

28 Am hynny y mae Mab y dŷn yn Arglwydd hefyd ar y Sabbath.

## PEN. III.

1 Christ yn iachau y llaw wedi gwywo, 10 a llawer o glefydau eraill: 11 Yn ceryddu yr ysprydion aflan: 13 Yn dewis ei ddeuddec Apostol: 22 yn atteb cabledd y rhai a ddywedent ei fôd ef yn bwrw allan gythreuliaid trwy Beelzebub: 31 ac yn dangos pwy ydyw ei frawd, a'i chwaer, a'i fam.

Matth. 12.9.



C * efe aeth i mewn drachefn i'r Synagog: ac yr oedd yno ddŷn a chanddo law wedi gwywo.

2 A hwy a'i gwiliasant ef, a iachae efe ef ar y dydd Sabbath, fel y cyhuddent ef.

3 Ac efe a ddywedodd wrth y dŷn yr oedd ganddo y llaw wedi gwywo, Cyfod i'r canol.

4 Ac efe a ddywedodd wrthynt hwy, Ai rhydd gwneuthur da ar y dydd Sabbath, ynteu gwneuthur drwg? cadw einioes, ai lladd? A hwy a dawsant â son.

5 Ac wedi edrych arnynt o amgylch yn ddigllon, gan dristau am galedrwydd eu calon hwynt, efe a ddywedodd wrth y dŷn, Estyn allan dy law. Ac efe a'i hestynnodd: a'i law ef a wnaed yn iach fel y llall.

6 A'r Pharisæaid a aethant allan, ac a ymgynghorasant yn ebrwydd gyd â'r Herodianiaid, yn ei erbyn ef, pa fodd y difethent ef.

7 A'r Jesu gyd â'i ddiscyblion a giliodd tu a'r môr, a lliaws mawr a'i canlynodd ef, o Galilæa, ac o Judæa,

8 Ac o Jerusalem, ac o Idumæa, ac o'r tu hwnt i'r Jorddonen: a'r rhai o gylch Tyrus a Sidon, lliaws mawr, pan glywsant gymmaint a wnaethei efe, a ddaethant atto.

9 Ac efe a ddywedodd wrth ei ddiscyblion am fôd llong yn barod iddo, oblegid y dyrfa, rhag iddynt ei wascu ef.

10 Canys efe a iachasei lawer, hyd oni phwysent arno, er mwyn cyffwrdd ag ef, cynnifer ac oedd a phlaau arnynt.

11 A'r ysprydion aflan pan welsant ef, a syrthiasant i lawr ger ei fron ef, ac a waeddasant, gan ddywedyd, Ti yw Mab Duw.

12 Yntef a orchymynnodd iddynt yn gaeth na chyhoeddent ef.

Matt.10.1.

13 Ac * efe a escynnodd i'r mynydd, ac a alwodd atto y rhai a fynnodd efe: a hwy a ddaethant atto.

14 Ac efe a ordeiniodd ddeuddeg, fel y byddent gyd ag ef, ac fel y danfonei efe hwynt i bregethu:

15 Ac i fôd ganddynt awdurdod i iachau clefydau, ac i fwrw allan gythreuliaid.

16 Ac i Simon y rhoddes efe enw Petr.

17 Ac Jaco [fâb] Zebedæus, ac Joan brawd Jaco: (ac efe a roddes iddynt henwau Boanerges, yr hyn yw, meibion y daran)

18 Ac Andreas, a Philip, a Bartholomæus, a Matthew, a Thomas, ac Jaco [fab] Alphæus, a Thadæus, a Simon y Cananead,

19 A Judas Iscariot, yr hwn hefyd a'i bradychodd ef. A hwy a ddaethant i dŷ.

20 A'r dyrfa a ymgynnullodd drachefn, fel na allent gymmaint a bwytta bara.

21 A phan glybu yr eiddo ef, hwy a aethant i'w ddal ef: canys dywedasant, y mae efe allan o'i bwyll.

Matt.9.3

22 A'r Scrifennyddion, y rhai a ddaethent i wared o Jerusalem, a ddywedasant fôd *Beelzebub ganddo, ac mai trwy benaeth y cythreuliaid yr oedd efe yn bwrw allan gythreuliaid.

23 Ac wedi iddo eu galw hwy atto, efe a ddywedodd wrthynt mewn damhegion, Pa fodd y gall Satan fwrw allan Satan?

24 Ac o bydd teyrnas wedi ymrannu yn ei herbyn ei hun, ni ddichon y deyrnas honno sefyll:

25 Ac o bydd tŷ wedi ymrannu yn ei erbyn ei hun, ni ddichon y tŷ hwnnw sefyll:

26 Ac os Satan a gyfyd yn ei erbyn ei hun, ac a fydd wedi ymrannu, ni all efe sefyll, eithr y mae iddo ddiwedd.

27 Ni

27 Ni ddichon neb fyned i mewn i dŷ y cadarn, ac yspeilio ei ddodrefn ef, oni bydd iddo yn gyntaf rwymo'r cadarn, ac yna yr yspeilia ei dŷ ef.

28 Yn *wir y dywedaf i chwi, y maddeuir pob pechod i feibion dynion, a pha gabledd bynnag a gablant.

29 Eithr yr hwn a gablo yn erbyn yr Yspryd glân, ni chaiff faddeuant yn dragywydd, ond y mae yn euog o farn dragywydd.

30 Am iddynt ddywedyd, Y mae yspryd aflan ganddo.

31 *Daeth gan hynny ei frodyr ef a'i fam: a chan sefyll allan hwy a anfonasant atto, gan ei alw ef.

32 A'r bobl oedd yn eistedd o'i amgylch, ac a ddywedasant wrtho, Wele y mae dy fam di a'th frodyr, allan yn dy geisio.

33 Ac efe a'u hattebodd hwynt, gan ddywedyd, Pwy yw fy mam i, neu fy mrodyr i?

34 Ac wedi iddo edrych oddi amgylch ar y rhai oedd yn eistedd yn ei gylch, efe a ddywedodd, Wele fy mam i, a'm brodyr i.

35 Canys pwy bynnag a wnelo ewyllys Duw, hwnnw yw fy mrawd i, a'm chwaer, a'm mam i.

## PEN. IIII.

1 Dammeg yr hau-wr, 14 a'i ddeongliad. 21 Rhaid i ni gyfrannu goleuni ein gwybodaeth i eraill. 26 Dammeg yr hâd yn tyfu yn ddiarwybod, 30 a'r gronyn mwstard. 35 Christ yn gostegu y dymestl ar y mor.



AC efe *a ddechreuodd drachefn athrawiaethu yn ymyl y môr: a thyrfa fawr a ymgasclodd atto, hyd oni bu iddo fyned i'r llong, ac eistedd ar y môr: a'r holl dyrfa oedd wrth y môr ar y tir.

2 Ac efe a ddyscodd iddynt lawer ar ddammhegion, ac a ddywedodd wrthynt yn ei ddysceidiaeth ef,

3 Gwrandewch, Wele, hau-wr a aeth allan i hau:

4 A darfu wrth hau, i beth syrthio ar fin y ffordd, ac ehediaid yr awyr a ddaethant, ag a'i difasant.

5 A pheth a syrthiodd ar greig-le, lle ni chafodd fawr ddaiar: ac yn y fan yr eginodd, am nad oedd iddo ddyfnder daiar.

6 A phan gododd yr haul y poethwyd ef, ac am nad oedd gwreiddyn iddo, efe a wywodd.

7 A pheth a syrthiodd ym-mhlith drain: a'r drain a dyfasant, ac a'i tagasant ef, ac ni ddug ffrwyth.

8 A pheth arall a syrthiodd mewn tir da, ac a roddes ffrwyth tyfadwy a chynnyddol, ac a ddug un ddeg ar hugain, ac un driugain, ac un gant.

9 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Y nêb sydd ganddo glustiau i wrando, gwrandawed.

10 A phan oedd efe wrtho ei hun, y rhai oedd yn ei gylch ef, gŷd â'r deuddeg, a ofynnasant iddo am y ddammeg.

11 Ac efe a ddywedodd wrthynt, I chwi y rhoddwyd gwybod dirgelwch teyrnas Duw: eithr i'r rhai sy allan, ar ddamhegion y gwneir pôb peth:

12 *Fel yn gweled y gwelant, ac na chanfyddant: ac yn clywed y clywant, ac ni ddeallant: rhag iddynt ddychwelyd, a maddeu iddynt eu pechodau. (*Mat.13.14.)

13 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Oni wyddoch chwi y ddammeg hon? a pha fodd y gwybyddwch yr holl damhegion?

14 Yr hau-wr, sydd yn hau y gair:

15 A'r rhai hyn yw y rhai ar fin y ffordd, lle'r heuir y gair, ac wedi iddynt ei glywed, y mae Satan yn dyfod yn ebrwydd, ac yn dwyn ymmaith y gair a hauwyd yn eu calonnau hwynt.

16 A'r rhai hyn yr un ffunyd yw y rhai a heuir ar y creigle: y rhai wedi clywed y gair, sydd yn ebrwydd yn ei dderbyn ef yn llawen:

17 Ac nid oes ganddynt wreiddyn ynddynt eu hunain, eithr tros amser y maent: yna pan ddêl blinder, neu erlid, o achos y gair, yn y man y rhwystrir hwynt.

18 A'r rhai hyn yw y rhai a hauwyd ym-mysc y drain, y rhai a wrandawant y gair,

19 Ac y mae gofalon y bŷd hwn, a *hudoliaeth golud, a chwantau am bethau eraill, yn dyfod i mewn, ac yn tagu'r gair, a myned y mae yn ddi-ffrwyth. (*1.Tim.6.17.)

20 A'r rhai hyn yw y rhai a hauwyd mewn tir da, y rhai sydd yn gwrando y gair, ac yn ei dderbyn, ac yn dwyn ffrwyth, un ddeg ar hugain, ac un driugain, ac un gant.

21 *Ac efe a ddywedodd wrthynt, a ddaw canwyll i'w dodi tan lestr, neu tan wely? ac nid i'w gosod ar ganhwyll-bren. (*Mat.5.15.)

22 *Canys nid oes dim cuddiedig a'r nis amlygir, ac ni bu ddim dirgel, ond fel y delei i eglurdab. (*Mat.10.26.)

23 Od oes gan neb glustiau i wrando, gwrandawed.

24 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Edrychwch beth a wrandawoch: â *pha fesur y mesuroch, y mesurir i chwithau, a chwanegir i chwi y rhai a wrandewch. (*Mat.7.2.)

25 *Canys yr hwn y mae ganddo, y rhoddir iddo: a'r hwn nid oes ganddo, ie yr hyn sydd ganddo a ddygir oddi arno. (*Mat.13.12.)

26 Ac efe a ddywedodd, Felly y mae teyrnas Duw, fel pe bwriai ddyn hâd i'r ddaiar:

27 A chyscu, a chodi nôs a dydd, a'r hâd yn egino, ac yn tyfu, y modd nis gŵyr efe.

28 Canys y ddaiar a ddwg ffrwyth o honi ei hun, yn gyntaf yr eginyn, yn ôl hynny y dywysen, yna'r ŷd yn llawn yn y dywysen.

29 A phan ymddangoso 'r ffrwyth, yn ebrwydd y rhydd efe y crymman ynddo, am ddyfod y cynhayaf.

*Mat 13.31. 30 Ac efe a ddywedodd, J *ba beth y cyffelybem deyrnas Dduw: neu ar ba ddammeg y gwnaem gyffelybrwydd o honi?

31 Megis gronyn o hâd mwstard ydyw: yr hwn pan hauer yn y ddaiar, sydd leiaf o'r holl hadau sydd ar y ddaiar.

32 Eithr wedi 'r hauer, y mae yn tyfu, ac yn myned yn fwy nâ'r holl lysiau, ac efe a ddwg ganghennau mawrion, fel y gallo ehediaid yr awyr nythu tan ei gyscod ef.

*Mat.13.34. 33 *Ac â chyfryw ddamhegion lawer y traethodd efe iddynt y gair, hyd y gallent ei wrando.

34 Ond heb ddammeg ni lefarodd wrthynt: ac o'r neilltu i'w ddiscyblion efe a eglurodd bôb peth.

*Mat.8.23. 35 Ac efe a ddywedodd wrthynt *y dydd hwnnw, wedi ei hwyrhau hi, Awn trosodd i'r tu draw.

36 Ac wedi iddynt ollwng ymmaith y dyrfa, hwy a'i cymmerasant ef, fel yr oedd yn y llong: ac yr oedd hefyd longau eraill gyd ag ef.

37 Ac fe a gyfodes tymestl fawr o wynt, a'r tonnau a daflasant i'r llong, hyd onid oedd hi yn llawn weithian.

38 Ac yr oedd efe yn y pen ôl i'r llong, yn cyscu ar obennydd: a hwy a'i deffroesant ef, ac a ddywedasant wrtho, Athro, ai difatter gennit ein colli ni?

39 Ac efe a gododd i fynu, ac a geryddodd y gwynt, ac a ddywedodd wrth y môr, Gostega, distawa. A'r gwynt a ostegodd, a bu tawelwch mawr.

40 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pa ham yr ydych mor ofnog? pa fodd nad oes gennych ffydd?

41 Eithr hwy a ofnasant yn ddirfawr, ac a ddywedasant wrth ei gilydd, Pwy yw hwn, gan fôd y gwynt a'r môr yn ufyddhau iddo?

## PEN. V.

1 Crist yn gwaredu y dyn yr oedd ynddo leng o gythreuliaid: 13 Hwythau yn myned i'r môch. 25 Y mae efe yn iachau y wraig o'r difer-lif gwaed, 35 ac yn cyfodi merch Iairus o farw i fyw.

*Mat.8.28.  *Hwy a ddaethant i'r tu hwnt i'r môr, i wlâd y Gadareniaid.

2 Ac ar ei ddyfodiad ef allan o'r llong, yn y man cyfarfu ag ef o blith y beddau, ddŷn ac yspryd aflan ynddo,

3 Yr hwn oedd a'i drigfan ym-mhlith y beddau, ac ni allei nêb, ie â chadwynau ei rwymo ef:

4 O herwydd ei rwymo ef yn fynych â llyffetheiriau, ac â chadwynau, a darnio o hono 'r cadwynau, a dryllio y llyffetheiriau: ac ni allei nêb ei ddofi ef.

5 Ac yn oestad nôs a dydd yr oedd efe yn llefain yn y mynyddoedd, ac ym-mhlith y beddau, ac yn ei dorri ei hun â cherrig.

6 Ond pan ganfu efe yr Iesu o hir-bell, efe a redodd, ac a'i haddolodd ef:

7 A chan waeddi â llef uchel, efe a ddywedodd, Beth sydd i mi [a wnelwyf] â thi Iesu Fâb y Duw goruchaf? yr ydwyf yn dy dynghedu trwy Dduw, na phoenech fi.

8 (Canys dywedasei wrtho, yspryd aflân, dôs allan o'r dŷn.)

9 Ac efe a ofynnodd iddo, Beth yw dy enw? Yntef a attebodd gan ddywedyd, Lleng yw fy enw: am fôd llawer o honom.

10 Ac efe a fawr ymbiliodd ag ef, na yrrei efe hwynt allan o'r wlâd.

11 Ond yr oedd yno ar y mynyddoedd genfaint fawr o foch yn pori.

12 A'r holl gythreuliaid a attolygasant iddo, gan ddywedyd, Danfon ni i'r moch, fel y gallom fyned i mewn iddynt.

13 Ac yn y man y caniattaodd yr Iesu iddynt. A'r ysprydion aflan, wedi myned allan, aethant i mewn i'r moch: a rhuthrodd y genfaint tros y dibyn i'r môr, (ac ynghylch dwy-fil oeddynt) ac a'u boddwyd yn y môr.

14 A'r rhai a borthent y moch a ffoesant, ac a fynegasant y peth yn y ddinas, ac yn y wlâd. A hwy a aethant allan i weled beth oedd hyn a wnaethid.

15 A hwy a ddaethant at yr Iesu, ac a welsant y cythreulig, yr hwn y buasei y lleng ynddo, yn eistedd, ac yn ei ddillad, ac yn ei iawn bwyll, ac a ofnasant.

16 A'r rhai a welsant a fynegasant iddynt, pa fodd y buasei i'r cythreulig, ac am y moch.

17 A dechreuasant ddymuno arno ef fyned ymmaith o'u goror hwynt.

18 Ac efe yn myned i'r llong, yr hwn y buasei y cythrael ynddo, a ddymunodd arno gael bôd gyd ag ef.

19 Ond yr Iesu ni adawodd iddo, eithr dywedodd wrtho, Dôs i'th dŷ at yr eiddot, a mynega iddynt pa faint a wnaeth yr Arglwydd erot, ac iddo drugarhau wrthit.

20 Ac efe a aeth ymmaith, ac a ddechreuodd gyhoeddi trwy Decapolis, pa bethau eu maint a wnaethei 'r Iesu iddo: a phawb a ryfeddasant.

21 Ac wedi i'r Iesu drachefn fyned mewn llong i'r lan arall, ymgasclodd tyrfa fawr atto: ac yr oedd efe wrth y môr.

*Mat.9.18. 22 *Ac wele, un o bennaethiaid y Synagog a ddaeth, a'i enw Iairus: a phan ei gwelodd, efe a syrthiodd wrth ei draed ef.

23 Ac efe a fawr ymbiliodd ag ef, gan ddywedyd, Y mae fy merch fechan ar drangc: [attolwg i ti] ddyfod, a dodi dy ddwylo arni, fel yr iachaer hi, a byw fydd.

24 A ['r Iesu] a aeth gyd ag ef: a thyrfa fawr a'i canlynodd ef, ac a'i gwascasant ef.

25 A rhyw wraig, yr hon a fuasei mewn difer-lif gwaed ddeuddeng mlynedd,

26 Ac a oddefasei lawer gan lawer oedd o feddygon, ac a dreuliasei gymmaint ac oedd ar ei helw, ac ni chawsei ddim llessâd, eithr yn hytrach myned waeth-waeth.

27 Pan glybu hi am yr Iesu, hi a ddaeth yn y dyrfa o'r tu ôl, ac a gyffyrddodd â'i wisc ef.

28 Canys hi a ddywedasei, Os cyffyrddaf â'i ddillad ef, iach fyddaf.

29 Ac yn ebrwydd y sychodd ffynhonnell ei gwaed hi: a hi a wybu yn ei chorph ddarfod ei hiachau o'r pla.

30 Ac yn y fan, yr Iesu yn gwybod ynddo ei hun fyned rhinwedd allan o honaw, efe a drodd yn y dyrfa, ac a ddywedodd, Pwy a gyffyrddodd â'm dillad?

31 A'i ddiscyblion a ddywedasant wrtho, Ti a weli y dyrfa yn dy wascu, ac a ddywedi di, Pwy a'm cyffyrddodd?

32 Ac yntef a edrychodd o amgylch, i weled yr hon a wnaethei hyn.

33 Ond y wraig, gan ofni a chrynu, yn gwybod beth a wnaethid ynddi, a ddaeth ac a syrthiodd ger ei fron ef, ac a ddywedodd iddo 'r holl wirionedd.

34 Ac efe a ddywedodd wrthi, Ha ferch, dy ffydd a'th iachaodd, dôs mewn heddwch, a bydd iach o'th bla.

35 Ac efe etto yn llefaru, daeth rhai o[dŷ] Pennaeth y Synagog, gan ddywedyd, Bu farw dy ferch: i ba beth etto 'r aflonyddi 'r Athro?

36 A'r Iesu, yn ebrwydd wedi clywed y gair a ddywedasid, a ddywedodd wrth bennaeth y Synagog, Nac ofna, crêd yn unig.

37 Ac ni adawodd efe nêb i'w ddilyn, ond Petr, ac Iaco, ac Ioan brawd Iaco.

38 Ac efe a ddaeth i dŷ pênaeth y Synagog, ac a ganfu y cynnwrf, a'r[rhai] oedd yn wylo, ac yn ochain llawer.

39 Ac wedi iddo fyned i mewn, efe a ddywedodd wrthynt, paham y gwnewch gynnwrf, ac yr wylwch? ni bu farw yr eneth, eithr cyscu y mae.

40 A hwy a'i gwatwarasant ef. Ond efe, gwedi bwrw pawb allan, a gymmerth dâd yr eneth a'i mam, a'r rhai oedd gyd ag ef, ac a aeth i mewn lle 'r oedd yr eneth yn gorwedd.

41 Ac wedi ymaflyd yn llaw 'r eneth, efe a ddywedodd wrthi, Talitha cumi: yr hyn o'i gyfieithu yw, Yr eneth, (yr wyf yn dywedyd wrthit) cyfod.

42 Ac yn y fan y cyfodes yr eneth, ac a rodiodd: canys deuddeng-mlwydd oed ydoedd hi: a synnu a wnaeth arnynt â syndod mawr.

43 Ac efe a orchymynnodd iddynt yn gaeth, na chai nêb wybod hyn: ac a ddywedodd am roddi[peth] iddi i'w fwytta.

## PEN. VI.

1 Diystyru Christ gan ei wlad-wyr ei hun. 7 Y mae efe yn rhoddi i'r deuddec awdurdod ar ysprydion aflan. 14 Amryw dyb am Grist. 18 Torri pen Ioan Fedyddiwr, 29 a'i gladdu. 30 Yr Apostolion yn dychwelyd o bregethu. 34 Gwyrthiau y pum torth bara a'r ddau byscodyn. 45 Christ yn rhodio ar y môr: 53 ac yn iachau pawb a gyffyrddai ag ef.



C * efe a aeth ymmaith oddi yno, ac a ddaeth i'w wlâd ei hun: a'i ddiscyblion a'i canlynasant ef. (*Matt.13.54.)

2 Ac wedi dyfod y Sabbath, efe a ddechreuodd athrawiaethu yn y synagog: a synnu a wnaeth llawer a'i clywsant, gan ddywedyd, O ba le y daeth y pethau hyn i hwn? a pha ddoethineb yw hon a roed iddo, fel y gwneid y cyfryw nerthoedd trwy ei ddwylo ef?

3 Ond hwn yw'r saer, mâb Mair, brawd Iaco,, a Ioses, a Iudas, a Simon? ac onid yw ei chwiorydd ef ymma yn ein plith ni? A hwy a rwystrwyd o'i blegid ef.

4 Ond yr Iesu a ddywedodd wrthynt, nad * yw prophwyd yn ddibris ond yn ei wlâd ei hun, ac ym-mhlith ei genedl ei hun, ac yn ei dŷ ei hun. (Ioan 4.44.)

5 Ac ni allei efe yno wneuthyd dim gwyrthiau, ond rhoi ei ddwylo ar ychydig gleifion, a'i hiachau hwynt.

6 Ac efe a ryfeddodd o herwydd eu hangrhediniaeth: *ac a aeth i'r pentrefi oddi amgylch, gan athrawiaethu. (*Matt.9.35. luc.13.22.)

7 Ac * efe a alwodd y deuddeg, ac a ddechreuodd eu danfon hwynt bôb yn ddau a dau, ac a roddes iddynt awdurdod ar ysprydion aflan, (*Matt.10.1.)

8 Ac a orchymynnodd iddynt na chymmerent ddim i'r daith, ond llaw-ffon yn unig: nac ysgreppan, na bara, nac arian yn eu pyrsau.

9 Eithr eu bôd a sandalau am eu traed, ac na wiscent ddwy bais.

10 Ac efe a ddywedodd wrthynt, I ba le bynnac yr eloch i mewn i dŷ, arhoswch yno hyd onid eloch ymmaith oddi yno.

11 A * pha rai bynnag ni'ch derbyniant, ac ni'ch gwrandawant, pan eloch oddi yno, *escydwch y llwch a [fyddo] tan eich traed, yn dystiolaeth iddynt. Yn wir meddaf i chwi, y bydd esmwythach i Sodoma a Gomorrha, yn nydd y farn, nac i'r ddinas honno. (*Mat.10.14. *Act.13.51.)

12 A hwy a aethant allan, ac a bregethasant ar iddynt edifarhau.

13 *Ac a fwriasant allan lawer o gythreuliaid, ac a eliasant ag olew lawer o gleifion, ac a'u hiachasant. (*Iac.5.14.)

14 A'r * brenin Herod a glybu, (canys cyhoedd ydoedd ei enw ef) ac efe a ddywedodd, Ioan Fedyddiwr a gyfodes o feirw, ac am hynny y mae nerthoedd yn gweithio ynddo ef. (*Mat.14.1.)

15 Eraill a ddywedasant, Mai Elias yw: ac eraill a ddywedasant, Mai prophwyd yw, neu megis un o'r prophwydi.

16 Ond *Herod pan glybu, a ddywedodd, Mai 'r Ioan a dorrais i ei ben yw hwn, efe a gyfodes o feirw. (*Luc.3.19.)

17 Canys yr Herod hwn a ddanfonasai, ac a ddaliasai Ioan, ac a'i rhwymasai ef yn y carchar, o achos Herodias gwraig Philip ei frawd, am iddo ei phriodi hi.

18 Canys Joan a ddywedasei wrth Herod, *Nid cyfreithlawn i ti gael gwraig dy frawd.

*Leuit.18.16.

19 Ond Herodias a ddaliodd wg iddo, ac a chwennychodd ei ladd ef, ac ni's gallodd.

20 Canys Herod oedd yn ofni Joan, gan wybod ei fod ef yn wr cyfiawn, ac yn sanctaidd, ac a'i parchei ef: ac wedi iddo ei glywed ef, efe a wnai lawer o bethau, ac a'i gwrandawai ef yn ewyllysgar.

21 Ac wedi dyfod diwrnod cyfaddas, pan wnaeth Herod, ar ei ddydd genedigaeth, swpper i'w benaethiaid, a'i flaenoriaid, a goreugwyr Galilæa:

22 Ac wedi i ferch Herodias honno ddyfod i mewn, a dawnsio, a boddhau Herod, a'r rhai oedd yn eistedd gydag ef, y brenin a ddywedodd wrth y llangces, Gofyn i mi y peth a fynnech, ac mi a'i rhoddaf i ti.

23 A efe a dyngodd iddi, Beth bynnag a ofynnech i mi, mi a'i rhoddaf i ti, hyd hanner fy nheyrnas.

24 A hithau a aeth allan, ac a ddywedodd wrth ei mam, Pa beth a ofynnaf? A hithau a ddywedodd, Pen Joan Fedyddiwr.

25 Ac yn y fan hi a aeth i mewn ar frys at y brenin, ac a ofynnodd, gan ddywedyd, Mi a fynnwn i ti roi i mi allan o law, ar ddyscl, ben Joan Fedyddiwr.

26 A'r brenin yn drist iawn, ni chwennychei ei bwrw hi heibio, o herwydd y llwon, a'r rhai oedd yn eistedd gyd ag ef.

27 Ac yn y man y brenin a ddanfonodd ddienyddwr, ac a orchymynnodd ddwyn ei ben ef.

28 Ac yntef a aeth ac a dorrodd ei ben ef yn y carchar, ac a ddug ei ben ef ar ddyscl, ac a'i rhoddes i'r llangces, a'r llangces a'i rhoddes ef i'w mam.

29 A phan glybu ei ddiscyblion ef, hwy a ddaethant, ac a gymmerasant ei gorph ef, ac a'i dodasant mewn bedd.

30 *A'r Apostolion a ymgasclasant at yr Iesu, ac a fynegasant iddo yr holl bethau, y rhai a wnaethent || hefyd, a'r rhai a athrawiaethasent.

*Luc.9.10.

|| ynghyd.

31 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Deuwch eich hunain i le anghyfannedd o'r neilltu, a gorphwyswch encyd. Canys llawer oedd yn dyfod, ac yn myned, fel nad oeddynt yn cael ennyd, cymmaint ac i fwytta.

32 *A hwy a aethant i le anghyfannedd, mewn llong o'r neilltu.

*Matt.14.13.

33 A'r bobloedd a'u gwelsant hwy yn myned ymmaith, a llawer a'i hadnabuant ef, ac a redasant yno ar draed o'r holl ddinasoedd, ac a'u rhag-flaenasant hwynt, ac a ymgasclasant atto ef.

34 *A'r Iesu wedi myned allan a welodd dyrfa fawr, ac a dosturiodd wrthynt, am eu bod fel defaid heb ganddynt fugail: ac a ddechreuodd ddyscu iddynt lawer o bethau.

*Mat.6.39.

35 Ac yna *wedi ei myned hi yn llawer o'r dydd, y daeth ei ddiscyblion atto ef gan ddywedyd, Y lle sydd anial, ac weithian y mae hi yn llawer o'r dydd.

*Matt.14.15.

36 Gollwng hwynt ymmaith, fel yr elont i'r wlad oddi amgylch, ac i'r pentrefi, ac y prynont iddynt eu hunain fara: canys nid oes ganddynt ddim i'w fwytta.

37 Ond efe a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt, Rhoddwch chwi iddynt [beth] i'w fwytta. A hwy a ddywedasant wrtho, A awn ni a phrynu gwerth deu-can ceiniog o fara, a'i roddi iddynt i'w fwytta?

38 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pa sawl torth sydd gennych? ewch ac edrychwch. Ac wedi iddynt wybod, hwy a ddywedasant, Pump, a dau byscodyn.

39 Ac efe a orchymynnodd iddynt beri i bawb eistedd yn fyrddeidiau, ar y glaswellt.

40 A hwy a eisteddasant yn finteioedd a minteioedd, o fesur cannoedd, ac o fesur dêg a deugeiniau.

41 Ac wedi cymmeryd y pum torth a'r ddau byscodyn, gan edrych i fynu tu a'r nef, efe a fendithiodd, ac a dorrodd y bara, ac a'i rhoddes at ei ddiscyblion, i'w gosod ger eu bronnau hwynt: a'r ddau byscodyn a rannodd efe rhyngddynt oll.

42 A hwy oll a fwyttasant, ac a gawsant ddigon.

43 A chodasant ddeuddeg basceidaid yn llawn o'r briw-fwyd, ac o'r pyscod.

44 A'r rhai a fwyttasent o'r torthau, oedd ynghylch pum-mil o wyr.

45 Ac yn y man, efe a gymmhellodd ei ddiscyblion i fyned i'r llong, a myned o'r blaen i'r lan arall || i Bethsaida, tra fyddei efe yn gollwng ymmaith y bobl.

|| ar gyfer Bethsaida.

46 Ac wedi iddo eu danfon hwynt ymmaith, efe a aeth i'r mynydd i weddio.

47 A *phan aeth hi yn hwyr, yr oedd y llong ar ganol y môr, ac yntef ei hun ar y tir.

*Matt.14.23.

48 Ac efe a'u gwelei hwynt yn flin arnynt yn rhwyfo, (canys y gwynt oedd yn eu herbyn:) ac ynghylch y bedwaredd wylfa o'r nôs, efe a ddaeth attynt, gan rodio ar y môr, ac a fynnasai fyned heibio iddynt.

49 Ond pan welsant hwy ef yn rhodio ar y môr, hwy a dybiasant mai drychiolaeth ydoedd: a hwy a waeddasant.

50 (Canys hwynt oll a'i gwelsant ef, ac a ddychrynasant) ac yn y man yr ymddiddanodd efe â hwynt, ac y dywedodd wrthynt, Cymmerwch gyssur, myfi yw, nac ofnwch.

51 Ac efe a aeth i fynu attynt i'r llong, a'r gwynt a dawelodd: a hwy a synnasant ynddynt eu hunain yn fwy o lawer, ac a ryfeddasant.

52 Oblegid ni ddeallasant am y torthau hynny: canys yr oedd eu calon hwynt wedi caledu.

53 Ac *wedi iddynt ddyfod trosodd, hwy a ddaethant i dir Genesareth, ac a laniasant.

*Matt.14.34.

54 Ac wedi eu myned hwynt allan o'r llong, hwy a'i hadnabuant ef yn ebrwydd.

55 Ac wedi iddynt redeg trwy gwbl

o'r

o'r gorur hwnnw, hwy a ddechreuasant ddwyn oddi amgylch mewn gwelâu rai cleifion, pa le bynnag y clywent ei fod ef.

56 Ac i ba le bynnag yr elai efe i mewn i bentrefi, neu ddinasoedd, neu || wlâd, hwy a osodent y cleifion yn yr heolydd, ac a attolygent iddo gael o honynt gyffwrdd cymmaint ac ag ymyl ei wisc ef: a chynnifer ac a gyffyrddasant ag ef, a iachawyd.

PEN. VII.

1 Y Phariſæaid yn beio ar y diſcyblion, am fwytta heb ymolchi: 8 yn torri gorchymmyn Duw trwy draddodiadau dynion. 14 Nad yw bwyd yn halogi dyn. 24 Chriſt yn iachâu merch y wraig o Syrophenicia, oddiwrth yſpryd aflan, 31 ac vn oedd fyddar, ac ag attal dywedyd arno.



Yna yr * ymgasclodd atto 'r Phariſæaid, a rhai o'r Scrifennyddion, a ddaethei o Jeruſalem.

2 A phan welsant rai o'i ddiſcyblion ef â dwylo cyffredin (hynny ydyw heb olchi) yn bwytta bwyd, hwy a argyoeddasant.

3 Canys y Phariſæaid, a'r holl Iddewon, oni bydd iddynt olchi eu dwylo yn fynych, ni fwyttânt, gan ddal traddodiad yr hynafiaid.

4 A [phan ddelont] o'r farchnad, oni bydd iddynt ymolchi, ni fwyttânt. A llawer o bethau eraill y sydd, y rhai a gymmerasant iw cadw, [megis] golchi cwppanau, ac ystenau, ac efyddennau, a || byrddau.

5 Yna y gofynnodd y Phariſæaid a'r Scrifennyddion iddo, Pa ham nad yw dy ddiſcyblion di yn rhodio yn ôl traddodiad yr hynafiaid, ond bwytta eu bwyd a dwylo heb olchi?

6 Ond efe a attebodd ac a ddywedodd wrthynt, Da y prophwydodd Esaias am danoch chwi ragrithwŷr: fel y mae yn scrifennedig, Y * mae y bobl hyn yn fy anrhydeddu â'u gwefusau, ond eu calon sydd bell oddi wrthif.

7 Eithr ofer y maent yn fy addoli, gan ddyscu [yn lle] dysceidiaeth, orchymynion dynion.

8 Canys gan adel heibio orchymmyn Duw, yr ydych yn dal traddodiad dynion, sef golchiadau ystenau a chwppanau: a llawer eraill o'r cyffelyb bethau yr ydych yn eu gwneuthur.

9 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Gwych yr ydych yn rhoi heibio orchymmyn Duw, fel y cadwoch eich traddodiad eich hunain.

10 Canys Moses a ddywedodd, Anrhydedda dy dâd a'th fam: a'r hwn a felldigo dâd neu fam, bydded farw 'r farwolaeth.

11 Ac meddwch chwithau, Os dywed dŷn wrth ei dâd neu ei fam, * Corban, (hynny yw, rhodd) trwy ba beth bynnag y ceit lês oddi wrthi fi, [difai fydd.]

12 Ac nid ydych mwyach yn gadel iddo wneuthur dim i'w dâd neu i'w fam:

13 Gan ddirymmu gair Duw â'ch traddodiad eich hunain, yr hwn a draddodasoch chwi: a llawer o gyffelyb bethau a hynny yr ydych yn eu gwneuthur.

14 A * chwedi galw atto yr holl dyrfa, efe a ddywedodd wrthynt, Gwrandewch chwi oll arnaf, a deellwch.

15 Nid oes dim allan o ddŷn yn myned i mewn iddo, a ddichon ei halogi ef: eithr y pethau sy yn dyfod allan o honaw, y rhai hynny yw 'r pethau sy yn halogi dŷn.

16 Od oes gan neb glustiau i wrando, gwrandawed.

17 A phan ddaeth efe i mewn i'r tŷ, oddi wrth y bobl, ei ddiſcyblion a ofynnasant iddo am y ddammeg.

18 Yntef a ddywedodd wrthynt, Ydych chwithau hefyd mor ddi-ddeall? oni wyddoch am bôb peth oddi allan a êl i mewn i ddŷn, na all hynny ei halogi ef?

19 Oblegid nid yw yn myned i'w galon ef, ond i'r bol: ac yn myned allan i'r gau-dŷ, gan garthu yr holl fwydydd.

20 Ac efe a ddywedodd, yr hyn sydd yn dyfod allan o ddŷn, hynny sydd yn halogi dŷn.

21 * Canys oddi mewn, allan o galon dynion y daw drwg feddyliau, torr-priodasau, putteindra, llofruddiaeth,

22 * Lledradau, cybydd-dod, drygioni, twyll, anlladrwydd, drwg lygad, cabledd, balchder, ynfydrwydd.

23 Yr holl ddrwg bethau hyn sydd yn dyfod oddi mewn, ac yn halogi dŷn.

24 Ac * efe a gyfodes oddi yno, ac a aeth i gyffiniau Tyrus a Sidon: ac a aeth i mewn i dŷ, ac ni fynnasei i nêb wybod: eithr ni allei efe fod yn guddiedig.

25 Canys pan glybu gwraig, yr hon yr oedd ei merch fechan ac yspryd aflan ynddi, sôn am dano, hi a ddaeth, ac a syrthiodd wrth ei draed ef.

26 (A Groeges oedd y wraig, Syrophæniciad o genedl) a hi a attolygodd iddo fwrw 'r cythrael allan o'i merch.

27 A'r Iesu a ddywedodd wrthi, Gâd yn gyntaf i'r plant gael eu digoni: canys nid cymmwys yw cymmeryd bara 'r plant, a'i daflu i'r cenawon cŵn.

28 Hithau a attebodd, ac a ddywedodd wrtho, Gwir o Arglwydd: ac etto y mae y cena-

Margin notes: || Gwlâd. * Math. 15.1. || Gyfr. || ffaidd. * Matt. 15.2. || Gwelâu. * Esai. 29.13. Matth. 15.8. * Matt. 14.31. * Matth. 15.5. * Matt. 15.10. * Gen. 6.5. & 8.21. * Matt. 15.19. * Matt. 15.21.

cenawon tan y bwrdd, yn bwytta o friwsion y plant.

29 Ac efe a ddywedodd wrthi, Am y gair hwnnw dôs ymmaith: aeth y cythrael allan o'th ferch.

30 Ac wedi iddi fyned i'w thŷ, hi a gafodd fyned o'r cythrael allan, a'i merch wedi ei bwrw ar y gwely.

Yr Efengyl y xij Sul gwedi 'r Drindod.

31 ☞ Ac efe a aeth drachefn ymmaith o dueddau Tyrus a Sidon, ac a ddaeth hyd fôr Galilæa, trwy ganol tersynau Decapolis.

32 A hwy a ddygasant atto un byddar ag attal dywedyd arno, ac a attolygasant iddo ddodi ei law arno ef.

33 Ac wedi iddo ei gymmeryd ef o'r nailltu allan o'r dyrfa, efe a estynnodd ei fysedd yn ei glustiau ef, ac wedi iddo boeri, efe a gyffyrddodd â'i dafod ef:

34 A chan edrych tua 'r nef, efe a ocheneidiodd, ac a ddywedodd wrtho, Ephphatha, hynny yw, ymagor.

35 Ac yn ebrwydd ei glustiau ef a agorwyd, a rhwym ei dafod a ddattodwyd, ac efe a lefarodd yn eglur.

36 Ac efe a waharddodd iddynt ddywedyd i neb: ond pa mwyaf y gwaharddodd efe iddynt, mwy o lawer y cyhoeddasant.

37 A synnu a wnaethant yn anfeidrol, gan ddywedyd, Da y gwnaeth efe bob peth: y mae efe yn gwneuthur i'r byddair glywed, ac i'r mudion ddywedyd. ☜

## PEN. VIII.

1 Christ yn porthi y bobl yn rhyfeddol: 10 yn naccau rhoddi arwydd i'r Phariseaid: 14 yn rhybuddio ei ddiscyblion, i ochelyd surdoes y Pharisæaid, a sur-does Herod: 22 yn rhoddi ei olwg i ddyn dall: 27 yn cydnabod mai efe yw Christ, yr hwn a ddioddefei, ac a gyfodei eilwaith: 34 ac yn annogi fod yn ddioddefgar mewn erlid o achos proffessu yr Efengl.

Yr Efengyl y vij. Sul wedi 'r Drindod. * Matt. 15. 32.



N y dyddiau hynny, * pan oedd y dyrfa yn fawr iawn, ac heb ganddynt ddim i'w fwytta, y galwodd yr Iesu ei ddiscyblion atto, ac a ddywedodd wrthynt,

2 Y mae yn tosturio wrth y dyrfa, oblegid y maent hwy dridiau weithian yn aros gyd â mi, ac nid oes ganddynt ddim i'w fwytta:

3 Ac os gollyngaf hwynt ymmaith ar eu cythlwng, i'w teiau eu hunain, hwy a lewygant ar y ffordd: canys rhai o honynt a ddaeth o bell.

4 A'i ddiscyblion ef a'i hattebasant, O ba le y gall neb ddigoni y rhai hyn â bara, ymma yn yr anialwch?

5 Ac efe a ofynnodd iddynt, Pa sawl torth sydd gennwch? A hwy a ddywedasant, Saith.

6 Ac efe orchymynnodd i'r dyrfa eistedd ar y llawr, ac a gymmerodd y saith dorth, ac a ddiolchodd, ac a'u torrodd [hwynt], ac a'u rhoddes i'w ddiscyblion, fel y gosodent hwynt ger eu bronnau: a gosodasant hwynt ger bron y bobl.

7 Ac yr oedd ganddynt ychydig byscod bychain: ac wedi iddo fendithio, efe a barodd ddodi y rhai hynny hefyd ger eu bronnau [hwynt.]

8 A hwy a fwyttasant, ac a ddigonwyd: a hwy a godasant o'r briw-fwyd gweddill, saith fasceidaid.

9 A'r rhai a fwyttasent oedd ynghylch pedair mil: ac efe a'u gollyngodd hwynt ymmaith. ☜

10 Ac yn y man wedi iddo fyned i long gyd â'i ddiscyblion, efe a ddaeth i barthau Dalmanutha.

11 * A'r Pharisæaid a ddaethant allan, ac a ddechreuasant ymholi ag ef, gan geisio ganddo arwydd o'r nef, gan ei demtio.

* Matt. 16. 1.

12 Yntef gan ddwys ocheneidio yn ei yspryd, a ddywedodd, Beth a wna'r genhedlaeth ymma yn ceisio arwydd? yn wir meddaf i chwi, ni roddir arwydd i'r genhedlaeth ymma.

13 Ac efe a'u gadawodd hwynt, ac a aeth i'r llong drachefn, ac a dynnodd ymmaith i'r lan arall.

14 A'r [* discyblion] a adawsent yn angof gymmeryd bara, ac nid oedd ganddynt gyd â hwynt onid un dorth yn y llong.

* Matt. 16. 5.

15 Yna y gorchymynnodd efe iddynt, gan ddywedyd, Gwiliwch, ymogelwch rhag surdoes y Pharisæaid, a surdoes Herod.

16 Ac ymresymmu a wnaethant y naill wrth y llall, gan ddywedyd, [Hyn sydd] * oblegid nad oes gennym fara.

* Matt. 16. 7.

17 A phan wybu 'r Iesu, efe a ddywedodd wrthynt, Pa ymresymmu 'r ydych, am nad oes gennwch fara? ond ydych chwi etto yn ystyried, nac yn deall? ydyw eich calon etto gennwch wedi caledu?

18 A chennych lygaid, oni welwch? a chennych glustiau, oni chlywch? ac onid ydych yn cofio?

19 Pan dorrais y pum torth hynny, ym mysc y pum mil, pa sawl bascedaid yn llawn o friw-fwyd a godasoch i fynu? Dywedasant wrtho, Deuddeg.

20 A phan [dorrais] y saith ymmhlith y pedair mil, lloneid pa sawl basced o friw-fwyd a godasoch i fynu? A hwy a ddywedasant, Saith.

21 Ac efe ddywedodd wrthynt, Pa fodd nad ydych yn deall?

22 Ac efe a ddaeth i Bethsaida: a hwy a ddygasant atto un dall, ac a ddeisyfiasant arno, ar iddo gyffwrdd ag ef.

23 Ac wedi ymaflyd yn llaw y dall, efe efe a'i twysodd ef allan o'r dref: ac wedi iddo boeri ar ei lygaid ef, a dodi ei ddwylo arno, efe a ofynnodd iddo, a oedd efe yn gweled dim.

24 Ac wedi edrych i fynu efe a ddywedodd, yr ydwyf yn gweled dynion megis prenniau yn rhodio.

25 Wedi hynny y gosodes efe ei ddwylo drachefn ar ei lygaid ef, ac a barodd iddo edrych i fynu: ac efe a gafodd ei olwg, ac efe a welai bawb o bell, ac yn eglur.

26 Ac efe a'i hanfonodd ef adref i'w dŷ, gan ddywedyd, Na ddôs i'r dref, ac na ddywed i neb yn y dref.

27 * A'r Iesu a aeth allan ef a'i ddiscyblion, i drefi Caesarea Philippi: ac ar y ffordd, efe a ofynnodd i'w ddiscyblion, gan ddywedyd wrthynt, Pwy y mae dynion yn dywedyd fy mod i?

28 A hwy a attebasant, Ioan Fedyddiwr: a rhai, Elias: ac eraill, un o'r prophwydi.

29 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Ond pwy yr ydych chwi yn dywedyd fy mod i? A Phetr a attebodd, ac a ddywedodd wrtho, Ti yw'r Christ.

30 Ac efe a orchymmynnodd iddynt na ddywedent i neb ‖am dano.

31 Ac efe a ddechreuodd eu dyscu hwynt, fôd yn rhaid i Fâb y dŷn oddef llawer, a'i wrthod gan yr Henuriaid, a'r Arch-offeiriaid, a'r Scrifennyddion, a'i ladd, ac wedi tridiau adgyfodi.

32 A'r ymadrodd hwnnw a ddywedodd efe yn eglur. A Phetr a ymaflodd ynddo, ac a ddechreuodd ei geryddu ef.

33 Eithr wedi iddo droi, ac edrych ar ei ddiscyblion, efe a geryddodd Petr, gan ddywedyd, Dôs ymmaith yn fy ôl i Satan: am nad wyt yn synnied y pethau sy o Dduw, ond y pethau sy o ddynion.

34 Ac wedi iddo alw atto y dyrfa gŷd â'i ddiscyblion, efe a ddywedodd wrthynt, Y * neb a fynno ddyfod ar fy ôl i, ymwaded ag ef ei hun, a chyfoded ei groes, a dilyned fi.

35 Canys pwy bynnag a fynno gadw ei einioes, a'i cyll hi: ond pwy bynnag a gollo ei einioes er fy mwyn i a'r Efengyl, hwnnw a'i ceidw hi.

36 Canys pa lesâd i ddŷn os ennill yr holl fyd, a cholli ei enaid ei hun?

37 Neu pa beth a rydd dŷn yn gyfnewid [am] ei enaid?

38 Canys * pwy bynnag a fyddo cywilydd ganddo fi a'm geiriau, yn yr odinebus a'r bechadurus genhedlaeth hon, bydd cywilydd gan Fâb y dŷn yntef hefyd, pan ddêl yngogoniant ei Dâd, gŷd a'r Angelion sanctaidd.

Matt. 16.13. | Matt. 16.1. | ‖ Sywy. | Matt. 16.5. | * Matt. 16.7. | * Matt. 10.38. | * Matt. 10.33.

## PEN. IX.

2 Gwedd-newidiad yr Iesu. 11 Efe yn dyscu ei ddiscyblion ynghylch dyfodiad Elias: 14 yn bwrw allan yspryd mûd, a byddar: 30 Yn rhag-fynegi ei fawolaeth a'i adgyfodiad: 33 yn annog ei ddiscyblion i ostyngeiddrwydd: 38 gan erchi iddynt, na luddient y rhai nid ydynt yn eu herbyn, ac na roddent rwystr i neb o'r ffyddloniaid.



AC efe a ddywedodd wrthynt, Yn * wir yr wyf yn dywedyd i chwi, fôd rhai o'r rhai sy yn sefyll ymma, ni phrofant angeu, hyd oni welont deyrnas Duw wedi dyfod mewn nerth.

2 Ac * wedi chwe diwrnod y cymmerth yr Iesu Betr, ac Iaco, ac Ioan; ac a'u dug hwynt i fynydd uchel, eu hunain o'r neilltu; ac efe a wedd-newidiwyd yn eu gŵydd hwynt.

3 A'i ddillad ef a aethant yn ddisclair, yn gannaid iawn fel eira, y fath ni feidr un pannwr ar y ddaiar eu cannu.

4 Ac ymddangosodd iddynt Elias gŷd â Moses: ac yr oeddynt yn ymddiddan â'r Iesu.

5 A Phetr a attebodd ac a ddywedodd wrth yr Iesu, Rabbi, da yw i ni fôd ymma: a gwnawn dair pabell, i ti un, ac i Foses un, ac i Elias un.

6 Canys ni's gwyddei beth yr oedd yn ei ddywedyd: canys yr oeddynt wedi dychrynu.

7 A daeth cwmmwl yn cyscodi trostynt hwy: a llef a ddaeth allan o'r cwmmwl, gan ddywedyd, Hwn yw fy anwyl Fâb, gwrandewch ef.

8 Ac yn ddisymmwth, pan edrychasant o amgylch, ni welsant neb mwy, ond yr Iesu yn unig gŷd â hwynt.

9 A phan oeddynt yn dyfod i wared o'r mynydd, efe a orchymynnodd iddynt na ddangosent i neb y pethau a welsent, hyd pan adgyfodei Mâb y dŷn o feirw.

10 A hwy a gadwasant y gair gŷd â hwynt eu hunain, gan gŷd-ymholi beth yw 'r adgyfodi o feirw.

11 A hwy a ofynnasant iddo, gan ddywedyd, Pa ham y dywed yr Scrifennyddion, fôd yn rhaid i Elias ddyfod yn gyntaf?

* Matt. 16.28. | * Matt. 17.1.

12 Ac efe a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt, Elias yn ddiau gan ddyfod yn gyntaf, a edfryd bôb peth: * a'r modd yr scrifennwyd am Fâb y dŷn, y dioddefai lawer o bethau, ac y dirmygid ef.

* Esa. 53. 2, 3.

13 Eithr yr wyf yn dywedyd i chwi, ddyfod Elias yn ddiau, a gwneuthur o honynt iddo'r hyn a fynnasant, fel yr scrifennwyd am dano.

14 A * phan ddaeth efe at ei ddiscyblion, efe a welodd dyrfa fawr yn eu cylch hwynt, a'r Scrifennyddion yn cyd-ymholi â hwynt.

* Matt. 17. 14.

15 Ac yn ebrwydd yr holl dyrfa, pan ganfuant ef, a ddychrynasant, a chan redeg atto, a gyfarchasant iddo.

16 Ac efe a ofynnodd, i'r Scrifennyddion, Pa gŷd-ymholi yr ydych ‖ yn eich plith:-

‖ a lwynt.

17 Ac vn o'r dyrfa a attebodd, ac a ddywedodd, Athro, mi a ddugym fy mâb attat, ac yspryd mud ynddo:

18 A pha le bynnag y cymmero ef, efe a'i rhwyga; ac yntef a fwrw ewyn, ac a yscyrnyga ddannedd, ac y mae yn dihoeni: ac mi a ddywedais wrth dy ddiscyblion, ar iddynt ei fwrw ef allan, ac ni's gallasant.

19 Ac efe a attebodd iddynt, ac a ddywedodd, O genhedlaeth anffyddlon, pa hŷd y byddaf gŷd â chwi:- pa hŷd y goddefaf chwi:- dygwch ef attafi.

20 A hwy a'i dygasant ef atto: a phan welodd ef, yn y man yr yspryd a'i drylliodd ef, a chan syrthio ar y ddaiar, efe a ymdreiglodd tan falu ewyn.

21 A gofynnodd [yr Jesu] i'w dâd ef, Beth sydd o amser, er pan ddarfu fel hyn iddo:- Yntef a ddywedodd, Er yn fachgen.

22 A mynych y taflodd efe ef yn tân, ac i'r dyfroedd, fel y difethai efe ef; ond os gelli di ddim, cymmorth ni, gan dosturio wrthym.

23 A'r Jesu a ddywedodd wrtho, Os gelli di gredu, pôb peth a all fôd i'r neb a gredo.

24 Ac yn y fan tâd y bachgen, tan lefain ag wylofain, a ddywedodd; Yr wyfi yn credu o Arglwydd: cymmorth fy anghrediniaeth i.

25 A phan welodd yr Jesu fôd y dyrfa yn cŷd-redeg atto, efe a geryddodd yr yspryd aflan, gan ddywedyd wrtho, [Tydi] yspryd mud a byddar, yr wyf fi yn gorchymmyn i ti, Tyred allan o honaw, ac na ddôs mwy iddo ef.

26 Ac wedi [i'r yspryd] lefain a dryllio llawer arno ef, efe a aeth allan: ac yr oedd efe fel [vn] marw, fel y dywedodd llawer ei farw ef.

27 A'r Jesu a'i cymmerodd ef erbyn ei law, ac a'i cyfododd: ac efe a safodd i fynu.

28 Ac wedi iddo fyned i mewn i'r tŷ, ei ddiscyblion a ofynnasant iddo o'r neilltu, Pa ham na allem ni ei fwrw ef allan:-

29 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Y rhyw hwn ni all er dim ddyfod allan, ond trwy weddi ac ympryd.

30 * Ac wedi ymadel oddi yno, hwy a ymdeithiasant trwy Galilæa: ac ni fynnai efe wybod o nêb.

* Matt. 17, 22.

31 Canys yr oedd efe yn dyscu ei ddiscyblion, ac yn dywedyd wrthynt, Y traddodid Mâb y dŷn i ddwylo dynion, ac y lladdent ef, ac wedi ei ladd, yr adgyfodai y trydydd dydd.

32 Ond nid oeddynt hwy yn deall yr ymadrodd, ac ofni yr oeddynt ofyn iddo.

33 Ac * efe a ddaeth i Capernaum: a phan oedd efe yn y tŷ, efe a ofynnodd iddynt, Beth yr oeddych yn ymddadleu yn eich plith eich hunain ar y ffordd:-

* Matt. 18. 1.

34 Ond hwy a dawsant â sôn: canys ymddadleuasent â'u gilydd ar y ffordd, pwy [a fyddei] fwyaf.

35 Ac efe a eisteddodd, ac a alwodd y deuddeg, ac a ddywedodd wrthynt, Os myn neb fôd yn gyntaf, efe a fydd olaf o'r cwbl, a gweinidog i bawb.

36 Ac efe a gymmerth fachgennyn, ac a'i gosododd ef yn eu canol hwynt, ac wedi iddo ei gymmeryd ef yn ei freichiau, efe a ddywedodd wrthynt,

37 Pwy bynnag a dderbynio vn o'r cyfryw fechgyn, yn fy enw i, sydd yn fy nerbyn i: a phwy bynnag a'm derbyn i, nid myfi y mae yn ei dderbyn, ond yr hwn a'm danfonodd i.

38 Ac * Joan a'i hattebodd ef, gan ddywedyd, Athro, ni a welsom vn yn bwrw allan gythreuliaid yn dy enw di, yr hwn nid yw yn ein dilyn ni, ac ni a waharddasom iddo, am nad yw yn ein dilyn ni.

* Luc. 9. 49.

39 A'r Jesu a ddywedodd, Na waherddwch iddo: * canys nid oes nêb a wna wyrthiau yn fy enw i, ac a all yn y fan roi drwg-air i mi.

* 1. Cor. 12. 3.

40 Canys y neb nid yw i'n herbyn, o'n tu ni y mae.

41 * Canys pwy bynnag a roddo i chwi i'w yfed gwppaneid o ddwfr yn fy enw i, am eich bôd yn perthyn i Grist, yn wir meddaf i chwi, ni chyll efe ei obrwy.

* Matt. 10. 42.

42 A * phwy bynnag a rwystro vn o'r rhai bychain hyn sy yn credu ynofi, gwell oedd iddo osod maen melin o amgylch ei wddf, a'i daflu i'r môr.

* Matt. 18. 6.

43 Ac * os dy law a'th rwystra, torr hi ymmaith: gwell i'w i ti fyned i mewn i'r bywyd yn anafus, nag a dwy law gennit, fyned i vffern, i'r tân anniffoddadwy:

* Matt. 5. 29. & 18. 8.

44 *Lle nid yw eu pryf hwynt yn marw, na'r tân yn diffodd.

45 Ac os dy droed a'th rwystra, torr ef ymmaith: gwell yw i ti fyned i mewn i'r bywyd yn gloff, nag a dau droed gennit dy daflu i uffern, i'r tân anniffoddadwy:

46 Lle nid yw eu pryf hwynt yn marw, na'r tân yn diffodd.

47 Ac os dy lygad a'th rwystra, bwrw ef ymmaith. gwell yw i ti fyned i mewn i deyrnas Dduw yn un-llygeidiog, nag â dau lygad gennit dy daflu i dân uffern:

48 Lle nid yw eu pryf hwynt yn marw, na'r tân yn diffodd.

49 Canys pôb un â helltir â thân, *a phôb aberth a helltir â halen.

50 *Da yw'r halen: ond os bydd yr halen yn ddihallt, a pha beth yr helltwch ef? Bid gennwch halen ynoch eich hunain, a byddwch heddychlawn â'i gilydd.

## P E N. X.

2 Crist yn ymresymmu â'r Phariséaid ynghylch yscar: 13 yn bendithio y plant a ddygpwyd atto: 17 yn atteb i wr goludoc, pa fodd y cai etifeddu bywyd tragwyddol: 23 yn dangos i'w ddiscyblion berygl golud: 28 yn addo gwobrau i'r sawl a ymadawo â dim er mwyn yr Efengyl: 32 yn rhag-fynegi ei farwolaeth a'i adgyfodiad: 35 yn gorchymmyn i feibion Zebedæus a geisient barch gantho, feddwl yn hytrach am ddioddef gydag ef; 46 ac yn rhoddi ei olwg i Bartimæus.



AC *efe a gyfododd oddi yno, ac a aeth i dueddau Judæa, trwy'r tu hwnt i'r Iorddonen: a'r bobloedd a gyd-gyrchasant atto ef drachefn: ac fel yr oedd yn arferu, efe a'u dyscodd hwynt drachefn.

2 A'r Phariséaid wedi dyfod atto, a ofynnasant iddo, ai rhydd i wr roi ymmaith ei wraig? gan ei demtio ef.

3 Yntef a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt, Beth a orchymynnodd Moses i chwi?

4 A hwy a ddywedasant, Moses a ganhiadodd scrifennu llythyr yscar, a'i gollwng hi ymmaith.

5 A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrthynt, O achos eich calon-galedwch chwi, yr scrifennodd efe i chwi y gorchymmyn hwnnw:

6 Ond o ddechreuad y creadigaeth, yn wr-ryw a benyw y gwnaeth Duw hwynt.

7 Am hyn y gâd dyn ei dâd a'i fam, ac y glŷn wrth ei wraig.

8 A hwy ill dau a fyddant un cnawd, fel nad ydynt mwy ddau, onid un cnawd.

9 Y peth gan hynny a gyssylltodd Duw, na wahaned dyn.

10 Ac yn y tŷ drachefn, ei ddiscyblion a ofynnasant iddo am yr un peth.

11 Ac efe a ddywedodd wrthynt, *Pwy bynnag a roddo ymmaith ei wraig, ac a briodo un arall, y mae yn godinebu yn ei herbyn hi.

12 Ac os gwraig a ddyry ymmaith ei gwr, a phriodi un arall, y mae hi yn godinebu.

13 A *hwy a ddygasant blant bychain atto, fel y cyffyrddai efe â hwynt: a'r discyblion a geryddasant y rhai oedd yn eu dwyn hwynt.

14 A'r Iesu pan welodd hynny fu anfodlon, ac a ddywedodd wrthynt, Gedwch i blant bychain ddyfod attafi, ac na waherddwch iddynt: canys eiddo y cyfryw rai yw teyrnas Dduw.

15 Yn wir meddaf i chwi, pwy bynnag ni dderbynio deyrnas Dduw fel dyn-bach, nid â efe i mewn iddi.

16 Ac efe a'u cymmerodd hwy yn ei freichiau, ac a roddes [ei] ddwylo arnynt, ac a'u bendithiodd.

17 *Ac wedi iddo fyned allan i'r ffordd, rhedodd un atto, a gostyngodd iddo, ac a ofynnodd iddo, O athro da, beth a wnaf fel yr etifeddwyf fywyd tragwyddol?

18 A'r Iesu a ddywedodd wrtho. Pa ham y gelwi fi yn dda? nid [oes] neb da ond un, [sef] Duw.

19 Ti a wyddost y gorchymmynion, Na odineba, Na ladd, Na ledratta, Na cham dystiolaetha, Na cham-golleda, Anrhydedda dy dâd a'th fam.

20 Yntef a attebodd, ac a ddywedodd wrtho, Athro, y rhai hyn i gyd a gedwais o'm hieuengtid.

21 A'r Iesu gan edrych arno, a'i hoffodd, ac a ddywedodd wrtho, Un peth sydd ddyffygiol i ti: dôs, gwerth yr hyn sydd gennit, a dyro i'r tlodion, a thi a gei drysor ym y nef: a thyred, a chymmer i fynu y groes, a dilyn fi.

22 Ac efe a brudd-haodd wrth yr ymadrodd, ac a aeth ymmaith yn athrist: canys yr oedd ganddo feddiannau lawer.

23 A'r Iesu a edrychodd o'i amgylch, ac a ddywedodd wrth ei ddiscyblion, Mor anhawdd yr â y rhai y mae golud ganddynt, i deyrnas Dduw.

24 A'r discyblion a frawychasant wrth ei eiriau ef. Ond yr Iesu a attebodd drachefn, ac a ddywedodd wrthynt, O blant, mor anhawdd yw i'r rhai sy a'u hymddiried yn eu golud, fyned i deyrnas Dduw.

25 Y mae yn hawsi gamel fyned trwy grau'r nodwydd, nag i oludog fyned i mewn i deyrnas Dduw.

26 A hwy a synnasant yn ddirfawr, gan ddywedyd wrthynt eu hunain, A phwy a all fôd yn gadwedig?

27 A'r Iesu wedi edrych arnynt, a ddywedodd, Gyd â dynion ammhossibl yw, ac nid gyd â Duw: canys pôb peth sydd bossibl gyd â Duw.

28 *Yna y dechreuodd Petr ddywedyd wrtho, Wele, nyni a adawsom bôb peth, ac a'th ddilynasom di.

29 A'r Iesu a attebodd, ac a ddywedodd, Yn wir meddaf i chwi, nid oes neb a'r a adawodd dŷ, neu frodyr, neu chwiorydd, neu dâd, neu fam, neu wraig, neu blant, neu diroedd, o'm hachos i a'r Efengyl,

*Mat.19.13.

*Mat.19 15.

*Mat.19.27.

30 Ar

30 A'r ni dderbyn y can cymmaint, yr awron y pryd hyn, dai, a brodyr, a chwiorydd, a mammau, a phlant, a thiroedd, ynghŷd ag erlidiau, ac yn y byd a ddaw fywyd tragywyddol.

*Mat.19.30. 31 * Ond llawer rhai cyntaf, a fyddant ddiweddaf: a'r diweddaf [fyddant] gyntaf.

*Mat.20.17. 32 Ac * yr oeddynt ar y ffordd, yn myned i fynu i Jerusalem: ac yr oedd yr Jesu yn myned o'u blaen hwynt; a hwy a frawychasant, ac fel yr oeddynt yn canlyn yr oedd arnynt ofn. Ac wedi iddo drachefn gymmeryd y deuddeg, efe a ddechreuodd fynegi iddynt y pethau a ddigwyddent iddo ef:

33 Canys wele, yr ydym ni yn myned i fynu i Jerusalem, a Mâb y dŷn a draddodir i'r Arch-offeiriaid, ac i'r Scrifennyddion, a hwy a'i condemnant ef i farwolaeth, ac a'i traddodant ef i'r cenhedloedd:

34 A hwy a'i gwatwarant ef, ac a'i ffrangellant, ac a boerant arno, ac a'i lladdant: a'r trydydd dydd yr adgyfyd.

*Mat.20.20. 35 A * daeth atto Jaco ac Joan meibion Zebedæus, gan ddywedyd, Athro, ni a fynnem wneuthur o honot i ni yr hyn a ddymunem.

36 Yntef a ddywedodd wrthynt, Beth a fynnech i mi ei wneuthur i chwi?

37 Hwythau a ddywedasant wrtho, caniadhâ i ni eistedd, vn ar dy ddeheu-law, a'r llall ar dy asswy yn dy ogoniant.

38 Ond yr Jesu a ddywedodd wrthynt, Ni wyddoch pa beth yr ydych yn ei ofyn: a ellwch chwi yfed o'r cwppan yr wyfi yn ei yfed, a'ch bedyddio â'r bedydd i'm bedyddir i ag ef?

39 A hwy a ddywedasant wrtho, Gallwn. A'r Jesu a ddywedodd wrthynt, Diau yr yfwch o'r cwppan yr yfwyfi; ac i'ch bedyddir â'r bedydd y bedyddir finneu:

40 Ond eistedd ar fy neheu-law a'm hasswy, nid eiddo fi ei roddi, ond i'r rhai y darparwyd.

‖ sorri wrth. 41 A phan glybu y dêg, hwy a ddechreuasant ‖ fôd yn anfodlon ynghylch Jaco ac Joan:

*Luc.22.25. 42 A'r Jesu a'i galwodd hwynt atto, ac a ddywedodd wrthynt, * Chwi a wyddoch fôd y rhai a dybir eu bod yn llywodraethu ar y cenedloedd, yn tra-arglwyddiaethu arnynt, a'u gwŷr mawr hwynt, yn tra-awdurdodi arnynt.

‖ Gr. a fydd. 43 Eithr nid felly y bydd yn eich plith chwi: ond pwy bynnag a ewyllysio fôd yn fawr yn eich plith, ‖ bydded weinidog i chwi;

‖ Gr. a fydd. 44 A phwy bynnag o honoch a fynno fôd yn bennaf, ‖ bydded wâs i bawb.

45 Canys ni ddaeth Mâb y dŷn i'w wasanaethu, ond i wasanaethu, ac i roi ei enioes yn bridwerth tros lawer.

*Mat.20.29. 46 A * hwy a ddaethant i Jericho: ac fel yr oedd efe yn myned allan o Jericho, efe, a'i ddiscyblion, a bagad o bobl, Bartimæus ddall mâb Timæus, oedd yn eistedd ar fin y ffordd, yn cardotta.

47 A phan glybu mai'r Jesu o Nazareth ydoedd, efe a ddechreuodd lefain, a dywedyd, Jesu fâb Dafydd, trugarhâ wrthif.

48 A llawer a'i ceryddasant ef i [ geisio ganddo ] dewi: ond efe a lefodd yn fwy o lawer, Mâb Dafydd, trugarhâ wrthif.

49 A'r Jesu a safodd, ac a archodd ei alw ef: a hwy a alwasant y dall, gan ddywedyd wrtho, Cymmer galon, cyfod, y mae efe yn dy alw di.

50 Ond efe wedi taflu ei gochl ymmaith, a gyfododd, ac a ddaeth at yr Jesu.

51 A'r Jesu a attebodd ac a ddywedodd wrtho, Beth a fynni i mi ei wneuthur i ti? A'r dall a ddywedodd wrtho, ‖ Athro, caffael o honof fy ngolwg. ‖ Rabboni. Io.20.16.

52 A'r Jesu a ddywedodd wrtho, Dôs ymmaith, dy ffydd a'th iachaodd. Ac yn y man y cafodd efe ei olwg, ac efe a ddilynodd yr Jesu ar hŷd y ffordd.

## PEN. XI.

1 Christ yn marchogaeth mewn goruchfiaeth i Ierusalem: 12 yn melltithio y pren ffigys di-ffrwyth: 15 yn glanhau y Deml: 20 yn annoc ei ddiscyblion i fôd yn ddisigl mewn ffydd, ac i faddeu iw gelynion: 27 ac yn amddiffyn fôd ei weithredoedd ef yn gyfreithlon, trwy dystiolaeth Ioan, yr hwn oedd wr wedi ei ddanfon oddiwrth Dduw.



A C * wedi eu dyfod yn agos i Jerusalem, i Bethphage a Bethania, hyd fynydd yr Olewydd, efe a anfones ddau o'i ddiscyblion, *Mat.21.1.

2 Ac a ddywedodd wrthynt, Ewch ymmaith i'r pentref sydd gyferbyn â chwi, ac yn y man wedi y deloch i mewn iddo, chwi a gewch ebol wedi ei rwymo, ar yr hwn nid eisteddodd neb: gollyngwch ef yn rhydd, a dygwch ymma.

3 Ac os dywed nêb wrthych, Pa ham y gwnewch hyn? dywedwch, Am fôd yn rhaid i'r Arglwydd wrtho: ac yn ebrwydd efe a'i denfyn ymma.

4 A hwy a aethant ymmaith, ac a gawsant yr ebol yn rhwym, wrth y drws oddi allan, mewn croes-ffordd, ac a'i gollyngasant ef yn rhydd.

5 A rhai o'r rhai oedd yn sefyll yno a ddywedasant wrthynt, Beth a wnewch chwi yn gollwng yr ebol yn rhydd?

6 A hwy a ddywedasant wrthynt fel y gorchymynnasei'r Jesu: a hwy a adawsant iddynt fyned ymmaith.

7 A hwy a ddygasant yr ebol at yr Jesu, ac a fwriasant eu dillad arno: ac efe a eisteddodd arno.

8 A llawer a danasant eu dillad ar hŷd y ffordd: ac eraill a dorrasant gangau o'r gwydd, ac a'u tanasant ar y ffordd.

9 A'r rhai oedd yn myned o'r blaen, a'r rhai oedd yn dyfod ar ôl, a lefasant, gan ddywedyd, Hosanna, bendigedig [fyddo] yr hwn sydd yn dyfod yn enw 'r Arglwydd:

10 Ben-

10 Bendigedig yw y deyrnas sydd yn dyfod yn enw Arglwydd ein tad Dafydd: Hosanna yn y goruchaf.

11 A'r Iesu a aeth i mewn i Jerusalem, ac i'r Deml, ac wedi iddo edrych ar bôb peth o'i amgylch, a hi weithian yn hwyr, efe a aeth allan i Bethania gyd â'r deuddeg;

12 A thrannoeth wedi iddynt ddyfod allan o Bethania, yr oedd arno chwant bwyd.

13 *Ac wedi iddo ganfod o hirbell ffigysbren, ac arno ddail, efe a aeth [i edrych] a gaffai ddim arno: a phan ddaeth atto, ni chafodd efe ddim ond y dail, canys nid oedd amser ffigys.

*Mat.21.19.

14 A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrtho, Na fwyttaed neb ffrwyth o honot byth mwy. A'i ddiscyblion ef a glywsant.

||Rabboni. Io.10.16.

15 *A hwy a ddaethant i Jerusalem: a'r Iesu aeth i'r Deml, ac a ddechreuodd fwrw allan y rhai a werthent ac a brynent yn y Deml: ac a ymchwelodd drestelau'r arianwyr, a chadeiriau y gwerth-wyr colommennod.

16 Ac ni adawai efe i neb ddwyn llestr trwy'r Deml.

17 Ac efe || a'u dyscodd gan ddywedyd wrthynt, Onid yw yn scrifennedig, Y gelwir fy nhŷ i, yn dŷ gweddi i'r holl genhedloedd, ond chwi a'i gwnaethoch yn ogof lladron.

18 A'r Scrifennyddion, a'r Arch-offeiriaid a glywsant hyn, ac a geisiasant pa fodd y dilethent ef: canys yr oeddynt yn ei ofni ef, am fôd yr holl bobl yn synnu oblegid ei athrawiaeth ef.

19 A phan aeth hi yn hwyr, efe a aeth allan o'r ddinas.

20 *A'r boreu wrth fyned heibio, hwy a welsant y ffigys-bren wedi crino o'r gwraidd.

21 A Phetr wedi atgofio, a ddywedodd wrtho, Athro, wele y ffigys-bren a felldithiaist, wedi crino.

22 A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrthynt, Bydded gennych || ffydd yn Nuw.

23 Canys yn wir yr wyf yn dywedyd i chwi, pwy bynnag a ddywedo wrth y mynydd hwn, Tynner di ymmaith, a bwrier di i'r môr; ac nid amheuo yn ei galon, ond credu y daw i ben y pethau a ddywedo efe; beth bynnag a ddywedo a fydd iddo.

24 Am hynny meddaf i chwi, *beth bynnag oll a geisioch wrth weddio, credwch y derbyniwch, ac fe fydd i chwi.

25 A phan safoch i weddio, *maddeuwch o bydd gennych ddim yn erbyn neb: fel y maddeuo eich Tâd yr hwn sydd yn y nefoedd i chwithau eich camweddau.

26 Ond os chwi ni faddeuwch, eich Tâd yr hwn sydd yn y nefoedd, ni faddeu chwaith eich camweddau chwithau.

27 A hwy a ddaethant drachefn i Jerusalem: *ac fel yr oedd efe yn rhodio yn y Deml, yr Arch-offeiriaid, a'r Scrifennyddion, a'r Henuriaid, a ddaethant atto:

28 Ac a ddywedasant wrtho, Trwy ba awdurdod yr wyti yn gwneuthur y pethau hyn? a phwy a roddes i ti yr awdurdod hon, i wneuthur y pethau hyn?

29 A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrthynt, A minnau a ofynnaf i chwithau un gair, ac attebwch fi, ac mi a ddywedaf i chwi trwy ba awdurdod yr wyf yn gwneuthur y pethau hyn:

30 Bedydd Joan, ai o'r nef yr oedd, ai o ddynion? attebwch fi.

31 Ac ymresymmu a wnaethant wrthynt eu hunain, gan ddywedyd, Os dywedwn, O'r nef, efe a ddywed, Pa ham gan hynny na chredech iddo?

32 Eithr os dywedwn, O ddynion, yr oedd arnynt ofn y bobl: canys pawb oll a gyfrifent Joan, mai prophwyd yn ddiau ydoedd.

33 A hwy a attebasant ac a ddywedasant wrth yr Iesu, Ni wyddom ni. A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrthynt hwythau, Ac ni ddywedaf finneu i chwithau trwy ba awdurdod yr wyf yn gwneuthur y pethau hyn.

## PEN. XII.

1 Trwy dammeg y winllan a logwyd i lafurwyr anniolchgar, y mae Crist yn rhag-ddangos gwrthodiad yr Iddewon, a galwad y cenhedloedd: 13 Y mae yn gochelyd magl y Pharisæaid, a'r Herodianiaid, ynghylch talu teyrnged i Cæsar, 18 Yn argyoeddi amryfusedd y Saducæaid, y rhai a wadent yr adgyfodiad: 21 yn atteb yr Scrifennydd oedd yn ymofyn am y gorchymyn cyntaf: 35 yn beio ar dyb yr Scrifennyddion am Grist: 38 ac yn gorchymyn i'r bobl ochelyd ei huchder a'i rhagrith hwy: 41 Ac yn canmol y weddw dlawd am ei dwy hatling, yn fwy nâ nêb.



A *C efe a ddechreuodd ddywedyd wrthynt ar ddamhegion, Gwr a blannodd win-llan, ac a ddodes gae o'i hamgylch, ac a gloddiodd le i'r gwin-gafn, ac a adeiladodd dwr, ac a'i gosododd hi allan i lafur-wyr, ac a aeth oddi cartref.

*Matth.21.33.

2 Ac efe a anfonodd wâs mewn amser at y llafur-wyr, i dderbyn gan y llafur-wyr o ffrwyth y win-llan.

3 A hwy a'i daliasant ef, ac a'i baeddasant, ac a'i gyrrasant ymmaith yn wag-[law.]

4 A thrachefn yr anfonodd efe attynt wâs arall: a hwnnw y taflasant gerrig atto, ac yr archollasant ei ben, ac a'i gyrrasant ymmaith || yn amharchus.

|| wedi ei amherchi.

5 A thrachefn yr anfonodd efe un arall; a hwnnw a laddasant: a llawer eraill, gan faeddu rhai, a lladd y lleill.

6 Am hynny etto, a chanddo un mâb, ei anwylyd,

wylyd, efe a anfonodd hwnnw hefyd attynt yn ddiweddaf, gan ddywedyd, Hwy a barchant fy mâb i.

7 Ond y llafur-wŷr hynny a ddywedasant yn eu plith eu hunain, Hwn yw'r etifedd, deuwch, lladdwn ef, a'r etifeddiaeth fydd eiddom ni.

8 A hwy a'i daliasant ef, ac a'i lladdasant, ac a'i bwriasant allan o'r win-llan.

9 Beth gan hynny a wna arglwydd y win-llan? efe a ddaw, ac a ddifetha y llafur-wŷr, ac a rydd y win-llan i eraill.

*Psal.118.10.

10 *Oni ddarllennasoch yr Scrythur hon? Y maen a wrthododd yr adeilad-wŷr, hwn a wnaethpwyd yn ben y gongl.

11 Hyn a wnaethpwyd gan yr Arglwydd, a rhyfedd yw yn ein golwg ni.

12 A hwy a geisiasant ei ddala ef: ac yr oedd arnynt ofn y dyrfa: canys hwy a wyddent mai yn eu herbyn hwy y dywedasai efe y ddammeg: a hwy a'i gadawsant ef, ac a aethant ymmaith.

*Matt.22.15.

13 *A hwy a anfonasant atto rai o'r Phariseaid ac o'r Herodianiaid, i'w rwydo ef yn [ei] ymadrodd.

14 Hwythau pan ddaethant a ddywedasant wrtho, Athro, ni a wyddom dy fod ti yn eir-wir, ac nad oes arnat ofal rhag neb: canys nid wyti yn edrych ar wyneb dynion, ond yr wyt yn dyscu ffordd Dduw mewn gwirionedd: ai cyfreithlawn rhoi teyrn-ged i Cæsar, ai nid yw? a roddwn, ai ni roddwn [hi?]

15 Ond efe, gan wybod eu rhagrith hwynt, a ddywedodd wrthynt, Pa ham y temtiwch fi? dygwch i mi geiniog, fel y gwelwyf [hi.]

16 A hwy a'i dygasant. Ac efe a ddywedodd wrthynt, Eiddo pwy yw'r ddelw hon a'r argraph? A hwy a ddywedasant, eiddo Cæsar.

Telwch.

17 A'r Iesu a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt. || Rhoddwch yr eiddo Cæsar, i Cæsar, a'r eiddo Duw i Dduw. A rhyfeddu a wnaethant o'i blegid.

Matt.22.23.

18 *Daeth y Saduceaid hefyd atto, y rhai a ddywedant nad oes adgyfodiad: a gofynnasant iddo, gan ddywedyd,

19 Athro, Moses a scrifennodd i ni, o bydd marw brawd neb, a gadu [ei] wraig, ac heb adu plant, am gymmeryd o'i frawd ei wraig ef, a chodi hâd i'w frawd.

20 Yr oedd gan hynny saith o frodyr: a'r cyntaf a gymmerth wraig, a phan fu farw, ni adawodd hâd.

21 A'r ail a'i cymmerth hi, ac a fu farw, ac ni adawodd yntef hâd: a'r trydydd yr un modd.

22 A hwy a'i cymmerasant hi eill saith, ac ni adawsant hâd: yn ddiweddaf o'r cwbl, bu farw y wraig hefyd.

23 Yn yr adgyfodiad gan hynny, pan adgyfodant, gwraig i ba un o honynt fydd hi? canys y saith a'i cawsant hi yn wraig.

24 A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrthynt, Ond am hyn yr ydych yn cyfeiliorni, am nad ydych yn gwybod yr Scrythyrau na gallu Duw?

25 Canys pan adgyfodant o feirw, ni wreiccant, ac ni wrant: eithr y maent fel yr angelion fydd yn y nefoedd.

26 Ond am y meirw, yr adgyfodir hwynt, oni ddarllenasoch chwi yn llyfr Moses, y modd y llefarodd Duw wrtho yn y berth, gan ddywedyd, Myfi yw Duw Abraham, a Duw Isaac, a Duw Iacob?

27 Nid yw efe Dduw 'r meirw, ond Duw y rhai byw: am hynny yr ydych chwi yn cyfeiliorni yn fawr.

*Matt.22.

28 *Ac un o'r Scrifenyddion a ddaeth, wedi eu clywed hwynt yn ymresymmu, a gwybod atteb o honaw iddynt yn gymmwys, ac a ofynnodd iddo, Pa un yw 'r gorchymmyn cyntaf o'r cwbl?

29 A'r Iesu a attebodd iddo, Y cyntaf o'r holl orchymmynion [yw.] Clyw Israel, yr Arglwydd ein Duw, un Arglwydd yw:

||oth.

30 A châr yr Arglwydd dy Dduw || â'th holl galon, ac â'th holl enaid, ac â'th holl feddwl, ac â'th holl nerth: hwn yw 'r gorchymmyn cyntaf.

31 A'r ail [fydd] gyffelyb iddo, Câr dy gymmydog fel ti dy hun: nid oes orchymmyn arall mwy na'r rhai hyn.

32 A dywedodd yr Scrifennydd wrtho, Da, athro, mewn gwirionedd y dywedaist, mai un Duw fydd, ac nad oes arall ond efe:

||or.

33 A'i garu ef || â'r holl galon, ac â'r holl ddeall, ac â'r holl enaid, ac â'r holl nerth, a charu [ei] gymmydog megis ei hun, fydd fwy na'r holl boeth-offrymmau a'r aberthau.

34 A'r Iesu pan welodd iddo atteb yn synhwyrol, a ddywedodd wrtho, Nid wyt ti bell oddi wrth deyrnas Dduw. Ac ni feiddiodd neb mwy ymofyn ag ef.

*Matt.2

35 *A'r Iesu a attebodd, ac a ddywedodd, wrth ddyscu yn y Deml, Pa fodd y dywed yr Scrifennyddion fôd Crist yn fâb Dafydd?

36 Canys Dafydd ei hun a ddywedodd trwy'r Yspryd glân, Yr Arglwydd a ddywedodd wrth fy Arglwydd, Eistedd ar fy neheulaw, hyd oni osodwyf dy elynion yn droedfaingc i'th draed.

37 Y mae Dafydd ei hun gan hynny yn ei alw ef yn Arglwydd: ac o ba le y mae efe yn fâb iddo? A llawer o bobl a'i gwrandawent ef yn ewyllysgar.

*Matt.2

38 Ac efe a ddywedodd wrthynt yn ei athrawiaeth, *Ymogelwch rhag yr Scrifennyddion, y rhai a chwennychant rodio mewn gwiscoedd llaesion, a chael cyfarch yn yn y marchnadoedd,

39 A'r prif-gadeiriau yn y Synagogau, a'r prif-eisteddleoedd mewn swpperau.

*Matt.2

40 Y *rhai fydd yn llwyr-fwytta tai gwragedd gweddwon, ac mewn rhith yn hir weddio, y rhai hyn a dderbyniant farnedigaeth fwy.

*Luc.2

41 *A'r Iesu a eisteddodd gyferbyn a'r drysor-fa, ac a edrychodd pa fodd yr oedd y bobl yn bwrw arian i'r drysor-fa: a chyfoethogion lawer a fwriasant lawer.

42 A rhyw wraig weddw dlawd a ddaeth, ac a fwriodd i mewn ddwy hatling, yr hyn yw ffyrling.

43 Ac

43 Ac efe a alwodd ei ddiscyblion atto, ac a ddywedodd wrthynt, Yn wir yr wyf yn dywedyd i chwi, fod y wraig weddw dlawd hon i mewn, mwy nâ'r rhai oll a fwriasant i'r drysor-fa.

44 Canys hwynt hwy oll a fwriasant o'r hyn a oedd yngweddill ganddynt: ond hon o'i heisieu a fwriodd i mewn yr hyn oll a feddei, sef ei holl fywyd.

## P E N. XIII.

1 Christ vn rhag-fynegi dinistr y Deml: 9 yr erlidiau o achos yr Efengyl: 10 y bydd rhaid pregethu yr Efengl i'r Cenhedloedd oll: 14 y mawr gystuddiau a ddigwyddai i'r Iddewon: 24 a dull ei ddyfodiad ef i'r farn: 32 o ran na wyr neb yr awr, y dylai bôb dyn wilied a gweddio, rhac ein cael yn ammharod pan ddêl ef at bôb vn trwy farwolaeth.



AC *fel yr oedd efe yn myned allan o'r Deml, vn o'i ddiscyblion a ddywedodd wrtho, Athro, edrych pa ryw feini, a pha fath adeiladau [sy ymma.]

2 A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrtho, A weli di yr adeiladau mawrion hyn? ni edir maen ar faen a'r ni's dattodir.

3 Ac fel yr oedd efe yn eistedd ar fynydd yr Olewydd, gyferbyn a'r Deml, Petr, ac Iaco, ac Ioan, ac Andreas, a ofynnasant iddo || o'r neilltu:

4 *Dywed i ni pa bryd y bydd y pethau hyn, a pha arwydd [fydd] pan fo y pethau hyn oll ar ddibennu.

5 A'r Iesu attebodd iddynt, ac a ddechreuodd ddywedyd, Edrychwch rhag twyllo o neb chwi.

6 Canys llawer vn a ddaw yn fy enw i, gan ddywedyd, Myfi yw: ac a dwyllant lawer.

7 Ond pan glywoch am ryfeloedd, a sôn am ryfeloedd, na chyffroer chwi: canys rhaid [i hynny] fôd, ond nid [yw] y diwedd etto.

8 Canys cenedl a gyfyd yn erbyn cenedl, a theyrnas yn erbyn teyrnas: a daiar-grynfau fyddant mewn mannau, a newyn a thrallod fyddant.

9 Dechreuad gofidiau yw y pethau hyn: eithr edrychwch chwi arnoch eich hunain: canys traddodant chwi i'r cyngorau, ac i'r Synagogau: chwi a faeddir, ac a ddygir ger bron rhaglawiaid a Brenhinoedd, o'm hachos i, er tystiolaeth iddynt hwy.

10 Ac y mae yn rhaid yn gyntaf bregethu yr Efengyl ym mysc yr holl genhedloedd.

11 *Ond pan ddygant chwi a'ch traddodi, na ragofelwch beth a ddywettoch, ac na fyfyrwch: eithr pa beth bynnag a rodder i chwi yn yr awr honno, hynny dywedwch: canys nid chwy-chwi sy yn dywedyd, ond yr Yspryd glân.

12 A'r brawd a ddyry frawd i farwolaeth, a thâd ei blentyn: a phlant a gyfyd yn erbyn rhieni, ac a'u rhoddant hwy i farwolaeth.

13 A chwi a fyddwch gâs gan bawb, er mwyn fy enw i: eithr y neb a barhâo hyd y diwedd, hwnnw a fydd cadwedig.

14 *Ond pan weloch chwi y ffieidd-dra anghyfanneddol, yr hwn a ddywetpwyd gan Daniel y prophwyd, wedi ei osod lle ni's dylid, (y neb a ddarllenno dealled) yna y rhai fyddant yn Iudæa, ffoant i'r mynyddoedd.

15 A'r neb a fyddo ar ben y tŷ, na ddescynned i'r tŷ, ac nac aed i mewn i gymmeryd dim o'i dŷ.

16 A'r neb a fyddo yn y maes, na throed yn ei ôl, i gymmeryd ei wisc.

17 Ond gwae y rhai beichiog, a'r rhai yn rhoi bronnau, yn y dyddiau hynny.

18 Ond gweddiwch na byddo eich ffoedigaeth yn y gayaf.

19 Canys yn y dyddiau hynny y bydd gorthrymder, y cyfryw ni bu y fath o ddechreu y creaduriaeth a greodd Duw, hyd y pryd hwn, ac ni bydd chwaith.

20 Ac oni bai fôd i'r Arglwydd fyrhau y dyddiau, ni chadwesid vn cnawd: eithr er mwyn yr etholedigion a etholodd, efe a fyrhaodd y dyddiau.

21 *Ac yna os dywed neb wrthych, Wele, llymma y Christ, neu wele accw, na chredwch.

22 Canys gau Gristiau, a gau brophwydi a gyfodant, ac a ddangosant arwyddion a rhyfeddodau, || i hudo ymmaith, pe byddai bossibl, ie yr etholedigion.

23 Eithr ymogelwch chwi: wele, rhagddywedais i chwi bôb peth.

24 *Ond yn y dyddiau hynny, wedi 'r gorthrymder hwnnw, y tywylla 'r haul, a'r lloer ni rydd ei goleuni.

25 A sêr y nef a syrthiant, a'r nerthoedd sydd yn y nefoedd a siglir.

26 Ac yna y gwelant fab y dŷn yn dyfod yn y cwmmylau, gyd â gallu mawr, a gogoniant.

27 Ac yna yr enfyn efe ei Angelion, ac y cynnull ei etholedigion, oddi wrth y pedwar gwynt, o eithaf y ddaiar hyd eithaf y nef.

28 Ond dyscwch ddammeg oddi wrth y ffigys-bren, pan fo ei gangen eusys yn dyner, a'r dail yn torri allan, chwi a wyddoch fôd yr hâf yn agos:

29 Ac felly chwithau, pan weloch y pethau hyn wedi dyfod, gwybyddwch ei fod yn agos, wrth y drysau.

30 Yn wir yr wyf yn dywedyd i chwi, nad â yr oes hon heibio, hyd oni wneler y pethau hyn oll.

31 Nef a daiar a ânt heibio, ond y geiriau mau fi nid ânt heibio ddim.

32 Eithr am y dydd hwnnw a'r awr, ni wyr neb, na 'r angelion sydd yn y nef, na'r Mâb, ond y Tâd.

33 *Ymogelwch, gwiliwch, a gweddiwch: canys ni wyddoch pa bryd y bydd yr amser.

*Mat.24. | *Mat.24.23 | || iddidroi pe possibl. | *Mat.24.29 | *Mat 24.42

34 [Canys mab y dyn sydd] fel gwr yn ymdaith i bell, wedi gadel ei dŷ, a rhoi awdurdod i'w weision, ac i bob vn ei waith ei hun, a gorchymmyn i'r drysor wilio.

35 Gwiliwch gan hynny, (canys ni's gwyddoch pa bryd y daw meistr y tŷ, yn yr hwyr, ai hanner nôs, ai ar ganiad y ceiliog, ai'r boreu-ddydd.)

36 Rhag iddo ddyfod yn ddisymmwth, a'ch cael chwi yn cyscu.

37 A'r hyn yr wyf yn eu dywedyd wrthych-chwi, yr wyf yn eu dywedyd wrth bawb, Gwiliwch.

## PEN. XIIII.

1 Cyd-fwriad yn erbyn Christ. 3 Gwraig yn tywallt ennaint gwerth-fawr ar ei ben ef. 10 Iudas yn gwerthu ei feistr am arian. 12 Christ ei hun yn rhag-ddywedyd y bradychai vn o'i ddiscyblion ef. 22 Wedi darparu a bwytta y Pasc, y mae yn ordeinio ei Swpper: 26 yn yspysu ymlaen llaw, y ffoai ei holl ddiscyblion, ac y gwadai Petr ef. 43 Iudas yn ei fradychu ef â chusan. 46 Ei ddala ef yn yr ardd. 53 Cynnulleidfa yr Iddewon yn achwyn arno ef ar gam, ac yn ei farnu yn annuwiol, 65 ac yn ei ammherchi yn gywilyddus. 66 Petr yn ei wadu ef deir-gwaith.

[*M]at.26.2. [‖] Efengyl y [...]un nesaf o [...]en y Pasc.



A Wedi deu-ddydd yr oedd y Pasc, a [gwyl] y bara croyw: a'r Arch-offeiriaid a'r Scrifennyddion a geisiasant pa fodd y dalient ef trwy dwyll, ac y lladdent ef.

2 Eithr dywedasant, Nid ar yr wyl, rhag bod cynnwrf ym-mhlith y bobl.

[*M]at.26.6.

3 * A phan oedd efe yn Bethania, yn-nhŷ Simon y gwahan-glwyfus, ac efe yn eistedd i fwytta, daeth gwraig a chanddi flwch o ennaint, o nard glwyb gwerthfawr, a hi a dorrodd y blwch, ac a'i tywalltodd ar ei ben ef.

[‖] [...]orredig.

4 Ac yr oedd rhai yn ‖ anfodlon yn-ddynt eu hunain, ac yn dywedyd, I ba beth y gwnaethpwyd y golled hon o'r ennaint?

5 Oblegid fe a allasid gwerthu hwn uwchlaw trychan ceiniog, a'u rhoddi i'r tlodion. A hwy a ffrommasant yn ei herbyn hi.

6 A'r Iesu a ddywedodd, Gedwch iddi; pa ham y gwnewch flinder iddi? hi a wnaeth weithred dda arnafi.

7 Canys bob amser y cewch y tlodion gyd â chwi, a phan fynnoch y gellwch wneuthur da iddynt hwy: ond myfi ni chewch bob amser.

8 Hyn a allodd hon, hi a'i gwnaeth: hi a achubodd y blaen i eneinio fy nghorph erbyn y claddedigaeth.

9 Yn wir meddaf i chwi, pa le bynnag y pregether yr Efengyl hon, yn yr holl fyd, yr hyn a wnaeth hon hefyd, a adroddir er coffa am deni.

10 * A Iudas Iscariot, vn o'r deuddeg, a aeth ymmaith at yr Arch-offeiriaid, i'w fradychu ef iddynt.

*Mat.26.14.

11 A phan glywsant, fe fu lawen ganddynt, ac a addawsant roi arian iddo. Yntef a geisiodd pa fodd y gallai yn gymmwys ei fradychu ef.

12 * A'r dydd cyntaf o [wyl] y bara croyw, pan aberthent y Pasc, dywedodd ei ddiscyblion wrtho; I ba le yr wyt ti yn ewyllysio i ni fyned i baratoi i ti, i fwytta y Pasc?

*Mat.26.17.

13 Ac efe a anfonodd ddau o'i ddiscyblion, ac a ddywedodd wrthynt, Ewch i'r ddinas, a chyferfydd â chwi ddyn yn dwyn stenaid o ddwfr: dilynwch ef.

14 A pha le bynnag yr êl i mewn, dywedwch wrth wr y tŷ, Fod yr Athro yn dywedyd, Pa le y mae 'r llettŷ, lle y gallwyf, mi a'm discyblion, fwytta 'r Pasc?

15 Ac efe a ddengys i chwi oruwch-stafell fawr wedi ei thanu, yn barod: yno paratowch i ni.

16 A'i ddiscyblion a aethant, ac a ddaethant i'r ddinas, ac a gawsant megis y dywedasei efe wrthynt, ac a baratoesant y Pasc.

17 A phan aeth hi yn hwyr, efe a ddaeth gyd â'r deuddeg.

18 *Ac fel yr oeddynt yn eistedd, ac yn bwytta, yr Iesu a ddywedodd, Yn wir meddaf i chwi, vn o honoch, yr hwn sydd yn bwytta gyd â myfi, a'm bradycha i.

*Mat.26.2[...]

19 Hwythau a ddechreuasant dristáu, a dywedyd wrtho bob vn ac vn, Ai myfi? ac arall, Ai myfi?

20 Ac efe a attebodd ac a ddywedodd wrthynt, Vn o'r deuddeg, yr hwn sydd yn gwlychu gyd â mi yn y ddysgl [yw efe.]

21 Mab y dyn yn wir sydd yn myned ymmaith, fel y mae yn scrifennedig am dano: ond gwae'r dyn hwnnw trwy'r hwn y bradychir Mab y dyn: da fuasai i'r dyn hwnnw pe na's ganesid.

*Mat.26.[...]

22 *Ac fel yr oeddynt yn bwytta, yr Iesu a gymerodd fara, ac a'i bendithiodd, ac a'i torrodd, ac a'i rhoddes iddynt, ac a ddywedodd, Cymmerwch, bwyttewch, hwn yw fy nghorph.

23 Ac wedi iddo gymmeryd y cwppan, a rhoi diolch, efe a'i rhoddes iddynt: a hwynt oll a yfasant o honaw.

24 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Hwn yw fy ngwaed i o'r Testament newydd, yr hwn a dywelltir tros lawer.

25 Yn wir yr wyf yn dywedyd wrthych, nad yfaf mwy o ffrwyth y win-wydden, hyd y dydd hwnnw, pan yfwyf ef yn newydd yn nheyrnas Dduw.

26 Ac wedi iddynt ganu ‖ mawl, hwy a aethant allan i fynydd yr Olewydd.

‖ hymn.

*Math.[...]

27 *A dywedodd yr Iesu wrthynt, Chwi a rwystrir oll o'm plegid i, y nos hon: canys scri-

scrifennedig yw, Tarawaf y bugail, a'r defaid a wascerir.

28 Eithr wedi i mi adgyfodi, mia âf o'ch blaen chwi i Galilæa.

29 *Ond Petr a ddywedodd wrtho, Pe byddai pawb wedi eu rhwystro, etto ni byddaf fi.

30 A dywedodd yr Iesu wrtho, Yn wir yr ydwyf yn dywedyd i ti, heddyw o fewn y nos hon, cyn canu o'r ceiliog ddwy-waith, y gwedi fi deir-gwaith.

31 Ond efe a ddywedodd yn halaethach o lawer, Pe gorfyddai i mi farw gyd â thi, ni'th wadaf ddim. A'r un modd y dywedasant oll.

32 *A hwy a ddaethant i le yr oedd ei enw Gethsemane: ac efe a ddywedodd wrth ei ddiscyblion, Eisteddwch ymma tra fyddwyf yn gweddio.

33 Ac efe a gymmerth gyd ag ef Petr, ac Iaco, ac Ioan, ac a ddechreuodd ymofidio, a thristau yn ddirfawr.

34 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Y mae fy enaid yn athrist hyd angeu: arhoswch ymma, a gwiliwch.

35 Ac efe a aeth ychydig ym-mlaen, ac a syrthiodd ar y ddaiar, ac a weddiodd, o bai bossibl, ar fyned yr awr honno oddi wrtho.

36 Ac efe a ddywedodd, Abba Dad, pob peth sydd bossibl i ti; tro heibio y cwppan hwn oddi wrthif: eithr nid y peth yr ydwyfi yn ei ewyllysio, ond y peth yr ydwyt ti.

37 Ac efe a ddaeth, ac a'u cafodd hwy yn cyscu, ac a ddywedodd wrth Petr, Simon, ai cyscu yr wyti? oni allit wilio un awr?

38 Gwiliwch, a gweddiwch, rhag eich myned mewn temtasiwn: yr yspryd yn ddiau sydd barod; ond y cnawd sydd wan.

39 Ac wedi iddo fyned ymmaith drachefn, efe a weddiodd, gan ddywedyd yr un ymadrodd.

40 Ac wedi iddo ddychwelyd, efe a'u cafodd hwynt drachefn yn cyscu, (canys yr oedd eu llygaid hwynt wedi trymhau) ac ni wyddent beth a attebent iddo.

41 Ac efe a ddaeth y drydedd waith, ac a ddywedodd wrthynt, Cyscwch weithian, a gorphwyswch: digon yw, daeth yr awr: wele, yr ydys yn bradychu Mab y dyn i ddwylo pechaduriaid.

42 Cyfodwch, awn; wele, y mae yr hwn sydd yn fy mradychu yn agos.

43 *Ac yn y man, ac efe etto yn llefaru, daeth Iudas, un o'r deuddeg, a chyd ag ef dyrfa fawr â chleddyfau a ffynn, oddi wrth yr Arch-offeiriaid, a'r Scrifennyddion, a'r Henuriaid.

44 A'r hwn a'i bradychodd ef a roddasai arwydd iddynt, gan ddywedyd, Pwy bynnac a gusanwyf, hwnnw yw; daliwch ef, a dygwch ymmaith yn siccr.

45 A phan ddaeth, yn ebrwydd efe a aeth atto, ac a ddywedodd, Rabbi, Rabbi, ac a'i cusanodd ef.

46 A hwythau a roesant eu dwylo arno, ac a'i daliasant ef.

47 A rhyw un o'r rhai oedd yn sefyll gerllaw, a dynnodd ei gleddyf, ac a darawodd wâs yr Arch-offeiriad, ac a dorrodd ymmaith ei glust ef.

48 A'r Iesu a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt, Ai megis at leidr y daethoch allan, â chleddyfau, ac â ffynn i'm dala i?

49 Yr oeddwn i beunydd gyd â chwi yn athrawiaethu yn y Deml, ac ni'm daliasoch: ond rhaid yw cyflawni'r Scrythyrau.

50 A hwynt oll a'i gadawsant ef, ac a ffoesant.

51 A rhyw wr ieuangc oedd yn ei ddilyn ef, wedi ymwisco â lliain main ar[ei gorph] noeth, a'r gwŷr ieuaingc a'i daliasant ef.

52 A hwn a adawodd y lliain, ac a ffôdd oddi wrthynt yn noeth.

53 *A hwy a ddygasant yr Iesu at yr Arch-offeiriad: a'r holl Arch-offeiriaid, a'r Henuriaid, a'r Scrifennyddion, a ymgasclasant gyd ag ef.

*Mat.26.57.

54 A Phetr a'i canlynodd ef o hirbell, hyd yn llys yr Arch-offeiriad: ac yr oedd efe yn eistedd gyd â'r gwasanaeth-wŷr, ac yn ymdwymno wrth y tân.

55 *A'r Arch-offeiriaid, a'r holl gyngor, a geisiasant dystiolaeth yn erbyn yr Iesu, i'w roi ef i'w farwolaeth, ac ni chawsant.

*Matt.26.95.

56 Canys llawer a ddygasant gau dystiolaeth yn ei erbyn ef, eithr nid oedd eu tystiolaethau hwy yn gyson.

57 A rhai a gyfodasant, ac a ddygasant gam-dystiolaeth yn ei erbyn ef, gan ddywedyd,

58 Ni a'i clywsom ef yn dywedyd, Mi a ddinistriaf y Deml hon o waith dwylo, ac mewn tridiau yr adeiladaf arall, heb fôd o waith llaw.

59 Ac etto nid oedd eu tystiolaeth hwy felly yn gyson.

60 A chyfododd yr Arch-offeiriad yn y canol, ac a ofynnodd i'r Iesu, gan ddywedyd, oni attebi di ddim? beth y mae y rhai hyn yn ei dystiolaethu yn dy erbyn?

61 Ac efe a dawodd, ac nid attebodd ddim. Drachefn yr Arch-offeiriad a ofynnodd iddo, ac a ddywedodd wrtho, Ai tydi yw Christ, Mâb y Bendigedig?

62 A'r Iesu a ddywedodd, Myfi yw: *a chwi a gewch weled Mab y dŷn yn eistedd ar ddeheu-law y gallu, ac yn dyfod yng-hwmmylau y nef.

*Matt.24.30.

63 Yna'r Arch-offeiriad, gan rwygo ei ddillad, a ddywedodd, Pa raid i ni mwy wrth dystion?

64 Chwi a glywsoch y gabledd: beth dybygwch chwi? A hwynt oll a'i condemnasant ef, ei fôd yn euog o farwolaeth.

65 A dechreuodd rhai boeri arno, a chuddio ei wyneb, a'i gernodio, a dywedyd wrtho, Prophwyda. A'r gweinidogion a'i tarawsant ef â gwiail.

66 *Ac fel yr oedd Petr yn y llys i wared, daeth un o forwynion yr Arch-offeiriad:

*Matt.26.69.

67 A phan ganfu hi Petr yn ymdwymno,

hi a edrychodd arno, ac a ddywedodd, Ti-
theu hefyd oeddit gyd â'r Iesu o Nazareth.

68 Ac efe a wadodd, gan ddywedyd, Nid adwaen i, ac ni wn i beth yr wyt yn ei ddywedyd. Ac efe a aeth allan i'r porth: a'r ceiliog a ganodd.

69 A phan welodd y llangces ef drachefn, hi a ddechreuodd ddywedyd wrth y rhai oedd yn sefyll yno, Y mae hwn yn vn o honynt.

70 Ac efe a wadodd drachefn. Ac ychydig wedi, y rhai oedd yn sefyll ger llaw a ddywedasant wrth Petr drachefn, Yn wir yr wyti yn vn o honynt, canys Galilæad wyt, a'th leferydd sydd debyg.

71 Ond efe a ddechreuodd regu, a thyngu, Nid adwaen i y dyn ymma yr ydych chwi yn dywedyd [am dano.]

*Matt.26.75.

72 *A'r ceiliog a ganodd yr ail waith: a Phetr a gofiodd y gair a ddywedasei'r Iesu wrtho, Cyn canu o'r ceiliog ddwy-waith, ti a'm gwedi deir-gwaith. A chan ystyried hynny efe a wylodd.

## PEN. XV.

1 Dwyn yr Iesu yn rhwym, ac achwyn arno, ger bron Pilat. 15 Wrth floedd y bobl gyffredin, gollwng Barabbas y llofrudd yn rhydd, a thraddodi yr Iesu iw groes-hoelio. 17 Ei goroni ef â drain, 19 poeri arno, a'i watwar: 21 Efyn deffygio yn dwyn ei groes: 27 Ei grogi ef rhwng dau leidr. 29 Y mae yn dioddef difenwad yr Iddewon, 39 Etto y Canwriad yn cyffesu ei fod ef yn fâb Duw: 43 A Ioseph yn ei gladdu ef yn barchedig.

Yr Efengyl ddie mawrth nesaf o flaen y Pasc.
*Matt.27.1.


*C yn y fan y boreu, yr ymgynghorodd yr Arch-offeiriaid gyd â'r Henuriaid, a'r Scrifennyddion, a'r holl gyngor, ac wedi iddynt rwymo 'r Iesu, hwy a'i dygasant ef ymmaith, ac a'i traddodasant at Pilat.

2 A gofynnodd Pilat iddo, Ai ti yw Brenin yr Iddewon? Yntef a attebodd, ac a ddywedodd wrtho, Yr wyt ti yn dywedyd.

||am lawer.
*Mat.27.13.

3 A'r Arch-offeiriaid a'i cyhuddasant ef ||o lawer o bethau.

4 *A Philat drachefn a ofynnodd iddo, gan ddywedyd, Onid attebi di ddim? wele faint o bethau y maent yn eu tystiolaethu yn dy erbyn.

5 Ond yr Iesu etto nid attebodd ddim; fel y rhyfeddodd Pilat.

6 Ac ar yr wyl [honno] y gollyngai efe yn rhydd iddynt vn carcharor, yr hwn a ofynnent iddo.

7 Ac yr oedd vn a elwid Barabbas, yr hwn oedd yn rhwym gyd â'i gyd-terfysc-wyr, y rhai yn y derfysc a wnaethent lofruddiaeth.

8 A'r dyrfa gan groch-lefain, a ddechreuodd ddeisyf [arno wneuthur] fel y gwnaethai bôb amser iddynt.

9 A Philat a attebodd iddynt, gan ddywedyd, A fynnwch chwi i mi ollwng yn rhydd i chwi Frenin yr Iddewon?

10 (Canys efe a wyddai mai o genfigen y traddodasai yr Arch-offeiriaid ef.)

11 A'r Arch-offeiriaid a gynhyrfasent y bobl, fel y gollyngai efe yn hytrach Barabbas yn rhydd iddynt.

12 A Philat a attebodd, ac a ddywedodd drachefn wrthynt, Beth gan hynny a fynnwch i mi ei wneuthur i'r hwn yr ydych yn ei alw Brenin yr Iddewon?

13 A hwythau a lefasant drachefn, Croes-hoelia ef.

14 Yna Pilat a ddywedodd wrthynt, Ond pa ddrwg a wnaeth efe? A hwythau a lefasant fwy-fwy, Croes-hoelia ef.

15 A Philat yn chwennych bodloni 'r bobl, a ollyngodd yn rhydd iddynt Barabbas, a'r Iesu wedi iddo ei fflangellu, a draddododd efe i'w groes-hoelio.

16 A'r milwyr a'i dygasant ef i fewn y llys, a elwir Prætorium: a hwy a alwasant ynghyd yr holl fyddin.

17 Ac a'i gwiscasant ef â phorphor, ac a blethasant goron o ddrain, ac a'i dodasant am ei [ben:]

18 Ac a ddechreuasant gyfarch iddo, Hanffych well, Brenin yr Iddewon.

19 A hwy a gurasant ei ben ef â chorsen, ac a boerasant arno, a chan ddodi eu gliniau [i lawr,] a'i haddolasant ef.

20 Ac wedi iddynt ei watwar ef, hwy a ddioscasant y porphor oddi am dano, ac a'i gwiscasant ef â'i ddillad ei hun, ac a'i dygasant allan i'w groes-hoelio.

*Matt.27.

21 A *hwy a gymmellasant vn Simon o Cyrene, yr hwn oedd yn myned heibio, wrth ddyfod o'r wlâd, sef tâd Alexander a Rufus, i ddwyn ei groes ef.

22 A hwy a'i harweiniasant ef i le [a elwid] Golgotha: yr hyn o'i gyfieithu yw, lle'r benglog:

23 Ac a roesant iddo i'w yfed win myrrllyd; eithr efe ni's cymmerth.

24 Ac wedi iddynt ei groes-hoelio, hwy a rannasant ei ddillad ef, gan fwrw coel-bren arnynt, beth a gai bob vn.

25 A'r drydedd awr oedd hi, a hwy a'i croes-hoeliasant ef.

26 Ac yr oedd yscrifen ei achos ef wedi ei hargraphu, BRENIN YR IDDEWON.

27 A hwy a groes-hoeliasant gyd ag ef ddau leidr; vn ar y llaw ddeheu, ac vn ar yr asswy iddo.

*Esa.53.

28 A'r Scrythur a gyflawnwyd, yr hon a ddywed, *Ac efe a gyfrifwyd gyd â'r rhai anwir.

29 A'r rhai oedd yn myned heibio a'i cablasant ef, gan yscwyd eu penneu, a dywedyd, Och, tydi yr hwn wyt yn dinistrio y Deml, ac yn ei hadeiladu mewn tridiau:

30 Gwared dy hun, a descyn oddi ar y groes.

31 Yr vn ffunyd yr Arch-offeiriaid hefyd yn gwatwar, a ddywedasant wrth ei gilydd, gyd â'r Scrifennyddion, Eraill a waredodd, ei hun ni's gall ei wared.

32 Descynned Christ Brenin yr Israel, yr awr hon oddi ar y groes, fel y gwelom, ac y credom.

enedom. A'r rhai a groes-hoeliesid gyd ag ef, a'i difenwasant ef.

33 A phan ddaeth y chweched awr, y bu tywyllwch ar yr holl || ddaiar, hyd y nawfed awr.

34 Ac ar y nawfed awr y dolefodd yr Iesu â llef uchel, gan ddywedyd, * Eloi, Eloi, lamma sabachthani: yr hyn o'i gyfieithu yw; Fy Nuw, fy Nuw, pa ham i'm gadewaist?

35 A rhai o'r rhai a safent gér llaw, pan glywsant, a ddywedasant, Wele, y mae efe yn galw ar Elias.

36 Ac un a redodd, ac a lanwodd yspwrn yn llawn o finegr, ac a'i dododd ar gorsen, ac a'i diododd ef, gan ddywedyd, Peidiwch, edrychwn a ddaw Elias i'w dynnu ef i lawr.

37 A'r Iesu a lefodd â llef uchel, ac a ymadawodd â'r yspryd.

38 A llen y Deml a rwygwyd yn ddwy, oddi fynu hyd i wared.

39 A phan welodd y Canwriad, yr hwn oedd yn sefyll gér llaw gyferbyn ag ef, ddarfod iddo yn llefain felly ymado â'r yspryd, efe a ddywedodd, Yn wir, Mab Duw oedd y dyn hwn.

40 Ac yr oedd hefyd wragedd yn edrych o hir-bell: ym-mhlith y rhai yr oedd Mair Magdalen, a Mair mam Iaco fychan a Iose, a Salôme:

41 Y rhai hefyd pan oedd efe yn Galilæa, * a'i dilynasant ef, ac a weinasant iddo: a [ gwragedd ] eraill lawer, y rhai a ddaethent gyd ag ef i fynu i Ierusalem.

42 * Pan ydoedd hi weithian yn hwyr, (am ei bod hi yn ddarpar-wyl, sef y dydd cyn y Sabbath.)

43 Daeth Ioseph o Arimathæa, cynghorwr pendefigaidd, yr hwn oedd yntef yn disgwil am deyrnas Dduw; ac a aeth yn hy i mewn at Pilat, ac a ddeisyfodd gorph yr Iesu.

44 A rhyfedd oedd gan Pilat o buasei efe farw eusys: ac wedi iddo alw y Canwriad atto, efe a ofynnodd iddo a oedd efe wedi marw er ys meityn.

45 A phan wybu gan y Canwriad, efe a roddes y corph i Ioseph.

46 Ac efe a brynodd liain main, ac a'i tynnodd ef i lawr, ac a'i hamdôdd yn y lliain main, ac a'i dodes ef mewn bedd a naddasid o'r graig; ac a dreiglodd faen ar ddrws y bedd.

47 A Mair Fagdalen, a Mair [ mam ] Iose, a edrychasant pa le y dodid ef.

PEN. XVI.

1 Angel yn mynegi adgyfodiad Christ i dair o wragedd. 9 Christ ei hun yn ymddangos i Fair Fagdalen, 12 i ddau oedd yn myned i'r wlâd: 14 Yna i'r Apostolion, 15 y rhai y mae efe yn eu hanfon allan i bregethu 'r Efengyl: 19 ac yn escyn i'r nefoedd.



AC wedi darfod y dydd Sabbath, Mair Fagdalen, a Mair [ mam ] Iaco, a Salôme, a brynasant || ber-arogl-au, i ddyfod i'w enneinio ef.

2 * Ac yn foreu iawn, y dydd cyntaf || o'r wythnos, y daethant at y bedd, a'r haul wedi codi.

3 A hwy a ddywedasant wrth ei gilydd, Pwy a dreigla i ni y maen ymmaith oddi wrth ddrws y bedd?

4 (A phan edrychasant, hwy a ganfuant fôd y maen wedi ei dreiglo ymmaith): canys yr oedd efe yn fawr iawn.

5 Ac * wedi iddynt fyned i mewn i'r bedd, hwy a welsant fab ieuangc yn eistedd o'r tu dehau, wedi ei ddilladu â gwisc wen-llaes, ac a ddychrynasant.

6 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Na ddychrynwch: ceisio yr ydych yr Iesu o Nazareth, yr hwn a groes-hoeliwyd: efe a gyfodes, nid yw efe ymma: wele'r man y dodasant ef.

7 Eithr ewch ymmaith, dywedwch i'w ddiscyblion ef, ac i Petr, ei fôd efe yn myned o'ch blaen chwi i Galilæa: yno y cewch ei weled ef, * fel y dywedodd i chwi.

8 Ac wedi myned allan ar frys, hwy a ffoesant oddi wrth y bedd; canys dychryn a syndod oedd arnynt: ac ni ddywedasant ddim wrth neb: canys yr oeddynt wedi ofni.

9 A'r [ Iesu ] wedi adgyfodi y boreu, y dydd cyntaf o'r wythnos, * efe a ymddangosodd yn gyntaf i Mair Fagdalen, * o'r hon y bwriasei efe allan saith o gythreuliaid.

10 Hithau a aeth ac a fynegodd i'r rhai a fuasent gyd ag ef, ac oeddynt mewn galar ac wylofain.

11 A hwythau pan glywsant ei fôd ef yn fyw, ac iddi hi ei weled ef, ni chredent.

12 Ac wedi hynny yr * ymddangosodd efe mewn gwedd arall, i ddau o honynt, [ a hwynt ] yn ymdeithio, ac yn myned i'r wlâd.

13 A hwy a aethant ac a fynegasant i'r lleill: ac ni chredent iddynt hwythau.

14 * Ac yn ôl hynny, efe a ymddangosodd i'r un ar ddêg, a hwynt yn eistedd i fwytta, ac a ddannododd iddynt eu hanghrediniaeth, a'u calon-galedwch: am na chredasent y rhai a'i gwelsent ef wedi adgyfodi.

15 * Ac efe a ddywedodd wrthynt, Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr Efengyl i bob creadur.

16 Y neb a gredo, ac a fedyddier a fydd cadwedig; * eithr y neb ni chredo a gondemnir.

Margin notes: * Mat. 27.46. * Matt. 27. * Mat. 27.57. * Esa. 53. || yspeis. * Luc. 24.1. Io. 20.1. || o'r Sabbathau. * Io. 20.11. * Matt. 26.32. * Io. 20.14. * Luc. 8.2. * Luc. 24.13. * Luc. 24.36. Io. 20.19. * Matt. 28.19. * Io. 12.48.

17 A'r arwyddion hyn a ganlynant y rhai a gredant, * Yn fy enw i y bwriant allan gythreuliaid: ac * â thafodau newyddion y llefarant:

18 * Seirph a godant ymmaith, ac os yfant ddim marwol, ni wna iddynt ddim niwed: * ar y cleifion y rhoddant eu dwylo, a hwy a fyddant iach.

19 Ac felly yr Arglwydd, wedi llefaru wrthynt, a gymmerwyd i fynu i'r nef, * ac a eisteddodd ar ddeheu-law Dduw.

20 A hwythau a aethant allan, ac a bregethasant ym-mhôb man, a'r Arglwydd yn cydweithio, * ac yn cadarnhau'r gair, trwy arwyddion y rhai oedd yn canlyn. Amen.

* Act.16.18.
* Act.2.4.
* Act.28.5
* Act.28.8.
Luc.24.51.
Heb.2.4.



# YR EFENGYL YN ôl Sanct LVC.

## PENOD I.

1 Rhag-ymadrodd yr holl Efengyl. 5 Cenhedliad Ioan Fedyddiwr, 26 a Christ. 39 Prophwydoliaeth Elizabeth a Mair, am Grist. 57 Genedigaeth ac enwaediad Ioan. 67 Prophwydoliaeth Zacharias am Grist, 76 ac Ioan.



N gymmaint a darfod i lawer gymeryd mewn llaw osod allan mewn trefn draethawd am y pethau a gredir yn ddiammeu yn ein plith,

2 Megis y traddodasant hwy i ni, y rhai oeddynt eu hunain o'r dechreuad yn gweled, ac yn weinidogion y gair;

3 Minneu a welais yn dda, wedi i mi ddilyn pob peth yn ddyfal o'r dechreuad, scrifennu mewn trefn attat, o ardderchoccaf Theophilus,

4 Fel y ceit wybod siccrwydd am y pethau i'th ddyscwyd ynddynt.

5 YR oedd yn nyddiau Herod frenin Judæa, ryw offeiriad a'i enw Zacharias, o || ddydd-gylch Abia: a'i wraig [ oedd ] o ferched Aaron, a'i henw Elisabeth.

6 Ac yr oeddynt ill dau yn gyfiawn ger bron Duw, yn rhodio yn holl orchymmynion a deddfau 'r Arglwydd, yn ddiargyoedd.

7 Ac nid oedd plentyn iddynt, am fôd Elisabeth yn am-mhlantadwy, ac yr oeddynt wedi myned ill dau mewn gwth o oedran.

8 A bu, ac efe yn gwasanaethu swydd offeiriad ger bron Duw, yn nhrefn ei || ddydd-gylch ef,

9 Yn ôl arfer swydd yr offeiriad, ddyfod o ran iddo arogldarthu, yn ôl ei fyned i Deml yr Arglwydd:

10 A * holl liaws y bobl oedd allan yn gweddio, ar awr yr arogl-darthiad.

11 Ac ymddangosodd iddo Angel yr Arglwydd, yn sefyll o'r tu dehau i allor yr arogl-darth.

12 A Zacharias pan ganfu, a gythryblwyd, ac ofn a syrthiodd arno.

13 Eithr yr Angel a ddywedodd wrtho, Nac ofna Zacharias, canys gwrandawyd dy weddi: a'th wraig Elisabeth a ddwg i ti fab, a thi a elwi ei enw ef Ioan.

14 A bydd i ti lawenydd a gorfoledd; a llawer a lawenychant am ei enedigaeth ef.

15 Canys mawr fydd efe yngolwg yr Arglwydd, ac nid yf na gwin na diod gadarn, ac efe a gyflawnir o'r Yspryd glân, ie o groth ei fam:

16 * A llawer o blânt Israel a drŷ efe at yr Arglwydd eu Duw.

17 Ac efe à o'i flaen ef yn yspryd a nerth Elias, i droi calonnau y tadau at y plant, a'r anufydd i ddoethineb y cyfiawn: i ddarparu i'r Arglwydd bobl barod.

18 A dywedodd Zacharias wrth yr Angel, Pa fodd y gwybyddaf hyn? canys henaf-gŵr wyf fi, a'm gwraig hefyd mewn gwth o oedran.

19 A'r Angel gan atteb a ddywedodd wrtho, Myfi yw Gabriel, yr hwn wyf yn sefyll ger bron Duw, ac a anfonwyd i lefaru wrthit, ac || i fynegi i ti y newyddion da hyn.

20 Ac wele, ti a fyddi fud, ac heb allu llefaru, hyd y dydd y gwneler y pethau hyn, am

|| gylch-ddydd.
|| gylch-ddydd.
Exod.30.7.
leuit.16.17.
Malac.4.6.
|| i efengylu i ti hyn.

am na chredaiſt i'm geiriau i, y rhai a gyflawnir yn eu hamſer.

21 Ac yr oedd y bobl yn diſgwil am Zacharias: a rhyfeddu a wnaethant ei fod ef yn aros cyhyd yn y Deml.

22 A phan ddaeth efe allan, ni allai efe leſaru wrthynt: a hwy a wybuant weled o honaw weledigaeth yn y Deml, ac yr oedd efe yn gwneuthur amnaid iddynt: ac efe a arhoſodd yn fud.

23 A bu, cyn gynted ac y cyflawnwyd dyddiau ei weinidogaeth ef, fyned o hono i'w dŷ ei hun.

24 Ac yn ôl y dyddiau hynny y caſodd Eliſabeth ei wraig ef feichiogi, ac a ymguddiodd bum mis, gan ddywedyd,

25 Fel hyn y gwnaeth yr Arglwydd i mi, yn y dyddiau'r edrychodd arnaf, i dynnu ymmaith fy ngwradwydd ym-mhlith dynion.

Yr Efengyl ar ddydd Cyfarchiad Mair.

26 ☞ Ac yn y chweched mis, yr anfonwyd yr Angel Gabriel oddiwrth Dduw, i ddinas yn Galilæa, a'i henw Nazareth,

27 At forwyn wedi ei dyweddio i wr a'i enw Joſeph, o dŷ Ddafydd: ac enw'r forwyn [oedd] Mair.

28 A'r Angel a ddaeth i mewn atti, ac a ddywedodd, Hanffych well, yr hon a gafaiſt râs, yr Arglwydd ſydd gyd â thi: bendigaid wyt ym-mhlith gwragedd.

29 A hithau pan [ei] gwelodd, a gythryblwyd wrth ei ymadrodd ef: a meddylio a wnaeth, pa fath gyfarch oedd hwn.

30 A dywedodd yr Angel wrthi, Nac ofna, Mair: canys ti a gefaiſt ffafor gyd â Duw.

31 * Ac wele, ti a gei feichiogi yn dy groth, ac a eſcori ar fab, ac a elwi ei enw ef Jeſu.

32 Hwn fydd mawr, ac a elwir yn Fab y Goruchaf, ac iddo y rhydd yr Arglwydd Dduw orſeddfa ei Dâd Dafydd.

33 * Ac efe a deyrnaſa ar dŷ Jacob yn dragywydd, ac ar ei frenhiniaeth ni bydd diwedd.

34 A Mair a ddywedodd wrth yr Angel, Pa fodd y bydd hyn, gan nad adwaen i wr?

35 A'r Angel a attebodd, ac a ddywedodd wrthi, Yr Yſpryd glân a ddaw arnat ti, a nerth y Goruchaf a'th gyſcoda di: am hynny hefyd, y peth ſanctaidd a aner o honoti, a elwir yn Fab Duw.

36 Ac wele, Eliſabeth dy gares, y mae hithau wedi beichiogi ar fab yn ei henaint: a hwn yw'r chweched mis iddi hi, yr hon a elwid yn am-mhlantadwy.

37 Canys gyd â Duw ni bydd dim yn ammhoſſibl.

38 A dywedodd Mair, Wele wafanaethyddes yr Arglwydd, bydded i mi yn ôl dy air di. A'r Angel a aeth ymmaith oddi wrthi hi. ☜

39 A Mair a gyfododd yn y dyddiau hynny, ac a aeth i'r mynydd-dir ar frys, i ddinas o Juda:

40 Ac a aeth i mewn i dŷ Zacharias, ac a gyfarchodd well i Eliſabeth.

41 A bu, pan glybu Eliſabeth gyfarchiad Mair, i'r plentyn yn ei chroth hi lammu: ac Eliſabeth a lanwyd o'r Yſpryd glân.

42 A llefain a wnaeth â llef uchel, a dywedyd, Bendigedig wyt ti ym mhlith gwragedd, a bendigedig yw ffrwyth dy groth di.

43 Ac o ba le y mae hyn i mi, fel y delai mam fy Arglwydd attaf?

44 Canys wele, er cynted y daeth llefarydd dy gyfarchiad di i'm cluſtiau, y plentyn a lammodd o lawenydd yn fy nghroth.

45 A bendigedig yw'r hon || a gredodd: canys bydd cyflawniad o'r pethau a ddywetpwyd wrthi gan yr Arglwydd.

|| Neu, agredodd y bydd cyf.

46 A dywedodd Mair, Y mae fy enaid yn mawrhau yr Arglwydd,

47 A'm hyſpryd a lawenychodd yn Nuw fy Jachawdr.

48 Canys efe a edrychodd ar waeledd ei wafanaethyddes: oblegid wele, o hyn allan yr holl genhedlaethau a'm geilw yn wynfydedig:

49 Canys yr hwn ſydd alluog a wnaeth i mi fawredd, a ſanctaidd yw ei enw ef.

50 A'i drugaredd [ſydd] yn oes oeſoedd, ar y rhai a'i hofnant ef.

51 *Efe a wnaeth gadernid â'i fraich: *efe a waſcarodd y rhai beilchion ym mwriad eu calon.

Eſa 51.9. * Pſal.33.10.

52 Efe * a dynnodd i lawr y cedyrn o'u heiſteddfâu, ac a dderchafodd y rhai iſelradd.

1 Sam.2.6.

53 Y *rhai newynog a lanwodd efe â phethau da, ac efe a anfonodd ymmaith y rhai goludog yn weigion.

Pſal.34.10.

54 Efe a gynnorthwyodd ei wâs Iſrael, *gan gofio ei drugaredd.

Ierem.31.3.

55 *Fel y dywedodd wrth ein tadau, Abraham a'i hâd, yn dragywydd.

* Pſal.132.10. gen.17.19.

56 A Mair a arhoſodd gyd â hi ynghylch tri mis, ac a ddychwelodd i'w thŷ ei hun.

Yr Efengyl ar ddigwyl Ioan Fedyddiwr.

57 ☞ A chyflawnwyd tymp Eliſabeth i eſcor, a hi a eſcorodd ar fab.

58 A'i chymydogion a'i chenedl a glybu fawrhau o'r Arglwydd ei drugaredd arni: a hwy a gyd-lawenychaſant â hi.

59 A bu, ar yr wythfed dydd, hwy a ddaethant i enwaedu ar y dŷn bach, ac a'i galwaſant ef Zacharias, ar ôl enw ei dâd.

60 A'i fam a attebodd ac a ddywedodd, Nid felly: eithr Joan y gelwir ef.

61 Hwythau a ddywedaſant wrthi, Nid oes neb o'th genedl a elwir ar yr enw hwn.

62 A hwy a wnaethant amnaid ar ei dâd ef, pa fodd y mynnei efe ei henwi ef.

63 Yntef a alwodd am argraph-lech, ac a ſcrifennodd, gan ddywedyd, Joan yw ei enw ef. A rhyfeddu a wnaethant oll.

64 Ac

64 Ac agorwyd ei enau ef yn ebrwydd, a'i dafod ef, ac efe a lefarodd, gan fendithio Duw.

65 A daeth ofn ar bawb oedd yn trigo yn eu cylch hwy: a thrwy holl fynydd-dir Iudæa y cyhoeddwyd y geiriau hyn oll.

66 A phawb a'r a'u clywsant a'u gosodasant yn eu calonneu, gan ddywedyd, Beth fydd y bachgennyn hwn? A llaw 'r Arglwydd oedd gyd ag ef.

67 A'i dâd ef Zacharias a gyflawnwyd o'r Yspryd glân, ac a brophwydodd, gan ddywedyd,

68 Bendigedig [fyddo] Arglwydd Dduw Israel, canys efe a ymwelodd ac a wnaeth ymwared i'w bobl,

69 Ac * efe a dderchafodd gorn iechydwriaeth i ni, yn-nhŷ Ddafydd ei wasanaethwr:

*Psal.132.18.

70 * Megis y llefarodd trwy enau ei sanctaidd brophwydi, y rhai oedd o[ddechreuad] y byd,

*Ierem.23.5. & 30.9.

71 [Fel y byddai i ni] ymwared rhag ein gelynion, ac o law pawb o'n caseion,

72 I gwplau y drugaredd â'n tadau, ac i gofio ei sanctaidd gyfammod:

73 Y * llw a dyngodd efe wrth ein tad Abraham, ar roddi i ni,

*Gen.22.16.

74 Gwedi ein rhyddhau o law ein gelynion, ei wasanaethu ef yn ddiofn,

75 Mewn sancteiddrwydd a chyfiawnder ger ei fron ef, holl ddyddiau ein bywyd.

76 A thitheu fachgennyn, a elwir yn brophwyd i'r Goruchaf: canys ti a ei o flaen wyneb yr Arglwydd, i baratoi ei ffyrdd ef;

77 I roddi gwybodaeth iechydwriaeth i'w bobl, trwy faddeuant o'u pechodau,

78 O herwydd || tiriondeb trugaredd ein Duw, trwy yr hon yr ymwelodd â ni godiad haul o'r uchelder,

|| ymyscaroedd.

79 I lewyrchu i'r rhai sy yn eistedd mewn tywyllwch a chysgod angeu, i gyfeirio ein traed i ffordd tangnefedd.

80 A'r bachgen a gynnyddodd, ac a gryfhawyd yn yr yspryd, ac a fu yn y diffaethwch hyd y dydd yr ymddangosodd ef i'r Israel. ☜

## PEN. II.

1 Augustus yn trethu holl Ymerodraeth Rufain. 6 Genedigaeth Christ. 8 Un Angel yn ei fynegi i'r bugeiliaid, 13 a llawer yn canu moliant i Dduw am dano. 21 Enwaedu Christ. 22 Puredigaeth Mair, 28 Simeon ac Anna yn prophwydo am Grist: 40 ac ynteu yn cynyddu mewn doethineb, 46 yn ymresymmu â'r Doctoriaid yn y Deml, 51 ac yn ufydd iw rieni.



u hefyd yn y dyddiau hynny, fyned gorchymmyn allan oddiwrth Augustus Cæsar, i drethu yr holl fyd.

2 (Y trethiad ymma a wnaethpwyd gyntaf, pan oedd Cyrenius yn rhaglaw ar Syria.)

3 A phawb a aethant i'w trethu, bôb un i'w ddinas ei hun.

4 A Ioseph hefyd a aeth i fynu o Galilæa o ddinas Nazareth, i Iudæa, * i ddinas Dafydd, yr hon a elwir Bethlehem, (am ei fôd o dŷ a thylwyth Dafydd.)

*Io.7.42.

5 I'w drethu gyd â Mair yr hon a ddyweddiasid yn wraig iddo, yr hon oedd yn feichiog.

6 A bu, tra'r oeddynt hwy yno, cyflawnwyd y dyddiau i escor o honi.

7 A hi a escorodd ar ei mab || cyntafanedig, ac a'i rhwymodd ef mewn cadachau, ac a'i dodes ef yn y preseb: am nad oedd iddynt le yn y llettŷ.

|| y cyntafanedig.

8 Ac yr oedd yn y wlâd honno fugeiliaid yn aros yn y maes, ac yn gwilied eu praidd liw nos.

9 Ac wele, Angel yr Arglwydd a safodd ger llaw iddynt, a gogoniant yr Arglwydd a ddiscleiriodd o'u hamgylch, ac ofni yn ddirfawr a wnaethant.

10 A'r Angel a ddywedodd wrthynt, Nac ofnwch; canys wele yr wyfi yn mynegi i chwi newyddion da o lawenydd mawr, yr hwn a fydd i'r holl bobl:

11 Canys ganwyd i chwi heddyw geidwad yn ninas Dafydd, (yr hwn yw Christ yr Arglwydd.)

12 A hyn [fydd] arwydd i chwi, Chwi a gewch y dŷn bach wedi ei rwymo mewn cadachau, a'i ddodi yn y preseb.

13 Ac yn ddisymmwth yr oedd gyd â'r Angel lliaws o lu nefol, yn moliannu Duw, ac yn dywedyd,

14 Gogoniant yn y goruchaf i Dduw, ac ar y ddaiar tangnheddyf, i ddynion ewyllys da.

15 ☞ A bu, pan aeth yr Angelion ymmaith oddi wrthynt i'r nef, y bugeiliaid hwythau a ddywedasant wrth ei gilydd, Awn hyd Bethlehem, a gwelwn y peth hyn a wnaethpwyd, yr hwn a yspysodd yr Arglwydd i ni.

Yr Efengyl ar ddydd yr Enwaediad.

16 A hwy a ddaethant ar frys, ac a gawsant Mair a Ioseph, a'r dŷn bach yn gorwedd yn y preseb.

17 A phan welsant, hwy a gyhoeddasant y gair a ddywedasid wrthynt am y bachgen hwn.

18 A phawb a'r a'u clywsant, a ryfeddasant am y pethau a ddywedasid gan y bugeiliaid wrthynt.

19 Eithr Mair a gadwodd y pethau hyn oll, gan eu hystyried yn ei chalon.

20 A'r bugeiliaid a ddychwelasant, gan ogoneddu a moliannu Duw, am yr holl bethau a glywsent ac a welsent, fel y dywedasid wrthynt.

21 A * phan gyflawnwyd wyth niwrnod i enwaedu ar y dŷn bach, * galwyd ei enw ef

*Gen.17.12 *Matt.1.21.

ef Iesu, yr hwn a henwasid gan yr Angel, cyn ei ymddwyn ef yn y groth.

22 Ac wedi cyflawni dyddiau ei phuredigaeth hi, yn ôl deddf Moses, hwy a'i dygasant ef i Ierusalem, i'w || gyflwyno i'r Arglwydd,

23 (Fel yr scrifennwyd yn neddf yr Arglwydd, * Pob gwr-ryw || cyntaf-anedig, a elwir yn sanctaidd i'r Arglwydd.)

24 Ac i roddi aberth, * yn ôl yr hyn a ddywetpwyd yn neddf yr Arglwydd, pâr o durturod, neu ddau gyw colommen.

25 Ac wele, yr oedd gwr yn Ierusalem, a'i enw Simeon, a'r gwr hwn oedd gyfiawn a duwiol, yn disgwyl am ddiddanwch yr Israel: a'r Yspryd glân oedd arno.

26 Ac yr oedd wedi ei yspysu iddo gan yr Yspryd glân, na welai efe angeu, cyn iddo weled Christ yr Arglwydd.

27 Ac efe a ddaeth trwy 'r Yspryd i'r Deml: a phan ddûg ei rieni y dyn bach Iesu, i wneuthur trosto yn ôl defod y gyfraith;

28 Yna efe a'i cymmerth ef yn ei freichiau, ac a fendithiodd Dduw, ac a ddywedodd,

29 Yr awrhon Arglwydd, y gollyngi dy wâs mewn tangneddyf, yn ôl dy air:

30 Canys fy llygaid a welsant dy iechydwriaeth,

31 Yr hon a baratoaist ger bron wyneb yr holl bobloedd:

32 Goleuni i oleuo y cenhedloedd, a gogoniant dy bobl Israel.

33 Ac yr oedd Ioseph a'i fam ef, yn rhyfeddu am y pethau a ddywedwyd am dano ef.

34 A Simeon a'u bendithiodd hwynt, ac a ddywedodd wrth Fair ei fam ef, Wele, hwn a osodwyd * yn gwymp, ac yn gyfodiad i lawer yn Israel, ac yn arwydd yr hwn y dywedir yn ei erbyn:

35 (A thrwy dy enaid di dy hun hefyd yr â cleddyf) fel y datcuddier meddyliau llawer o galonnau.

36 Ac yr oedd Anna brophwydes, merch Phanuel, o lwyth Aser: hon oedd oedrannus iawn, ac a fuasai fyw gyd â gwr saith mlynedd, o'i morwyndod.

37 Ac a fuasai yn weddw ynghylch pedair a phedwar ugain mhlynedd, yr hon nid ai allan o'r Deml, ond gwasanaethu [Duw] mewn ymprydiau a gweddiau, ddydd a nôs.

38 A hon hefyd yn yr awr honno, gan sefyll ger llaw, a foliannodd yr Arglwydd, ac a lefarodd am dano ef wrth y rhai oll oedd yn disgwil ymwared yn Ierusalem.

39 Ac wedi iddynt orphen pôb peth, yn ôl deddf yr Arglwydd, hwy a ddychwelasant i Galilæa, i'w dinas eu hun Nazareth.

40 A'r bachgen a gynnyddodd, ac a gryfhaodd yn yr Yspryd, yn gyflawn o ddoethineb: a gras Duw oedd arno ef.

41 A'i rieni ef a aent i Ierusalem * bôb blwyddyn, ar wyl y Pasc.

42 A phan oedd efe yn ddeuddeng-mlwydd oed, hwynt hwy a aethant i fynu i Ierusalem, yn ôl defod yr wyl.

43 Ac wedi gorphen y dyddiau, a hwy yn dychwelyd, arhosodd y bachgen Iesu yn Ierusalem, ac ni wyddai Ioseph a'i fam ef.

44 Eithr gan dybied ei fôd ef yn y fintai, hwy a aethant daith diwrnod, ac a'i ceisiasant ef ym-mhlith eu cenedl a'i cydnabod.

45 A phryd na chawsant ef, hwy a ddychwelasant i Ierusalem, gan ei geisio ef.

46 A bu, yn ôl tri-diau, gael o honynt hwy ef yn y Deml, yn eistedd ynghanol y Doctoriaid, yn gwrando arnynt, ac yn eu holi hwynt.

47 A synnu a wnaeth ar bawb a'r a'i clywsant ef, o herwydd ei ddeall ef a'i attebion.

48 A phan welsant ef, bu aruthr ganddynt: a'i fam a ddywedodd wrtho, Fy mâb, pa ham y gwnaethost felly â ni? wele, dy dâd a minneu yn ofidus a'th geisiasom di.

49 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pa ham y ceisiech fi? oni wyddech fôd yn rhaid i mi fôd ynghylch y pethau a berthyn i'm Tâd?

50 A hwy ni ddeallasant y gair a ddywedasei efe wrthynt.

51 Ac efe a aeth i wared gyd â hwynt, ac a ddaeth i Nazareth, ac a fu ostyngedig iddynt. A'i fam ef a gadwodd yr holl eiriau hyn yn ei chalon.

52 A'r Iesu a gynnyddodd mewn doethineb, a chorpholaeth, a ffafor gyd â Duw a dynion.

## PEN. III.

1 Pregeth a bedydd Ioan: 15 a'i dystiolaeth ef am Grist. 20 Herod yn carcharu Ioan. 21 Christ wedi ei fedyddio yn derbyn tystiolaeth o'r nef. 23 Oedran ac achau Christ, o Ioseph i fynu.



N y bymthegfed flwyddyn o ymmerodraeth Tiberius Cæsar, a Phontius Pilat yn rhag-law Iudæa, a Herod yn detrarch Galilæa, a'i frawd Philip yn detrarch Ituræa, a gwlâd Trachonitis, a Lysanias yn detrarch Abilene,

2 Tan yr Arch-offeiriaid Annas a Chaiphas, y daeth gair Duw at Ioan fab Zacharias, yn y diffaethwch.

3 * Ac efe a ddaeth i bob goror ynghylch yr Iorddonen, gan bregethu bedydd edifeirwch, er maddeuant pechodau:

4 Fel y mae yn scrifennedig yn llyfr ymadroddion Esaias y prophwyd, yr hwn sydd yn dywedyd, * Llef un yn llefain yn y diffaethwch, Paratowch ffordd yr Arglwydd, gwnewch ei lwybrau ef yn uniawn.

5 Pôb pant a lenwir, a phob mynydd a bryn a ostyngir, a'r gwyr-geinnion a wneir yn uniawn, a'r geirwon yn ffyrdd gwastad.

6 A phôb cnawd a wêl iechydwriaeth Duw.

7 Am hynny efe a ddywedodd wrth y bobloedd

Margin notes: Yr Efengyl ar ddydd Puredigaeth Mair. || Hesfunio. * Exod. 13.2. Num. 18.16. || yn agoryd y groth. * Levit. 12.6. * Esa. 8.14. Rhuf. 9.33. * Deut. 16.1. * Mat. 3.1. * Esa. 40.3.

3.7. bobloedd yn dyfod i'w bedyddio ganddo, * O genhedlaeth gwiberod, pwy a'ch rhagrybuddiodd chwi, i ffoi oddi wrth y digofaint sydd ar ddyfod?

8 Dygwch gan hynny ffrwythau addas i edifeirwch, ac na ddechreuwch ddywedyd ynoch eich hunain, Y mae gennym ni Abraham yn dâd: canys yr ydwyf yn dywedyd i chwi, y dichon Duw o'r cerrig hyn godi plant i Abraham.

9 Ac yr awrhon y mae'r fwyall wedi ei gosod ar wreiddyn y prennau: pob pren gan hynny a'r nid yw yn dwyn ffrwyth da, a gymmynir i lawr, ac a fwrir yn tân.

10 A'r bobloedd a ofynnasant iddo, gan ddywedyd, Pa beth gan hynny a wnawn ni?

Iac. 2.15. Io. 3.17. 11 Ac efe a attebodd ac a ddywedodd wrthynt, * Y neb sydd ganddo ddwy bais, rhodded i'r neb sydd heb yr un: a'r neb sydd ganddo fwyd, gwnaed yr un modd.

12 A'r Publicanod hefyd a ddaethant i'w bedyddio, ac a ddywedasant wrtho, Athro, beth a wnawn ni?

13 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Na cheisiwch ddim mwy nag sydd wedi ei osod i chwi.

14 A'r milwyr hefyd a ofynnasant iddo, gan ddywedyd, A pha beth a wnawn ninnau? Ac efe a ddywedodd wrthynt, Na fyddwch drawß wrth neb, ac na chamachwynwch ar neb, a byddwch fodlon i'ch cyflogau.

15 Ac fel yr oedd y bobl yn disgwil, a phawb yn meddylied yn eu calonneu am Ioan, ai efe oedd y Christ;

*Mat. 3.11. 16 Ioan a attebodd, gan ddywedyd wrthynt oll, * Myfi yn ddiau wyf yn eich bedyddio chwi â dwfr, ond y mae un cryfach nâ myfi yn dyfod, yr hwn nid wyfi deilwng i ddattod carrei ei escidiau, efe a'ch bedyddia chwi â'r Yspryd glân, ac â thân.

17 Yr hwn y mae ei wyntyll yn ei law, ac efe a lwyr-lanhâ ei lawr dyrnu, ac a gascl y gwenith i'w yscubor, ond yr us a lysc efe â thân anniffoddadwy.

18 A llawer o bethau eraill a gynghorodd efe, ac a bregethod i'r bobl.

*Mat. 14.3. 19 * Ond Herod y tetrarch, pan geryddwyd ef ganddo am Herodias gwraig Philip ei frawd, ac am yr holl ddrygioni a wnaethai Herod,

20 A chwanegodd hyn hefyd, heb law'r cwbl, ac a gaeodd ar Ioan yn y carchar.

*Mat. 3.13. 21 * A bu, pan oeddid yn bedyddio yr holl bobl, a'r Iesu yn ei fedyddio hefyd, ac yn gweddio, agoryd y nef:

22 A descyn o'r Yspryd glân mewn rhith corphorawl, megis colommen, arno ef: a dyfod llef o'r nef, yn dywedyd, Ti yw fy anwyl Fab, ynot ti i'm bodlonwyd.

23 A'r Iesu ei hun oedd ynghylch dechreu ei ddeng-mlwydd ar hugein oed, mab (fel y tybid) i Ioseph [fab] Eli,

24 [Fab] Matthat, [fab] Lefi, [fab] Melchi, [fab] Ianna, [fab] Ioseph,

25 [Fab] Mattathias, [fab] Amos, [fab] Naum, [fab] Esli, [fab] Naggai,

26 [Fab] Maath, [fab] Mattathias, [fab] Semei, [fab] Ioseph, [fab] Iuda,

27 [Fab] Ioanna, [fab] Rhesa, [fab] Zorobabel, [fab] Salathiel, [fab] Neri,

28 [Fab] Melchi, [fab] Adi, [fab] Cosam, [fab] Elmodam, [fab] Er,

29 [Fab] Iose, [fab] Eliezer, [fab] Iorim, [fab] Matthat, [fab] Lefi,

30 [Fab] Simeon, [fab] Iuda, [fab] Ioseph, [fab] Ionan, [fab] Eliacim,

31 [Fab] Melea, [fab] Mainan, [fab] Mattatha, [fab] Nathan, [fab] Dafydd,

32 [Fab] Iesse, [fab] Obed, [fab] Booz, [fab] Salmon, [fab] Naasson,

33 [Fab] Aminadab, [fab] Aram, [fab] Esrom, [fab] Phares, [fab] Iuda,

34 [Fab] Iacob, [fab] Isaac, [fab] Abraham, [fab] Thara, [fab] Nachor,

35 [Fab] Saruch, [fab] Ragau, [fab] Phalec, [fab] Heber, [fab] Sala,

36 [Fab] Cainan, [fab] Arphaxad, [fab] Sem, [fab] Noe, [fab] Lamech,

37 [Fab] Mathusala, [fab] Enoch, [fab] Iared, [fab] Maleleel, [fab] Cainan,

38 [Fab] Enos, [fab] Seth, [fab] Adda, [fab] Duw.

## PEN. IIII.

1 Temtiad, ac ymprydd Christ. 13 Y mae efe yn gorchfygu y cythrael: 14 Yn dechreu pregethu: 16 Pobl Nazareth yn rhyfeddu am ei eiriau grasusol ef: 33 y mae efe yn iachau un cythreulig, 38 a mam gwraig Petr, 40 a llawer o gleifion eraill. 41 Y cythreuliaid yn cydnabod Christ, ac yn cael cerydd am hynny. 43 Y mae ef yn pregethu trwy y dinasoedd.



*Mat. 4.1. A'R Iesu yn llawn o'r Yspryd glân, a ddychwelodd oddi wrth yr Iorddonen, ac a arweinwyd gan yr Yspryd i'r anialwch:

2 Yn cael ei demtio gan ddiafol ddeugain nhiwrnod: ac ni fwyttaodd efe ddim o fewn y dyddiau hynny: ac wedi eu diweddu hwynt, yn ôl hynny y daeth arno chwant bwyd.

3 A dywedodd diafol wrtho, Os mab Duw ydwyti, dywed wrth y garreg hon, fel y gwneler hi yn fara.

4 A'r Iesu a attebodd iddo, gan ddywedyd, Scrifennedig yw, nad ar fara yn unic y bydd dyn fyw, ond ar bôb gair Duw.

5 A diafol wedi ei gymmeryd ef i fynu i fynydd uchel, a ddangosodd iddo holl deyrnasoedd y ddaiar mewn munyd awr.

6 A diafol a ddywedodd wrtho, I ti y rhoddaf yr awdurdod hon oll, a'u gogoniant hwynt, canys i mi y rhoddwyd, ac i bwy bynnag y mynnwyf, y rhoddaf finneu hi.

7 Os tydi gan hynny a addoli o'm blaen, eiddo di fyddant oll.

8 A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrtho, Dos ymaith Satan yn fy ôl i: canys scrifen-

scrifennedig yw, Addoli yr Arglwydd dy Duw, ac ef yn unic a wasanaethi.

9 Ac efe a'i dug ef i Jerusalem, ac a'i gosodes ar binacl y Deml, ac a ddywedodd wrtho, Os Mab Duw ydwyt, bwrw dy hun i lawr oddi ymma.

10 Canys scrifennedig yw, Y gorchymmyn efe i'w Angelion o'th achos di, ar dy gadw di:

11 Ac y cyfodant di yn eu dwylo, rhag i ti un amser daro dy droed wrth garreg.

12 A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrtho, Dywedpwyd, Na themptia'r Arglwydd dy Dduw.

13 Ac wedi i ddiafol orphen yr holl demtasiwn, efe a ymadawodd ag ef || tros amser.

14 A'r Iesu a ddychwelodd trwy nerth yr Yspryd i Galilæa: a sôn a aeth am dano ef trwy'r holl fro oddi amgylch.

15 Ac yr oedd efe yn athrawiaethu yn eu Synagogau hwynt, ac yn cael anrhydedd gan bawb.

16 Ac efe a ddaeth i * Nazareth, lle y magesid ef: ac yn ôl ei arfer, efe a aeth i'r Synagog ar y Sabbath, ac a gyfododd i fynu i ddarllein.

17 A rhodded atto lyfr y prophwyd Esaias: ac wedi iddo agoryd y llyfr, efe a gafodd y lle yr oedd yn scrifennedig,

18 * Yspryd yr Arglwydd arnafi, || o herwydd iddo fy eneinio i: i bregethu i'r tlodion yr anfonodd fi, i iachau y drylliedig o galon; i bregethu gollyngdod i'r caethion, a chaffaeliad golwg i'r deillion, i ollwng y rhai yssig mewn rhydd-deb;

19 I bregethu blwyddyn gymmeradwy'r Arglwydd.

20 Ac wedi iddo gau'r llyfr, a'i roddi i'r gweinidog, efe a eisteddodd: a llygaid pawb oll yn y Synagog oedd yn craffu arno.

21 Ac efe a ddechreuodd ddywedyd wrthynt, Heddyw y cyflawnwyd yr Scrythur hon yn eich clustiau chwi.

22 Ac yr oedd pawb yn dwyn tystiolaeth iddo, ac yr oeddynt yn rhyfeddu am y geiriau grasusol a ddae allan o'i enau ef, a hwy a ddywedasant, Onid hwn yw mab Joseph?

23 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Yn hollawl y dywedwch y ddihareb hon wrthif, Y meddyg, iachâ di dy hun: y pethau a glywsom ni eu gwneuthur yn Capernaum, gwna ymma hefyd yn dy wlâd dy hun.

24 Ac efe a ddywedodd, Yn wir meddaf i chwi, * nad yw un prophwyd yn gymmeradwy yn eu wlâd ei hun.

25 Eithr mewn gwirionedd meddaf i chwi, * llawer o wragedd gweddwon oedd yn Israel yn nyddiau Elias, pan gaewyd y nef dair blynedd â chwe mis, fel y bu newyn mawr trwy'r holl dir:

26 Ac nid at yr un o honynt yr anfonwyd Elias, ond i Sarepta yn Sidon, at wraig weddw.

27 A * llawer o wahan-gleifion oedd yn Israel yn amser Elisæus y prophwyd, ac ni lanhawyd yr un o honynt, ond Naaman y Syriad.

28 A'r rhai oll yn y Synagog, wrth glywed y pethau hyn, a lanwyd o ddigofaint,

29 Ac a godasant i fynu, ac a'i bwriasant ef allan o'r ddinas, ac a'i dygasant ef hyd ar ael y bryn, yr hwn yr oedd eu dinas wedi ei hadeiladu arno, ar fedr ei fwrw ef bendramwnwgl i lawr.

30 Ond efe, gan fyned drwy eu canol hwynt, a aeth ymmaith:

31 Ac a ddaeth i wared i Capernaum, dinas yn Galilæa: ac yr oedd yn eu dyscu hwynt ar y dyddiau Sabbath.

32 A bu aruthr ganddynt wrth ei athrawiaeth ef, * canys ei ymadrodd ef oedd gyd ag awdurdod.

* Matt. 7.29.

33 * Ac yn y Synagog yr oedd dyn a chanddo yspryd cythrael aflan, ac efe a waeddodd â llef uchel,

* Mar. 1.23.

34 Gan ddywedyd, || Och, beth [sydd] i ni [a wnelom] a thi, Iesu o Nazareth? a ddaethost ti i'n difetha ni? mysi a'th adwaen pwy ydwyt, Sanct Duw.

|| paid.

35 A'r Iesu a'i ceryddodd ef, gan ddywedyd, Distawa, â dôs allan o honaw. A'r cythrael, wedi ei daflu ef i'r canol, a aeth allan o honaw, heb wneuthur dim niwed iddo.

36 A daeth braw arnynt oll: a chydymddiddanasant â'i gilydd, gan ddywedyd, Pa ymadrodd yw hwn, gan ei fôd ef, trwy awdurdod a nerth, yn gorchymmyn yr yspryddion aflan, a hwythau yn myned allan?

37 A sôn am dano aeth allan i bôb man o'r wlâd oddi amgylch.

38 A * phan gyfododd [yr Iesu] o'r Synagog, efe a aeth i mewn i dŷ Simon: ac yr oedd || chwegr Simon yn glaf o gryd blin; a hwy a attolygasant arno trosti hi.

* Matt. 8.14.

|| mam ei wraig ef.

39 Ac efe a safodd uwch [ei phen] hi, ac a geryddodd y cryd: a ['r cryd] a'i gadawodd hi, ac yn y fan hi a gyfodes, ac a wasanaethodd arnynt hwy.

40 A phan fachludodd yr haul, pawb a'r oedd ganddynt rai cleifion o amryw glefydau, a'u dygasant hwy atto ef: ac efe a roddes ei ddwylo ar bob un o honynt, ac a'u hiachaodd hwynt.

41 * A'r cythreuliaid hefyd a aethant allan o lawer, dan lefain a dywedyd, Ti yw Christ Mab Duw. Ac efe a'u ceryddodd hwynt, ac ni adawai iddynt ddywedyd || y gwyddent mai efe oedd y Christ.

* Mar. 1.34.

|| Neu, canys gwyddent.

42 Ac wedi ei myned hi yn ddydd, efe a aeth allan, ac a gychwynnodd i le diffaeth, a'r bobloedd a'i ceisiasant ef, a hwy a ddaethant hyd atto, ac a'i hattaliasant ef rhag myned ymmaith oddi wrthynt.

43 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Yn wir y mae yn rhaid i mi bregethu teyrnas Dduw i ddinasoedd eraill hefyd: canys i hyn i'm danfonwyd.

44 Ac yr oedd efe yn pregethu yn Synagogau Galilæa.

## PEN. V.

1 Christ yn dyscu y bobl allan o long Petr: 4 Trwy helfa ryfeddol o byscod, yn dangos pa fodd y gwnai efe ei gyfeillion yn byscodwyr dynion: 12 yn glanhau y gwahan-glwyfus: 16 yn gweddio yn y diffaethwch: 18 yn iachau vn claf o'r parlys: 27 yn galw Matthew y Publican: 29 Megis Physygwr eneidiau yn bwytta gydâ phechaduriaid: 34 Yn rhag-fynegi ymprydiau a chystuddiau i'r Apostolion, ar ôl ei dderchafiad ef: 36 ac yn cyffelybu discyblion llwrf gweniaid, i gostrelau hên, a dillad wedi treulio.

[...]r Efengyl y [...]ummed Sul [...]wedi'r Drin[...]dod. [...]Matt.4,18.



Bu hefyd a'r bobl yn pwyso atto i wrando gair Duw, yr oedd yntef yn sefyll yn ymyl llyn Genesareth;

2 Ac efe a welai ddwy long yn sefyll wrth y llyn: a'r pyscodwyr a aethent allan o honynt, ac oeddynt yn golchi eu rhwydau.

3 Ac efe a aeth i mewn i vn o'r llongau, yr hon oedd eiddo Simon, ac a ddymunodd arno wthio ychydig oddi wrth y tir: ac efe a eisteddodd, ac a ddyscodd y bobloedd allan o'r llong.

4 A phan beidiodd â llefaru, efe a ddywedodd wrth Simon, Gwthia i'r dwfn, a bwriwch eich rhwydau am helfa.

5 A Simon a attebodd, ac a ddywedodd wrtho, O feistr, er i ni boeni ar hŷd y nôs, ni ddaliasom ni ddim: etto ar dy air di, mi a fwriaf y rhwyd.

6 Ac wedi iddynt wneuthur hynny, hwy a ddaliasant lliaws mawr o byscod: a'u rhwyd hwynt a rwygodd.

7 A hwy a amneidiasant ar eu cyfeillion oedd yn y llong arall, i ddyfod i'w cynnorthwyo hwynt: a hwy a ddaethant, a llanwasant y ddwy long, onid oeddynt hwy ar soddi.

8 A Simon Petr pan welodd hynny, a syrthiodd wrth liniau'r Iesu, gan ddywedyd, Dôs ymmaith oddi wrthif, canys dŷn pechadurus wyf fi, o Arglwydd.

9 O blegid braw a ddaethai arno ef, a'r rhai oll oedd gyd ag ef, o herwydd yr helfa byscod a ddaliasent hwy:

10 A'r vn ffunyd ar Iaco ac Ioan hefyd, meibion Zebedæus, y rhai oedd gyfrannogion â Simon. A dywedodd yr Iesu wrth Simon, Nac ofna: o hyn allan y deli ddynion.

11 Ac wedi iddynt ddwyn y llongau i dir, hwy a adawsant bob peth, ac a'i dilynasant ef.

[...]Matt.8,2.

12 A *bu fel yr oedd efe mewn rhyw ddinas, wele wr yn llawn o'r gwahan-glwyf: a phan welodd efe yr Iesu, efe a syrthiodd ar ei wyneb, ac a ymbiliodd ag ef, gan ddywedyd, O Arglwydd, os ewyllysi, ti a elli fy-nglânhau.

13 Yntef a estynnodd ei law, ac a gyffyrddodd ag ef, gan ddywedyd, Yr wyf yn ewyllysio, bydd lân. Ac yn ebrwydd y gwahan-glwyf a aeth ymmaith oddi wrtho.

14 Ac efe a orchymmynnodd iddo na ddywedei i neb: eithr dôs ymmaith a dangos dy hun i'r offeiriad, ac offrwm tros dy lanhâd, fel y gorchymmynnodd Moses, er tystiolaeth iddynt.

15 A'r gair am dano a aeth yn fwy ar lêd: a llawer o bobloedd a ddaethant ynghŷd i'w wrando ef, ac i'w hiachau ganddo o'u clefydau.

16 Ac yr oedd efe yn cilio o'r neilltu yn y diffaethwch, ac yn gweddio.

17 A bu ar ryw ddiwrnod, fel yr oedd efe yn athrawiaethu, fôd Phariseaid, a Doctoriaid y gyfraith, yn eistedd [yno,] y rhai a ddaethent o bôb pentref yn Galilæa, a Iudæa, a Ierusalem: ac yr oedd gallu yr Arglwydd i'w hiachau hwynt.

18 *Ac wele wŷr yn dwyn mewn gwely ddŷn a oedd glaf o'r parlys: a hwy a geisiasant ei ddwyn ef i mewn, a'i ddodi ger ei fron ef. *Mat.9.2.

19 A phan na fedrent gael pa ffordd y dygent ef i mewn, o achos y dyrfa, hwy a ddringasant ar nen y tŷ, ac a'i gollyngasant ef i wared yn y gwely, trwy y pridd-lechau, yn y canol, ger bron yr Iesu.

20 A phan welodd efe eu ffydd hwynt, efe a ddywedodd wrtho, Y dŷn, maddeuwyd i ti dy bechodau.

21 A'r Scrifennyddion a'r Phariseaid, a ddechreuasant ymresymmu, gan ddywedyd, Pwy yw hwn sydd yn dywedyd cabledd? pwy a ddichon faddeu pechodau ond Duw yn vnig?

22 A'r Iesu yn gwybod eu ‖ hymresymmiadau hwynt, a attebodd ac a ddywedodd wrthynt, Pa resymmu yn eich calonnau yr ydych? ‖meddyliau

23 Pa vn hawsaf, ai dywedyd, Maddeuwyd i ti dy bechodau, ai dywedyd, Cyfod a rhodia?

24 Ond fel y gwypoch fôd gan Fab y dŷn awdurdod ar y ddayar i faddeu pechodau, (eb efe wrth y claf o'r parlys) Yr wyf yn dywedyd wrthit, Cyfod, a chymmer dy wely, a dôs i'th dŷ.

25 Ac yn y man y cyfodes efe i fynu yn eu gwydd hwynt, ac efe a gymmerth yr hyn y gorweddai arno, ac a aeth ymmaith i'w dŷ ei hun, gan ogoneddu Duw.

25 A syndod a ddaeth ar bawb, a hwy a ogoneddasant Dduw; a hwy a lanwyd o ofn, gan ddywedyd, Gwelsom bethau anhygoel heddyw.

27 *Ac yn ôl y pethau hyn yr aeth efe allan, ac a welodd Bublican a'i enw Lefi, yn eistedd wrth y dollfa, ac efe a ddywedodd wrtho, Dilyn fi. *Matt.9.9.

28 Ac efe a adawodd bôb peth, ac a gyfodes i fynu, ac a'i dilynodd ef.

29 A gwnaeth Lefi iddo wledd fawr yn ei dŷ: ac yr oedd tyrfa fawr o Bublicanod, ac eraill, yn eistedd gyd â hwynt ar y bwrdd.

30 Eithr

30 Eithr eu Scrifennyddion a'u Phariseaid hwynt, a furmurasant yn erbyn ei ddiscyblion ef, gan ddywedyd, Pa ham yr ydych chwi yn bwytta ac yn yfed gyd â Phublicanod a phechaduriaid?

31 A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrthynt, Nid rhaid i'r rhai iach wrth feddyg, ond i'r rhai cleifion.

32 Ni ddaethym i alw rhai cyfiawn, ond pechaduriaid i edifeirwch.

33 *A hwy a ddywedasant wrtho, Pa ham y mae discyblion Ioan yn ymprydio yn fynych, ac yn gwneuthur gweddiau, a'r un modd yr eiddo y Phariseaid: ond yr eiddo ti yn bwytta ac yn yfed?

*Matt. 9.14.

34 Yntef a ddywedodd wrthynt, A ellwch chwi beri i blant yr ystafell briodas ymprydio, tra fyddo 'r priodas-fâb gyd â hwynt?

35 Ond y dyddiau a ddaw, pan ddyger y priodas-fâb oddi arnynt, ac yna yr ymprydiant yn y dyddiau hynny.

36 Ac efe a ddywedodd hefyd ddammeg wrthynt, Ni rydd neb lain o ddilledyn newydd mewn hen ddilledyn: os amgen, y mae y newydd yn gwneuthur rhwygiad, a'r llain o'r newydd ni chydûna â'r hen.

37 Ac nid yw neb yn bwrw gwin newydd i hen gostrelau: os amgen, y gwin newydd a ddryllia'r costrelau, ac efe a rêd allan, a'r costrelau a gollir.

38 Eithr gwin newydd sydd raid ei fwrw mewn costrelau newyddion: a'r ddau a gedwir.

39 Ac nid oes neb gwedi iddo yfed [gwin] hen, a chwennych y newydd yn y fan: canys efe a ddywed, Gwell yw 'r hen.

## PEN. VI.

1 Christ yn argyoeddi dallineb y Pharisæaid ynghylch cadw y Sabboth, trwy Scrythyrau, a rheswm, a gwrthiau: 13 yn dewis deuddec Apostl, 17 yn iachau y cleifion: 20 a cher bron y bobl, yn pregethu iw ddiscyblion fendithion a melltithion. 27 Pa fodd y mae i ni garu ein gelynion: 46 a chysylltu vfydd-dod gweithredoedd dâ ynghyd a gwrandaw y gair; rhag yn nryg-ddydd profedigaeth, ini syrthio fel ty wedi ei adeiladu ar wyneb y ddaiar, heb ddim sylfaen.



*Matt. 12.1.

A *Bu ar yr ail prif Sabbath, fyned o honaw trwy 'r ŷd: a'r discyblion a dynnasant y tywys, ac a'u bwyttasant, gwedi eu rhwbio â'u dwylo.

2 A rhai o'r Phariseaid a ddywedasant wrthynt, Pa ham yr ydych yn gwneuthur yr hyn nid yw gyfreithlon ei wneuthur ar y Sabbathau?

3 A'r Iesu gan atteb iddynt a ddywedodd, Oni ddarllenasoch hyn ychwaith, yr hyn a wnaeth Dafydd pan oed chwant bwyd arno ef, a'r rhai oedd gyd âg ef?

4 Y modd yr aeth efe i mewn i dŷ Dduw, ac y cymmerth, ac y bwyttaodd y || bara gosod, ac a'u rhoddes hefyd i'r rhai oedd gyd ag ef: || yr hwn nid yw gyfreithlon ei fwytta, ond i'r offeiriaid yn unig?

|| torthau dangos. || y rhai.

5 Ac efe a ddywedodd wrthynt, y mae Mab y dyn yn Arglwydd ar y Sabbath hefyd.

6 *A bu hefyd ar Sabbath arall, iddo fyned i mewn i'r Synagog, ac athrawiaethu: ac yr oedd yno ddyn, a'i law ddehau || wedi gwywo.

*Matt. 12.9. || yn ddiffrwyth.

7 A'r Scrifennyddion a'r Phariseaid ||a'i gwiliasant ef, a iachâi efe ef ar y [dydd] Sabbath: fel y caffent achwyn yn ei erbyn ef.

|| i ddaliasant arno.

8 Eithr efe a wybu eu meddyliau hwynt, ac a ddywedodd wrth y dyn oedd â'r llaw || wedi gwywo, Cyfod i fynu, a saf yn y canol. Ac efe a gyfododd i fynu, ac a safodd.

|| ddiffrwyth.

9 Yr Iesu am hynny a ddywedodd wrthynt, Myfi a ofynnaf i chwi, Beth sydd gyfreithlon ar y Sabbathau; gwneuthur da, yntev gwneuthur drwg? cadw enioes, ai colli?

10 Ac wedi edrych arnynt oll oddi amgylch efe a ddywedodd wrth y dyn, Estyn dy law. Ac efe a wnaeth felly: a'i law ef a wnaed yn iach fel y llall.

11 A hwy a lanwyd o ynfydrwydd, ac a ymddiddanasant y naill wrth y llall, pa beth a wnaent i'r Iesu.

12 A bu yn y dyddiau hynny, fyned o honaw ef allan i'r mynydd i weddio: a pharhau ar hŷd y nôs || yn gweddio Duw.

|| gr. mewn gweddi ar Dduw.

13 A phan aeth hi yn ddydd, efe a alwodd atto ei ddiscyblion: ac o honynt efe a etholes ddeuddeg, y rhai hefyd a enwodd efe yn Apostolion:

*Matt. 10.1.

14 (Simon, yr hwn hefyd a henwodd efe Petr, ac Andreas ei frawd, Iaco ac Ioan, Philip a Bartholomeus,

15 Matthew a Thomas, Iaco [fab] Alphæus, a Simon a elwir Zelótes,

16 Iudas [* brawd] Iaco, a Iudas Iscariot, yr hwn hefyd a aeth yn fradwr.)

*Iude 1.

17 Ac efe a aeth i wared gyd â hwynt, ac a safodd mewn gwastattir: a'r dyrfa o'i ddiscyblion, a lliaws mawr o bobl, o holl Iudæa a Ierusalem, ac o duedd môr Tyrus a Sidon, y rhai a ddaeth || i wrando arno, ac i'w hiachau o'u clefydau:

|| iw glywed.

18 A'r rhai a flinid gan ysprydion aflan: a hwy a iachawyd.

19 A'r holl dyrfa oedd yn ceisio cyffwrdd ag ef: am fôd nerth yn myned o honaw allan, ac yn iachau pawb.

20 Ac efe a dderchafodd ei olygon ar ei ddiscyblion, ac a ddywedodd, * Gwyn eich bŷd y tlodion: canys eiddoch chwi yw teyrnas Dduw.

*Matt. 5.3.

21 Gwyn eich bŷd y rhai ydych yn dwyn newyn yr awrhon, canys chwi a ddigonir. Gwyn eich bŷd y rhai ydych yn wylo yr awrhon, canys chwi a chwerddwch.

22 Gwyn eich bŷd pan i'ch casâo dynion, a phan i'ch didolant oddiwrthynt, ac

i'ch gwradwyddant, ac y bwriant eich enw allan megis drwg, || er mwyn Mab y dyn.

|| o achos.

23 Byddwch lawen y dydd hwnnw, a llemmwch; canys wele, eich gwobr sydd fawr yn y nef: oblegid yr vn ffunyd y gwnaeth eu tadau hwynt i'r Prophwydi.

24 *Eithr gwae chwi 'r cyfoethogion, canys derbyniasoch eich diddanwch.

*Amos.6.1.

25 *Gwae chwi y rhai llawn: canys chwi a ddygwch newyn. Gwae chwi y rhai a chwerddwch yr awrhon: canys chwi a alerwch, ac a wylwch.

*Esa.65.13.

26 Gwae chwi pan ddywedo pob dŷn yn dda am danoch: canys felly y gwnaeth eu tadau hwynt i'r gau-brophwydi.

27 *Ond yr wyf yn dywedyd wrthych chwi, y rhai ydych yn gwrando, Cerwch eich gelynion, gwnewch dda i'r rhai a'ch casânt.

*Matt.5.44.

28 Bendithiwch y rhai a'ch melldithiant: a gweddiwch tros y rhai a'ch drygant.

29 *Ac i'r hwn a'th darawo ar y [naill] gern, cynnyg y llall hefyd: ac* i'r hwn a ddygo ymmaith dy gochl, na wahardd dy bais hefyd.

*Matt.5.39.
*1.Cor.6.7.

30 A dyro i bob vn a geisio gennit; a chan y neb a fyddo yn dwyn yr eiddot, na chais eilchwel.

31 *Ac fel y mynnech wneuthur o ddynion i chwi, gwnewch chwithau iddynt yr vn ffunyd.

*Matt.7.12.

32 *Ac os cerwch y rhai a'ch carant chwithau, pa ddiolch fydd i chwi? oblegid y mae pechaduriaid hefyd yn caru y rhai a'u câr hwythau.

*Matt.5.46.

33 Ac os gwnewch dda i'r rhai a wnânt dda i chwithau, pa ddiolch fydd i chwi? oblegid y mae 'r pechaduriaid hefyd yn gwneuthur yr vn peth.

34 *Ac os rhoddwch echwyn i'r rhai yr ydych yn gobeithio y cewch chwithau ganddynt, pa ddiolch fydd i chwi: oblegid y mae 'r pechaduriaid hefyd yn rhoddi echwyn i bechaduriaid, fel y derbyniont y cyffelyb.

*Matt.5.42.

35 Eithr cerwch eich gelynion, a gwnewch dda, a rhoddwch echwyn, heb obeithio dim drachefn; a'ch gwobr a fydd mawr, a phlant fyddwch i'r Goruchaf: canys daionus yw efe i'r rhai anniolchgar a drwg.

36 ☞ Byddwch gan hynny drugarogion, megis ac y mae eich Tâd yn drugarog.

r Efengyl pedwerydd l wedi 'r rindod. Matt.7.1.

37 Ac *na fernwch, ac ni'ch bernir: na chondemnwch, ac ni'ch condemnir: maddeuwch, a maddeuir i chwithau:

38 Rhoddwch, a rhoddir i chwi: mesur da, dwysedig, ac wedi ei ysgwyd, ac yn myned trosodd, a roddant yn eich mynwes: canys â'r vn mesur ac y mesuroch, y mesurir i chwi drachefn.

39 Ac efe a ddywedodd ddammeg wrthynt, *A ddichon y dall dwyso 'r dall? oni syrthiant ill dau yn y clawdd?

Matt.15.14.

40 *Nid yw 'r discybl vwch law ei athro: eithr pob vn|| perffaith a fydd fel ei athro.

Matt.10.24.
|| Neu, a fydd perffaith fel ei, &c.

41 *A pha ham yr wyti yn edrych ar y brycheuyn sydd yn llygad dy frawd, ac nad ydwyt yn ystyried y trawst sydd yn dy lygad dy hun?

*Matt.7.3.

42 Neu pa fodd y gelli di ddywedyd wrth dy frawd, [Fy] mrawd, gâd i mi dynnu allan y brycheuyn sydd yn dy lygad, a thithau heb weled y trawst sydd yn dy lygad dy hun? O ragrithiwr, bwrw allan y trawst o'th lygad dy hun yn gyntaf, ac yna y gweli yn eglur dynnu allan y brycheuyn sydd yn llygad dy frawd. ☜

43 Canys *nid yw pren da, yn dwyn ffrwyth drwg: na phren drwg yn dwyn ffrwyth da.

*Matt.7.16.

44 Oblegid pob pren a adwaenir wrth ei ffrwyth ei hun: canys nid oddi ar ddrain y casglant ffigys, nac oddi ar berth yr heliant rawn-win.

45 Y dŷn da o ddaionus drysor ei galon, a ddwg allan ddaioni: a'r dŷn drwg o ddrygionus drysor ei galon, a ddwg allan ddrygioni: canys o helaethrwydd y galon y mae ei enau yn llefaru.

46 *Pa ham hefyd yr ydych yn fy ngalw i, Arglwydd, Arglwydd, ac nad ydych yn gwneuthur yr hyn yr wyf yn ei ddywedyd?

*Matt.7.21.

47 Pwy bynnag a ddêl attafi, ac a wrendy fy ngeiriau, ac a'u gwnelo hwynt, mi a ddangosaf i chwi i bwy y mae efe yn gyffelyb.

48 Cyffelyb yw i ddŷn yn adeiladu tŷ, yr hwn a gloddiodd, ac a aeth yn ddwfn, ac a osododd ei sail ar y graig: a phan ddaeth llifeiriant, y llif-ddyfroedd a gurodd ar y tŷ hwnnw, ac ni allai ei siglo: canys yr oedd wedi ei seilio ar y graig.

49 Ond yr hwn a wrendy, ac ni wna, cyffelyb yw i ddŷn a adeiladai dŷ ar y ddaiar, heb sail; ar yr hwn y curodd y llif-ddyfroedd, ac yn y fan y syrthiodd, a chwymp y tŷ hwnnw oedd fawr.

## PEN. VII.

1 Christ yn caffael mwy o ffydd yn y Canwriad, vn o'r cenedloedd, nag yn yr vn o'r Iuddewon: 10 yn iachau ei wâs ef yn ei absen: 11 yn cyfodi o farw i fyw fab y wraig weddw o Naim. 19 Yn atteb cennadon Ioan, trwy ddangos ei wrthiau: 24 yn tystiolaethu i'r bobl ei feddwl am Ioan: 30 yn bwrw bai ar yr Iddewon, y rhai ni ellid eu hynnill na thrwy ymarweddiad Ioan, na'r eiddo 'r Iesu: 36 ac yn dangos trwy achlysyr Mair Magdalen, pa fodd y mae efe yn gyfaill i bechaduriaid, nid iw maentumio mewn pechodau, ond i faddeu iddynt eu pechodau, ar eu ffydd a'i hedifeirwch.

AC wedi iddo orphen ei holl ymadroddion, lle y clywei y bobl, *efe a aeth i mewn i Capernaum.

*Matt.8.5.

2 A gwâs rhyw Ganwriad, yr hwn oedd

anwyl ganddo, oedd yn ddrwg ei hwyl, ym mron marw.

3 A phan glybu efe sôn am yr Iesu, efe a ddanfonodd atto henuriaid yr Iddewon, gan attolwg iddo ddyfod ag iachau ei wâs ef.

4 Y rhai pan ddaethant at yr Iesu, a attolygasant arno yn daer, gan ddywedyd, oblegid y mae efe yn haeddu cael gwneuthur o honot hyn iddo.

5 Canys y mae yn caru ein cenedl ni, ac efe a adeiladodd i ni Synagog.

6 A'r Iesu a aeth gyd â hwynt. Ac efe weithian heb fôd neppell oddi wrth y tŷ, y Canwriad a anfonodd gyfeillion atto, gan ddywedyd wrtho, Arglwydd, na phoena, canys nid wyfi deilwng i ddyfod o honot tan fy nghronglwyd.

7 O herwydd pa ham ni'm tybiais fy hun yn deilwng i ddyfod attat: eithr dywed y gair, ac iach fydd fy ngwâs.

8 Canys dŷn wyf finneu wedi fy ngosod tan awdurdod, a chennif filwŷr tanaf, ac meddaf wrth hwn, dôs, ac efe a â: ac wrth arall, Tyred, ac efe a ddaw: ac wrth fy ngwâs, Gwna hyn, ac efe a'i gwna.

9 Pan glybu 'r Iesu y pethau hyn, efe a ryfeddodd wrtho, ac a drôdd, ac a ddywedodd wrth y bobl oedd yn ei ganlyn, yr ydwyf yn dywedyd i chwi, ni chefais gymmaint ffydd, na ddo yn yr Israel.

10 A'r rhai a anfonasid, wedi iddynt ddychwelyd i'r tŷ, a gawsant y gwâs a fuasei glaf, yn holliach.

11 ☞ A bu drannoeth, iddo ef fyned i ddinas a elwid Nain: a chyd ag ef yr aeth || llawer o'i ddiscyblion, a thyrfa fawr.

12 A phan ddaeth efe yn agos at borth y ddinas, wele un marw a ddygid allan, [yr hwn oedd] unig fab ei fam, a honno yn weddw: a bagad o bobl y ddinas oedd gyd â hi.

13 A'r Arglwydd pan y gwelodd hi, a gymmerodd drugaredd arni, ac a ddywedodd wrthi, Nac wyla.

14 A phan ddaeth [attynt,] efe a gyffyrddodd â'r elor: (a'r rhai oedd yn ei dwyn a safasant) ac efe a ddywedodd, Y mab ieuangc, yr wyf yn dywedyd wrthyt, cyfod.

15 A'r marw a gyfododd yn ei eistedd, ac a ddechreuodd lefaru: ac efe a'i rhoddes i'w fam.

16 Ac ofn a ddaeth ar bawb: a hwy a ogoneddasant Dduw, gan ddywedyd, prophwyd mawr a gyfododd yn ein plith: ac Ymwelodd Duw a'i bobl.

17 A'r gair hwn a aeth allan am dano drwy holl Iudæa, a thrwy gwbl o'r wlâd oddi amgylch. ☜

18 A'i *ddiscyblion a fynegasant i Ioan hyn oll.

19 Ac Ioan wedi galw rhyw ddau o'i ddiscyblion atto, a anfonodd at yr Iesu, gan ddywedyd, Ai ti yw'r hwn sy'n dyfod, ai un arall yr ŷm yn ei ddisgwil?

20 A'r gwŷr pan ddaethant atto, a ddywedasant, Ioan Fedyddiwr a'n danfonodd ni attat ti, gan ddywedyd, Ai ti yw 'r hwn sy'n dyfod, ai arall yr ŷm yn ei ddisgwil?

21 A'r awr honno efe a iachâodd lawer oddi wrth glefydau, a phlaau, ac ysprydion drwg: ac i lawer o ddeillion y rhoddes efe eu golwg.

22 A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrthynt, Ewch a mynegwch i Ioan y pethau a welsoch, ac a glywsoch: fôd y deillion yn gweled eilwaith, y cloffion yn rhodio, y gwahan-glwyfus wedi eu glanhau, y byddariaid yn clywed, y meirw yn cyfodi, y tlodion yn derbyn yr Efengyl.

23 A gwyn ei fyd y neb ni rwystrir ynofi.

24 Ac wedi i gennadau Ioan fyned ymmaith, efe a ddechreuodd ddywedyd wrth y bobloedd am Ioan, Beth yr aethoch allan i'r diffaethwch i'w weled? Ai corsen yn siglo gan wynt?

25 Ond pa beth yr aethoch allan i'w weled? Ai dŷn wedi ei ddilladu â dillad esmwyth? wele, y rhai sy yn arfer dillad anrhydeddus a moethau, mewn palasau brenhinoedd y maent.

26 Eithr beth yr aethoch allan i'w weled? Ai prophwyd? yn ddiau meddaf i chwi, a llawer mwy nâ phrophwyd.

27 Hwn yw efe am yr un yr scrifennwyd, Wele, yr wyfi yn anfon fy nghennad o flaen dy wyneb, yr hwn a baratoa dy ffordd o'th flaen.

28 Canys meddaf i chwi, ym mhlith y rhai a aned o wragedd nid oes brophwyd mwy nag Ioan Fedyddiwr: eithr yr hwn sydd leiaf yn nheyrnas Dduw, sydd fwy nag ef.

29 A'r holl bobl a'r oedd yn gwrando, a'r Publicanod, a gyfiawnhasant Dduw, gwedi eu bedyddio â bedydd Ioan.

30 Eithr y Phariseaid a'r cyfreith-wŷr, ||yn eu herbyn eu hunain a ddirmygasant gyngor Duw, heb eu bedyddio ganddo.

31 A dywedodd yr Arglwydd, I*'bwy gan hynny y cyffelybaf ddynion y genhedlaeth hon? ac i ba beth y maent yn debyg?

32 Tebyg ydynt i blant yn eistedd yn y farchnad, ac yn llefain wrth ei gilydd, ac yn dywedyd, Canasom bibau i chwi, ac ni ddawnsiasoch: cwynfanasom i chwi, ac nid wylasoch.

33 Canys daeth Ioan Fedyddiwr, heb na bwytta bara, nac yfed gwin: a chwyi a ddywedwch, Y mae cythrael ganddo.

34 Daeth Mâb y dŷn yn bwytta ac yn yfed, ac yr ydych yn dywedyd, Wele ddŷn glwth, ac yfwr gwin, cyfaill Publicanod a phechaduriaid.

35 A doethineb a gyfiawnhawyd gan bawb o'i phlant.

36 *Ac un o'r Phariseaid a ddymunodd arno fwytta gyd ag ef: ac yntef a aeth i dŷ 'r Phariseaid, ac a eisteddodd i fwytta.

Margin notes: *Matt.8.5. || Efengyl ... Sul ... || Neu, ynddynt eu hunain. *Matt.11.16. *Matt.14.3.

70 A hwy oll a ddywedasant, Ai Mab Duw gan hynny ydwyt? Ac efe a ddywedodd wrthynt, *Yr ydych chwi yn dywedyd fy mod.

Marc.14.62.

71 Hwythau a ddywedasant, Pa raid i ni mwyach wrth dystiolaeth? canys clywsom ein hunain o'i enau ef ei hun.

## PEN. XXIII.

1 Cyhuddo'r Iesu ger bron Pilat, a'i anfon at Herod; 8 A Herod yn ei watwar ef. 12 Herod a Philat yn cymmodi â'i gilydd. 18 Y bobl yn deisyf cael Barabbas, a Philat yn ei ollwng ef iddynt, ac yn rhoddi yr Iesu iw groes-hoelio. 27 Yntef yn mynegi i'r gwragedd a alarent o'i blegid ef, ddinystr Ierusalem: 34 yn gweddio tros ei elynion. 39 Crogi dau ddrwg-weithredwr gyd ag ef. 46 Ei farwolaeth, 50 a'i gladdedigaeth ef.

Yr Efengyl ddydd Iau cyn y Pasc.



A'R holl liaws o honynt, a gyfodasant, ac a'i dygasant ef at Pilat;

2 Ac a ddechreuasant ei gyhuddo ef, gan ddywedyd, Ni a gawsom hwn yn gwyrdroi'r bobl, ac yn gwahardd rhoi teyrnged i Cæsar, gan ddywedyd mai efe ei hun yw Christ frenin.

*Mat.27.11.

3 *A Philat a ofynnodd iddo, gan ddywedyd, Ai ti yw brenin yr Iddewon? Ac efe a attebodd iddo ac a ddywedodd, Yr wyt ti yn dywedyd.

‖achos yn.

4 A dywedodd Pilat wrth yr Arch-offeiriaid a'r bobl, Nid wyfi yn cael dim ‖ bai ar y dyn hwn.

5 A hwy a fuant daerach, gan ddywedyd, Y mae efe yn cyffroi'r bobl, gan ddyscu trwy holl Judæa, wedi dechreu o Galilæa hyd ymma.

6 A phan glybu Pilat sôn am Galilæa, efe a ofynnodd ai Galilæad oedd y dyn.

7 A phan wybu efe ei fôd ef o lywodraeth Herod, efe a'i hanfonodd ef at Herod, yr hwn oedd yntef yn Jerusalem y dyddiau hynny.

8 A Herod, pan welodd yr Iesu, a lawenychodd yn fawr: canys yr oedd efe yn chwennych er ystalm ei weled ef, oblegid iddo glywed llawer am dano ef: ac yr ydoedd yn gobeithio cael gweled gwneuthur rhyw arwydd ganddo ef.

9 Ac efe a'i holodd ef mewn llawer o eiriau: eithr efe nid attebodd ddim iddo.

10 A'r Arch-offeiriaid a'r Scrifennyddion a safasant gan ei gyhuddo ef yn haerllyg.

11 A Herod a'i filwyr, wedi iddo ei ddiystyru ef, a'i watwar, a'i wisco â gwisc glaerwen, a'i danfonodd ef drachefn at Pilat.

‖aeth cymmod rhwng Pilat a Herod.

12 A'r dydd hwnnw yr ‖ aeth Pilat a Herod yn gyfeillion: canys yr oeddynt o'r blaen mewn gelyniaeth â'i gilydd.

*Mat.27.23.

13 *A Philat, wedi galw ynghyd yr Arch-offeiriaid, a'r llywiawd-wyr, a'r bobl,

14 A ddywedodd wrthynt, Chwi a ddygasoch y dyn hwn attafi, fel un a fyddai yn gwyr-droi'r bobl: ac wele, myfi a'i holais ef yn eich gwydd chwi, ac ni chefais yn y dyn hwn ddim ‖ bai, o ran y pethau yr ydych chwi yn ei gyhuddo ef am danynt:

‖achos.

15 Na Herod chwaith: canys anfonais chwi atto ef, ac wele, dim yn haeddu marwolaeth ni's gwnaed iddo.

16 Am hynny mi a'i ceryddaf ef, ac a'i gollyngaf ymmaith.

17 Canys yr ydoedd yn rhaid iddo ollwng un yn rhydd iddynt ar yr wyl.

18 A'r holl liaws a lefasant ar unwaith, gan ddywedyd, Bwrw hwn ymmaith, a gollwng i ni Barabbas yn rhydd.

19 (Yr hwn, am ryw derfysc a wnelsid yn y ddinas, a llofruddiaeth, oedd wedi ei daflu i garchar.)

20 Am hynny Pilat a ddywedodd wrthynt drachefn, gan ewyllysio gollwng yr Iesu yn rhydd.

21 Eithr hwy a lefasant arno, gan ddywedyd, Croes-hoelia, croes-hoelia ef.

22 Ac efe a ddywedodd wrthynt y drydedd waith, Canys pa ddrwg a wnaeth efe? ni chefais i ddim achos marwolaeth ynddo: am hynny mi a'i ceryddaf ef, ac a'i gollyngaf yn rhydd.

‖A hwy a bwysasant arno.

23 ‖Hwythau a fuant daerion â llefau uchel gan ddeisyfu ei groes-hoelio ef: a'u llefau hwynt a'r Arch-offeiriaid a orfuant.

24 A Philat a farnodd wneuthur eu deisyfiad hwynt.

25 Ac efe a ollyngodd yn rydd iddynt yr hwn am derfysc a llofruddiaeth a fwriasid yngharchar, yr hwn a ofynnasant: eithr yr Iesu a draddododd efe iw hewyllys hwynt.

Math.27.

26 *Ac fel yr oeddynt yn ei arwain ef ymmaith, hwy a ddaliasant un Simon o Cyrene, yn dyfod o'r wlâd, ac a ddodasant y groes arno ef, iw dwyn ar ôl yr Iesu.

27 Ac yr oedd yn ei ganlyn ef liaws mawr o bobl, ac o wragedd: y rhai hefyd oedd yn cwynfan, ac yn galaru o'i blegid ef.

28 A'r Iesu wedi troi attynt, a ddywedodd, Merched Jerusalem, nac wylwch o'm plegid i, eithr wylwch o'ch plegid eich hun, ac oblegid eich plant:

29 Canys wele, y mae'r dyddiau yn dyfod, yn y rhai y dywedant, Gwyn eu bŷd y rhai amhlantadwy, a'r crothau ni heppiliasant, a'r bronnau ni roesant fugn.

*Esa.2.19. hos.10.8. datc.6.16.

30 *Yna y dechreuant ddywedyd wrth y mynyddoedd, Syrthiwch arnom: ac wrth y bryniau, Cuddiwch ni.

*1.Pet.4.

31 *Canys os gwnant hyn yn y pren ir, pa beth a wneir yn y crin?

*Matt.27.

32 *Ac arweiniwyd gyd ag ef hefyd ddau ddrwg-weithred-wyr eraill, iw rhoi iw marwolaeth.

‖Le'r benglog.

33 A phan ddaethant i'r lle a elwir ‖ Calvaria, yno y croes-hoeliasant ef, a'r drwg-weithred-wyr: un ar y llaw ddehau, a'r llall ar yr asswy.

34 A'r Iesu a ddywedodd, O Dâd, maddeu iddynt:

iddynt: canys ni wyddant pa beth y maent yn ei wneuthur. A hwy a rannasant ei ddillad ef, ac a fwriasant goelbren.

35 A'r bobl a safodd yn edrych: a'r penaethiaid hefyd gyd â hwynt, a watwarasant, gan ddywedyd, Eraill a waredodd efe, gwareded ef ei hun, os hwn yw Christ, etholedig Duw.

36 A'r milwyr hefyd a'i gwatwarasant ef, gan ddyfod atto, a chynnyg iddo finegr,

37 A dywedyd, Os tydi yw brenin yr Iddewon, gwared dy hun.

38 Ac yr ydoedd hefyd arscrifen wedi ei scrifennu uwch ei ben ef, â llythyrennau Groeg, a Lladin, ac Hebrew, HWN YW BRENIN YR IDDEWON.

39 Ac un o'r drwg-weithred-wyr a grogasid, a'i cablodd ef, gan ddywedyd, Os tydi yw Christ, gwared dy hun a ninnau.

40 Eithr y llall a attebodd, ac a'i ceryddodd ef, gan ddywedyd, Onid wyt ti yn ofni Duw, gan dy fôd dan yr un ddamnedigaeth?

41 A nyni yn wir yn gyfiawn: (canys yr ydym yn derbyn yr hyn a haeddei y pethau a wnaethom) eithr hwn ni wnaeth ddim allan o'i le.

42 Ac efe a ddywedodd wrth yr Iesu, Arglwydd cofia fi, pan ddelych i'th deyrnas.

43 A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Yn wir meddaf i ti, Heddyw y byddi gyd â mi ymmharadwys.

44 Ac yr ydoedd hi ynghylch y chweched awr, a thywyllwch a fu ar yr holl || ddaiar hyd y nawfed awr.

45 A'r haul a dywyllwyd, a llen y Deml a rwygwyd yn ei chanol.

46 A'r Iesu gan lefain â llef uchel a ddywedodd, * O Dâd, i'th ddwylo di y gorchymynnaf fy yspryd. Ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a drengodd.

47 A'r Canwriad pan welodd y peth a wnaethpwyd, a ogoneddodd Dduw, gan ddywedyd, Yn wir yr oedd hwn yn wr cyfiawn.

48 A'r holl bobloedd, y rhai a ddaethent ynghyd i edrych hyn, wrth weled y pethau a wnaethpwyd, a ddychwelasant, gan guro eu dwyfronnau.

49 A'i holl gydnabod ef a safasant o hirbell, a'r gwragedd, y rhai a'i canlynasent ef o Galilæa, yn edrych ar y pethau hyn.

50 * Ac wele, gwr a'i enw Ioseph, [yr hwn] oedd gynghôrwr, gwr da a chyfiawn.

51 (Hwn ni chyttunasei â'u cyngor, ac â'u gweithred hwynt,) o Arimathæa dinas yr Iddewon, (yr hwn oedd yntef yn disgwil hefyd am deyrnas Dduw.)

52 Hwn a ddaeth at Pilat, ac a ofynnodd gorph yr Iesu.

53 Ac efe a'i tynnodd i lawr, ac a'i hamdodd mewn lliain main, ac a'i rhoddes mewn bedd wedi ei naddu mewn carreg, yn yr hwn ni roddasid || dŷn erioed.

54 A'r dydd hwnnw oedd ddarparwyl, a'r Sabbath oedd yn nesau.

55 A'r gwragedd hefyd, y rhai a ddaethent gyd ag ef o Galilæa, a ganlynasant, ac a welsant y bedd, a pha fodd y dodwyd ei gorph ef.

56 A hwy a ddychwelasant, ac a baratoesant bêr-aroglau ac ennaint, ac a orphwysasant ar y Sabbath, yn ôl y gorchymmyn.

## PEN. XXIIII.

1 Y ddau Angel yn mynegi adgyfodiad Chriſt i'r gwragedd, oedd yn dyfod at y bedd; 9 a'r rhai hynny yn ei adrodd i eraill. 13 Chriſt ei hun yn ymddangos i'r ddau ddiſcybl oedd yn myned i Emmaus: 36 ac wedi hynny i'r Apoſtolion, ac yn ceryddu eu hangrediniaeth hw[ynt]: 47 yn rhoddi gorchymmyn iddynt: 49 ac yn addo yr Yſpryd glân: 51 ac felly yn eſcyn i'r nefoedd.

A'R * dydd cyntaf o'r wythnos, ar y cynddydd, hwy a ddaethant at y bedd, gan ddwyn y pêr-aroglau a baratoesent, a rhai gyd â hwynt.

*Matt.28.1.

2 A hwy a gawsant y maen wedi ei dreiglo ymmaith oddi wrth y bedd.

3 Ac wedi iddynt fyned i mewn, ni chawsant gorph yr Arglwydd Iesu.

4 A bu, a hwy yn petruso am y peth hyn, wele, dau wr a safodd yn eu hymyl mewn gwiscoedd disclair.

5 Ac wedi iddynt ofni, a gostwng eu hwynebau tu a'r ddaiar, hwy a ddywedasant wrthynt, Pa ham yr ydych yn ceisio y byw ymmysc y meirw?

6 Nid yw efe ymma, ond efe a gyfododd. * Cofiwch pa fodd y dywedodd wrthych, ac efe etto yn Galilæa,

*Matt.17.23.

7 Gan ddywedyd, Rhaid yw rhoi Mâb y dŷn yn nwylo dynion pechadurus, a'i groes-hoelio, a'r trydydd dydd adgyfodi.

8 A hwy a gofiasant ei eiriau ef,

9 Ac a dychwelasant oddi wrth y bedd, ac a fynegasant hyn oll i'r un ar ddeg, ac i'r lleill oll.

10 A Mair Magdalen, a Ioanna, a Mair [mam] Iaco, a'r lleill gyd â hwynt, oedd y rhai a ddywedasant y pethau hyn wrth yr Apostolion.

11 A'u geiriau a welid yn eu golwg hwynt, fel gwegi, ac ni chredasant iddynt.

12 * Eithr Petr a gododd i fynu, ac redodd at y bedd: ac wedi ymgrymmu efe a ganfu y llieiniau wedi eu gosod o'r neilltu, ac a aeth ymmaith, gan ryfeddu rhyngddo ac ef ei hun, am y peth a ddarfuasei.

*Ioan.20.6.

13 ☞ Ac wele, * dau o honynt oedd yn myned y dydd hwnnw i dref a'i henw Emmaus, yr hon oedd ynghylch trugain stâd oddi wrth Ierusalem:

Yr Efengyl ar ddie llun Paſc.
*Marc.16.12.

14 Ac yr oeddynt hwy yn ymddiddan â'i gilydd, am yr holl bethau hyn a ddigwyddasent.

15 A bu, fel yr oeddynt yn ymddiddan, ac yn ymofyn â'i gilydd, yr Iesu ei hun hefyd a nesaodd, ac a aeth gyd â hwynt.

16 Eithr eu llygaid hwynt a attaliwyd, fel na's adwaenent ef.

17 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pa ryw ymma-

ymadroddion yw y rhai hyn yr ydych yn eu bwrw at ei gilydd, dan rodio, ac yn wynebdrist?

18 Ac un [o honynt] a'i enw Cleopas, gan atteb a ddywedodd wrtho, A wyt ti yn unig yn ymdeithydd yn Jerusalem, ac ni wybuost y pethau a wnaethpwyd ynddi hi, yn y dyddiau hyn?

19 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pa bethau? Hwythau a ddywedasant wrtho, Y pethau ynghylch Jesu o Nazareth, yr hwn oedd wr o brophwyd, galluog mewn gweithred a gair, ger bron Duw a'r holl bobl.

20 A'r modd y traddodes yr Arch-offeiriaid a'n llywodraeth-wyr ni ef, i farn marwolaeth, ac a'i croes-hoeliasant ef.

21 Ond yr oeddym ni yn gobeithio mai efe oedd yr hwn a waredei 'r Israel: ac heblaw hyn oll, heddyw yw 'r trydydd dydd, er pan wnaethpwyd y pethau hyn.

22 A hefyd rhai gwragedd o honom ni, a'n dychrynasant ni, gwedi iddynt fôd yn foreu wrth y bedd:

23 A phan na chawsant ei gorph ef, hwy a ddaethant, gan ddywedyd weled o honynt weledigaeth o Angelion, y rhai a ddywedent ei fôd efe yn fyw.

24 A rhai o'r rhai oedd gyd â nyni, a aethant at y bedd, ac a gawsant felly, fel y dywedasei y gwragedd; ond ef ni's gwelsant.

25 Ac efe a ddywedodd wrthynt, O ynfydion, a hwyr-frydig o galon, i gredu 'r holl bethau a ddywedodd y prophwydi.

26 Ond oedd raid i Grist ddioddef y pethau hyn, a myned i mewn i'w ogoniant?

27 A chan ddechreu ar Moses, a'r holl brophwydi, efe a esponiodd iddynt yn yr holl Scrythyrau, y pethau am dano ei hun.

28 Ac yr oeddynt yn nesau i'r dref lle yr oeddynt yn myned: ac yntef a gymmerth arno ei fôd yn myned ym-mhellach.

29 A hwy a'i cymmellasant ef, gan ddywedyd, Aros gyd â ni, canys y mae hi yn hwyrhau, a'r dydd yn darfod. Ac efe a aeth i mewn i aros gyd â hwynt.

30 A darfu, ac efe yn eistedd gyd â hwynt, efe a gymmerodd fara, ac a'i bendithiodd, ac a'i torrodd, ac a'i rhoddes iddynt.

31 A'u llygaid hwynt, a agorwyd, a hwy a'i hadnabuant ef: ac efe || a ddifannodd allan o'i golwg hwynt.

|| Neu, aeth yn anweledig iddynt.

32 A hwy a ddywedasant wrth ei gilydd, Onid oedd ein calon ni yn llosci ynom, tra ydoedd efe yn ymddiddan â ni ar y ffordd, a thra 'r ydoedd efe yn agoryd i ni 'r Scrythyrau?

33 A hwy a godasant yr awr honno, ac a ddychwelasant i Jerusalem, ac a gawsant yr un ar ddeg wedi ymgasclu ynghyd, a'r sawl [oedd] gyd â hwynt,

34 Yn dywedyd, Yr Arglwydd a gyfododd yn wir, ac a ymddangosodd i Simon.

35 A hwythau a adroddasant y pethau [a wnaethesid] ar y ffordd, a pha fodd yr adnabuwyd ef ganddynt, wrth dorriad y bara. ☜

36 ☞ *Ac a hwy yn dywedyd y pethau hyn, yr Jesu ei hun a safodd yn eu canol hwynt, ac a ddywedodd wrthynt, Tangnefedd i chwi.

Yr Efengyl ddie Mawrth Pasc. Marc. 16, 14.

37 Hwythau wedi brawychu, ac ofni, a dybiasant weled o honynt yspryd.

38 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pa ham i'ch trallodir, a pha ham y mae meddyliau yn codi yn eich calonnau?

39 Edrychwch fy nwylo a'm traed, mai myfi fy hun ydyw: teimlwch fi, a gwelwch, canys nid oes gan yspryd gnawd ac escyrn, fel y gwelwch fôd gennifi.

40 Ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a ddangosodd iddynt ei ddwylo a'i draed.

41 Ac a hwy etto heb gredu gan lawenydd, ac yn rhyfeddu, efe a ddywedodd wrthynt, A oes gennych chwi ymma ddim bwyd?

42 A hwy a roesant iddo ddarn o byscodyn wedi ei rostio, ac o ddil mêl.

43 Yntef a'i cymmerodd, ac a'i bwyttaodd yn eu gŵydd hwynt.

44 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Dymma 'r geiriau a ddywedais i wrthych, pan oeddwn etto gyd â chwi, bôd yn rhaid cyflawni pôb peth a scrifennwyd ynghyfraith Moses, a'r Prophwydi, a'r Psalmau, am danaf.

45 Yna yr agorodd efe eu deall hwynt, fel y deallent yr Scrythyrau.

46 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Felly yr scrifennwyd, ac felly yr oedd raid i Grist ddioddef, a chyfodi o feirw y trydydd dydd:

47 A phregethu edifeirwch, a maddeuant pechodau yn ei enw ef, ym-mhlith yr oll genhedloedd, gan ddechreu yn Jerusalem.

48 Ac yr ydych chwi yn dystion o'r pethau hyn. ☜

49 *Ac wele, yr ydwyfi yn anfon addewid fy Nhâd arnoch: eithr arhoswch chwi yn ninas Jerusalem, hyd oni wisger chwi â nerth o'r uchelder.

*Ioan. Act. 1.

50 Ac efe a'u dug hwynt allan hyd yn Bethania; ac a gododd ei ddwylo, ac a'i bendithiodd hwynt.

51 *Ac fe a ddarfu, tra 'r oedd efe yn eu bendithio hwynt, ymadel o honaw ef oddiwrthynt, ac efe a ddugpwyd i fynu i'r nef.

*Marc. Act. 1

52 Ac wedi iddynt ei addoli ef, hwy a ddychwelasant i Jerusalem, gyd â llawenydd mawr.

53 Ac yr oeddynt yn wastadol yn y Deml, yn moli, ac yn bendithio Duw. Amen.

YR



# YR EFENGYL YN ôl Sanct IOAN.

## PENNOD. I.

1 Duwdab, dyndab, â swydd Iesu Grist. 15 Testiolaeth Ioan. 39 Galwad Andreas, Petr, Philip, â Nathanael.

Yr Efengyl ar ...dd Nata- ... Christ.



Yn y dechreuad yr oedd y Gair, a'r Gair oedd gyd â Duw, a Duw oedd y Gair.

2 *Hwn oedd yn y dechreuad gyd â Duw.

3 *Trwyddo ef y gwnaethpwyd pôb peth; ac hebddo ef, ni wnaethpwyd dim a'r a wnaethpwyd.

4 Ynddo ef yr oedd bywyd, a'r bywyd oedd oleuni dynion:

5 A'r goleuni sydd yn llewyrchu yn y tywyllwch, a'r tywyllwch nid oedd yn ei || amgyffred.

6 *Yr ydoedd gwr wedi ei anfon oddi wrth Dduw, a'i enw Ioan:

7 Hwn a ddaeth yn dystiolaeth, fel y tystiolaethei am y goleuni, fel y credei pawb trwyddo ef.

8 Nid efe oedd y goleuni, eithr [efe a anfonasid] fel y tystiolaethei am y goleuni.

9 Hwn ydoedd y gwir oleuni, yr hwn sydd yn goleuo pôb dyn a'r y sydd yn dyfod i'r byd.

10 Yn y byd yr oedd efe,* a'r byd a wnaethpwyd trwyddo ef; a'r byd nid adnabu ef.

11 At ei eiddo ei hun y daeth, a'r eiddo ei hun ni dderbyniasant ef.

12 Ond cynnifer ac a'i derbyniasant ef, efe a roddes iddynt || allu i fod yn feibion i Dduw, [sef] i'r sawl a gredant yn ei enw ef.

13 Y rhai ni aned o waed, nac o ewyllys y cnawd, nac o ewyllys gwr, eithr o Dduw.

14 *A'r Gair a wnaethpwyd yn gnawd, ac a drigodd yn ein plith ni. (ac ni a welsom ei ogoniant ef, gogoniant megis yr unig-anedig oddiwrth y Tad) yn llawn grâs a gwirionedd. ☞

15 Ioan a dystiolaethodd am dano ef, ac a lefodd, gan ddywedyd, Hwn oedd yr un y dywedais am dano, Yr hwn sydd yn dyfod ar fy ôl i, a aeth o'm blaen i: canys yr oedd efe o'm blaen i.

16 Ac o'i * gyflawnder ef y derbyniasom ni oll, a grâs am râs.

Gen.1.1. Col.1.16. || Neu, gymprehendiodd. *Matt.3.1. Heb.11.3. || Neu, fraint. Matt.1.16. Col.1.19.

17 Canys y gyfraith a roddwyd trwy Moses, ond y grâs a'r gwirionedd a ddaeth trwy Iesu Grist.

18 *Ni welodd neb Dduw erioed: yr unig-anedig Fâb, yr hwn sydd ym-monwes y Tâd, hwnnw a'i hyspysodd [ef.]

* 1.Ioan 4.12. 1.Tim.6.16.

19 ☞ A hon yw tystiolaeth Ioan, pan anfonodd yr Iddewon o Ierusalem offeiriaid a Lefiaid, i ofyn iddo, Pwy wyt ti?

Yr Efengyl y pedwerydd Sul ar ôl yr Ystwyll.

20 Ac efe a gyffesodd, ac ni wadodd, a chyffesodd, Nid myfi yw'r Christ.

21 A hwy a ofynnasant iddo, Beth ynteu? ai Elias wyt ti? Yntef a ddywedodd, Nagê. Ai'r Prophwyd wyt ti? Ac efe a attebodd, Nagê.

22 Yna y dywedasant wrtho, Pwy wyt ti? fel y rhoddom atteb i'r rhai a'n danfonodd. Beth yr wyt ti yn ei ddywedyd am danat dy hun?

23 *Ebe efe, Myfi [yw] llef un yn gwaeddi yn y diffaethwch, Uniawnwch ffordd yr Arglwydd; fel y dywedodd Esay y Prophwyd.

*Matt.3.3.

24 A'r rhai a anfonasid, oedd o'r Phariseaid.

25 A hwy a ofynnasant iddo, ac a ddywedasant wrtho, Pa ham gan hynny yr wyt ti yn bedyddio, onid ydwyt ti na'r Christ, nac Elias, na'r Prophwyd?

26 Ioan a attebodd iddynt, gan ddywedyd, Myfi sy yn bedyddio â dwfr, ond y mae [un] yn sefyll yn eich plith chwi, yr hwn nid adwaenoch [chwi:]

27 *Efe yw'r hwn sydd yn dyfod ar fy ôl i, yr hwn a aeth o'm blaen i: yr hwn nid ydwyf fi deilwng i ddattod carrei ei escid.

*Matt.3.11. Act.19.4.

28 Y pethau hyn a wnaethpwyd yn Bethabara, y tu hwnt i'r Iorddonen, lle yr oedd Ioan yn bedyddio. ☜

29 Trannoeth, Ioan a ganfu yr Iesu yn dyfod atto, ac efe a ddywedodd, Wele oen Duw, yr hwn sydd yn tynnu ymmaith bechodau'r byd.

30 Hwn yw efe am yr hwn y dywedais i, Ar fy ôl i y mae gwr yn dyfod, yr hwn a aeth o'm blaen i: canys yr oedd efe o'm blaen i.

31 Ac myfi nid adwaenwn ef: eithr fel yr amlygid ef i Israel, i hynny y daethym i, gan fedyddio â dwfr.

32 *Ac Ioan a dystiolaethodd, gan ddywedyd, Mi a welais yr Yspryd yn descyn megis colommen o'r nef, ac efe a arhosodd arno ef.

*Matt.3.16.

33 A mysi nid adwaenwn ef, eithr yr hwn a'm hanfonodd i fedyddio â dwfr, efe a ddywedodd wrthif, Ar yr hwn y gwelych yr Yspryd yn descyn ac yn aros arno, hwnnw yw'r un sy'n bedyddio â'r Yspryd glân.

34 Ac mi a welais, ac a dystiolaethais, mai hwn yw Mâb Duw.

35 Trannoeth drachefn y safodd Joan, a dau o'i ddiscyblion:

36 A chan edrych ar yr Jesu yn rhodio, efe a ddywedodd, Wele oen Duw.

37 A'r ddau ddiscybl a'i clywsant ef yn llefaru, ac a ganlynasant yr Jesu.

38 Yna 'r Jesu a droes, a phan welodd hwynt yn canlyn, efe a ddywedodd wrthynt, Beth yr ydych chwi yn ei geisio? A hwy a ddywdasant wrtho ef, Rabbi (yr hyn o'i gyfieithu yw, Athro) pa le yr wyt ti yn trigo?

39 Efe a ddywedodd wrthynt, Deuwch a gwelwch. A hwy a ddaethant, ac a welsant lle yr oedd efe yn trigo, ac a arhosasant gŷd âg ef y diwrnod hwnnw, ac yr oedd hi ynghylch y ddegfed awr.

40 Andreas brawd Simon Petr, oedd un o'r ddau a glywsent [hynny] gan Joan, ac a'i dilynasent ef.

41 Hwn yn gyntaf a gafodd ei frawd ei hun Simon, ac a ddywedodd wrtho, Nyni a gawsom y Messias, yr hyn o'i ddeongl yw, y Christ.

42 Ac efe a'i dug ef at yr Jesu. A'r Jesu wedi edrych arno ef, a ddywedodd, Ti yw Simon mab Jona, ti a elwir Cephas, yr hwn a gyfieithir || carreg.

|| Neu, Pet.

43 Trannoeth yr ewyllysiodd yr Jesu fyned allan i Galilæa, ac efe a gafod Philip, ac a ddywedodd wrtho, Dilyn fi.

44 A Philip oedd o Bethsaida, o ddinas Andreas a Phetr.

45 Philip a gafodd Nathanael, ac a ddywedodd wrtho, Cawsom yr hwn yr scrifennodd * Moses yn y gyfraith, a'r * prophwydi am dano, Jesu o Nazareth mâb Joseph.

*Gen.49.10. leuit.18.18. *Esa.4.2.

46 A Nathanael a ddywedodd wrtho, A ddichon dim da ddyfod o Nazareth? Philip a ddywedodd wrtho, Tyred a gwêl.

47 Jesu a ganfu Nathanael yn dyfod atto, ac a ddywedodd am dano, Wele Israeliad yn wir, yn yr hwn nid oes dwyll.

48 Nathanael a ddywedodd wrtho, Pa fodd i'm hadwaenost? Jesu a attebodd, ac a ddywedodd wrtho, Cyn i Philip dy alw di, pan oeddit tan y figys-bren, mi a'th welais di.

49 Nathanael a attebodd ac a ddywedodd wrtho ef, Rabbi, ti yw Mab Duw; ti yw brenin Israel.

50 Jesu a attebodd, ac a ddywedodd wrtho ef, O herwydd i mi ddywedyd i ti, Mysi a'th welais di tan y figys-bren, a ydwyt ti yn credu? ti a gei weled pethau mwy nâ'r rhai hyn.

51 Ac efe a ddywedodd wrtho, Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, Ar ôl hyn y gwelwch y nêf yn agored, ac Angelion Duw yn escyn, ac yn descyn ar Fâb y dŷn.

## PEN. II.

1 Christ yn troi y dwfr yn win, 12 yn myned i wared i Capernaum a Ierusalem, 14 ac yno yn bwrw y prynwyr ar gwerthwyr allan o'r Deml: 19 Yn rhag-fynegi ei farwolaeth, a'i adgyfodiad. 33 Llawer yn credu ynddo, o herwydd ei wrthiau, ond er hynny nid ymddiriedei ef iddynt am dano ei hun.



R trydydd dydd yr oedd priodas yn Cana Galilæa: a mam yr Jesu oedd yno.

Yr Efengyl yr ail Sul ar ol yr Ystwyll.

2 A galwyd yr Jesu hefyd a'i ddiscyblion i'r briodas.

3 A phan ballodd y gwin, mam yr Jesu a ddywedodd wrtho efe, Nid oes ganddynt mo'r gwin.

4 Jesu a ddywedodd wrthi, || Beth sydd i mi [a wnelwyf] â thi wraig? ni ddaeth fy awr i etto.

|| Beth yw i mi ac i ti wraig?

5 Ei fam ef a ddywedodd wrth y gwasanaeth-wyr, Beth bynnag a ddywedo efe wrthych, gwnewch.

6 Ac yr oedd yno chwech o ddyfr-lestri meini, wedi eu gosod, yn ôl defod puredigaeth yr Iddewon, y rhai a ddalient bôb un, ddau ffircyn neu dri.

7 Jesu a ddywedodd wrthynt, Llenwch y dyfr-lestri o ddwfr. A hwy a'u llanwasant hyd yr ymyl.

8 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Gollyngwch yn awr, a dygwch at lywodraeth-wr y wledd. A hwy a ddygasant.

9 A phan brofodd llywodraeth-wr y wledd y dwfr a wnaethid yn win, (ac ni wyddei o ba le yr ydoedd, eithr y gwasanaeth-wyr, y rhai a ollyngasent y dwfr, a wyddent) llywodraeth-wr y wledd a alwodd ar y priodfab,

10 Ac a ddywedodd wrtho, Pôb dŷn a esyd y gwin da yn gyntaf, ac wedi iddynt yfed yn dda, yna un a fo gwaeth: titheu a gedwaist y gwin da hyd yr awr hon.

11 Hyn o ddechreu gwyrthiau a wnaeth yr Jesu yn Cana Galilæa, ac a eglurodd ei ogoniant, a'i ddiscyblion a gredasant ynddo.

12 Wedi hyn, efe a aeth i wared i Capernaum, efe a'i fam, a'i frodyr, a'i ddiscyblion; ac yno nid arhosasant nemmor o ddyddiau.

13 A Phasc yr Iddewon oedd yn agos, a'r Jesu a aeth i fynu i Jerusalem:

14 Ac a gafodd yn y Deml rai yn gwerthu ychen, a defaid, a cholomennod, a'r newidwŷr arian yn eistedd:

15 Ac wedi gwneuthur fflangell o fân reffynnau, efe a'i gyrrodd hwynt oll allan o'r Deml; y defaid hefyd a'r ychen, ac a dywalltodd allan arian y newid-wŷr, ac a ddymchwelodd y byrddau,

16 Ac a ddywedodd wrth y rhai oedd yn gwerthu colomennod, Dygwch y rhai hyn oddi ymma, na wnewch dŷ fy Nhâd i, yn dŷ marchnad.

17 A'i

17 A'i ddiscyblion a gofiasant fod yn scrifennedig,* Zêl dy dŷ di a'm hysodd i. *Psal.69.9.*

18 Yna'r Iddewon a attebasant, ac a ddywedasant wrtho ef, Pa arwydd yr ydwyt ti yn ei ddangos i ni, gan dy fôd yn gwneuthur y pethau hyn?

19 Yr Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrthynt, * Dinistriwch y Deml hon, ac mewn tri-diau y cyfodaf hi. *Matt.26.61.*

20 Yna'r Iddewon a ddywedasant, Chwe blynedd a deugain y buwyd yn adeiladu y Deml hon, ac a gyfodi di hi mewn tri-diau?

21 Ond efe a ddywedasei am Deml ei gorph.

22 Am hynny, pan gyfododd efe o feirw, ei ddiscyblion ef a gofiasant iddo ddywedyd hyn wrthynt hwy: a hwy a gredasant yr Scrythur, a'r gair a ddywedasei yr Iesu.

23 Ac fel yr oedd efe yn Ierusalem, ar y Pasc, yn yr wyl, llawer a gredasant yn ei enw ef, wrth weled ei arwyddion a wnaethei efe.

24 Ond nid ymddiriedodd yr Iesu iddynt am dano ei hun, am yr adwaenei efe hwynt oll;

25 Ac nad oedd raid iddo dystiolaethu o neb[iddo]am ddŷn: o herwydd yr oedd efe yn gwybod beth oedd mewn dŷn.

## PEN. III.

1 Christ yn dyscu Nicodemus mor angenrheidiol yw adenedigaeth. 14 Am ffydd yn ei farwolaeth ef. 16 Mawr gariad Duw tuac at y byd. 18 Condemniad am anghrediniaeth. 23 Bedydd, tystiolaeth, ac athrawiaeth Ioan am Grist.

*...h Efengyl ar ...dy Drin-...od.*



AC yr oedd dŷn o'r Phariseaid, a'i enw Nicodemus, pennaeth yr Iddewon.

2 Hwn a ddaeth at yr Iesu liw nôs, ac a ddywedodd wrtho, Rabbi, nyni a wyddom mai dyscawdur ydwyt ti, wedi dyfod oddi wrth Dduw: canys ni allei neb wneuthur y gwrthiau hyn yr wyt ti yn eu gwneuthur, oni bai fôd Duw gyd ag ef.

3 Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrtho, Yn wir, yn wir, meddaf i ti, oddi eithr geni dŷn || drachefn, ni ddichon efe weled teyrnas Dduw. *|| ...oddi fynu.*

4 Nicodemus a ddywedodd wrtho, Pa fodd y dichon dŷn ei eni, ac efe yn hên? a ddichon efe fyned i groth ei fam eilwaith, a'i eni?

5 Iesu a attebodd ac a ddywedodd, Yn wir, yn wir, meddaf i ti, oddi eithr geni dŷn o ddwfr ac o'r Yspryd, ni ddichon efe fyned i mewn i deyrnas Dduw.

6 Yr hyn a aned o'r cnawd, sydd gnawd: a'r hyn a aned o'r Yspryd, sydd yspryd.

7 Na ryfedda ddywedyd o honof wrthit, Y mae yn rhaid eich geni chwi || drachefn. *|| ...oddi fynu.*

8 Y mae 'r gwynt yn chwythu lle y mynno: a thi a glywi ei swn ef, ond ni wyddost o ba le y mae yn dyfod, nac i ba le y mae yn myned: felly y mae pôb un a'r a aned o'r Yspryd.

9 Nicodemus a attebodd ac a ddywedodd wrtho, Pa fodd y dichon y pethau hyn fôd?

10 Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrtho, A wyt ti yn ddyscawdur yn Israel, ac ni wyddost y pethau hyn?

11 Yn wir, yn wir, meddaf i ti, mai yr hyn a wyddom yr ydym yn ei lefaru, a'r hyn a welsom yr ydym yn ei dystiolaethu; a'n tystiolaeth ni nid ydych yn ei derbyn.

12 Os dywedais i chwi bethau daiarol, a chwithau nid ydych yn credu: pa fodd, os dywedaf i chwi bethau nefol, y credwch?

13 Ac ni escynnodd neb i'r nef, oddi eithr yr hwn a ddescynnodd o'r nef, [sef] Mab y dŷn, yr hwn sydd yn y nef.

14 * Ac megis y derchafodd Moses y sarph yn y diffaethwch, felly y mae yn rhaid derchafu Mab y dŷn: ** Num.21.9.*

15 Fel na choller pwy bynnag a gredo ynddo ef, onid caffael o honaw fywyd tragwyddol. ☜

*Yr Efengyl ar ddydd llun y Sul-gwyn.*

16 ☞ * Canys felly y carodd Duw y bŷd, fel y rhoddodd efe ei unig-anedig Fâb, fel na choller pwy bynnag a gredo ynddo ef, onid caffael o honaw fywyd tragywyddol. ** 1 Ioan.4.9.*

17 * Oblegid ni ddanfonodd Duw ei Fâb i'r bŷd, i ddamnio 'r bŷd, ond fel yr achubid y bŷd trwyddo ef. ** Pen.12.48.*

18 Yr hwn sydd yn credu ynddo ef, ni ddemnir: eithr yr hwn nid yw yn credu, a ddamnwyd eusys: o herwydd na chredodd yn enw unig-anedig Fâb Duw.

19 A hon yw 'r ddamnedigaeth,* ddyfod goleuni i'r bŷd, a charu o ddynion y tywyllwch yn fwy na 'r goleuni: canys yr oedd eu gweithredoedd hwy yn ddrwg. ** Pen.1.4.*

20 O herwydd pôb un a'r sydd yn gwneuthur drwg, sydd yn casâu y goleuni, ac nid yw yn dyfod i'r goleuni, fel || nad argyoedder ei weithredoedd ef: *|| Neu, na ddatguddier.*

21 Ond yr hwn sydd yn gwneuthur gwirionedd, sydd yn dyfod i'r goleuni, fel yr eglurhaer ei weithredoedd ef, mai yn Nuw y gwnaed hwynt. ☜

22 Wedi y pethau hyn, daeth yr Iesu a'i ddiscyblion i wlâd Judæa; ac a arhosodd yno gyd â hwynt,* ac a fedyddiodd. ** Pen.4.2.*

23 Ac yr oedd Ioan hefyd yn bedyddio yn Ainon, yn agos i Salim, canys dyfroedd lawer oedd yno: a hwy a ddaethant, ac a'u bedyddiwyd.

24 Canys ni fwriasid Ioan etto yngharchar.

25 Yna y bu ymofyn rhwng rhai o ddiscyblion Ioan a'r Iddewon, ynghylch puredigaeth:

26 A hwy a ddaethant at Ioan, ac a ddywedasant wrtho, Rabbi, yr hwn oedd gyd thi y tu hwnt i'r Iorddonen,* am yr hwn y tystiolaethaist di, wele y mae hwnnw yn bedy- ** Pen.1.7.34.*

bedyddio, a phawb yn dyfod atto ef.

*Hebr.5.4.

27 Ioan a attebodd ac a ddywedodd,* Ni ddichon dyn dderbyn dim, oni bydd wedi ei roddi iddo o'r nef.

*Pen.1.20.

28 Chwy-chwi eich hunain ydych dyſtion i mi ddywedyd o honof,* Nid myfi yw y Chriſt, eithr fy môd wedi fy anfon o'i flaen ef.

29 Yr hwn ſydd gantho y briod-ferch, yw 'r priod-fab: ond cyfaill y priod-fab, yr hwn ſydd yn ſefyll ac yn ei glywed ef, ſydd yn llawenychu yn ddirfawr oblegid llef y priod-fab; y llawenydd hwn maufi gan hynny a gyflawnwyd.

30 Rhaid ydyw iddo ef gynnyddu, ac i minneu leihau.

31 Yr hwn a ddaeth oddi uchod, ſydd goruwch pawb oll: yr hwn ſydd o'r ddayar, ſydd o'r ddayar, ac am y ddayar y mae yn lleſaru: yr hwn ſydd yn dyfod o'r nef, ſydd goruwch pawb.

32 A'r hyn a welodd efe ac a glywodd, hynny y mae efe yn ei dyſtiolaethu: ond nid oes neb yn derbyn ei dyſtiolaeth ef.

Rhuf.3.4.

33 Yr hwn a dderbyniodd ei dyſtiolaeth ef,* a ſeliodd mai geirwir yw Duw.

34 Canys yr hwn a anfonodd Duw, ſydd yn lleſaru geiriau Duw: oblegid nid wrth feſur y mae Duw yn rhoddi [iddo ef] yr Yſpryd.

Mat 11.27.

35 *Y mae y Tâd yn caru y Mâb, ac efe a roddodd bôb peth yn ei law ef.

Hab.2.4. 1.io.5.10.

36 *Yr hwn ſydd yn credu yn y Mâb, y mae gantho fywyd tragwyddol: a'r hwn ſydd heb gredu i'r Mab, ni wêl fywyd, eithr y mae digofaint Duw yn aros arno ef.

## PEN. IIII.

1 Chriſt yn ymddiddan â gwraig o Samaria, ac yn ei ddatcuddio ei hûn iddi. 27 Ei ddiſcyblion yn rhyfeddu. 31 Ac ynteu yn yſpyſu iddynt ei zêl tuac at ogoniant Duw. 39 llawer o'r Samariaid yn credu ynddo. Ac ynteu yn myned ymaith i Galilæa, ac yn iachau mâb y llywydd oedd yn gorwedd yn glaf yn Capernaum.



An wybu 'r Arglwydd gan hynny, glywed o'r Phariſæaid fôd yr Ieſu yn gwneuthur ac yn bedyddio mwy o ddiſcyblion nag Ioan:

2 (Er na fedyddiaſei yr Ieſu ei hun, eithr ei ddiſcyblion ef.)

3 Efe a adawodd Iudæa, ac a aeth drachefn i Galilæa.

4 Ac yr oedd yn rhaid iddo fyned trwy Samaria.

5 Efe a ddaeth gan hynny i ddinas yn Samaria a elwid Sichar, ger llaw y rhandir * a roddaſei Iacob i'w fab Ioſeph.

*Gen.33.19. & 48.22. Ioſua 24.32.

6 Ac yno yr oedd ffynnon. Yr Ieſu gan hynny yn ddeffygiol gan y daith, a eiſteddodd felly ar y ffynnon: ac ynghylch y chweched awr ydoedd hi.

7 Daeth gwraig o Samaria i dynnu dwfr: a'r Ieſu a ddywedodd wrthi, Dyro i mi i yfed.

8 (Canys ei ddiſcyblion ef a aethent i'r ddinas i brynu bwyd.)

9 Yna 'r wraig o Samaria a ddywedodd wrtho ef, Pa fodd yr ydwyt ti, a thi yn Iddew, yn gofyn diod gennifi, a myfi yn wraig o Samaria? oblegid nid yw'r Iddewon yn ymgyfeillach â'r Samariaid.

10 Yr Ieſu a attebodd ac a ddywedodd wrthi, Pe adwaenit ti ddawn Duw, a phwy yw'r hwn ſydd yn dywedyd wrthit, Dyro i mi i yfed, tydi a ofynnaſit iddo ef, ac efe a roddaſei i ti ddwfr bywiol.

11 Y wraig a ddywedodd wrtho, Arglwydd, nid oes gennit ti ddim i godi [dwfr], a'r pydew ſydd ddwfn: o ba le gan hynny y mae gennit ti y dwfr bywiol hwnnw?

12 A'i mwy wyt ti na'n Tâd Iacob, yr hwn a roddodd i ni y pydew, ac efe ei hun a yfodd o honaw, a'i feibion, a'i anifeiliaid?

13 Ieſu a attebodd ac a ddywedodd wrthi, Pwy bynnag ſydd yn yfed o'r dwfr hwn, efe a ſycheda drachefn:

14 Ond pwy bynnag a yfo o'r dwfr a roddwyfi iddo, ni ſycheda yn dragywydd: eithr y dwfr a roddwyf iddo, a fydd ynddo yn ffynnon o ddwfr, yn tarddu i fywyd tragywyddol.

15 Y wraig a ddywedodd wrtho, Arglwydd, dyro i mi y dwfr hwn, fel na ſychedwyf, ac na ddelwyf ymma i godi [dwfr.]

16 Ieſu a ddywedodd wrthi, Dôs, galw dy ŵr, a thyred ymma.

17 Y wraig a attebodd, ac a ddywedodd, Nid oes gennif ŵr. Ieſu a ddywedodd wrthi, Da y dywedaiſt, nid oes gennif ŵr:

18 Canys pump o wŷr a fu i ti, a'r hwn ſydd gennit yr awron, nid yw ŵr i ti: hyn a ddywedaiſt yn wir.

19 Y wraig a ddywedodd wrtho ef, Arglwydd, Mi a welaf mai Prophwyd wyt ti.

20 Ein tadau a addolaſant yn y mynydd hwn, ac yr ydych chwi yn dywedyd mai *yn Ieruſalem y mae'r man lle y mae 'n rhaid addoli.

*Deut.12.5.

21 Ieſu a ddywedodd wrthi hi, O wraig, crêd fi, y mae'r awr yn dyfod, pryd nad addoloch y Tâd, nac yn y mynydd hwn, nac yn Ieruſalem.

22 Chwy-chwi ydych yn addoli y peth ni wyddoch, ninnau ydym yn addoli y peth a wyddom: canys iechydwriaeth ſydd o'r Iddewon:

23 Ond dyfod y mae 'r awr, ac yn awr y mae hi, pan addolo y gwir addol-wŷr y Tâd mewn yſpryd a gwirionedd: canys y cyfryw y mae 'r Tâd yn eu ceiſio i'w addoli ef.

*2.Cor.3.17.

24 *Yſpryd [yw] Duw; a rhaid i'r rhai a'i haddolant ef, addoli mewn yſpryd a gwirionedd.

25 Y wraig a ddywedodd wrtho, Mi a wn fôd y Meſſias yn dyfod, yr hwn a elwir Chriſt: pan ddelo hwnnw, efe a fynega i ni bob peth.

26 Ieſu

26 Iesu a ddywedodd wrthi hi, Myfi, yr hwn wyf yn ymddiddan â thi, yw hwnnw.
27 Ac ar hyn y daeth ei ddiscyblion, a bu ryfedd ganddynt ei fod ef yn ymddiddan â gwraig: er hynny ni ddywedodd neb, Beth a geisi? neu, pa ham yr ydwyt yn ymddiddan â hi?
28 Yna 'r wraig a adawodd ei dwfrlestr, ac a aeth i'r ddinas, ac a ddywedodd wrth y dynion.
29 Deuwch, gwelwch ddŷn, yr hwn a ddywedodd i mi yr hyn oll a wneuthum, onid hwn yw'r Christ?
30 Yna hwy a aethant allan o'r ddinas, ac a ddaethant atto ef.
31 Yn y cyfamser, y discyblion a attolygasant iddo, gan ddywedyd, Rabbi, bwytta.
32 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Y mae gennifi fwyd i'w fwytta, yr hwn ni wyddoch chwi oddi wrtho.
33 Am hynny y discyblion a ddywedasant wrth ei gilydd, A ddug neb iddo [ddim] i'w fwytta?
34 Iesu a ddywedodd wrthynt, Fy mwyd i yw gwneuthur ewyllys yr hwn a'm hanfonodd, a gorphen ei waith ef.
35 Onid ydych chwi yn dywedyd, Y mae etto bedwar-mis, ac [yna] y daw'r cynhayaf? Wele, yr ydwyfi yn dywedyd wrthych, Dercheswch eich llygaid ac edrychwch ar y meusydd: * canys gwynion ydynt eusus i'r cynhayaf.
36 A'r hwn sydd yn medi, sydd yn derbyn cyflog, ac yn casclu ffrwyth i fywyd tragwyddol: fel y byddo i'r hwn sydd yn hau, ac i'r hwn sydd yn medi, lawenhau ynghyd.
37 Canys yn hyn y mae'r gair yn wir, mai arall yw yr hwn sydd yn hau, ac arall yr hwn sydd yn medi.
38 Myfi a'ch anfonais chwi i fedi yr hyn ni lafuriasoch: eraill a lafuriasant, a chwithau a aethoch i mewn i'w llafur hwynt.
39 A llawer o'r Samariaid o'r ddinas honno a gredasant ynddo, o herwydd gair y wraig, yr hon oedd yn tystiolaethu, Efe a ddywedodd i mi'r hyn oll a wneuthum.
40 Am hynny pan ddaeth y Samariaid atto ef, hwy a attolygasant iddo aros gyd â hwynt: ac efe a arhosodd yno ddeu-ddydd.
41 A mwy o lawer a gredasant ynddo ef, oblegid ei air ei hun.
42 A hwy a ddywedasant wrth y wraig, Nid ydym ni weithian yn credu oblegid dy ymadrodd di: canys ni a'i clywsom [ef] ein hunain, ac a wyddom mai hwn yn ddiau yw'r Christ, Iachawdur y bŷd.
43 * Ac ym mhen y ddeu-ddydd, efe a aeth ymmaith oddi yno, ac a aeth i Galilæa.
44 Canys yr Iesu ei hun a dystiolaethodd nad ydyw Prophwyd yn cael anrhydedd yn ei wlâd ei hun.
45 Yna pan ddaeth efe i Galilæa, y Galilæaid a'i derbyniasant ef, wedi iddynt weled yr holl bethau a wnaeth efe yn Jerusalem ar yr wyl: canys hwythau a ddaethant i'r wyl.
46 ☞ Felly yr Iesu a ddaeth drachefn i Cana yn Galilæa, * lle y gwnaeth efe y dwfr yn win. Ac yr oedd rhyw bendefig yr hwn yr oedd ei fab yn glâf yn Capernaum.
47 Pan glybu hwn ddyfod o'r Iesu o Judæa i Galilæa, efe a aeth atto ef, ac a attolygodd iddo ddyfod i wared, ac iachau ei fab ef: canys yr oedd efe ym-mron marw.
48 Yna Iesu a ddywedodd wrtho ef, Oni welwch chwi arwyddion a rhyfeddodau, ni chredwch.
49 Y pendefig a ddywedodd wrtho ef, O Arglwydd, tyred i wared cyn marw fy machgen.
50 Iesu a ddywedodd wrth ef, Dôs ymmaith; y mae dy fab yn fyw. A'r gŵr a gredodd y gair a ddywedasei Iesu wrtho, ac efe a aeth ymmaith.
51 Ac fel yr oedd efe yr awron yn myned i wared, ei weision a gyfarfuant ag ef, ac a fynegasant, gan ddywedyd, Y mae dy fachgen yn fyw.
52 Yna efe a ofynnodd iddynt yr awr y gwellhasei arno. A hwy a ddywedasant wrtho, Doe, y seithfed awr y gadawodd y crŷd ef.
53 Yna y gwybu 'r Tâd mai yr awr honno oedd, yn yr hon y dywedasei Iesu wrtho ef, Y mae dy fâb yn fyw. Ac efe a gredodd, a'i holl dŷ.
54 Yr ail arwydd ymma drachefn a wnaeth yr Iesu, wedi dyfod o Judæa i Galilæa. ☜

Yr Efengyl yr xxj. Sul wedi r Drindod.
* Pen.2.1.

Ioan 4.37. Deut.11.5. Mat.13.57.

## PEN. V.

1 Yr Iesu ar y dydd Sabboth yn iachau 'r hwn a fuasei glâf namyn dwy flynedd deugain: 10 A'r Iuddewon am hynny yn cweryl, ac yn ei erlid ef. 17 Ac yntef yn atteb trosto ei hun, ac yn eu hargyoeddi hwy, gan ddangos pwy ydyw ef, trwy dystiolaeth ei Dâd, 32 ac Ioan, 36 a'i weithredoedd ei hun, 39 a'r Scrythyrau.



Wedi hynny yr oedd * gŵyl yr Iddewon, a'r Iesu a aeth i fynu i Jerusalem.
2 Ac y mae yn Jerusalem, wrth [|| farchnad] y defaid, llynn a elwir yn Hebraeg Bethesda, ac iddo bum porth:
3 Yn y rhai y gorweddei lliaws mawr o rai cleifion, deillion, cloffion, gwywedigion, yn disgwil am gynnhyrfiad y dwfr.
4 Canys Angel oedd ar amserau yn descyn i'r llynn, ac yn cynnhyrfu 'r dwfr: yna yr hwn a elei i mewn yn gyntaf ar ôl cynhyrfu y dwfr, a ai yn iach o ba glefyd bynnag a fyddei arno.
5 Ac yr oedd rhyw ddŷn yno, yr hwn a fua-

* Levit. 23. 2. deut.16.
|| borth.

a fuasei || glâf namyn dwy flynedd deugain:

|| mewn gwendid.

6 Yr Iesu pan welodd hwn yn gorwedd, a gwybod ei fôd ef felly yn hir o amser bellach, a ddywedodd wrtho, A fynni di dy wneuthur yn iach?

7 Y clâf a attebodd iddo, Arglwydd, nid oes gennif ddŷn i'm bwrw i'r llyn, pan gynhyrfer y dwfr: ond tra fyddwyf yn dyfod, arall a ddescyn o'm blaen i.

8 Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Cyfod, cymmer dy wely i fynu, a rhodia.

9 Ac yn ebrwydd y gwnaed y dŷn yn iach: ac efe a gododd ei wely, ac a rodiodd: a'r Sabbath oedd y diwrnod hwnnw.

10 Am hynny yr Iddewon a ddywedasant wrth yr hwn a wnaethid yn iach, y Sabbath yw hi: *nid cyfraithlon i ti godi dy wely.

* Ier.17.21.

11 Efe a attebodd iddynt, Yr hwn a'm gwnaeth i yn iach, efe a ddywedodd wrthif, Cyfod dy wely, a rhodia.

12 Yna hwy a ofynnasant iddo, Pwy yw'r dŷn a ddywedodd wrthit ti, Cyfod dy wely, a rhodia?

13 A'r hwn a iachasid ni wyddei pwy oedd efe: canys yr Iesu a giliasei||o'r dyrfa oedd yn y fan honno.

|| Neu, er bôd tyrfa(neu, a thyrfa)yn y fan honno.

14 Wedi hynny 'r Iesu a'i cafodd ef yn y Deml, ac a ddywedodd wrtho, Wele, ti a wnaethpwyd yn iach: na phecha mwyach, rhag digwydd i ti beth a fyddo gwaeth.

15 Y dŷn a aeth ymmaith, ac a fynegodd i'r Iddewon mai'r Iesu oedd yr hwn a'i gwnaethei ef yn iach.

16 Ac am hynny yr Iddewon a erlidiasant yr Iesu, ac a geisiasant ei ladd ef, oblegid iddo wneuthur y pethau hyn ar y Sabbath.

17 Ond yr Iesu a'u hattebodd hwynt, Y mae fy Nhâd yn gweithio hyd yn hyn, ac yr ydwyf finneu yn gweithio.

18 Am hyn gan hynny yr Iddewon a geisiasant yn fwy ei ladd ef, oblegid nid yn unig iddo dorri'r Sabbath, ond hefyd iddo ddywedyd fôd Duw yn Dâd iddo, gan ei wneuthur ei hun yn gystal a Duw.

19 Yna'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrthynt, Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, ni ddichon y Mâb wneuthur dim o honaw ei hunan, eithr yr hyn a welo efe y Tâd yn ei wneuthur: canys beth bynnag y mae efe yn ei wneuthur, hynny hefyd y mae y Mâb yr un ffunyd yn ei wneuthur.

20 Canys y Tâd sydd yn caru y Mâb, ac yn dangos iddo yr hyn oll y mae efe yn ei wneuthur, ac efe a ddengys iddo ef weithredoedd mwy ná'r rhai hyn, fel y rhyfeddoch chwi.

21 Oblegid megis y mae y Tâd yn cyfodi y rhai meirw, ac yn eu bywhau, felly hefyd y mae'r Mab yn bywhau y rhai a fynno.

22 Canys y Tâd nid yw yn barnu neb, eithr efe a roddes bob barn i'r Mab:

23 Fel yr anrhydeddei pawb y Mab, fel y maent yn anrhydeddu y Tâd. Yr hwn nid yw yn anrhydeddu y Mab, nid yw yn anrhydeddu y Tâd, yr hwn a'i hanfonodd ef.

24 Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, y neb sydd yn gwrando fy ngair i, ac yn credu i'r hwn a'm hanfonodd i, a gaiff fywyd tragwyddol: ac ni ddaw i farn, eithr efe a aeth trwodd o farwolaeth i fywyd.

25 Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, y mae'r awr yn dyfod, ac yn awr y mae, pan glywo y meirw lef Mab Duw: a'r rhai a glywant a fyddant byw.

26 Canys megis y mae gan y Tad fywyd ynddo ei hunan, felly y rhoddes efe i'r Mab hefyd fôd ganddo fywyd ynddo ei hun:

27 Ac a roddes awdurdod iddo i wneuthur barn hefyd, o herwydd ei fôd yn fab dŷn.

28 Na ryfeddwch am hyn: canys y mae'r awr yn dyfod, yn yr hon y caiff pawb a'r sydd yn y beddau glywed ei leferydd ef.

29 A hwy a ddeuant allan, *y rhai a wnaethant dda, i adgyfodiad bywyd, ond y rhai a wnaethant ddrwg, i adgyfodiad barn.

*Matt.25.16.

30 Ni allaf fi wneuthur dim o honof fy hunan: fel yr ydwyf yn clywed, yr ydwyf yn barnu: a'm barn i sydd gyfiawn: canys nid ydwyf yn ceisio fy ewyllys fy hunan, ond ewyllys y Tad, yr hwn a'm hanfonodd i.

31 *Os ydwyfi yn tystiolaethu am danaf fy hunan, nid yw fy nhystiolaeth i wir.

*Pen.8.14.

32 *Arall sydd yn tystiolaethu am danafi, ac mi a wn mai gwir yw y dystiolaeth y mae efe yn ei dystiolaethu am danafi.

*Matt.3.17.

33 Chwy chwi a anfonasoch at Ioan, *ac efe a ddug dystiolaeth i'r gwirionedd.

*Pen.1.7.

34 Ond myfi nid ydwyf yn derbyn tystiolaeth gan ddŷn: eithr y pethau hyn yr ydwyf yn eu dywedyd, fel y gwareder chwi.

35 Efe oedd gannwyll yn llosci, ac yn goleuo: a chwithau oeddych ewyllys-gar i orfoleddu tros amser yn ei oleuni ef.

36 Ond y mae gennyfi dystiolaeth fwy nag Ioan: canys y gweithredoedd a roddes y Tad i mi i'w gorphen, y gweithredoedd hynny, y rhai yr ydwyfi yn eu gwneuthur, sy'n tystiolaethu am danafi, mai'r Tâd a'm hanfonodd i.

37 A'r Tad, yr hwn a'm hanfonodd i, *efe a dystiolaethodd am danafi. Ond ni chlywsoch chwi ei lais ef un amser, *ac ni welsoch ei wedd ef.

*Matt.3.17. 17.5.
* Deut.4.12

38 Ac nid oes gennych chwi mo'i air ef yn aros ynoch: canys yr hwn a anfonodd efe, hwnnw nid ydych chwi yn credu iddo.

39 Chwiliwch yr Scrythyrau, canys ynddynt hwy yr ydych chwi yn meddwl cael bywyd tragwyddol: a hwynt hwy yw y rhai sy'n tystiolaethu am danafi.

40 Ond

40 Ond ni fynnwch chwi ddyfod attaf, fel y caffoch fywyd.

41 Nid ydwyf fi yn derbyn gogoniant oddi wrth ddynion:

42 Ond myfi a'ch adwaen chwi, nad oes gennych gariad Duw ynoch.

43 Myfi a ddaethym yn enw fy Nhâd, ac nid ydych yn fy nerbyn i: os arall a ddaw yn ei enw ei hun, hwnnw a dderbyniwch.

44 *Pa fodd y gellwch chwi gredu, y rhai ydych yn derbyn gogoniant gan ei gilydd, ac heb geisio y gogoniant sydd oddi wrth Dduw yn unig?

45 Na thybiwch y cyhuddaf chwi wrth y Tâd: y mae a'ch cyhudda chwi, [sef] Moses, yn yr hwn yr ydych yn gobeithio.

46 Canys pe credasech chwi i Moses, chwi a gredasech i minneu: oblegid *am danaf yr yscrifennodd efe.

47 Ond os chwi ni chredwch i'w Scrifennadau ef, pa fodd y credwch i'm geiriau i?

## PEN. VI.

1 Christ yn porthi pum mil o bobl á phum torth a dau byscodyn. 15 A'r bobl o herwydd hynny yn ceisio ei wneuthur ef yn frenin. 16 Ac yntau yn cilio o'r naillu, ac yn rhodio ar y môr at ei ddiscyblion: 20 Ac yn ceryddu y bobl oedd yn heidio ar ei ôl, a holl gnawdol wrandawyr ei air: 32 ac yn dangos mai efe yw bara y bywyd i'r ffyddloniaid. 66 Llawer o ddiscyblion yn ymadel ag ef. 68 Petr yn ei gyffesu ef. 70 Bôd Iudas yn gythrael.



Edi y pethau hyn yr aeth yr Iesu tros fôr Galilæa, [hwnnw yw môr] Tiberias.

2 A thyrfa fawr a'i canlynodd ef, canys hwy a welsent ei arwyddion, y rhai a wnaethei efe ar y cleifion.

3 A'r Iesu a aeth i fynu i'r mynydd, ac a eisteddodd yno gyd â'i ddiscyblion.

4 *A'r Pasc, gwyl yr Iddewon, oedd yn agos.

5 *Yna'r Iesu a dderchafodd [ei] lygaid, ac a welodd fôd tyrfa fawr yn dyfod atto, ac a ddywedodd wrth Philip, O ba le y prynwn ni fara, fel y caffo y rhai hyn fwytta?

6 (A hyn a ddywedodd efe i'w brofi ef: canys efe a wyddei beth yr oedd efe ar fedr ei wneuthur.)

7 Philip a'i hattebodd ef, Gwerth dau can ceiniog o fara nid yw ddigon iddynt hwy, fel y gallo pôb un o honynt gymmeryd ychydig.

8 Un o'i ddiscyblion a ddywedodd wrtho, Andreas brawd Simon Petr,

9 Y mae ymma ryw fachgennyn, a chanddo bum torth haidd, a dau byscodyn: ond beth yw hynny rhwng cynnifer?

10 A'r Iesu a ddywedodd, Perwch i'r dynion eistedd i lawr. Ac yr oedd glas-wellt lawer yn y fan [honno.] Felly y gwŷr a eisteddasant i lawr, ynghylch pum mil o nifer.

11 A'r Iesu a gymmerth y torthau, ac wedi iddo ddiolch, efe a'u rhannodd i'r discyblion, a'r discyblion i'r rhai oedd yn eistedd: felly hefyd o'r pyscod, cymmaint ac a fynnasant.

12 Ac wedi eu digoni hwynt, efe a ddywedodd wrth ei ddiscyblion, Cesclwch y briwfwyd gweddill, fel na choller dim.

13 Am hynny hwy a'i casclasant, ac a lanwasant ddeuddeg bascedaid o'r briwfwyd, o'r pum torth haidd, a weddillasei gan y rhai a fwyttasent.

14 Yna y dynion, pan welsant yr arwydd a wnaethei'r Iesu, a ddywedasant, Hwn yn ddiau yw y Prophwyd oedd ar ddyfod i'r bŷd.

15 Yr Iesu gan hynny, pan wybu eu bôd hwy ar fedr dyfod, a'i gippio ef i'w wneuthur yn frenin, a giliodd drachefn i'r mynydd, ei hunan yn unig.

16 *A phan hwyrhaodd hi, ei ddiscyblion a aethant i wared at y môr. *Mat.14.23.

17 Ac wedi iddynt ddringo i long, hwy a aethant tros y môr i Capernaum: ac yr oedd hi weithion yn dywyll: a'r Iesu ni ddaethei attynt hwy.

18 A'r môr, gan wynt mawr yn chwythu, a gododd.

19 Yna, wedi iddynt rwyfo ynghylch pump a'r hugain neu ddeg a'r hugain o stadiau, hwy a welent yr Iesu yn rhodio ar y môr, ac yn nesau at y llong; ac a ofnasant.

20 Ond efe a ddywedodd wrthynt, Myfi yw, nac ofnwch.

21 Yna y derbyniasant ef yn chwannog i'r llong: ac yn ebrwydd yr oedd y llong wrth y tir yr oeddynt yn myned iddo.

22 Trannoeth pan welodd y dyrfa oedd yn sefyll y tu hwnt i'r môr, nad oedd un llong arall yno, ond yr un honno, i'r hon yr aethei ei ddiscyblion ef, ac nad aethei'r Iesu gyd a'i ddiscyblion i'r llong, ond myned o'i ddiscyblion ymmaith ei hunain:

23 Eithr llongau eraill a ddaethent o Tiberias yn gyfagos i'r fan, lle y bwyttasent hwy fara, wedi i'r Arglwydd roddi diolch:

24 Pan welodd y dyrfa gan hynny nad oedd yr Iesu yno, na'i ddiscyblion, hwythau a aethant i longau, ac a ddaethant i Capernaum, dan geisio'r Iesu.

25 Ac wedi iddynt ei gael ef y tu hwnt i'r môr, hwy a ddywedasant wrtho, Rabbi, pa bryd y daethosti ymma?

26 Yr Iesu a attebodd iddynt, ac a ddywedodd, Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, yr ydych chwi yn fy ngheisio i, nid o herwydd i chwi weled y gwyrthiau, eithr o herwydd i chwi fwytta o'r torthau, a'ch digoni.

27 Llafuriwch nid am y bwyd a ‖ dderfydd, eithr am y bwyd a bery i fywyd tragwyddol,

wyddol, yr hwn a ddyry Mâb y dyn i chwi: * canys hwn a seliodd Duw Tâd.

*Matt.3.17.

28 Yna y dywedasant wrtho, Pa beth a wnawn ni, fel y gweithredom weithredoedd Duw?

29 Yr Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrthynt, * Hyn yw gwaith Duw, credu o honoch yn yr hwn a anfonodd efe.

*1.Io.3.23.

30 Dywedasant gan hynny wrtho ef, Pa arwydd yr ydwyt ti yn ei wneuthur, fel y gwelom, ac y credom i ti? pa beth yr wyt ti yn ei weithredu?

31 *Ein tadau ni a fwyttasant y Manna yn yr anialwch; fel y mae yn scrifennedig, * Efe a roddodd iddynt fara o'r nêf i'w fwytta.

*Exod.16.15. Num.11.7. *Psal.78.25.

32 Yna'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, nid Moses a roddodd i chwi y bara o'r nêf: eithr fy Nhâd sydd yn rhoddi i chwi y gwir fara o'r nêf.

33 Canys bara Duw ydyw yr hwn sydd yn dyfod i wared o'r nêf, ac yn rhoddi bywyd i'r bŷd.

34 Yna hwy a ddywedasant wrtho, Arglwydd, dyro i ni y bara hwn yn oestadol.

35 A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Myfi yw bara'r bywyd: yr hwn sydd yn dyfod attaf, ni newyna: a'r hwn sydd yn credu ynof fi, ni sycheda un amser.

36 Eithr dywedais wrthych, i chwi fy ngweled, ac nad ydych yn credu.

37 Yr hyn oll y mae'r Tâd yn ei roddi i mi, a ddaw attaf: a'r hwn a ddêl attaf, ni's bwriaf ef allan ddim.

38 Canys myfi a ddescynnais o'r nêf, nid i wneuthur fy ewyllys fy hun, ond ewyllys yr hwn a'm hanfonodd.

39 A hyn yw ewyllys y Tâd a'm hanfonodd i, o'r cwbl a roddes [efe] i mi, na chollwn ddim o honaw, eithr bod i mi ei adgyfodi ef yn y dydd diweddaf.

40 A hyn yw ewyllys yr hwn a'm hanfonodd i, cael o bôb un sydd yn gweled y Mâb, ac yn credu ynddo ef, fywyd tragwyddol: ac myfi a'i hadgyfodaf ef yn y dydd diweddaf.

41 Yna yr Iddewon a rwgnachasant || yn ei erbyn ef, o herwydd iddo ddywedyd, Myfi yw'r bara a ddaeth i wared o'r nêf.

||am hynny.

42 A hwy a ddywedasant, *Ond hwn yw Iesu mâb Ioseph, tâd a mam yr hwn a adwaenom ni? pa fodd gan hynny y mae efe yn dywedyd, O'r nêf y descynnais?

*Matt.13.55.

43 Yna'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrthynt, Na furmurwch wrth ei gilydd.

44 Ni ddichon neb ddyfod attaf, oddieithr i'r Tâd, yr hwn a'm hanfonodd, ei dynnu ef: a myfi a'i hadgyfodaf ef y dydd diweddaf.

45 *Y mae yn scrifennedig yn y prophwydi, A phawb a fyddant wedi eu dyscu gan Dduw. Pôb un gan hynny a glywodd gan y Tâd, ac a ddyscodd, sydd yn dyfod attaf.

*Esa.54.13. Ier.31.34.

46 Nid o herwydd gweled o neb y Tâd, *ond yr hwn sydd o Dduw, efe a welodd y Tâd.

*Matt.11.27.

47 Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, yr hwn sydd yn credu ynof fi, sydd ganddo fywyd tragwyddol.

48 Myfi yw bara'r bywyd.

49 Eich tadau chwi a fwyttasant y Manna yn yr anialwch, ac a fuant feirw.

50 Hwn yw'r bara sydd yn dyfod i wared o'r nêf, fel y bwyttao dŷn o honaw, ac na byddo marw.

51 Myfi yw'r bara bywiol, yr hwn a ddaeth i wared o'r nêf: os bwytty nêb o'r bara hwn, efe a fydd byw yn dragywydd: a'r bara a roddaf fi, yw fy nghnawd i, yr hwn a roddaf fi tros fywyd y bŷd.

52 Yna'r Iddewon a ymryssonasant â'i gilydd, gan ddywedyd, Pa fodd y dichon hwn roddi i ni [ei] gnawd i'w fwytta?

53 Yna'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, oni fwyttewch gnawd Mâb y dŷn, ac [oni] yfwch ei waed ef, nid oes gennych fywyd ynoch.

54 Yr hwn sydd yn bwytta fy nghnawd i, ac yn yfed fy ngwaed i, sydd ganddo fywyd tragwyddol: ac myfi a'i hadgyfodaf ef yn y dydd diweddaf.

55 Canys fy nghnawd i sydd fwyd yn wir, a'm gwaed i sydd ddiod yn wir.

56 Yr hwn sydd yn bwytta fy nghnawd i, ac yn yfed fy ngwaed i, sydd yn aros ynof fi, a minneu ynddo yntef.

57 Fel yr anfonodd y Tâd byw fi, ac yr ydwyf fi yn byw drwy'r Tâd: felly yr hwn sydd yn fy mwytta i, yntef a fydd byw trwof fi.

58 Dymma'r bara a ddaeth i wared o'r nêf: nid megis y bwyttaodd eich tadau chwi y Manna, ac y buant feirw: y neb sydd yn bwytta'r bara hwn, a fydd byw yn dragywydd.

59 Y pethau hyn a ddywedodd efe yn y Synagog, wrth athrawiaethu yn Capernaum.

60 Llawer gan hynny o'i ddiscyblion, pan glywsant, a ddywedasant, Caled yw'r ymadrodd hwn: pwy a ddichon wrando arno?

61 Pan wybu'r Iesu ynddo ei hun fôd ei ddiscyblion yn grwgnach am hyn, efe a ddywedodd wrthynt, A ydyw hyn yn eich rhwystro chwi?

62 *[Beth] gan hynny os gwelwch Fâb y dŷn yn derchafu, lle'r oedd efe o'r blaen?

*Pen.3.13.

63 Yr Yspryd yw'r hyn sydd yn bywhau, y cnawd nid yw yn llesau dim: y geiriau yr ydwyf fi yn eu llefaru wrthych, Yspryd ydynt, a bywyd ydynt.

64 Ond y mae o honoch chwi rai nid ydynt yn credu. Canys yr Iesu a wyddei o'r dechreuad, pwy oedd y rhai nid oedd yn credu, a phwy oedd yr hwn a'i bradychei ef.

65 Ac efe a ddywedodd, Am hynny y dywedais wrthych, na ddichon neb ddyfod attaf, oni bydd wedi ei roddi iddo oddiwrth fy Nhâd.

66 O hynny allan, llawer o'i ddiscyblion ef a aethant yn eu hôl, ac ni rodiasant mwyach gyd ag ef.

67 Am hynny yr Iesu a ddywedodd wrth y deuddeg,

y deuddeg, A fynnwch chwithau hefyd fyned ymmaith?

68 Yna Simon Petr a'i hattebodd ef, O Arglwydd, at bwy yr awn ni? gennit ti y mae geiriau bywyd tragwyddol.

*Matt.16.16.

69 * Ac yr ydym ni yn credu, ac yn gwybod, mai tydi yw y Christ, Mâb y Duw byw.

70 Iesu a'u hattebodd hwynt, Oni ddewisais i chwy-chwi y deuddeg, ac o honoch y mae vn yn ddiafol?

71 Eithr efe a ddywedasei am Iudas Iscariot, [mab] Simon: canys hwn oedd ar fedr ei fradychu ef: ac efe yn vn o'r deuddeg.

## P E N. VII.

1 Iesu yn argyoeddi rhyfyg a hyfder ei geraint: 10 yn myned i fynu ô Galilæa i wyl y Pebyll, 14 yn dyscu yn y Deml. 40 Amryw dyb am dano ef ymhlith y bobl. 45 Y Phariseaid yn ddigllon am na ddaliasai eu swyddogion hwy ef, ac yn rhoddi sen i Nicodemus am gymmeryd ei blaid ef.



'R Iesu a rodiodd, ar ôl y pethau hyn, yn Galilæa: canys nid oedd efe yn chwennych rhodio yn Iudæa, oblegid bôd yr Iddewon yn ceisio ei ladd ef.

*Levit.23.34.

2 * A gwyl yr Iddewon, [sef] gwyl y Pebyll oedd yn agos.

3 Am hynny ei frodyr ef a ddywedasant wrtho, Cerdda ymmaith oddi ymma, a dôs i Iudæa, fel y gwelo dy ddiscyblion dy weithredoedd di, y rhai yr ydwyt yn eu gwneuthur.

4 Canys nid oes neb yn gwneuthur dim yn ddirgel, ac yntef yn ceisio bôd yn gyhoedd: od wyt ti yn gwneuthur y pethau hyn, amlyga dy hun i'r byd.

5 Canys nid oedd ei frodyr yn credu ynddo.

6 Yna'r Iesu a ddywedodd wrthynt hwy, Ni ddaeth fy amser i etto: ond eich amser chwi sydd yn wastad yn barod.

*Pen.3.13.

7 Ni ddichon y byd eich casâu chwi, ond mysi y mae yn ei gasâu, o herwydd fy môd i yn tystiolaethu am dano, fôd ei weithredoedd ef yn ddrwg.

8 Ewch chwi i fynu i'r wyl hon: nid wyfi etto yn myned i fynu i'r wyl hon, * oblegid ni chyflawnwyd fy amser i etto.

*[illegible]1,10.

9 Gwedi iddo ddywedyd y pethau hyn wrthynt, efe a arhosodd yn Galilæa.

10 Ac wedi myned o'i frodyr ef i fynu, yna yntef hefyd a aeth i fynu i'r wyl, nid yn amlwg, ond megis yn ddirgel.

11 Yna'r Iddewon a'i ceisiasant ef yn yr wyl, ac a ddywedasant, Pa le y mae efe?

12 A murmur mawr oedd am dano ef ymmysc y bobl: canys rhai a ddywedent, Gwr da yw: ac eraill a ddywedent, Nagê, eithr twyllo y bobl y mae;

13 Er hynny ni lefarodd neb yn eglur am dano ef, rhag ofn yr Iddewon.

14 Ac yr awron ynghylch canol yr wyl, yr Iesu a aeth i fynu i'r Deml, ac a athrawiaethodd.

15 A'r Iddewon a ryfeddasant, gan ddywedyd, Pa fodd y ||meidr hwn ddysceidiaeth, [ac yntau] heb ddyscu.

|| gwyr hwn lythyrennau.

19 Yr Iesu a attebodd iddynt, ac a ddywedodd, Fy nysceidiaeth, nid eiddo fi yw, eithr eiddo yr hwn a'm hanfonodd i.

17 Os ewyllysia neb wneuthur ei ewyllys ef, efe a gaiff wybod am y ddysceidiaeth, pa vn ai o Dduw y mae hi, ai mysi o honof fy hun sydd yn llefaru.

18 Y mae'r hwn sydd yn llefaru o honaw ei hun, yn ceisio ei ogoniant ei hun: ond yr hwn sydd yn ceisio gogoniant yr hwn a'i hanfonodd, hwnnw sydd eir-wir, ac anghyfiawnder nid oes ynddo ef.

*Exod.24.3.

19 *Oni roddes Moses i chwi y gyfraith, ac nid oes neb o honoch yn gwneuthur y gyfraith? * pa ham yr ydych yn ceisio fy lladd i?

*Pen.5.18.

20 Y bobl a attebodd, ac a ddywedodd, Y mae gennit ti gythrael: pwy sydd yn ceisio dy ladd di?

21 Yr Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrthynt, Un weithred a wneuthum, ac yr ydych oll yn rhyfeddu.

*Leu.12.3.

22 *Am hynny y rhoddes Moses i chwi yr enwaediad, (nid o herwydd ei fôd o Moses, * eithr o'r tadau) ac yr ydych yn enwaedu ar ddŷn, ar y Sabbath.

*Gen.17.10.

23 Os yw dŷn yn derbyn enwaediad ar y Sabbath, heb dorri cyfraith Moses, a ydych yn llidiog wrthifi, am i mi wneuthur dŷn yn holliach ar y Sabbath?

*Deut.1.16.

24 * Na fernwch wrth y golwg, eithr bernwch farn gyfiawn.

25 Yna y dywedodd rhai o'r Ierosolymitaniaid, Ond hwn yw'r vn y maent hwy yn ceisio ei ladd?

26 Ac wele, y mae yn llefaru ar gyhoedd, ac nid ydynt yn dywedyd dim wrtho ef: a wybu y Pennaethiaid mewn gwirionedd, mai hwn yw Christ yn wir?

27 Eithr nyni a adwaenom hwn, o ba le y mae; eithr pan ddel Christ, ni's gwyr neb o ba le y mae.

28 Am hynny yr Iesu, wrth athrawiaethu yn y Deml a lefodd, ac a ddywedodd, Chwi a'm hadwaenoch i, ac a wyddoch o ba le yr ydwyfi; ac ni ddaethym i o honof fy hun, eithr y mae yn gywir yr hwn a'm hanfonodd i, yr hwn nid adwaenoch chwi.

29 Ond myfi a'i hadwen, oblegid o honaw ef yr ydwyfi, ac efe a'm hanfonodd i.

30 Am hynny hwy a geisiasant ei ddal ef: ond ni osododd neb law arno, am na ddaethei ei awr ef etto.

31 A llawer o'r bobl a gredasant ynddo, ac a ddywedasant, Pan ddelo Christ, a wna efe fwy o arwyddion, nâ'r rhai hyn a wnaeth hwn?

32 Y Pharisæaid a glywsant fod y bobl yn murmur y pethau hyn am dano ef; a'r Pharisæaid, a'r Arch-offeiriaid, a anfonasant swyddogion i'w ddal ef.

33 Am hynny y dywedodd yr Iesu wrthynt hwy, Yr ydwyf ychydig amser etto gyd â chwi, ac yr wyf yn myned at yr hwn a'm hanfonodd.

34 * Chwi a'm ceisiwch, ac ni'm cewch: a lle yr ydwyf fi, ni ellwch chwi ddyfod.

*Pen. 13. 33.

35 Yna y dywedodd yr Iddewon yn eu mysc eu hun, I ba le y mae hwn ar fedr myned, fel na chaffom ni ef? ai at y rhai sy ar wascar ymmhlith || y Groegiaid y mae efe ar fedr myned, a dyscu'r Groegiaid?

|| y cenhedloedd

36 Pa ymadrodd yw hwn a ddywedodd efe, Chwi a'm ceisiwch, ac ni'm cewch: a lle'r ydwyf fi, ni ellwch chwi ddyfod.

37 * Ac ar y dydd diweddaf, y [dydd] mawr o'r wyl, y safodd yr Iesu, ac a lefodd, gan ddywedyd, Od oes ar neb syched, deued attaf fi, ac yfed.

*Leuit. 23. 36.

38 * Yr hwn sydd yn credu ynofi, megis y dywedodd yr Scrythyr, afonydd o ddwfr bywiol a ddylifant o'i groth ef.

*Deut. 18. 15.

39 *(A hyn a ddywedodd efe am yr Yspryd, yr hwn a gai y rhai a gredent ynddo ef ei dderbyn: canys etto nid oedd yr Yspryd glân [wedi ei roddi,] o herwydd na ogoneddasid yr Iesu etto.)

*Ioel. 2. 18. Esa. 44. 3.

40 Am hynny llawer o'r bobl, wedi clywed yr ymadrodd [hwn,] a ddywedasant, Yn wir, hwn yw'r prophwyd.

41 Eraill a ddywedasant, Hwn yw Christ: eraill a ddywedasant, Ai o Galilæa y daw Christ?

42 * Oni ddywedodd yr Scrythyr mai o hâd Dafydd, ac o Bethlehem, y dref lle y bu Ddafydd, y mae Christ yn dyfod?

*Mat. 2. 5.

43 Felly yr aeth ymrafael ym-mysc y bobl o'i blegid ef.

44 A rhai o honynt a fynnasent ei ddal ef: ond ni osododd neb ddwylo arno.

45 Yna y daeth y swyddogion at yr Arch-offeiriaid, a'r Pharisæaid: a hwy a ddywedasant wrthynt hwy, Pa ham na ddygasoch chwi ef?

46 A'r swyddogion a attebasant, Ni lefarodd dyn erioed fel y dyn hwn.

47 Yna y Pharisæaid a attebasant iddynt, A hudwyd chwithau hefyd?

48 A gredodd neb o'r pennaethiaid ynddo ef, neu o'r Pharisæaid?

49 Eithr y bobl hyn, y rhai ni wyddant y gyfraith, melldigedig ydynt.

50 Nicodemus (* yr hwn a ddaethei || at yr Iesu o hŷd nos, ac oedd vn o honynt) a ddywedodd wrthynt,

*Pen. 3. 2. || atto ef.

51 * A ydyw ein cyfraith ni yn barnu dŷn, oddieithr clywed ganddo ef yn gyntaf, a gwybod beth a wnaeth efe?

*Deut. 17. 10. & 15.

52 Hwythau a attebasant, ac a ddywedasant wrtho, A ydwyt titheu o Galilæa? chwilia a gwêl, na chododd prophwyd o Galilæa.

53 A phob vn a aeth i'w dŷ ei hun.

## PEN. VIII.

1 Christ yn gwaredu y wraig a ddaliesid mewn godineb: 12 Yn pregethu ei fôd ef ei hûn yn oleuni y byd, ac yn gwirio ei athrawiaeth: 33 Yn atteb'r Iddewon a wnaent ei bôst o Abraham, 59 ac yn gochelyd ei creulondeb hwy.



A'R Iesu a aeth i fynydd yr Olewydd:

2 Ac a ddaeth drachefn y boreu i'r Deml, a'r holl bobl a ddaeth atto ef: yntef a eisteddodd, ac a'u dyscodd hwynt.

3 A'r Scrifennyddion a'r Pharisæaid, a ddygasant atto ef wraig, yr hon a ddaliasid mewn godineb; ac wedi ei gosod hi yn y canol,

4 Hwy a ddywedasant wrtho, Athro, y wraig hon a ddaliwyd ar y weithred yn godinebu.

5 * A Moses yn y gyfraith a orchymynnodd i ni labyddio y cyfryw: beth gan hynny yr wyt ti yn ei ddywedyd?

*Leuit. 20. 10.

6 A hyn a ddywedasant hwy gan ei demtio ef, fel y gallent ei gyhuddo ef. Eithr yr Iesu, wedi ymgrymmu tu a'r llawr, a scrifennodd â'i fys ar y ddayar, heb gymmeryd arno [eu clywed.]

7 Ond fel yr oeddynt hwy yn parhau yn gofyn iddo, efe a ymvniawnodd, ac a ddywedodd wrthynt, * Yr hwn sydd ddi-bechod o honoch, tafled yn gyntaf garreg atti hi.

*Deut. 17. 7.

8 Ac wedi iddo eilwaith ymgrymmu tua'r llawr, efe a scrifennodd ar y ddaiar.

9 Hwythau pan glywsant hyn, wedi hefyd eu hargyoeddi gan eu cydwybod, a aethant allan o vn i vn, gan ddechreu o'r hynaf, hyd yr olaf: a gadawyd yr Iesu yn vnig, a'r wraig yn sefyll yn y canol.

10 A'r Iesu wedi ymvniawni, ac heb weled neb, ond y wraig, a ddywedodd wrthi, Ha wraig, pa le y mae dy gyhudd-wyr di? oni chondemnodd neb di?

11 Hitheu a ddywedodd, Na ddo neb, Arglwydd. A dywedodd yr Iesu wrthi, Nid wyf finneu yn dy gondemno di: dôs, ac na phecha mwyach.

12 Yna y llefarodd yr Iesu wrthynt drachefn, gan ddywedyd, * Goleuni y bŷd ydwyf fi: yr hwn a'm dilyno i, ni rodia mewn tywyllwch, eithr efe a gaiff oleuni y bywyd.

*Pen. 1. 5. & 9. 5.

13 Am hynny y Pharisæaid a ddywedasant wrtho, Tydi sydd yn tystiolaethu am danat dy hun, nid yw dy dystiolaeth di wir.

14 Yr Iesu a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt hwy, * Er fy mod i yn tystiolaethu a'm danaf fy hun, y mae fy nhystiolaeth i yn wir: oblegid mi a wn o ba le y daethym, ac i ba le yr ydwyf yn myned, chwithau ni's gwyddoch o ba le yr wyf fi yn dyfod, nac i ba le yr wyf fi yn myned.

*Pen. 5. 31.

15 Chwy-chwi sydd yn barnu yn ôl y cnawd, nid ydwyf fi yn barnu neb.

16 Ac etto os wyf fi yn barnu, y mae fy

marn i yn gywir: oblegid nid wyfi yn unig, ond myfi a'r Tâd, yr hwn a'm hanfonodd i.

17 * Y mae hefyd yn scrifennedig yn eich cyfraith chwi, mai gwir yw tystiolaeth dau ddŷn.

*Deut.17.6. Mat.18.16.

18 Myfi yw 'r hwn sydd yn tystiolaethu am danaf fy hun, ac y mae 'r Tâd, yr hwn a'm hanfonodd i, yn tystiolaethu am danafi.

19 Yna y dywedasant wrtho, Pa le y mae dy dâd ti? Yr Iesu a attebodd, Nid adwaenoch na myfi na'm Tad: pe adnabuasech fi, chwi a adnabuasech fy Nhad i hefyd.

20 Y geiriau hyn a lefarodd yr Iesu yn y tryssor-dŷ, wrth athrawiaethu yn y Deml: ac ni ddaliodd neb ef, am na ddaethei ei awr ef etto.

21 Yna y dywedodd yr Iesu wrthynt hwy drachefn, Yr wyf fi y myned ymmaith, a chwi a'm ceisiwch i, ac a fyddwch feirw yn eich pechod: lle yr wyf fi yn myned, ni ellwch chwi ddyfod.

22 Am hynny y dywedodd yr Iddewon, A ladd efe ef ei hun? gan ei fod yn dywedyd, lle yr wyf fi yn myned, ni ellwch chwi ddyfod,

23 Ac efe a ddywedodd wrthynt hwy, Chwy-chwi sydd oddisod, minneu sydd oddi uchod, chwy-chwi sydd o'r bŷd hwn, minneu nid wyf o'r bŷd hwn.

24 Am hynny y dywedais wrthych, y byddwch chwi feirw yn eich pechodau: oblegid oni chredwch chwi mai myfi yw [efe,] chwi a fyddwch feirw yn eich pechodau.

25 Yna y dywedasant wrtho, Pwy wyt ti? A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Yr hyn yr wyf yn ei ddywedyd hefyd wrthych o'r dechreuad.

26 Y mae gennifi lawer o bethau i'w dywedyd, ac i'w barnu am danoch chwi: eithr cywir yw 'r hwn a'm hanfonodd i: a'r pethau a glywais i ganddo, y rhai hyn yr ydwyfi yn eu dywedyd i'r bŷd.

27 Ni wyddent hwy mai am y Tad yr oedd efe yn dywedyd wrthynt hwy.

28 Am hynny y dywedodd yr Iesu wrthynt, Pan dderchafoch chwi Fab y dŷn, yna y cewch wybod mai myfi yw [efe,] ac nad wyfi yn gwneuthur dim o honof fy hun, ond megis y dyscodd fy Nhad fi, yr wyf yn llefaru y pethau hyn.

29 Ar hwn a'm hanfonodd i sydd gyd â myfi: ni adawodd y Tâd fi un unic, oblegid yr wyfi yn gwneuthur bôb amser, y pethau sy fodlon ganddo ef.

30 Fel yr oedd efe yn llefaru y pethau hyn, llawer a gredasant ynddo ef.

31 Yna y dywedodd yr Iesu wrth yr Iddewon a gredasent ynddo, Os arhoswch chwi yn fy ngair i, discyblion i mi ydych yn wir:

32 A chwi a gewch wybod y gwirionedd, a'r gwirionedd a'ch rhyddhâ chwi.

33 [Hwythau a] attebasant iddo, Hâd Abraham ydym ni, ac ni wasanaethasom ni neb erioed: pa fodd yr wyt ti yn dywedyd, Chwi a wneir yn rhyddion?

34 Yr Iesu a attebodd iddynt, Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, *pwy bynnag sydd yn gwneuthur pechod, y mae efe yn wâs i bechod.

*Rhuf.6.20. 2.Pet.2,19.

35 Ac nid yw y gwâs yn aros yn tŷ byth: y mab sydd yn aros byth.

36 Os y mab gan hynny a'ch rhyddhà chwi, rhyddion fyddwch yn wir.

37 Mi a wn mai hâd Abraham ydych chwi: ond yr ydych chwi yn ceisio fy lladd i, am ||nad yw fy ngair i yn genni ynoch chwi.

||nid oes le i'm gair i ynoch chwi.

38 Yr wyfi yn llefaru yr hyn a welais gyd â'm Tad i: a chwitheu sydd yn gwneuthur yr hyn a welsoch gyd â'ch tâd chwithau.

39 Hwythau a attebasant, ac a ddywedasant wrtho, Ein tâd ni yw Abraham. Yr Iesu a ddywedodd wrthynt, Pe plant Abraham fyddech, gweithredoedd Abraham a wnaech.

40 Eithr yn awr yr ydych chwi yn ceisio fy lladd i, dŷn a ddywedais i chwi y gwirionedd, yr hwn a glywais i gan Dduw: hyn ni wnaeth Abraham.

41 Yr ydych chwi yn gwneuthur gweithredoedd eich tad chwi. Am hynny y dywedasant wrtho, Nid trwy butteindra y cenhedlwyd ni: un Tâd sydd gennym ni, [sef] Duw.

42 Yna y dywedodd yr Iesu wrthynt hwy, Pe Duw fyddei eich Tad, chwi a'm carech i: canys oddiwrth Dduw y deilliais, ac y daethym i: oblegid nid o honof fy hun y daethym i, ond efe a'm hanfonodd i.

43 Pa ham nad ydych yn deall fy lleferydd i? am na ellwch wrando fy ymadrodd i.

44 *Och tad diafol yr ydych chwi, a thrachwantau eich tad a fynnwch chwi eu gwneuthur: lleiddiad dŷn oedd efe o'r dechreuad, ac ni safodd yn y gwirionedd, oblegid nid oes gwirionedd ynddo ef. Pan yw yn dywedyd celwydd, o'r eiddo ei hun y mae yn dywedyd: canys y mae yn gelwyddog, ac yn dad iddo.

*1.Ioan. 3.8.

45 Ac am fy môd i yn dywedyd y gwirionedd, nid ydych yn credu i mi.

46 ☞ Pwy o honoch a'm argyoedda i o bechod? ac od wyfi yn dywedyd y gwir, pa ham nad ydych yn credu i mi?

Yr Efengyl y Pummed Sul o'r Garawys.

47 *Y mae yr hwn sydd o Dduw, yn gwrando geiriau Duw; am hynny nid ydych chwi yn eu gwrando, am nad ydych o Dduw.

*1.Ioa.4.6.

48 Yna'r attebodd yr Iddewon, ac y dywedasant wrtho ef. Ond da yr ydym ni yn dywedyd, mai Samaritan wyt ti, a bôd gennit gythrael?

49 Yr Iesu a attebodd Nid oes gennif gythrael. ond yr wyfi yn anrhydeddu fy Nhad, ac yr ydych chwithau yn fy ni-anrhydeddu inneu.

50 Ac nid wyfi yn ceisio fy ngogoniant fy hun: y mae a'i cais, ac a farn.

51 Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, os ceidw neb fy ymadrodd i, ni wel efe farwolaeth ||yn dragywydd.

||byth.

52 Yna y dywedodd yr Iddewon wrtho, Yr awron y gwyddom fod gennit gythrael: bu Abraham farw, a'r Prophwydi, ac meddi di, Os ceidw neb fy ymadrodd i, nid arch-

||byth.

archwaetha efe farwolaeth ||yn dragywydd.

53 Ai mwy wyt ti nag Abraham ein tad ni, yr hwn a fu farw? a'r prophwydi a fuant feirw: pwy yr wyt ti yn dy wneuthur dy hun.

54 Yr Iesu a attebodd, Os wyfi yn fy ngogoneddu fy hun, fy ngogoniant i nid yw ddim: fy Nhâd yw 'r hwn sydd yn fy ngogoneddu i, yr hwn yr ydych chwi yn dywedyd mai eich Duw chwi yw.

55 Ond nid adnabuoch chwi ef: eithr myfi a'i hadwaen ef: ac os dywedaf nad adwaen ef, myfi a fyddaf debyg i chwi, yn gelwyddog: ond mi a'i hadwaen ef, ac yr wyf yn cadw ei ymadrodd ef.

56 Gorfoledd oedd gan eich tad Abraham weled fy nydd i: ac efe a'i gwelodd hefyd, ac a lawenychodd.

57 Yna y dywedodd yr Iddewon wrtho, Nid wyt ti ddeng-mlwydd a deugain etto, ac a welaist ti Abraham?

58 Yr Iesu a ddywedodd wrthynt, Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, cyn bôd Abraham, yr wyf fi.

59 Yna hwy a godasant gerrig iw taflu atto ef. A'r Iesu ||a ymguddiodd, ac a aeth allan o'r Deml, ☞ gan fyned trwy eu canol hwynt: ac felly yr aeth efe heibio.

||oedd guddiedig.

PEN. IX.

1 Y dyn a anesid yn ddall, yn cael ei olwg: 8 a'i ddwyn ef at y Pharisæaid: 13 Hwythau yn ymrwystro, ac yn ei escymmuno ef: 35 Ac yntau yn cael ei dderbyn gan yr Iesu, ac yn ei gyffesu ef. 39 Pwy yw y rhai y mae Christ yn eu goleuo.



AC wrth fyned heibio, efe a ganfu ddyn dall o'i enedigaeth.

2 A'i ddiscyblion a ofynnasant iddo, gan ddywedyd, Rabbi, pwy a bechodd, ai hwn, ai ei rieni, fel y genid ef yn ddall?

3 Yr Iesu a attebodd, Nid hwn a bechodd, na'i rieni chwaith: eithr fel yr amlygid gweithredoedd Duw ynddo ef.

4 Rhaid i mi weithio gwaith yr hwn a'm hanfonodd, tra ydyw hi yn ddydd: y mae y nos yn dyfod, pan na ddichon neb weithio.

5 Tra yr ydwyf yn y byd, * goleuni y byd ydwyf.

*Pen. 1. 9.

6 Wedi iddo ef ddywedyd hyn, efe a boerodd ar lawr, ac a wnaeth glai o'r poeryn, ac a irodd y clai ar lygaid y dall:

7 Ac a ddywedodd wrtho, Dôs, ac ymolch yn llyn Siloam, (yr hwn a gyfieithir, anfonedig.) Am hynny efe a aeth ymmaith, ac a ymolchodd, ac a ddaeth yn gweled.

8 Y cymmydogion gan hynny, a'r rhai a'i gwelsent ef o'r blaen, mai dall oedd efe, a ddywedasant, Onid hwn yw 'r un oedd yn eistedd, ac yn cardotta?

9 Rhai a ddywedasant, Hwn yw [efe:] ac eraill, Y mae efe yn debyg iddo. Yntef a ddywedodd, Myfi yw [efe.]

10 Am hynny y dywedasant wrtho, Pa fodd yr agorwyd dy lygaid di?

11 Yntef a attebodd ac a ddywedodd, Dyn a elwir Iesu a wnaeth glai, ac a irodd fy llygaid i, ac a ddywedodd wrthif, Dôs i lyn Siloam, ac ymolch. Ac wedi i mi fyned ac ymolchi, mi a gefais fy ngolwg.

12 Yna y dywedasant wrtho, Pa le y mae efe? Yntef a ddywedodd, Ni wn i.

13 [Hwythau] a'i dygasant ef at y Pharisæaid, yr hwn gynt [a fuasei] yn ddall.

14 A'r Sabbath oedd hi, pan wnaeth yr Iesu y clai, a phan agorodd efe ei lygaid ef.

15 Am hynny y Pharisæaid hefyd a ofynnasant iddo drachefn, pa fodd y cawsei efe ei olwg. Yntef a ddywedodd wrthynt, clai a osododd efe ar fy llygaid i, ac mi a ymolchais, ac yr ydwyf yn gweled.

16 Yna rhai o'r Pharisæaid a ddywedasant, Nid yw y dyn hwn o Dduw, gan nad yw efe yn cadw y Sabbath. Eraill a ddywedasant, Pa fodd y gall dyn pechadurus wneuthur y cyfryw arwyddion? Ac yr oedd ymrafael yn eu plith.

17 Hwy a ddywedasant drachefn wrth y dall, Beth yr wyt ti yn ei ddywedyd am dano ef, am agoryd o honaw dy lygaid di? Yntef a ddywedodd, Mai Prophwyd yw [efe.]

18 Am hynny ni chredei yr Iddewon am dano ef, mai dall fuasei, a chael o honaw ef ei olwg, nes galw o honynt ei rieni ef, yr hwn a gawsei ei olwg:

19 A hwy a ofynnasant iddynt, gan ddywedyd, Ai hwn yw eich mab chwi, yr hwn yr ydych chwi yn dywedyd ei eni yn ddall? pa fodd gan hynny y mae efe yn gweled yn awr?

20 Ei rieni ef a attebasant iddynt hwy, ac a ddywedasant, Nyni a wyddom mai hwn yw ein mab ni, ac mai yn ddall y ganwyd ef:

21 Ond pa fodd y mae efe yn gweled yr awron, ni's gwyddom ni, neu pwy a agorodd eu lygaid ef, ni's gwyddom ni: y mae efe mewn oedran, gofynnwch iddo ef, efe a ddywed am dano ei hun:

22 Hyn a ddywedodd ei rieni ef, am eu bôd yn ofni yr Iddewon: oblegid yr Iddewon a gyd-ordeiniasent eusys, os cyfaddefei neb ef yn Grist, ||y bwrid ef allan o'r Synagog.

||yr escymmunid ef.

23 Am hynny y dywedodd ei rieni ef, Y mae efe mewn oedran, gofynnwch iddo ef.

24 Am hynny hwy a alwasant eilwaith y dyn a fuasei yn ddall, ac a ddywedasant wrtho, Dyro 'r gogoniant i Dduw: nyni a wyddom mai pechadur yw y dyn hwn.

25 Yna yntef a attebodd ac a ddywedodd, Ai pechadur yw, ni's gwn i; un peth a wn i, lle yr oeddwn i yn ddall, yr wyfi yn awr yn gweled.

26 Hwythau a ddywedasant wrtho drachefn, Beth a wnaeth efe i ti? pa fodd yr agorodd efe dy lygaid di?

27 Yntef a attebodd iddynt, mi a ddywedais i chwi eusys, ac ni wrandawsoch: pa

ham

ham yr ydych yn ewyllysio clywed trachefn? a ydych chwithau yn ewyllysio bôd yn ddiscyblion iddo ef?

28 Hwythau a'i difenwasant ef, ac a ddywedasant, Tydi sydd ddiscybl iddo ef; eithr discyblion Moses ydym ni.

29 Nyni a wyddom lefaru o Dduw wrth Moses: eithr hwn ni's gwyddom ni o ba le y mae efe.

30 Y dyn a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt, Yn hyn yn ddiau y mae yn rhyfedd, na wyddoch chwi o ba le y mae efe, ac efe a agorodd fy llygaid i.

31 Ac ni a wyddom nad yw Duw yn gwrando pechaduriaid: ond os yw neb yn addol-wr Duw, ac yn gwneuthur ei ewyllys ef, hwnnw y mae yn ei wrando.

32 Ni chlybuwyd erioed agoryd o neb lygaid dyn a anesid yn ddall.

33 Oni bai fôd hwn o Dduw, ni allei efe wneuthur dim.

34 Hwy a attebasant, ac a ddywedasant wrtho, Mewn pechodau y ganwyd ti oll, ac a wyt ti yn ein dyscu ni? A hwy a'i || bwriasant ef allan.

|| Neu, escymmunasant ef.

35 Clybu yr Iesu ddarfod iddynt ei || fwrw ef allan: a phan ei cafodd efe a ddywedodd wrtho, A wyt ti yn credu ym-Mab Duw?

|| Escymmuno.

36 Yntef a attebodd ac a ddywedodd, Pwy yw [efe] o Arglwydd, fel y credwyf yndo?

37 A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Ti a'i gwelaist ef, a'r hwn sydd yn ymddiddan â thi, hwnnw ydyw efe.

38 Yntef a ddywedodd, Yr wyf yn credu, o Arglwydd, ac efe a'i haddolodd ef.

39 A'r Iesu a ddywedodd, I farn y daethym i'r byd hwn: fel y gwelei y rhai nid ydynt yn gweled, ac yr elei y rhai sy yn gweled, yn ddeillion.

40 A rhai o'r Phariseaid a oedd gyd ag ef, a glywsant y pethau hyn, ac a ddywedasant wrtho, Ydym ninnau hefyd yn ddeillion?

41 Yr Iesu a ddywedodd wrthynt, Pe deillion fyddech, ni byddei arnoch bechod: eithr yn awr meddwch chwi, Yr ydym ni yn gweled: am hynny y mae eich pechod yn aros.

## PEN. X.

1 Christ yw'r drws, a'r bugail da. 19 Amryw dyb am dano. 24 Y mae efe yn profi trwy ei weithredoedd, mai efe yw Christ Mab Duw, 39 ac yn diange rhag yr Iddewon, 40 ac yn myned trachefn tros yr Iorddonen, lle y credodd llawer ynddo ef.



Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, yr hwn nid yw yn myned i mewn drwy 'r drws i gorlan y defaid, eithr sydd yn dringo ffordd arall, lleidr ac yspeiliwr yw.

2 Ond yr hwn sydd yn myned i mewn drwy 'r drws, bugail y defaid ydyw.

3 I hwn y mae y drysor yn agoryd, ac y mae y defaid yn gwrando ar ei lais ef: ac y mae efe yn galw ei ddefaid ei hun erbyn eu henw, ac yn eu harwain hwy allan.

4 Ac wedi iddo yrru allan ei ddefaid ei hun, y mae efe yn myned o'u blaen hwy: a'r defaid sydd yn ei ganlyn ef, oblegid y maent yn adnabod ei lais ef.

5 Ond y dieithr ni's canlynant, eithr ffoant oddi wrtho: oblegid nad adwaenant lais dieithriaid.

6 Y ddammeg hon a ddywedodd yr Iesu wrthynt: ond hwy ni wybuant pa bethau ydoedd y rhai yr oedd efe yn eu llefaru wrthynt.

7 Am hynny yr Iesu a ddywedodd wrthynt drachefn, Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, mysi yw drws y defaid.

8 Cynnifer oll ac a ddaethant o'm blaen i, lladron ac yspeil-wyr ynt: eithr ni wrandawodd y defaid arnynt.

9 Mysi yw y drws: os â neb i mewn drwofi, efe a fydd cadwedig: ac efe a â i mewn ac allan, ac a gaiff borfa.

10 Nid yw lleidr yn dyfod ond i ledratta, ac i ddestrywio, mysi a ddaethym fel y caent fywyd, ac y caent ef yn helaethach. ☜

Yr Efengyl yr ail Sul ar ôl y Pâsc.

11 ☞ *Mysi yw 'r bugail da: y bugail da sydd yn rhoddi ei einioes dros y defaid.

*Esa.40.11. ezec.34.23.

12 Eithr y gwâs cyflog, a'r hwn nid yw fugail, yr hwn nid eiddo y defaid, sydd yn gweled y blaidd yn dyfod, ac yn gadel y defaid, ac yn ffoi: a'r blaidd sydd yn ei sclyfio hwy, ac yn tarfu y defaid.

13 Y mae 'r gwâs cyflog yn ffoi, oblegid mai gwâs cyflog yw, ac nid oes ofal arno am y defaid.

14 Mysi yw y bugail da; ac a adwaen yr eiddof fi, ac a'm hadweinir gan yr eiddo fi.

15 Fel yr edwyn y Tad fysi, [felly] yr adwaen innau y Tad: ac yr ydwyf yn rhoddi fy einioes dros y defaid.

16 A defaid eraill sy gennif, y rhai nid ynt o'r gorlan hon: y rhai hynny hefyd sy raid i mi eu cyrchu, a'm llais i a wrandawant, *a bydd un gorlan, [ac] un bugail. ☜

*Esa.37.22.

17 Am hyn y mae y Tad yn fy ngharu i *am fy mod i yn dodi fy einioes, fel y cymmerwyf hi drachefn.

*Esa.53.7,8.

18 Nid oes neb yn ei dwyn oddi arnafi: ond mysi sydd yn ei dodi hi i lawr o honof fy hun: y mae gennif feddiant i'w dodi hi i lawr, ac y mae gennif feddiant i'w chymmeryd hi drachefn: *y gorchymmyn hwn a dderbyniais i gan fy Nhâd.

*Act.2.24.

19 Yna y bu drachefn amrafael ym mysc yr Iddewon, am yr ymadroddion hyn.

20 A llawer o honynt a ddywedasant, Y mae cythrael ganddo, ac y mae efe yn ynfydu: pa ham y gwrandewch chwi arno ef?

21 Eraill a ddywedasant, Nid yw y rhai hyn eiriau un a chythrael ynddo: a all cythrael agoryd llygaid y deillion?

22 Ac yr oedd *y Gyssegr-wyl yn Ierusalem, a'r gayaf oedd hi:

*1Mac.4.59.

23 Ac yr oedd yr Iesu yn rhodio yn y Deml, ym-mhorth Solomon:

24 Am hynny y daeth yr Iddewon yn ei gylch ef, ac a ddywedasant wrtho, Pa hyd yr wyt yn peri i ni ammeu? os tydi yw y Christ, dywed i ni yn eglur.

25 Yr Iesu a attebodd iddynt, mi a ddywedais i chwi, ac nid ydych yn credu, y gweithredoedd yr wyfi yn eu gwneuthur yn enw fy Nhad, y mae y rhai hyn yn tystiolaethu am danafi.

26 Ond chwi nid ydych yn credu: canys nid ydych chwi o'm defaid i, fel y dywedais i chwi.

27 Y mae fy nefaid i yn gwrando fy llais i, ac mi a'u hadwen hwynt, a hwy a'm canlynant i.

28 A minneu ydwyf yn rhoddi iddynt fywyd tragwyddol: ac ni chyfrgollant byth, ac ni ddwg neb hwynt allan o'm llaw i.

29 Fy Nhâd i, yr hwn a'u rhoddes i mi, sydd fwy nâ phawb: ac ni's gall neb eu dwyn hwynt allan o law fy Nhâd i.

30 Myfi a'r Tâd un ydym.

31 Am hynny y cododd yr Iddewon gerrig drachefn i'w labyddio ef.

32 Yr Iesu a attebodd iddynt, Llawer o weithredoedd da a ddangosais i chwi oddi wrth fy Nhad: am ba un o'r gweithredoedd hynny yr ydych yn fy llabyddio i?

33 Yr Iddewon a attebasant iddo, gan ddywedyd, Nid am weithred dda yr ydym yn dy labyddio, ond am gabledd, ac am dy fod ti, a thitheu yn ddyn, yn dy wneuthur dy hun yn Dduw.

34 Yr Iesu a attebodd iddynt, * Onid yw yn scrifennedig yn eich cyfraith chwi? Mi a ddywedais, duwiau ydych.

*Psal.82.6.

35 Os galwodd [efe] hwy yn dduwiau, at y rhai y daeth gair Duw, a'r Scrythur ni's gellir ei thorri:

36 A ddywedwch chwi am yr hwn a sancteiddiodd y Tâd, ac a'i hanfonodd i'r byd, Yr wyti yn cablu; am i mi ddywedyd, Mâb Duw ydwyf?

37 Onid wyfi yn gwneuthur gweithredoedd fy Nhâd, na chredwch i mi.

38 Ond os ydwyf yn eu gwneuthur, er nad ydych yn credu i mi, credwch y gweithredoedd, fel y gwybyddoch ac y credoch, fôd y Tâd ynofi, a minneu ynddo yntef.

39 Am hynny y ceisiasant drachefn ei ddal ef: ac efe a ddiangodd allan o'u dwylo hwynt.

40 Ac efe a aeth ymaith drachefn tros yr Iorddonen, i'r man lle y buasei Ioan ar y cyntaf yn bedyddio; ac a arhosodd yno.

41 A llawer a ddaethant atto ef, ac a ddywedasant, Ioan yn wir ni wnaeth un arwydd: ond yr holl bethau a'r a ddywedodd Ioan am hwn, oedd wir.

42 A llawer yno a gredasant ynddo.

## PEN. XI.

1 Christ yn cyfodi Lazarus, yr hwn â gladdesid er ys pedwar diwrnod. 45 Llawer o Iddewon yn credu. 47 Yr Arch-offeiriaid a'r Pharisæaid yn casclu cyngor yn erbyn Christ. 49 Caiaphas yn prophwydo, 54 Iesu yn ymguddio: 55 Hwythau ar y Pasc yn ymofyn am dano, ac yn gosod cynllwyn iddo.



C yr oedd un yn glâf, Lazarus o Bethania, o dref Mair a'i chwaer Martha:

2 * (A Mair ydoedd yr hon a enneiniodd yr Arglwydd ag ennaint, ac a sychodd ei draed ef â'i gwallt; yr hon yr oedd ei brawd Lazarus yn glâf.)

*Matt.26.7.

3 Am hynny y chwiorydd a ddanfonasant atto ef, gan ddywedyd, Arglwydd, wele, y mae yr hwn sydd hoff gennit ti yn glâf.

4 A'r Iesu pan glybu, a ddywedodd, Nid yw y clefyd hwn i farwolaeth, ond er gogoniant Duw, fel y gogonedder Mâb Duw trwy hynny.

5 A hoff oedd gan yr Iesu Fartha, a'i chwaer, a Lazarus.

6 Pan glybu ef gan hynny, ei fôd ef yn glâf, efe a arhosodd yn y lle yr oedd, ddau ddiwrnod:

7 Yna wedi hynny efe a ddywedodd wrth y discyblion, Awn i Iudæa drachefn.

8 Y discyblion a ddywedasant wrtho, Rabbi, yr oedd yr Iddewon yn awr yn ceisio dy labyddio di, ac a wyt ti yn myned yno drachefn?

9 Yr Iesu a attebodd, Onid oes deuddeg awr o'r dydd? os rhodia neb y dydd, ni thramgwydda, am ei fôd yn gweled goleuni y byd hwn:

10 Ond os rhodia neb y nôs, efe a dramgwydda: am nad oes goleuni ynddo.

11 Hyn a lefarodd efe: ac wedi hynny efe a ddywedodd wrthynt, Y mae ein cyfaill Lazarus yn huno: ond yr wyfi yn myned i'w ddihuno ef.

12 Yna ei ddiscyblion a ddywedasant wrtho, Arglwydd, os huno y mae, efe a fydd iach.

13 Ond yr Iesu a ddywedasei am ei farwolaeth ef: eithr hwy a dybiasant mai am hun cwsc yr oedd efe yn dywedyd.

14 Yna y dywedodd yr Iesu wrthynt yn eglur, Bu farw Lazarus;

15 Ac y mae yn llawen gennif nad oeddwn i yno, er eich mwyn chwi (fel y credoch:) ond awn atto ef.

16 Yna y dywedodd Thomas, yr hwn a elwir Didymus, wrth ei gyd-ddiscyblion, Awn ninnau hefyd, fel y byddom feirw gyd ag ef.

17 Yna yr Iesu wedi dyfod, a'i cafodd ef wedi bôd weithian bedwar diwrnod yn y bedd.

18 A Bethania oedd yn agos i Ierusalem, ynghylch pymtheg stâd oddi wrthi:

19 A llawer o'r Iddewon a ddaethent at Martha a Mair, i'w cysuro hwy am eu brawd.

20 Yna Martha, cyn gynted ac y clybu hi fôd yr Iesu yn dyfod, a aeth i'w gyfarfod ef; ond Mair a eisteddodd yn y tŷ.

21 Yna y dywedodd Martha wrth yr Iesu, Arglwydd, pe buasit ti ymma, ni buasei farw fy mrawd.

22 Eithr mi a wn hefyd yr awron, pa bethau bynnag a ddymunech di gan Dduw, y dyry Duw i ti.

23 Yr Iesu a ddywedodd wrthi, Adgyfodir dy frawd drachefn.

24 Dy-

24 Dywododd Martha wrtho,* Mysi a wn yr adgyfodir ef yn yr adgyfodiad, y dydd diweddaf.

*Luc.14.14. Pen.5.29.

25 Yr Iesu a ddywedodd wrthi, Mysi yw yr adgyfodiad * a'r bywyd : yr hwn sydd yn credu ynofi, er iddo farw, a fydd byw.

*Pen.6.35.

26 A phwy bynnag sydd yn fyw, ac yn credu ynofi, ni bydd marw yn dragywydd. A wyt ti yn credu hyn?

27 Dywedodd hithau wrtho, Ydwyf Arglwydd: yr wyfi yn credu mai ti yw y Christ, Mab Duw, yr hwn sydd yn dyfod i'r byd.

28 Ac wedi iddi ddywedyd y pethau hyn, hi a aeth ymmaith, ac a alwodd yn ddirgel ei chwaer Mair, gan ddywedyd, Fe ddaeth yr Athro, ac y mae yn galw am danat.

29 Er cynted ac y clybu hi, hi a gododd yn ebrwydd, ac a ddaeth atto ef.

30 (A'r Iesu ni ddaethei etto i'r dref; ond yr oedd efe yn y man lle y cyfarfuasei Martha ag ef.)

31 Yna yr Iddewon, y rhai oedd gyd â hi yn y tŷ, ac yn ei chyssuro hi, pan welsant Mair yn codi ar frŷs, ac yn myned allan, a'i canlynasant hi, gan ddywedyd, Y mae hi yn myned at y bedd, i wylo yno.

32 Yna Mair, pan ddaeth lle yr oedd yr Iesu, a'i weled ef, a syrthiodd wrth ei draed ef, gan ddywedyd wrtho, Arglwydd, pe buasit ti ymma, ni buasei fy mrawd farw.

33 Yr Iesu gan hynny, pan welodd hi yn wylo, a'r Iddewon y rhai a ddaethei gyd â hi, yn wylo, a riddfanodd yn yr yspryd, ac a||gynhyrfwyd;

||Gr. ymgynhyrfodd.

34 Ac a ddywedodd, Pa le y dodasoch chwi ef? Hwy a ddywedasant wrtho, Arglwydd, tyred a gwêl.

35 Yr Iesu a wylodd.

36 Am hynny y dywedodd yr Iddewon, Wele fel yr oedd efe yn ei garu ef.

37 Eithr rhai o honynt a ddywedasant, Oni allasei hwn,* yr hwn a agorodd lygaid y dall, beri na buasei hwn farw chwaith?

*Pen.9.6.

38 Yna 'r Iesu drachefn a riddfanodd ynddo ei hun, ac a ddaeth at y bedd. Ac ogof oedd; a maen oedd wedi ei ddodi arno.

39 Yr Iesu a ddywedodd, Codwch ymmaith y maen. Martha chwaer yr hwn a fuasei farw, a ddywedodd wrtho, Arglwydd, y mae efe weithian yn drewi: herwydd y mae [yn farw] er ys pedwar diwrnod.

40 Yr Iesu a ddywedodd wrthi, Oni ddywedais i ti, pes credit, y cait ti weled gogoniant Duw?

41 Yna y codasant y maen lle yr oedd y marw wedi ei osod. A'r Iesu a gododd ei olwg i fynu, ac a ddywedodd, Y Tâd, yr wyf yn diolch i ti am i ti wrando arnaf.

42 Ac mysi a wyddwn dy fôd ti yn fy ngwrando bôb amser: eithr er mwyn y bobl sydd yn sefyll o amgylch, y dywedais, fel y credont mai tydi a'm hanfonaist i.

43 Ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a lefodd â llef uchel, Lazarus, tyred allan.

44 A'r hwn a fuasei farw a ddaeth allan, yn rhwym ei draed a'i ddwylo mewn amdo: a'i wyneb oedd wedi ei rwymo â napcin. Yr Iesu a ddywedodd wrthynt, Gollyngwch ef yn rhydd, a gedwch iddo fyned ymmaith.

45 Yna llawer o'r Iddewon, y rhai a ddaethent at Mair, ac a welsent y pethau a wnaethei yr Iesu, a gredasant ynddo ef.

46 Eithr rhai o honynt a aethant ymmaith at y Phariseaid, ac a ddywedasant iddynt y pethau a wnaethei yr Iesu.

47 Yna yr Arch-offeiriaid a'r Phariseaid, a gasclasant gyngor, ac a ddywedasant, Pa beth yr ydym ni yn ei wneuthur? canys y mae y dyn ymma yn gwneuthur llawer o arwyddion.

48 Os gadawn ni ef fel hyn, pawb a gredant ynddo, ac fe a ddaw y Rhufeiniaid, ac a ddifethant ein lle ni, a'n cenedl hefyd.

49 A rhyw un o honynt, Caiaphas, yr hwn oedd Arch-offeiriad y flwyddyn honno, a ddywedodd wrthynt, Nid ydych chwi yn gwybod dim oll:

50 * Nac yn ystyried mai buddiol yw i ni farw o un dyn dros y bobl, ac na ddifether yr holl genedl.

*Pen.18.14.

51 Hyn ni ddywedodd efe o honaw ei hun, eithr ac efe yn Arch-offeiriad y flwyddyn honno, efe a brophwydodd y byddei yr Iesu farw dros y genedl:

52 Ac nid tros y genedl yn unic, eithr fel y casclei efe ynghyd yn un, blant Duw hefyd, y rhai a wascarasid.

53 Yna, o'r dydd hwnnw [allan], y cydymgynghorasant, fel y lladdent ef.

54 Am hynny ni rodiodd yr Iesu mwy yn amlwg ym mysc yr Iddewon, ond efe a aeth oddi yno i'r wlâd yn agos i'r anialwch, i ddinas a elwir Ephraim; ac a arhosodd yno gyd â'i ddiscyblion.

55 A Phasc yr Iddewon oedd yn agos: a llawer a aethant o'r wlâd i fynu i Jerusalem, o flaen y Pasc, i'w glanhau eu hunain.

56 Yna y ceisiasant yr Iesu, a dywedasant wrth ei gilydd, fel yr oeddynt yn sefyll yn y Deml, Beth a dybygwch chwi, gan na ddaeth efe i'r wyl?

57 A'r Arch-offeiriaid, a'r Phariseaid, a roesent orchymmyn, os gwyddei neb pa le yr oedd efe, ar fynegi o hono, fel y gallent ei ddal ef.

## PEN. XII.

1 Yr Iesu yn escusodi Mair am enneinio ei draed ef. 9 Y bobl yn ymgasclu i weled Lazarus. 10 Yr Archoffeiriaid yn ymgynghori iw lâdd ef. 12 Christ yn marchogaeth i Ierusalem. 20 Groeg-wyr yn ewyllysio gweled yr Iesu. 23 Y mae efe yn rhagfynegi ei farwolaeth. 37 Yr Iddewon i gyd gan mwyaf wedi eu dallu: 42 Er hynny llawer o bennaethiaid yn credu, ond heb ei gyffesu ef. 44 Yr Iesu gan hynny yn galw yn daer am gyffessu ffydd.



YNa 'r Iesu, chwe diwrnod cyn y Pasc, a ddaeth i Bethania, lle yr oedd Lazarus, yr hwn a fuasei farw, yr hwn a godasei efe o feirw.

2 Ac yno y gwnaethant iddo swpper. a Martha oedd yn gwasanaethu: a Lazarus, oedd un o'r rhai a eisteddent gyd ag ef.

3 Yna y cymmerth Mair bwys o ennaint nard gwlyb gwerthfawr, ac a enneiniodd draed yr Iesu, ac a sychodd ei draed ef â'i gwallt: a'r tŷ a lanwyd gan arogl yr ennaint.

4 Am hynny y dywedodd un o'i ddiscyblion ef, Judas Iscariot [ mab ] Simon, yr hwn oedd ar fedr ei fradychu ef.

5 Pa ham na werthwyd yr ennaint hwn er trychan ceiniog, a'i roddi i'r tlodion?

6 *Eithr hyn a ddywedodd efe, nid o herwydd bôd arno ofal dros y tlodion, ond am ei fôd yn lleidr, a bôd ganddo y pwrs, a'i fod yn || dwyn yr hyn a fwrid ynddo.

7 A'r Iesu a ddywedodd, Gâd iddi: erbyn dydd fy nghladdedigaeth y cadwodd hi hwn.

8 Canys y mae gennych y tlodion gyd â chwi bôb amser, eithr myfi nid oes gennych bôb amser.

9 Gwybu gan hynny dyrfa fawr o'r Iddewon ei fôd efe yno: a hwy a ddaethant, nid er mwyn yr Iesu yn unic, ond fel y gwelent Lazarus hefyd, yr hwn a godasei efe o feirw.

10 Eithr yr Arch-offeiriaid a ymgynghorasant, fel y lladdent Lazarus hefyd.

11 Oblegid llawer o'r Iddewon a aethant ymmaith o'i herwydd ef, ac a gredasant yn yr Iesu.

12 *Trannoeth, tyrfa fawr, yr hon a ddaethei i'r ŵyl, pan glywsant fôd yr Iesu yn dyfod i Jerusalem,

13 A gymmerasant gangau o'r palmwydd, ac a aethant allan i gyfarfod ag ef, ac a lefasant, Hosanna, bendigedig || yw brenin Israel yr hwn sydd yn dyfod yn enw yr Arglwydd.

14 A'r Iesu wedi cael assynnan, a eisteddodd arno, megis y mae yn scrifennedig,

15 *Nac ofna, ferch Sion; wele y mae dy frenin yn dyfod, yn eistedd ar ebol assyn.

16 Y pethau hyn ni wybu ei ddiscyblion ef ar y cyntaf: eithr pan ogoneddwyd yr Iesu, yna y cofiasant fôd y pethau hyn yn scrifennedig am dano, ac iddynt wneuthur hyn iddo.

17 Tystiolaethodd gan hynny y dyrfa, yr hon oedd gyd ag ef, || pan alwodd efe Lazarus o'r bedd, a'i godi ef o feirw.

18 Am hyn y daeth y dyrfa hefyd i gyfarfod ag ef, am glywed o honynt iddo wneuthur yr arwydd hwn.

19 Y Pharisæaid gan hynny a ddywedasant yn eu plith eu hunain, A welwch chwi nad ydych yn tyccio ddim? wele, fe aeth y byd ar ei ôl ef.

* Pen.13.29.

|| arwedd.

* Pen.21.8.

|| Neu, yw'r hwn sydd yn dyfod yn enw yr Arglwydd, yn Frenin yr Israel.

* Zach.9.9.

|| a'i w o honaw of Laz. o'r bedd, a'i godi o feirw.

20 Ac yr oedd rhai Groegiaid ym mhlith y rhai a ddaethei i fynu i addoli ar yr ŵyl:

21 Y rhai hyn gan hynny a ddaethant at Philip, yr hwn oedd o Bethsaida yn Galilæa, ac a ddymunasant arno, gan ddywedyd, Syr, ni a ewyllysiem weled yr Iesu.

22 Philip a ddaeth, ac a ddywedodd i Andreas: a thrachefn Andreas a Philip a ddywedasant i'r Iesu.

23 A'r Iesu a attebodd iddynt, gan ddywedyd, Daeth yr awr y gogonedder Mab y dŷn.

24 Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, oni syrth y gronyn gwenith i'r ddaiar, a marw, hwnnw a erys yn unic: eithr os bydd efe marw, efe a ddwg ffrwyth lawer.

25 *Yr hwn sydd yn caru ei einioes, a'i cyll hi; a'r hwn sydd yn casâu ei einioes yn y byd hwn, a'i ceidw hi i fywyd tragywyddol.

26 Os gwasanaetha neb fi, dilyned fi: a lle yr wyf fi, yno y bydd fy ngweinidog hefyd: ac os gwasanaetha neb fi, y Tâd a'i hanrhydedda ef.

27 Yr awron y cynhyrfwyd fy enaid: a pha beth a ddywedaf? O Dâd, gwared fi allan o'r awr hon: eithr o herwydd hyn y daethym i'r awr hon.

28 O Dâd, gogonedda dy enw. Yna y daeth llef o'r nef, Mi a'i gogoneddais, ac a'i gogoneddaf drachefn.

29 Y dyrfa gan hynny, yr hon oedd yn sefyll ac yn clywed, a ddywedodd mai taran oedd: eraill a ddywedasant, Angel a lefarodd wrtho.

30 Yr Iesu a attebodd, ac a ddywedodd, Nid o'm hachos i y bu y llef hon, ond o'ch achos chwi.

31 Yn awr y mae barn y byd hwn: yn awr y bwrir allan dywysog y byd hwn.

32 A minneu, os dyrchefir fi oddi ar y ddaiar, a dynnaf bawb attaf fy hun.

33 (A hyn a ddywedodd efe, gan arwyddo o ba angeu y byddei farw.)

34 Y dyrfa a attebodd iddo, *Ni a glywsom o'r ddeddf, fôd Christ yn aros yn dragywyddol; a pha wedd yr wyt ti yn dywedyd fôd yn rhaid derchafu Mâb y dŷn? Pwy ydyw hwnnw Mab y dŷn?

35 Yna yr Iesu a ddywedodd wrthynt, Etto ychydig ennyd y mae 'r goleuni gyd â chwi: rhodiwch tra fyddo gennych y goleuni, fel na ddalio'r tywyllwch chwi: a'r hwn sydd yn rhodio mewn tywyllwch, ni ŵyr i ba le y mae yn myned.

36 Tra fyddo gennych oleuni, credwch yn y goleuni, fel y byddoch blant y goleuni. Hyn a ddywedodd yr Iesu, ac efe a ymadawodd, ac a ymguddiodd rhagddynt.

37 Ac er gwneuthur o honaw ef gymmaint o arwyddion yn eu gŵydd hwynt, ni chredasant ynddo:

38 Fel y cyflawnid ymadrodd Esaias y Prophwyd, yr hwn a ddywedodd efe, *Arglwydd, pwy a gredodd i'n hymadrodd ni? ac i bwy y datguddiwyd braich yr Arglwydd?

39 Am

* Matt.10.39.

* Psal.110.4.

* Esa.53.1. Rhuf.10.16.

39 Am hynny ni allent gredu, oblegid dywedyd o Esaias drachefn,

40 *Efe a ddallodd eu llygaid, ac a galedodd eu calon; fel na welent â'u llygaid, a deall â'u calon, ac ymchwelyd o honynt, ac i mi eu hiachâu hwynt.

Mat.13.14.

41 Y pethau hyn a ddywedodd Esaias, pan welodd ei ogoniant ef, ac y llefarodd am dano ef.

42 Er hynny llawer o'r pennaethiaid hefyd a gredasant ynddo: ond oblegid y Phariseaid ni chyffesasant ef, rhag eu bwrw allan o'r Synagog.

43 *Canys yr oeddynt yn caru gogoniant dynion, yn fwy nâ gogoniant Duw.

Pen.5.44.

44 A'r Iesu a lefodd, ac a ddywedodd, Yr hwn sydd yn credu ynof fi, nid yw yn credu ynof fi, ond yn yr hwn a'm danfonodd i.

45 A'r hwn sydd yn fy ngweled i, sydd yn gweled yr hwn a'm danfonodd i.

46 *Mi a ddaethym yn oleuni i'r byd, fel [y bo i] bôb un sydd yn credu ynof fi, nad arhoso yn y tywyllwch.

Pen.3.19.

47 *Ac os clyw neb fy ngeiriau, ac ni chred, myfi nid wyf yn ei farnu ef. Canys ni ddaethym i farnu'r byd, eithr i achub y byd.

Pen.3.7.

48 Yr hwn sydd yn fy nirmygu i, ac heb dderbyn fy ngeiriau, y mae iddo un yn ei farnu: *y gair a leferais i, hwnnw a'i barn ef yn y dydd diweddaf.

Mar.16.16.

49 Canys myfi ni leferais o honof fy hûn, ond y Tad yr hwn a'm hanfonodd i, efe a roddes orchymmyn i mi beth a ddywedwn, a pheth a lefarwn.

50 Ac mi a wn fôd ei orchymmyn ef yn fywyd tragwyddol: am hynny y pethau yr wyfi yn eu llefaru, fel y dywedodd y Tad wrthif, felly yr wyf yn llefaru.

## PEN. XIII.

1 Yr Iesu yn golchi traed ei ddiscyblion: yn eu hannoc i ostyngeiddrwydd, a chariad perffaith: 18 yn rhag-ddywedyd, ac yn datcuddio i Ioan trwy arwydd, y bradychei Iudas ef: 31 yn gorchymmyn iddynt garu ei gilydd: 36 ac yn rhybuddio Petr y gwadai efe ef.



*Chyn gŵyl y Pasc, yr Iesu yn gŵybod ddyfod ei awr ef i ymadel a'r bŷd hwn at y Tad, efe yn caru yr eiddo, y rhai oedd yn y bŷd, a'u carodd hwynt hyd y diwedd.

Matt.26.2.

2 Ac wedi darfod swpper, (wedi i ddiafol eusus roi ynghalon Iudas Iscariot, [fab] Simon, ei fradychu ef.)

3 Yr Iesu yn gŵybod roddi o'r Tâd bôb peth oll yn ei ddwylo ef, a'i fôd wedi dyfod oddiwrth Dduw, ac yn myned at Dduw:

4 Efe a gyfododd o ddiar swpper, ac a roes heibio ei gochl-wisc, ac a gymmerodd dywel, ac a ymwregysodd.

5 Wedi hynny efe a dywalltodd ddwfr i'r cawg; ac a ddechreuodd olchi traed y discyblion, a'u sychu â'r tywel, â'r hwn yr oedd efe wedi ei wregysu.

6 Yna y daeth efe at Simon Petr; ac efe a ddywedodd wrtho, Arglwydd, wyt ti yn golchi fy nhraed i?

7 Yr Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrtho, Y peth yr wyf fi yn ei wneuthur, ni wyddost di yr awron: eithr ti a gei wybod yn ôl hyn.

8 Petr a ddywedodd wrtho, Ni chei di olchi fy nhraed i byth. Yr Iesu a attebodd iddo, Oni olchaf di, nid oes ti gyfran gyd â myfi,

9 Simon Petr a ddywedodd wrtho, Arglwydd, nid fy nhraed yn unic, eithr fy nwylo a'm pen hefyd.

10 Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Yr hwn a olchwyd, nid rhaid iddo ond golchi ei draed, eithr y mae yn lân oll: ac yr ydych chwi yn lân, eithr nid pawb oll.

11 Canys efe a wyddei pwy a'i bradychei ef; am hynny y dywedodd, Nid ydych chwi yn lân bawb oll.

12 Felly wedi iddo olchi eu traed hwy, a chymmeryd ei gochl-wisc, efe a eisteddodd drachefn, ac a ddywedodd wrthynt, A wyddoch chwi pa beth a wnaethum i chwi?

13 Yr ydych chwi yn fy ngalw i, Yr Athro, a'r Arglwydd: a da y dywedwch: canys [felly] yr ydwyf.

14 Am hynny os myfi yn Arglwydd ac yn Athro, a olchais eich traed chwi, chwithau a ddylech olchi traed ei gilydd.

15 Canys rhoddais esampl i chwi, fel y gwnelech chwithau, megis y gwneuthum i chwi.

16 *Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, nid yw'r gwâs yn fwy nâ'i arglwydd, na'r hwn a ddanfonwyd, yn fwy nâ'r hwn a'i danfonodd.

Matt.10.24. pen.15.20.

17 Os gwyddoch y pethau hyn, gwyn eich bŷd os gwnewch hwynt.

18 Nid wyfi yn ddywedyd am danoch oll: mi a wn pwy a etholais, ond fel y cyflawnid yr Scrythur, *yr hwn sydd yn bwytta bara gyd â mi, a gododd ei sodl yn fy erbyn.

Psal.41.10.

19 ‖ Yn awr yr wyf yn dywedyd wrthych cyn ei ddyfod, fel pan ddêl, y credoch mai myfi yw [efe.]

‖ Neu, O'r awr hon.

20 *Yn wîr, yn wir, meddaf i chwi, yr hwn sydd yn derbyn y neb a ddanfonwyf, sydd yn fy nerbyn i: a'r hwn sydd yn fy nerbyn i, sydd yn derbyn yr hwn a'm danfonodd i.

Matt.10.40.

21 *Wedi i'r Iesu ddywedyd y pethau hyn, ef a gynhyrfwyd yn yr yspryd; ac a dystiolaethodd, ac a ddywedodd, Yn wir, y dywedaf wrthych, y bradycha un o honoch fi.

Matt.26.21.

22 Yna y discyblion a edrychasant ar ei gilydd, gan ammeu am bwy yr oedd efe yn dywedyd.

23 Ac yr oedd un o'i ddiscyblion yn

pwyso

pwyso ar fonwes yr Iesu, yr hwn yr oedd yr Iesu yn ei garu.

24 Am hynny yr amneidiodd Simon Petr ar hwnnw, i ofyn pwy oedd efe, am yr hwn yr oedd efe yn dywedyd.

25 Ac yntef yn pwyso ar ddwyfron yr Iesu a ddywedodd wrtho, Arglwydd, pwy yw efe?

26 Yr Iesu a attebodd, Hwnnw yw efe, i'r hwn y rhoddaf fi dammaid wedi i mi ei wlychu. Ac wedi iddo wlychu y tammaid, efe a'i rhoddodd i Iudas Iscariot [fab] Simon.

27 Ac ar ôl y tammaid, yna yr aeth Satan i mewn iddo. Am hynny y dywedodd yr Iesu wrtho, Hyn yr wyt yn ei wneuthur, gwna ar frys.

28 Ac ni wyddei neb o'r rhai oedd yn eistedd, i ba beth y dywedasei efe hyn wrtho.

29 Canys rhai oedd yn tybied, am fôd Iudas a'r gôd ganddo, fôd yr Iesu yn dywedyd wrtho, Prŷn y pethau sy arnom eu heisieu erbyn yr ŵyl: neu ar roi o honaw beth i'r tlodion.

30 Yntau gan hynny wedi derbyn y tammaid, a aeth allan yn ebrwydd: ac yr oedd hi yn nos.

31 Yna gwedi iddo fyned allan, yr Iesu a ddywedodd, Yn awr y gogoneddwyd Mâb y dŷn, a Duw a ogoneddwyd ynddo ef.

32 Os gogoneddwyd Duw ynddo ef, Duw hefyd a'i gogonedda ef ynddo ei hun, ac efe a'i gogonedda ef yn ebrwydd.

33 O blant bychain, etto yr wyf ennyd fechan gyd â chwi. Chwi a'm ceisiwch; ac * megis y dywedais wrth yr Iddewon, Lle yr wyf fi yn myned, ni ellwch chwi ddyfod; yr ydwyf yn dywedyd wrthych chwithau hefyd yr awron.

* Pen. 7. 37.

34 * Gorchymmyn newydd yr wyf yn ei roddi i chwi, ar garu o honoch ei gilydd: fel y cerais i chwi, ar garu o honoch chwithau bawb ei gilydd.

* Pen. 15. 17. leuit. 19. 18. 1. Ioa. 4. 21.

35 Wrth hyn y gwybydd pawb mai discyblion i mi ydych, os bydd gennych gariad i'w gilydd.

36 A Simon Petr a ddywedodd wrtho, Arglwydd, i ba le yr wyt ti yn myned? Yr Iesu a attebodd iddo, Lle yr ydwyf fi yn myned, ni elli di yr awron fy nghanlyn: eithr yn ôl hyn i'm canlyni.

37 Petr a ddywedodd wrtho, Arglwydd, pa ham na allaf di ganlyn yr awron? mi a * roddaf fy einioes drosot.

* Mat. 26. 33.

38 Yr Iesu a attebodd iddo, A roddi di dy einioes drosof fi? Yn wir, yn wir, meddaf i ti, ni chân y ceiliog nes i ti fy ngwadu dair gwaith.

## P E N. XIIII.

1 Christ yn cysuro ei ddiscyblion â gobaith teyrnas nêf: 6 yn proffesu mai efe yw'r ffordd, a'r gwirionedd, a'r bywyd; a'i fôd yn vn â'r Tâd: 13 yn gwarantu y bydd ei gweddiau hwy yn ei enw ef yn ffrwythlawn: 15 yn dymuno cariad, ac vfydd-dod: 16 yn addo yr Yspryd glân y Diddanudd, 27 ac yn gadel ei dangneddyf gyd â hwynt.

Yr Efengyl ar ddigwyl Philip ac Iaco.

Na thralloder eich calon: yr ydych yn credu yn Nuw, credwch ynof finneu hefyd.

2 Yn nhŷ fy Nhâd y mae llawer o drigfannau: a phe amgen, mi a ddywedaswn i chwi, yr wyf fi yn myned i baratoi lle i chwi.

3 Ac os myfi a âf, ac a baratoaf le i chwi, mi a ddeuaf drachefn, ac a'ch cymmeraf chwi attaf fy hun: fel lle yr wyf fi, y byddoch chwithau hefyd.

4 Ac i ba le yr wyf fi yn myned, chwi a wyddoch, a'r ffordd a wyddoch.

5 Dywedodd Thomas wrtho, Arglwydd, ni wyddom ni i ba le yr wyt ti yn myned; a pha fodd y gallwn wybod y ffordd?

6 Yr Iesu a ddywedodd wrtho ef, Myfi yw'r ffordd, a'r gwirionedd, a'r bywyd: nid yw neb yn dyfod at y Tâd, ond trwof fi.

7 Ped adnabasech fi, fy Nhad hefyd a adnabasech: ac o hyn allan yr adwaenoch ef, a chwi a'i gwelsoch ef.

8 Dywedodd Philip wrtho, Arglwydd, dangos i ni y Tâd, a digon yw i ni.

9 Yr Iesu a ddywedodd wrtho, A ydwyf gyhyd o amser gyd â chwi, ac nid adnabuost fi, Philip: y neb a'm gwelodd i, a welodd y Tâd: a pha fodd yr wyt ti yn dywedyd, Dangos i ni y Tad?

10 Onid wyt ti yn credu fy môd i yn y Tâd, a'r Tâd ynof finneu? y geiriau yr wyf fi yn eu llefaru wrthych, nid o honof fy hun yr wyf yn eu llefaru; ond y Tad yr hwn sydd yn aros ynof, efe sydd yn gwneuthur y gweithredoedd.

11 Credwch fi, fy môd i yn y Tad, a'r Tâd ynof finneu: ac onid ê, credwch fi er mwyn y gweithredoedd eu hun.

12 Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, yr hwn sydd yn credu ynof, y gweithredoedd yr wyf fi yn eu gwneuthur, ynteu hefyd a'u gwnâ, a mwy nâ'r rhai hyn a wnâ efe: oblegid yr wyf fi yn myned at fy Nhâd.

13 * A pha beth bynnag a ofynnoch yn fy enw i, hynny a wnaf: fel y gogonedder y Tâd yn y Mâb.

* Matt. 7. 7.

14 Os gofynnwch ddim yn fy enw i, mi a'i gwnaf. ☞

Yr Efengyl ar ddydd y Sulgwyn.

15 ☞ O cherwch fi, cedwch fy ngorchymmynion.

16 A mi a weddiaf ar y Tâd, ac efe a rydd i chwi Ddiddanudd arall, fel yr arhoso gyd â chwi yn dragywyddol:

17 Yspryd y gwirionedd, yr hwn ni ddichon y byd ei dderbyn, am nad yw yn ei weled, nac yn ei adnabod ef: ond chwi a'i hadwaenoch ef, o herwydd y mae yn aros gyd â chwi, ac ynoch y bydd efe.

18 Nis

18 Nis gadawaf chwi yn ymddifaid: mi a ddeuaf attoch chwi.

19 Etto ennyd bach, a'r byd ni'm gwêl mwy: eithr chwi a'm gwelwch, canys byw wyf fi, a byw fyddwch chwithau hefyd.

20 Y dydd hwnnw y gwybyddwch fy môd i yn fy Nhâd, a chwithau ynof fi, a minneu ynoch chwithau.

21 Yr hwn sydd a'm gorchymynion i ganddo, ac yn eu cadw hwynt, efe yw'r hwn sydd yn fy ngharu i: a'r hwn sydd yn fy ngharu i, a gerir gan fy Nhad i: a minneu a'i caraf ef, ac a'm hegluraf fy hun iddo.

22 Dywedodd Judas wrtho, (nid yr Iscariot) Arglwydd, pa beth yw'r achos yr wyt ar fedr dy egluro dy hun i ni, ac nid i'r byd?

23 Yr Jesu a attebodd ac a ddywedodd wrtho, Os câr neb fi, efe a geidw fy ngair, a'm Tâd a'i câr yntef, a nyni a ddeuwn atto, ac a wnawn ein trigfa gyd ag ef.

24 Yr hwn nid yw yn fy ngharu i, nid yw yn cadw fy ngeiriau: a'r gair yr ydych yn ei glywed, nid eiddof fi ydyw, ond eiddo y Tâd a'm hanfonodd i.

25 Y pethau hyn a ddywedais wrthych, a mi yn aros gyd â chwi.

26 Eithr y Diddanudd, yr Yspryd glân, yr hwn a enfyn y Tâd yn fy enw i, efe a ddysc i chwi yr holl bethau, ac a ddwg ar gof i chwi yr holl bethau a ddywedais i chwi.

27 Yr wyf yn gadel i chwi dangnheddyf, fy nhangnheddyf yr ydwyf yn ei rhoddi i chwi: nid fel y mae y bŷd yn rhoddi, yr wyf fi yn rhoddi i chwi: na thralloder eich calon, ac nac ofned.

28 Clywsoch fel y dywedais wrthych, Yr wyf yn myned ymmaith, ac mi a ddeuaf attoch. Pe carech fi, chwi a lawenhaech am i mi ddywedyd, Yr wyf yn myned at y Tâd: canys y mae fy Nhad yn fwy nâ myfi.

29 Ac yr awron y dywedais i chwi cyn ei ddyfod, fel pan ddel, y credoch.

30 Nid ymddiddanaf â chwi nemmawr bellach: canys tywysog y byd hwn sydd yn dyfod, ac nid oes iddo ddim ynof fi.

31 Ond fel y gwypo'r bŷd fy môd i yn caru y Tâd, ac megis y gorchymynnodd y Tâd i mi, felly yr wyf yn gwneuthur. Codwch, awn oddi ymma.

PEN. XV.

1 Y diddanwch, a'r caredigrwydd ſydd rhwng Chriſt a'i aelodau, trwy ddammeg y winllan. 18 Cyſſur mewn caſineb, ac erlid bydol. 26 Swydd yr Yſpryd glân, a'r Apoſtolion.



Myfi yw y wir win-wydden, a'm Tad yw'r llafurwr.

2 *Pôb cangen ynof fi heb ddwyn ffrwyth, y mae efe yn ei thynnu ymmaith: a phôb un a ddygo ffrwyth, y mae efe yn ei glanhau, fel y dygo fwy o ffrwyth.

3 *Yr awron yr ydych chwi yn lân, trwy'r gair a leferais i wrthych.

4 Arhoswch ynof fi, a mi ynoch chwi: megis na all y gangen ddwyn ffrwyth o honi ei hun, onid erys yn y win-wydden: felly ni ellwch chwithau, onid arhoswch ynof fi.

5 Myfi yw'r win-wydden, chwithau yw'r canghennau: yr hwn sydd yn aros ynof fi, a minneu ynddo yntef, hwnnw sydd yn dwyn ffrwyth lawer: oblegid hebof fi ni ellwch chwi wneuthur dim.

6 Onid erys un ynof fi, efe a daflwyd allan megis cangen, ac a wywodd, ac y maent yn eu casclu hwynt, ac yn eu bwrw yn tân, a hwy a loscir.

7 Os arhoswch ynof fi, ac aros o'm geiriau ynoch, beth bynnag a ewyllysioch, gofynnwch, ac fe a fydd i chwi.

8 Yn hyn y gogoneddwyd fy Nhâd, ar ddwyn o honoch ffrwyth lawer; a discyblion fyddwch i mi.

9 Fel y carodd y Tâd fi, felly y cerais inneu chwithau: arhoswch yn fy nghariad i.

10 Os cedwch fy ngorchymynion, chwi a arhoswch yn fy nghariad: fel y cedwais i orchymynion fy Nhâd, ac yr wyf yn aros yn ei gariad ef.

11 Hyn a ddywedais wrthych, fel yr || arhosei fy llawenydd ynoch, ac y || byddei eich llawenydd yn gyflawn.

|| arhoso. || byddo.

12 ☞ *Dymma fy ngorchymyn i, ar i chwi garu ei gilydd, fel y cerais i chwi.

Yr Efengyl ar ddigwyl S. Barnabas.

13 Cariad mwy nâ hwn nid oes gan neb, sef bôd i un roi ei einioes dros ei gyfeillion.

*Pen.13.34. 1.Thes 4.9. 1.Io.3.11.

14 Chwy-chwi yw fy nghyfeillion, os gwnewch pa bethau bynnag yr wyf yn eu gorchymmyn i chwi.

15 Nid ydwyf mwyach yn eich galw yn weision: oblegid y gwâs ni wyr beth y mae ei arglwydd yn ei wneuthur: ond mi a'ch gelwais chwi yn gyfeillion, oblegid pôb peth a'r a glywais gan fy Nhad, a yspysais i chwi.

16 Nid chwi a'm dewisasoch i, ond myfi a'ch dewisais chwi, ac a'ch *ordeiniais chwi, fel yr elech ac y dygech ffrwyth, ac yr arhosei eich ffrwyth, megis pa beth bynnag a ofynnoch gan y Tâd yn fy enw i, y rhoddo efe i chwi.

*Mat.28.19.

17 Hyn yr wyf yn ei orchymmyn i chwi, garu o honoch ei gilydd.

18 Os yw'r bŷd yn eich casau chwi, chwi a wyddoch gasau o honaw fyfi o'ch blaen chwi.

|| gwybyddwch.

19 Pe byddech o'r bŷd, y bŷd a garei'r eiddo: ond oblegid nad ydych o'r bŷd, eithr i mi eich dewis allan o'r bŷd, am hynny y mae'r bŷd yn eich casâu chwi.

20 *Cofiwch yr ymadrodd a ddywedais i wrthych, Nid yw'r gwâs yn fwy nâ'i Arglwydd: os erlidiasant fi, hwy a'ch erlidiant chwithau: os cadwasant fy ngair i, yr eiddoch chwithau hefyd a gadwant.

*Pen.13.16. Matt.10.24.

21 Eithr hyn oll a wnânt i chwi er mwyn fy enw i, am nad adwaenant yr hwn a'm hanfonodd i.

22 Oni bai fy nyfod a llefaru wrthynt, ni buasei arnynt bechod: ond yr awron nid oes ganddynt escus am ei pechod.

23 Yr hwn sydd yn fy nghasâu i, sydd yn casâu fy Nhâd hefyd.

24 Oni bai wneuthur o honof yn eu plith y gweithredoedd ni wnaeth neb arall, ni buasei arnynt bechod: ond yr awron hwy a welsant, ac a'm casasant i, a'm Tâd hefyd.

25 Eithr fel y cyflawnid y gair sydd scrifennedig yn eu cyfraith hwynt, * Hwy a'm casâsant yn ddi achos.

Psal.35.19.

26 * Eithr pan ddêl y Diddanudd, yr hwn a anfonaf i chwi oddi wrth y Tâd, ([sef]) Yspryd y gwirionedd, yr hwn sydd yn deilliaw oddi wrth y Tâd,) efe a dystiolaetha am danaf.

Pen.14.26. luc.24.49.

27 A chwithau hefyd a dystiolaethwch, am eich bôd o'r dechreuad gyd â mi.

## PEN. XVI.

1 Christ yn cyssuro ei ddiscyblion yn erbyn blinder, trwy addewid o'r Yspryd glân, a thrwy ei Ail-gyfodiad, a'i escyniad: 23 yn eu siccrhau y bydd eu gweddiau hwy yn ei enw ef, yn gymmeradwy gan ei Dâd. 33 Tangneddyf ynghrist, ac yn y byd gorthrymder.



Y pethau hyn a ddywedais i chwi, fel na rwystrer chwi.

2 Hwy a'ch bwriant chwi allan o'r Synagogau: ac y mae'r awr yn dyfod, y tybia pwy bynnag a'ch lladdo, ei fôd yn gwneuthur gwasanaeth i Dduw.

3 A'r pethau hyn a wnânt i chwi, oblegid nad adnabuant y Tâd, na myfi.

4 Eithr y pethau hyn a ddywedais i chwi, fel pan ddêl yr awr, y cofioch hwynt, ddarfod i mi ddywedyd i chwi: a'r pethau hyn ni ddywedais i chwi o'r dechreuad, am fy môd gyd â chwi.

Yr Efengyl y pedwerydd Sul ar ol y Pasc.

5 ☞ Ac yn awr yr wyf yn myned at yr hwn a'm hanfonodd ac nid yw neb o honoch yn gofyn i mi, I ba le yr wyt ti yn myned?

6 Eithr am i mi ddywedyd y pethau hyn i chwi, tristwch a lanwodd eich calon.

7 Ond yr wyfi yn dywedyd gwirionedd i chwi, buddiol yw i chwi fy myned i ymmaith: canys onid âfi, ni ddaw y Diddanudd attoch: eithr os mi a âf, mi a'i hanfonaf ef attoch.

8 A phan ddêl, efe a argyoedda y bŷd o bechod, ac o gyfiawnder, ac o farn.

9 O bechod am nad ydynt yn credu ynofi:

10 O gyfiawnder am fy môd yn myned at fy Nhâd, ac ni'm gwelwch i mwyach:

11 O farn, oblegid tywysog y bŷd hwn a farnwyd.

12 Y mae gennif etto lawer o bethau i'w dywedyd i chwi, ond ni ellwch eu dwyn yr awron.

13 Ond pan ddêl efe, [sef] Yspryd y gwirionedd, efe a'ch tywys chwi i bôb gwirionedd: canys ni lefara o honaw ei hun, ond pa bethau bynnag a glywo, a lefara efe, a'r pethau sy i ddyfod a fynega efe i chwi.

14 Efe a'm gogonedda i, canys efe a gymmer o'r eiddof, ac a'i mynega i chwi.

15 Yr holl bethau sy eiddo'r Tâd, ydynt eiddofi: o herwydd hyn y dywedais mai o'r eiddofi y cymmer, ac y mynega i chwi.☜

16 ☞ Ychydig ennyd, ac ni'm gwelwch: a thrachefn ychydig ennyd, a chwi a'm gwelwch, am fy môd yn myned at y Tâd.

Yr Efengyl trydydd Sul ac ol y Pasc.

17 Am hynny y dywedodd rhai o'i ddiscyblion wrth ei gilydd, Beth yw hyn y mae efe yn ei ddywedyd wrthym. Ychydig ennyd, ac ni'm gwelwch: a thrachefn ychydig ennyd, a chwi a'm gwelwch: ac, Am fy môd yn myned at y Tâd?

18 Am hynny hwy a ddywedasant, Beth yw hyn y mae efe yn ei ddywedyd, Ychydig ennyd: ni wyddom ni beth y mae efe yn ei ddywedyd.

19 Yna y gwybu'r Iesu eu bôd hwy yn ewyllysio gofyn iddo, ac a ddywedodd wrthynt, Ai ymofyn yr ydych â'i gilydd am hyn, oblegid i mi ddywedyd, Ychydig ennyd, ac ni'm gwelwch, a thrachefn ychydig ennyd, a chwi a'm gwelwch?

20 Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, chwi a wylwch ac a alerwch, a'r bŷd a lawenycha: eithr chwi a fyddwch drist ion, ond eich tristwch a droir yn llawenydd.

21 Gwraig wrth escor, sydd mewn tristwch, am ddyfod ei hawr: eithr wedi geni y plentyn, nid yw hi yn cofio ei gofid mwyach, gan lawenydd geni dŷn i'r bŷd.

22 A chwithau am hynny ydych yr awron mewn tristwch: eithr mi a ymwelaf â chwi drachefn, a'ch calon a lawenycha, a'ch llawenydd ni ddwg neb oddi arnoch.☜

23 A'r dydd hwnnw ni ofynnwch ddim i mi. ☞ * Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, pa bethau bynnag a ofynnoch i'r Tâd yn fy enw, efe a'u rhydd i chwi.

Yr Efengyl y pummed Sul ar ol y Pasc. Mat.7.7.

24 Hyd yn hyn ni ofynnasoch ddim yn fy enw i: gofynnwch, a chwi a gewch, fel y byddo eich llawenydd yn gyflawn.

25 Y pethau hyn a leferais wrthych mewn damhegion: eithr y mae yr awr yn dyfod, pan na lefarwyf wrthych mewn damhegion mwyach, eithr y mynegaf i chwi yn eglur am y Tâd.

26 Y dydd hwnnw y gofynnwch yn fy enw: ac nid wyf yn dywedyd i chwi, y gweddiafi ar y Tâd trosoch:

27 Canys y Tâd ei hun sydd yn eich caru chwi am i chwi fy ngharu i, a chredu fy nyfod i allan oddi wrth Dduw.

28 Mi a ddaethym allan oddi wrth y Tâd, ac a ddaethym i'r bŷd: trachefn yr wyf yn gadel y bŷd, ac yn myned at y Tad.

29 Ei ddiscyblion a ddywedasant wrtho, Wele, yr wyti yn awr yn dywedyd yn eglur, ac nid wyt yn dywedyd un ddammeg.

30 Yn awr y gwyddom y gwyddost bôb peth, ac nad rhaid i ti ymofyn o neb â thi: wrth hyn yr ydym yn credu ddyfod o honot allan oddi wrth Dduw.

31 Yr Iesu a'u hattebodd hwynt, A ydych chwi yn awr yn credu?

32 *Wele

32 * Wele, y mae yr awr yn dyfod, ac yr awron hi a ddaeth, y gwascerir chwi bôb vn at yr eiddo, ac y gadewch fi yn vnic: ac nid wyf yn vnic, oblegid y mae y Tad gyd â myfi.

33 Y pethau hyn a ddywedais wrthych fel y caffech dangneddyf ynof. Yn y bŷd gorthrymder a gewch: eithr cymmerwch gyfur, myfi a orchfygais y bŷd.

Yr Efengyl tydydd Sul ar ol y Pasc.

Mat.26.31.

## P E N. XVII.

1 Christ yn gweddio ar ei Dâd am ei ogoneddu ef, 6 am gadw ei Apostolion 11 mewn vndeb, 17 a gwirionedd, 20 am eu gogoneddu hwy, a'r holl ffyddloniaid eraill gyda hwynt, yn y nefoedd.



Y Pethau hyn a lefarodd yr Iesu: ac efe a gododd ei lygaid i'r nef, ac a ddywedodd, Y Tâd, daeth yr awr: gogonedda dy Fab, fel y gogoneddo dy Fab dithau.

2 * Megis y rhoddaist iddo awdurdod ar bôb cnawd, fel am y cwbl a roddaist iddo, y rhoddei efe iddynt fywyd tragywyddol.

Mat.28.18.

3 A hyn yw 'r bywyd tragywyddol, iddynt dy adnabod di yr vnic wir Dduw, a'r hwn a anfonaisti Iesu Grist.

4 Mi a'th ogoneddais di ar y ddaiar: mi a gwplheais y gwaith a roddaist i mi iw wneuthur.

5 Ac yr awron, o Dâd, gogonedda di fyfi gyd â thi dy hun, â'r gogoniant oedd i mi gyd â thi, cyn bôd y bŷd.

6 Mi a eglurais dy enw i'r dynion a roddaist i mi allan o'r bŷd: eiddot ti oeddynt, a thi a'i rhoddaist hwynt i mi, a hwy a gadwasant dy air di.

Yr Efengyl pummed Sul ar ol y Pasc.

Mat.7.7.

7 Yr awron y gwybuant, mai oddi wrthit ti y mae 'r holl bethau a roddaist i mi:

8 Canys y geiriau a roddaist i mi, a roddais iddynt hwy: a hwy a'u derbyniasant, *ac a wybuant yn wir mai oddi wrthit ti y daethym i allan, ac a gredasant mai tydi a'm hanfonaist i.

Ioa.16.27.

9 Trostynt hwy yr wyfi yn gweddio: nid tros y bŷd yr wyf yn gweddio, ond tros y rhai a roddaist i mi; canys eiddoti ydynt.

10 A'r eiddofi oll sy eiddot ti, a'r eiddot ti sy eiddo fi: ac mi a ogoneddwyd ynddynt.

11 Ac nid wyf mwyach yn y bŷd, ond y rhai hyn sy yn y bŷd, a myfi sydd yn dyfod attat ti. Y Tâd sancteiddiol, cadw hwynt || trwy dy enw, y rhai a roddaist i mi: fel y byddont vn, megis ninnau.

12 Tra fum gyd â hwynt yn y bŷd, mi a'u cedwais yn dy enw: y rhai a roddaist i mi a gedwais, ac ni chollwyd o honynt ond mâb y golledigaeth: * fel y cyflawnid yr Scrythur.

Psal.109.7.

13 Ac yr awron yr wyf yn dyfod attat: a'r pethau hyn yr wyf yn eu llefaru yn y bŷd, fel y caffent fy llawenydd i yn gyflawn ynddynt eu hunain.

14 Myfi a roddais iddynt hwy dy air di: a'r bŷd a'u casaodd hwynt, oblegid nad ydynt o'r bŷd, megis nad ydwyf finneu o'r bŷd.

15 Nid wyf yn gweddio ar i ti eu cymmeryd hwynt allan o'r bŷd, eithr ar i ti eu cadw hwynt rhag y drwg.

16 O'r bŷd nid ydynt, megis nad wyf finneu o'r bŷd.

17 Sancteiddia hwynt || yn dy wirionedd: dy air sydd wirionedd.

|| a'th wirionedd.

18 Fel yr anfonaist fi i'r bŷd, felly yr anfonais inneu hwythau i'r bŷd:

19 Ac er eu mwyn hwy yr wyf yn fy sancteiddio fy hun, fel y bont hwythau wedi eu sancteiddio || yn y gwirionedd.

|| Neu, gan

20 Ac nid wyf yn gweddio tros y rhai hyn yn vnic, eithr tros y rhai hefyd a gredant ynofi, trwy eu hymadrodd hwynt.

21 Fel y byddont oll yn vn: megis yr wyt ti y Tâd ynof fi, a minneu ynot ti, fel y byddont hwythau vn ynom ni: fel y credo y bŷd mai tydi a'm hanfonaist i.

22 A'r gogoniant a roddaist i mi, a roddais iddynt hwy, fel y byddont vn, megis yr ydym ni yn vn.

23 Myfi ynddynt hwy, a thithau ynof fi, fel y bônt wedi eu perffeithio yn vn, ac fel y gwypo 'r bŷd mai tydi a'm hanfonaist i, a charu o honot hwynt megis y ceraist fi.

24 * Y Tâd, y rhai a roddaist i mi, yr wyf yn ewyllysio, lle yr wyf fi, fod o honynt hwythau hefyd gyd â myfi: fel y gwelont fy ngogoniant a roddaist i mi, oblegid ti a'm ceraist cyn seiliad y bŷd.

Pen.12.

25 Y Tâd cyfiawn, nid adnabu y bŷd dydi: eithr mi a'th adnabûm, a'r rhai hyn a wybu mai tydi a'm hanfonaist i.

26 Ac mi a yspysais iddynt dy enw, ac a'i hyspysaf: fel y byddo ynddynt hwy y cariad, â'r hwn y ceraist fi, a minneu ynddynt hwy.

## P E N. XVIII.

1 Iudas yn bradychu 'r Iesu, 6 y swyddogion yn syrthio i'r llawr. 10 Petr yn torri clust Malchus. 12 Dal yr Iesu, a'i ddwyn at Annas, a Chaiaphas. 15 Petr yn gwadu Christ. 10 Holi 'r Iesu ger bron Caiaphas. 28 A cher bron Pilat. 36 Ei deyrnas ef. 40 Yr Iddewon yn dymuno cael gollwng Barabbas yn rhydd.

Yr Efengyl ddydd gwener y Croglith.



G Wedi i'r Iesu ddywedyd y geiriau hyn, *efe a aeth allan, ef a'i ddiscyblion, tros afon Cedron, lle 'r oedd gardd, i'r hon yr aeth efe a'i ddiscyblion.

Mat.

2 A Iudas hefyd yr hwn a'i bradychodd ef, a adwaenei y lle: oblegid mynych y cyrchasei yr Iesu a'i ddiscyblion yno.

3 * Iudas gan hynny, wedi iddo gael byddin, a swyddogion, gan yr Arch-offeiriaid, a'r Phariseaid, a ddaeth yno â lanternau, a lampau, ac arfau.

Mat.

4 Yr Iesu gan hynny yn gwybod pôb peth a oedd ar ddyfod arno, a aeth allan, ac a ddywedodd wrthynt, Pwy yr ydych yn ei geisio?

5 Hwy a attebasant iddo, Iesu o Nazareth. Yr Iesu a ddywedodd wrthynt, Myfi yw. A Iudas, yr hwn a'i bradychodd ef, oedd hefyd yn sefyll gyd â hwynt.

6 Er cynted gan hynny ac y dywedodd efe wrthynt, Myfi yw, hwy a aethant yn wysc eu cefnau, ac a syrthiasant i lawr.

7 Am hynny efe a ofynnodd iddynt drachefn, Pwy yr ydych yn ei geisio? A hwy a ddywedasant, Iesu o Nazareth.

8 Yr Iesu a attebodd, mi a ddywedais i chwi mai myfi yw: am hynny os myfi yr ydych yn ei geisio, gedwch i'r rhai'n fyned ymmaith:

9 Fel y cyflawnid y gair a ddywedasei efe, *O'r rhai a roddaist i mi, ni chollais i'r un.

10 Simon Petr gan hynny a chanddo gleddyf, a'i tynnodd ef, ac a darawodd wâs yr Arch-offeiriad, ac a dorrodd ymmaith ei glust ddehau ef: ac enw y gwâs oedd Malchus.

11 Am hynny yr Iesu a ddywedodd wrth Petr, Dôd dy gleddyf yn y wain: y cwppan a roddes y Tâd i mi, onid yfaf ef?

12 Yna'r fyddin, a'r milwriad, a swyddogion yr Iddewon, a ddaliasant yr Iesu, ac a'i rhwymasant ef,

13 Ac a'i dygasant ef at Annas yn gyntaf: canys chwegrwn Caiaphas, yr hwn oedd Arch-offeiriad y flwyddyn honno, ydoedd efe.

14 *A Chaiaphas oedd yr hwn a gynghorasei i'r Iddewon, mai buddiol oedd farw un dŷn tros y bobl.

15 *Ac yr oedd yn canlyn yr Iesu Simon Petr, a discybl arall: a'r discybl hwnnw oedd adnabyddus gan yr Arch-offeiriad, ac efe a aeth i mewn gyd â'r Iesu, i || lŷs yr Arch-offeiriad.

16 A Phetr a safodd wrth y drws allan. Yna y discybl arall, yr hwn oedd adnabyddus gan yr Arch-offeiriad, a aeth allan, ac a ddywedodd wrth y ddryssores, ac a ddug Petr i mewn.

17 Yna y dywedodd y llangces oedd ddryssores, wrth Petr, Onid wyt titheu o ddiscyblion y dŷn hwn? Dywedodd yntef, Nac wyf.

18 A'r gweision a'r swyddogion gwedi gwneuthur tân glo, o herwydd ei bôd hi yn oer, oeddynt yn sefyll, ac yn ymdwymno: ac yr oedd Petr gyd â hwynt yn sefyll, ac yn ymdwymno.

19 A'r Arch-offeiriad a ofynnodd i'r Iesu am ei ddiscyblion, ac am ei athrawiaeth.

20 Yr Iesu a attebodd iddo, Myfi a leferais yn eglur wrth y byd: yr oeddwn bôb amser yn athrawiaethu yn y Synagog, ac yn y Deml, lle mae'r Iddewon yn ymgynnull bôb amser: ac yn ddirgel ni ddywedais i ddim.

21 Pa ham yr wyti yn gofyn i mi? gofyn i'r rhai a'm clywsant, beth a ddywedais wrthynt: wele, y rhai hynny a wyddant pa bethau a ddywedais i.

22 Wedi iddo ddywedyd y pethau hyn, un o'r swyddogion, a'r oedd yn sefyll ger llaw, a roddes || gernod i'r Iesu, gan ddywedyd, Ai felly yr wyt ti yn atteb yr Arch-offeiriad?

23 Yr Iesu a attebodd iddo, Os drwg y dywedais, tystiolaetha o'r drwg; ac os da, pa ham yr wyt yn fy nharo i?

24 *Ac Annas a'i hanfonasei ef yn rhwym at Caiaphas yr Arch-offeiriad.

25 A Simon Petr oedd yn sefyll, ac yn ymdwymno: *hwythau a ddywedasant wrtho, onid wyt titheu hefyd o'i ddiscyblion ef? Yntef a wadodd, ac a ddywedodd, Nac wyf.

26 Dywedodd un o weision yr Arch-offeiriad, câr i'r hwn y torrasei Petr ei glust, Oni welais i di gyd ag ef yn yr ardd?

27 Yna Petr a wadodd drachefn, ac yn y man y canodd y ceiliog.

28 *Yna y dygasant yr Iesu oddi wrth Caiaphas, i'r dadleu-dŷ: a'r boreu ydoedd hi; *ac nid aethant hwy i mewn i'r dadleu dŷ, rhag eu halogi, eithr fel y gallent fwytta y Pasc.

29 Yna Pilat a aeth allan attynt, ac a ddywedodd, Pa achwyn yr ydych chwi ei ddwyn yn erbyn y dŷn hwn?

30 Hwy a attebasant, ac a ddywedasant wrtho, Oni bai fôd hwn yn ddrwg-weithredwr, ni thraddodasem ni ef attat ti.

31 Am hynny y dywedodd Pilat wrthynt, Cymmerwch chwi ef, a bernwch ef yn ôl eich cyfraith chwi. Yna yr Iddewon a ddywedasant wrtho, Nid cyfraithlon i ni lâdd nêb:

32 *Fel y cyflawnid gair yr Iesu, yr hwn a ddywedasei efe, gan arwyddocau o ba angeu y byddei farw.

33 Yna Pilat a aeth drachefn i'r dadleu-dŷ, ac a alwodd yr Iesu, ac a ddywedodd wrtho, Ai ti yw Brenin yr Iddewon?

34 Yr Iesu a attebodd iddo; Ai o honot dy hun yr wyti yn dywedyd hyn, ai eraill a'i dywedasant i ti am danaf?

35 Pilat a attebodd, Ai Iddew ydwyf fi? dy genedl dy hun, a'r Arch-offeiriaid, a'th draddodasant i mi: beth a wnaethost ti?

36 Yr Iesu a attebodd, Fy mrenhiniaeth i nid yw o'r bŷd hwn: pe o'r bŷd hwn y byddei fy mrenhiniaeth i, fy ngweision i a ymdrechent, fel na'm rhoddid i'r Iddewon: ond yr awron nid yw fy mrenhiniaeth i oddi ymma.

37 Yna y dywedodd Pilat wrtho, wrth hynny ai brenin wyti? Yr Iesu a attebodd, Yr ydwyti yn dywedyd mai brenin wyf fi: er mwyn hyn i'm ganed, ac er mwyn hyn y daethym i'r bŷd, fel y tystiolaethwn i'r gwirionedd: pôb un a'r sydd o'r gwirionedd, sydd yn gwrando fy llyferydd i.

38 Pilat a ddywedodd wrtho, Beth yw gwirionedd? Ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a aeth allan drachefn at yr Iddewon, ac a ddywedodd wrthynt, Nid wyf yn cael dim || achos ynddo ef.

39 *Eithr y mae gennwch chwi ddefod, i mi ollwng i chwi un yn rhydd ar y Pasc: a fynnwch chwi gan hynny i mi ollwng yn

Margin notes: *...17.12. *...11.50. *...26.58. || ...idd. || ffonnod. *Matt. 26.57. *Matt. 26.62. *Matt. 27.1. *Act. 10.28. *Matt. 20.19. *Matt. 27.11. || bai arno. *Matt. 27.15.

yn rhydd i chwi frenin yr Iddewon?

40 *Yna y llefasant oll drachefn, gan ddywedyd, Nid hwnnw, ond Barabbas: a'r Barabbas hwnnw oedd leidr.

*Ma.13.14.

## P E N. XIX.

1 Fflangellu Christ, a'i goroni â drain, a'i guro. 9 Pilat yn chwennych ei ollwng ef yn rhydd, etto wedi ei orchfygu gan lefain yr Iddewon, yn ei roddi ef i'w groes-hoelio. 22 Bwrw coel-brennau ar ei ddillad ef. 26 Yntef yn gorchymmyn ei fam i Ioan, 28 ac yn marw. 31 Gwanu ei ystlys ef. 38 Ioseph a Nicodemus yn ei gladdu ef.



Yna gan hynny y cymmerodd Pilat yr Iesu, ac a'i fflangellodd ef.

Matt.27.26.

2 A'r mil-wyr a blethasant goron o ddrain, ac a'i gosodasant ar ei ben ef, ac a roesant wisc o borphor am dano:

3 Ac a ddywedasant, Henffych well, Brenin yr Iddewon, ac a roesant iddo ||gernodiau.

|| fonodiau.

4 Pilat gan hynny a aeth allan drachefn, ac a ddywedodd wrthynt, Wele yr wyfi yn ei ddwyn ef allan i chwi, fel y gwypoch nad wyfi yn cael ynddo ef un || bai.

|| achos.

5 Yna y daeth yr Iesu allan, yn arwein y goron ddrain, a'r wisc borphor. A Philat a ddywedodd wrthynt, Wele y dyn.

6 Yna yr Arch-offeiriaid a'r swyddogion, pan welsant ef, a lefasant, gan ddywedyd, Croes-hoelia, croes-hoelia ef. Pilat a ddywedodd wrthynt, Cymmerwch chwi ef a chroes-hoeliwch: canys nid wyfi yn cael dim bai ynddo.

7 Yr Iddewon a attebasant iddo, Y mae gennym ni gyfraith, ac wrth ein cyfraith ni, efe a ddylei farw, am iddo ei wneuthur ei hun yn Fab Duw.

8 A phan glybu Pilat yr ymadrodd hwnnw, efe a ofnodd yn fwy:

9 Ac a aeth drachefn i'r dadleu-dy, ac a ddywedodd wrth yr Iesu, O ba le yr wyt ti? Ond ni roes yr Iesu atteb iddo.

10 Yna Pilat a ddywedodd wrtho, Oni ddywedi di wrthifi? oni wyddost di fod gennyf awdurdod i'th groes-hoelio di, a bod gennyf awdurdod i'th ollwng yn rhydd?

11 Yr Iesu a attebodd, Ni byddei i ti ddim awdurdod arnafi, oni bai ei fod wedi ei roddi i ti oddi uchod: am hynny yr hwn a'm traddodes i ti sydd fwy ei bechod.

12 O hynny allan y ceisiodd Pilat ei ollwng ef yn rhydd: ond yr Iddewon a lefasant, gan ddywedyd, Os gollyngi di hwn yn rhydd, nid wyt ti yn garedig i Cæsar: pwy bynnag a'i gwnelo ei hun yn frenin, y mae yn dywedyd yn erbyn Cæsar.

13 Yna Pilat pan glybu yr ymadrodd hwn, a ddug allan yr Iesu, ac a eisteddodd ar yr orsedd-faingc, yn y lle a elwir y Palmant, ac yn Hebraeg Gabbatha.

|| bai arna.
*Matt.27.15.

14 A darpar-wyl y Pasc oedd hi, ac ynghylch y chweched awr: ac efe a ddywedodd wrth yr Iddewon, Wele eich Brenin.

15 Eithr hwy a lefasant, Ymmaith ag ef, ymmaith ag ef, croes-hoelia ef. Pilat a ddywedodd wrthynt, A groes-hoeliaf fi eich Brenin chwi? A'r Arch-offeiriaid a attebasant, Nid oes i ni frenin ond Cæsar.

16 *Yna gan hynny, efe a'i traddodes ef iddynt i'w groes-hoelio: a hwy a gymmerasant yr Iesu, ac a'i dygasant ymmaith.

*Matt.27.

17 Ac efe gan ddwyn ei groes, a ddaeth i le a elwid || lle 'r Benglog, ac a elwir yn Hebraeg Golgotha:

|| y Bengl

18 Lle y croes-hoeliasant ef, a dau eraill gyd ag ef, un o bôb tu, a'r Iesu yn y canol.

19 A Philat a scrifennodd ditl, ac a'i dododd ar y groes. A'r scrifen oedd, IESU O NAZARETH, BRENIN YR IDDEWON.

20 Y titl hwn gan hynny a ddarllennodd llawer o'r Iddewon: oblegid agos i'r ddinas oedd y fan lle y croes-hoeliwyd yr Iesu, ac yr oedd wedi ei scrifennu yn Hebraew, Groeg, a Lladin.

21 Yna Arch-offeiriaid yr Iddewon a ddywedasant wrth Pilat, Na scrifenna, Brenin yr Iddewon, eithr dywedyd o hono ef, Brenin yr Iddewon ydwyfi.

22 Pilat a attebodd, Yr hyn a scrifennais, a scrifennais.

23 *Yna 'r mil-wyr wedi iddynt groes-hoelio yr Iesu, a gymmerasant ei ddillad ef, (ac a wnaethant bedair rhan, i bôb milwr ran) a'i bais ef: a'i bais ef oedd ddi-wniad, wedi ei gwau o'r cwrr uchaf trwyddi oll.

*Matt.27

24 Hwythau a ddywedasant wrth ei gilydd, Na thorrwn hi, ond bwriwn goel-brennau am deni, eiddo pwy fydd hi: *fel y cyflawnid yr Scrythur sydd yn dywedyd, Rhannasant fy nillad yn eu mysc, ac am fy mhais y bwriasant goel-brennau. A'r mil-wyr a wnaethant y pethau hyn.

Psal.22.18

25 Ac yr oedd yn sefyll wrth groes yr Iesu, ei fam ef, a chwaer ei fam ef, Mair [gwraig] || Cleophas, a Mair Fagdalen.

||

26 Yr Iesu gan hynny pan welodd ei fam, a'r discybl, yr hwn a garei efe, yn sefyll ger llaw, a ddywedodd wrth ei fam, O wraig, wele dy fab.

27 Gwedi hynny y dywedodd wrth y discybl, Wele dy fam. Ac o'r awr honno allan, y cymmerodd y discybl hi i'w gartref.

28 Wedi hynny yr Iesu yn gwybod fod pôb peth wedi ei orphen weithian, *fel y cyflawnid yr Scrythur, a ddywedodd, Y mae syched arnaf.

*Psal

29 Yr oedd gan hynny lestr wedi ei osod yn llawn o finegr: a hwy a lanwasant yspwrn o finegr, ac a'i rhoddasant ynghylch ysop, ac a'i dodasant wrth ei enau ef.

30 Yna pan gymmerodd yr Iesu y finegr, efe

efe a ddywedodd, Gorphennwyd ; a chan ogwyddo ei ben, efe a roddes i fynu yr yspryd.

31 Yr Iddewon gan hynny, fel nad arhoei y cyrph ar y groes ar y Sabbath, o herwydd ei bôd yn ddarpar-wyl, (canys mawr oedd y dydd Sabbath hwnnw) a ddeisyfiasant ar Pilat, gael torri eu hesceiriau hwynt, a'u tynnu i lawr.

32 Yna y mil-wyr a ddaethant, ac a dorrasant esceiriau y cyntaf, a'r llall, yr hwn a groes-hoeliasid gyd ag ef.

33 Eithr wedi iddynt ddyfod at yr Iesu, pan welsant ef wedi marw eusys, ni thorrasant ei esceiriau ef:

34 Ond un o'r mil-wyr a wanodd ei ystlys ef â gwaywffon, ac yn y fan daeth allan waed a dwfr.

35 A'r hwn a'i gwelodd a dystiolaethodd, a gwir yw ei dystiolaeth: ac efe a wyr ei fôd yn dywedyd gwir, fel y credoch chwi.

36 Canys y pethau hyn a wnaethpwyd, *fel y cyflawnid yr Scrythur, *Ni thorrir ascwrn o honaw.

37 *A thrachefn, Scrythur arall sydd yn dywedyd, Hwy a edrychant ar yr hwn a wanasant.

38 *Ac yn ôl hyn, Joseph o Arimathæa, (yr hwn oedd ddiscybl i'r Iesu, eithr yn guddiedig rhag ofn yr Iddewon) a deisyfiodd ar Pilat gael tynnu i lawr gorph yr Iesu. A Philat a ganiadhâodd iddo. Yna y daeth efe, ac a ddug ymmaith gorph yr Iesu.

39 A daeth Nicodemus hefyd, (yr hwn ar y cyntaf a ddaethei at yr Iesu o hŷd nos) ac a ddug myrr ac aloes ynghymmysc, tua chan-pwys.

40 Yna y cymmerasant gorph yr Iesu, ac a'i rhwymasant mewn llieiniau, gyd ag aroglau, fel y mae arfer yr Iddewon ar gladdu.

41 Ac yn y fangre lle y croes-hoeliasid ef, yr oedd gardd, a bedd newydd yn yr ardd, yn yr hwn ni ddodasid dŷn erioed.

42 Ac yno, rhag nesed oedd darpar-wyl yr Iddewon, am fôd y bedd hwnnw yn agos, y rhoddasant yr Iesu. ☞

...m.9.12. ...d.12.46. ...l.34.21. ...h.12.10. ...tt.27.57.

## PEN. XX.

1 Mair yn dyfod at y bedd, 3 A Phetr hefyd ac Ioan heb wybod adgyfodi o'r Iesu. 11 Yr Iesu yn ymddangos i Mair Magdalen, 19 Ac iw ddiscyblion. 24 Anghrediniaeth, a chyffes Thomas. 30 Bôd yr Scrythur lân yn ddigonol i iechydwriaeth.

Efengyl ar Pasc. ...t.28.1. ...16.1. || ...bbathau.



*Dydd cyntaf o'r || wythnos, Mair Magdalen a ddaeth y boreu, a hi etto yn dywyll, at y bedd, ac a weles y maen wedi ei dynnu ymmaith oddi ar y bedd.

2 Yna y rhedodd hi, ac a ddaeth at Simon Petr, a'r *discybl arall, yr hwn yr oedd yr Iesu yn ei garu, ac a ddywedodd wrthynt, Hwy a ddygasant yr Arglwydd ymmaith o'r bedd, ac ni wyddom ni pa le y dodasant ef.

...13.23.

3 Yna Petr a aeth allan, a'r discybl arall, a hwy a ddaethant at y bedd:

4 Ac a redasant ill dau ynghyd: a'r discybl arall a redodd o'r blaen, yn gynt nâ Phetr, ac a ddaeth yn gyntaf at y bedd.

5 Ac wedi iddo grymmu, efe a ganfu y llieiniau wedi eu gosod: er hynny nid aeth efe i mewn.

6 Yna y daeth Simon Petr yn ei ganlyn ef, ac a aeth i mewn i'r bedd, ac a ganfu y llieiniau wedi eu gosod:

7 A'r napcin a fuasai am ei ben ef, wedi ei osod, nid gyd â'r llieiniau, ond o'r neilltu, wedi ei blygu mewn lle arall.

8 Yna yr aeth y discybl arall hefyd i mewn, yr hwn a ddaethei yn gyntaf at y bedd, ac a welodd, ac a gredodd.

9 Canys hyd yn hyn ni wyddent yr Scrythur, fôd yn rhaid iddo gyfodi o feirw.

10 Yna y discyblion a aethant ymmaith drachefn at yr eiddynt. ☞

11 Ond Mair a safodd wrth y bedd oddi allan, yn wylo: ac fel yr oedd hi yn wylo, hi a ymostyngodd i'r bedd;

12 Ac a ganfu ddau Angel mewn [gwiscoedd] gwynion, yn eistedd, un wrth ben, ac un wrth draed y lle y dodasid corph yr Iesu.

13 A hwy a ddywedasant wrthi, O wraig, pa ham yr wyti yn wylo? Hithau a ddywedodd wrthynt, Am ddwyn o honynt hwy fy Arglwydd i ymmaith, ac nas gwn pa le y dodasant ef.

14 Ac wedi dywedyd o honi hyn, hi a droes drach ei chefn, ac a welodd yr Iesu yn sefyll: ac ni's gwyddei [hi] mai yr Iesu oedd efe.

15 Yr Iesu a ddywedodd wrthi, O wraig, pa ham yr wyti yn wylo? pwy yr wyti yn ei geisio? Hitheu yn tybied mai'r garddwr oedd efe, a ddywedodd wrtho, Syre, os tydi a'i dygaist ef, dywed i mi pa le y dodaist ef, a myfi a'i cymmeraf ef ymmaith.

16 Yr Iesu a ddywedodd wrthi, Mair. Hitheu a droes, ac a ddywedodd wrtho, Rabboni, yr hyn yw dywedyd, Athro.

17 Yr Iesu a ddywedodd wrthi, Na chyffwrdd â mi: (oblegid ni dderchefais i etto at fy Nhâd: eithr dôs at fy mrodyr, a dywed wrthynt, Yr wyf yn derchafu at fy Nhâd i, a'ch Tâd chwithau, a'm Duw i, a'ch Duw chwithau.

18 Mair Magdalen a ddaeth, ac a fynegodd i'r discyblion, weled o honi hi yr Arglwydd, a dywedyd o honaw y pethau hyn iddi.

Yr Efengyl y Sul cyntaf ar ôl y Pasc. *Marc.16.14. ||Sabbathau.

19 ☞ *Yna, a hi yn hwyr y dydd cyntaf hwnnw o'r || wythnos, a'r drysau yn gaead, lle yr oedd y discyblion wedi ymgasclu ynghyd, rhag ofn yr Iddewon, daeth yr Iesu, ac a safodd yn y canol, ac a ddywedodd wrthynt, Tangneddyf i chwi.

20 Ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a ddangosodd iddynt ei ddwylo, a'i ystlys.

Yna 'r discyblion a lawenychasant, pan welsant yr Arglwydd.

21 Yna y dywedodd yr Iesu wrthynt drachefn, Tangneddyf i chwi: megis y danfonodd y Tâd fi, yr wyf finneu yn eich danfon chwi.

22 Ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a anadlodd arnynt, ac a ddywedodd wrthynt, Derbyniwch yr Yspryd glân.

*Matt. 18. 18.

23 * Pwy bynnac y maddeuoch eu pechodau, maddeuir iddynt: a'r eiddo pwy bynnac a attalioch, hwy a attaliwyd. ☜

Yr Efengyl ar ddigwyl S. Thomas.

24 ☞ Eithr Thomas, un o'r deuddeg, yr hwn a elwir Didymus, nid oedd gyd â hwynt, pan ddaeth yr Iesu.

25 Y discyblion eraill gan hynny a ddywedasant wrtho, Ni a welsom yr Arglwydd. Yntef a ddywedodd wrthynt, Oni chaf weled yn ei ddwylo ef ôl yr hoelion, a dodi fy mŷs yn ôl yr hoelion, a dodi fy llaw yn ei ystlys ef, ni chredaf fi.

26 Ac wedi wyth niwrnod, drachefn yr oedd ei ddiscyblion ef i mewn, a Thomas gyd â hwynt. [Yna] yr Iesu a ddaeth a'r drysau yn gaead, ac a safodd yn y canol, ac a ddywedodd, Tangneddyf i chwi.

27 Wedi hynny y dywedodd efe wrth Thomas, Moes ymma dy fŷs, a gwêl fy nwylo; ac estyn dy law, a dôd yn fy ystlys; ac na fydd anghredadyn, ond credadyn.

28 A Thomas a attebodd ac a ddywedodd wrtho, Fy Arglwydd, a'm Duw.

29 Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Am i ti fy ngweled, Thomas, y credaist: bendigedig yw y rhai ni welsant, ac a gredasant.

*Pen. 21. 25.

30 *A llawer hefyd o arwyddion eraill a wnaeth yr Iesu yngŵydd ei ddiscyblion, y rhai nid ydynt scrifennedig yn y llyfr hwn.

31 Eithr y pethau hyn a scrifennwyd, fel y credoch chwi mai yr Iesu yw Christ, Mab Duw, a chan gredu, y caffoch fywyd yn ei enw ef. ☜

## PEN. XXI.

1 Ei ddiscyblion yn adnabod Christ ar ei ail ymddangosiad, wrth y ddalfa fawr o byscod. 12 Yntef yn ciniawa gydâ hwynt: 15 Yn rhoddi gorchymmyn mawr ar Petr, i borthi ei wyn ef a'i ddefaid, 18 yn ei rybuddio ef o'i farwolaeth: 22 yn ceryddu ei brysurdeb ef ynghylch Ioan. 25 Y diben.

...fengyl y ...yntaf ar ...Pasc. ...c.16.1 ...athan.



wedi y pethau hyn yr Iesu a ymddangosodd drachefn i'w discyblion wrth fôr Tiberias: ac fel hyn yr ymdangosodd.

2 Yr oedd ynghyd Simon Petr a Thomas, yr hwn a elwir Didymus, a Nathanael o Cana yn Galilæa, a [meibion] Zebedæus, a dau eraill o'i ddiscyblion ef.

3 Dywedodd Simon Petr wrthynt, Yr wyfi yn myned i byscotta. Dywedasant wrtho, Yr ydym ninnau hefyd yn dyfod gyd â thi. A hwy a aethant allan, ac a ddringasant i long yn y man: a'r nos honno ni ddaliasant ddim.

4 A phan ddaeth y boreu weithian, safodd yr Iesu ar y lan: eithr y discyblion ni wyddent mai'r Iesu ydoedd.

5 Yna yr Iesu a ddywedodd wrthynt, ||O blant, a oes gennwch ddim bwyd? Hwythau a attebasant iddo, Nac oes.

|| Neu, Ha wyr.

6 Yntef a ddywedodd wrthynt, Bwriwch y rhwyd i'r tu dehau i'r llong, a chwi a gewch. Hwy a fwriasant gan hynny, ac ni allent bellach ei thynnu, gan y lliaws pyscod.

7 Am hynny y discybl hwnnw yr oedd yr Iesu yn ei garu, a ddywedodd wrth Petr, Yr Arglwydd yw. Yna Simon Petr, pan glybu mai yr Arglwydd oedd, a wregysodd ei amwisc, (canys noeth oedd efe) ac a'i bwriodd ei hun i'r môr.

8 Eithr y discyblion eraill a ddaethant mewn llong, (blegid nid oeddynt bell oddi wrth dir, ond megis dau can cufydd) dan lusco y rhwyd â'r pyscod.

9 A chyn gynted ac y daethant i dir, hwy a welent dân o farwor wedi ei osod, a physcod wedi eu dodi arno, a bara.

10 Yr Iesu a ddywedodd wrthynt, Dygwch o'r pyscod a ddaliasoch yr awron.

11 Simon Petr a escynnodd, ac a dynnodd y rhwyd i dir, yn llawn o byscod mawrion, cant a thri ar ddeg a deugain: ac er bôd cymmaint, ni thorrodd y rhwyd.

12 Yr Iesu a ddywedodd wrthynt, Deuwch, ciniewch. Eithr ni feiddiei nêb o'r discyblion ofyn iddo, Pwy wyt ti? am eu bôd yn gŵybod mai yr Arglwydd oedd.

13 Yna y daeth yr Iesu, ac a gymmerth fara, ac a'i rhoddes iddynt, a'r pyscod yr un modd.

14 Y drydedd waith hyn yn awr, yr ymddangosodd yr Iesu i'w ddiscyblion, wedi iddo gyfodi o feirw.

15 Yna gwedi iddynt giniawa, yr Iesu a ddywedodd wrth Simon Petr, Simon [mâb] Iona, a wyt ti yn fy ngharu i yn fwy nâ'r rhai hyn? Dywedodd yntef wrtho, Ydwyf Arglwydd; ti a ŵyddost fy môd yn dy garu di. Dywedodd yntau wrtho, Portha fy ŵyn.

16 Efe a ddywedodd wrtho drachefn yr ail waith, Simon [mâb] Iona, a wyt ti yn fy ngharu i? Dywedodd yntef wrtho, Ydwyf Arglwydd: ti a ŵyddost fy môd yn dy garu di. Dywedodd yntau wrtho, Bugeilia fy nefaid.

17 Efe a ddywedodd wrtho y drydedd waith, Simon [mâb] Iona, a wyt ti yn fy ngharu i? Petr a dristaodd am iddo ddywedyd wrtho y drydedd waith, A wyt ti yn fy ngharu i? ac efe a ddywedodd wrtho, Arglwydd, ti a wyddost bôb peth; ti a ŵyddost fy môd i yn dy garu di. Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Portha fy nefaid.

18 Yn wir, yn wir, meddaf i ti: pan oeddit

 ieuangach,

ieuangach ti a'th wregyſaiſt dy hun, ac a rodiaiſt lle y mynnaiſt: eithr pan elech yn hên, ti a eſtynni dy ddwylo, ac arall a'th wregyſa, ac a'th arwain lle ni fynnit.

19 A hyn a ddywedodd efe, gan arwyddo drwy ba fath angeu y gogoneddei efe Dduw. Ac wedi iddo ddywedyd hyn, ☞ efe a ddywedodd wrtho, Canlyn fi.

Yr Efengyl ar ddigwyl Ioan Efangylwr.

20 A Phetr a drôdd, ac a welodd y diſcybl *yr oedd yr Jeſu yn ei garu, yn canlyn: yr hwn hefyd a bwyſaſei ar ei ddwyfron ef ar ſwpper, ac a ddywedaſei, Pwy, Arglwydd, yw yr hwn a'th fradycha di?

*Pen. 13. 23. & 20. 2.

21 Pan welodd Petr hwn, efe a ddywedodd wrth yr Jeſu, Arglwydd, ond beth a wna hwn?

22 Yr Jeſu a ddywedodd wrtho, Os mynnaf iddo aros hyd oni ddelwyf, beth [yw] hynny i ti? canlyn di fy-fi.

23 Am hynny yr aeth y gair ymma allan ym mhlith y brodyr, na fyddei y diſcybl hwnnw farw: ac ni ddywedaſei yr Jeſu wrtho, na fyddei efe farw: ond, Os mynnaf iddo aros hyd oni ddelwyf, beth [yw] hynny i ti?

24 Hwn yw 'r diſcybl ſydd yn tyſtiolaethu am y pethau hyn, ac a ſcrifennodd y pethau hyn: ac ni a wyddom fôd ei dyſtiolaeth ef yn wir.

25 *Ac y mae hefyd lawer o bethau eraill a wnaeth yr Jeſu, y rhai ped yſcrifennid hwy bôb yn un ac un, nid wyf yn tybied y cynhwyſei y bŷd y llyfrau a ſcrifennid. Amen. ☜

*Pen. 20. 30.



# ACTAU NEU WEITHREDOEDD YR APOSTOLION.

## PENNOD. I.

1 Chriſt er mwyn paratoi ei Apoſtolion i weled ei dderchafiad ef, yn eu caſclu hwy ynghyd i fynydd yr Olewydd, ac yn gorchymmyn iddynt ddiſgwyl yn Ieruſalem am ddanfon yr Yſpryd glân, ac yn addo cyn nemmawr o ddyddiau ei anfon ef; trwy rinwedd yr hwn y byddynt yn dyſtion iddo ef hyd eithafoedd y ddaiar. 9 Ar ôl ei ymdderchafiad ef, y mae dau Angel yn eu rhybuddio hwy i ymadel, ac i roddi eu meddyliau ar ei ei ail-dyfodiad ef. 12 Hwythau felly yn dychwelyd, a chan ymroi i weddi, yn dewis Matthias yn Apoſtol yn lle Iudas.

Yr Epiſtol ar ddydd y Cyfarchafael.



Y Traethawd cyntaf a wnaethum, o Theophilus, am yr holl bethau a ddechreuodd yr Jeſu eu gwneuthur a'u dyſcu,

2 Hyd y dydd y derbyniwyd ef i fynu, wedi iddo trwy yr Yſpryd glân roddi gorchymmynion i'r Apoſtolion a etholaſei.

3 J'r rhai hefyd yr ymddangoſodd efe yn fyw wedi iddo ddioddef, trwy lawer o arwyddion ſicr, gan fôd yn weledig iddynt tros ddeugain nhiwrnod, a dywedyd y pethau a berthynent i deyrnas Dduw.

4 Ac ‖ wedi ymgynnull gyd â hwynt, efe a orchymynnodd iddynt nad ymadawent o Jeruſalem, eithr diſgwyl am addewid y Tâd, *yr hwn [eb efe] a glywſoch gennyfi.

‖Neu, gyttal, neu, gydfwytta â hwynt.

*Luc. 24. 49.

5 *Oblegid Joan yn ddiau a fedyddiodd â dwfr, ond chwi a fedyddir â'r Yſpryd glân, cyn nemmawr o ddyddiau.

*Matt. 3. 11.

6 Gan hynny wedi eu dyfod hwy ynghyd, hwy a ofynnaſant iddo, gan ddywedyd, Arglwydd, ai 'r pryd hyn y rhoddi drachefn y frenhiniaeth i Jſrael?

7 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Ni pherthyn i chwi wybod yr amſeroedd, na'r prydiau, y rhai a oſodes y Tâd yn ei feddiant ei hun:

8 *Eithr chwi a dderbyniwch nerth ‖ yr Yſpryd glân wedi y delo efe arnoch; ac a fyddwch dyſtion i mi yn Jeruſalem, ac yn holl Judæa, a Samaria, ac hyd eithaf y ddaiar.

*Pen. 2. 2.

‖Neu, pan ddel yr Yſpryd glân arnoch.

9 *Ac wedi iddo ddywedyd y pethau hyn, a hwynt hwy yn edrych, efe a dderchafwyd i fynu: a chwmmwl a'i derbyniodd ef allan o'u golwg hwynt.

*Luc. 24. 51.

10 Ac fel yr oeddynt yn edrych yn ddyfal tua'r nêf, ac efe yn myned i fynu, wele, dau wr a ſafodd ger llaw iddynt, mewn gwiſc wen:

11 Y rhai hefyd a ddywedaſant, Chwi wŷr o Galilæa, pa ham y ſefwch yn edrych tu a'r nêf? yr Jeſu hwn, yr hwn a gymmerwyd i fynu oddi wrthych i'r nêf, a ddaw felly yn yr un modd ac y gwelſoch ef yn myned i'r nêf. ☜

12 Yna

12 Yna y troesant i Jerusalem, o'r mynydd a elwir Olewydd, yr hwn sydd yn agos i Jerusalem, [sef] taith [diwrnod] Sabbath.

13 Ac wedi eu dyfod i mewn, hwy a aethant i fynu i oruch-stafell, lle yr oedd Petr ac Iaco, ac Ioan, ac Andreas, Philip, a Thomas, Bartholomew, a Matthew, Iaco [mab] Alphæus, a Simon Zelotes, a Judas [brawd] Iaco, yn aros.

14 Y rhai hyn oll oedd yn parhau yn gytûn mewn gweddi ac ymbil, gyd â'r gwragedd, a Mair mam yr Iesu, a chyd â'i frodyr ef.

Yr Epistol ar ddigwyl S. Matthias.

15 ☞ Ac yn y dyddiau hynny Petr a gyfododd i fynu ynghanol y discyblion, ac a ddywedodd, (a nifer yr henwau yn yr un man oedd ynghylch ugain a chant)

16 Ha-wŷr frodyr, yr oedd yn rhaid cyflawni yr Scrythur ymma *a rag-ddywedodd yr Yspryd glân trwy enau Dafydd, am Judas, yr hwn a fu flaenor i'r rhai a ddaliasant yr Iesu:

*Psal.41.9.

17 Canys efe a gyfrifwyd gyd â ni, ac a gawsei ran o'r weinidogaeth hon.

18 *A hwn a bwrcasodd faes â gwobr anwiredd, ac wedi ymgrogi, a dorrodd yn ei ganol: a'i holl ymyscaroedd ef a dywalltwyd allan.

*Matt.27.7.

19 A bu hyspys hyn i holl breswyl-wŷr Jerusalem, hyd oni elwir y maes hwnnw yn eu tafod priodol hwy, Aceldama, hynny yw, maes y gwaed.

20 *Canys scrifennwyd yn llyfr y Psalmau, Bydded ei drigfan ef yn ddiffaethwch, ac na bydded a drigo ynddi: *A chymmered arall ei||escobaeth ef.

*Psal.69.26. *Psal.109.7. ||swydd.

21 Am hynny mae yn rhaid, o'r gwŷr a fu yn cyd-ymdaith â ni yr holl amser yr aeth yr Arglwydd Iesu i mewn ac allan yn ein plith ni,

22 Gan ddechreu o fedydd Ioan hyd y dydd y cymmerwyd ef i fynu oddi wrthym ni; bôd un o'r rhai hyn gyd â ni, yn dyst o'i adgyfodiad ef.

23 A hwy a osodasant ddau ger bron, Joseph yr hwn a henwid Barsabas, ac a gyfenwid Justus, a Matthias:

24 A chan weddio, hwy a ddywedasant, Tydi Arglwydd, yr hwn a wyddost galonnau pawb, dangos pa un o'r ddau hyn a etholaist,

25 I dderbyn rhan o'r weinidogaeth hon, a'r Apostoliaeth, o'r hon y cyfeiliornodd Judas, i fyned i'w le ei hun.

26 A hwy a fwriasant eu coel-brennau hwynt: ac ar Matthias y syrthiodd y coelbren, ac efe a gyfrifwyd gyd â'r un Apostol ar ddeg. ☜.

PEN. II.

1 Yr Apostolion wedi eu llenwi â'r Yspryd glân, yn llefaru ag amryw dafodau, a rhai yn rhyfeddu o'i plegid, ac eraill yn eu gwatwar; 14 A Phetr yn eu hargyoeddi hwy, ac yn dangos fod yr Apostolion yn llefaru trwy nerth yr Yspryd glân, a bôd yr Iesu wedi cyfodi oddiwrth y meirw, a derchafu i'r nefoedd, a thywallt o hono yr Yspryd glân, ac mai efe oedd y Messias, gwr a wyddent hwy ei fôd yn brofedig gan Dduw, trwy ei wrthiau, a'i ryfeddodau, a'i arwyddion, a chwedi ei groeshoelio, nid heb ei derfynedig gyngor, a'i rag-wybodaeth ef: 37 Petr yn bedyddio llawer o'r rhai a droesid. 41 y rhai wedi hynny sydd yn cytal yn dduwiol ac yn gariadus: yr Apostolion yn gwneuthr gwrthiau lawer, a Duw beunydd yn chwanegu ei Eglwys.

Yr Epistol ar ddydd y Sulgwyn.



AC wedi dyfod dydd y Pentecost, yr oeddynt hwy oll yn gytûn yn yr un lle.

2 Ac yn ddisymmwth y daeth sŵn o'r nef, megis gwynt nerthol yn rhuthro, ac a lanwodd yr holl dŷ, lle yr oeddynt yn eistedd.

3 Ac ymddangosodd iddynt dafodau gwahanedig megis o dân, ac efe a eisteddodd ar bôb un o honynt.

4 A hwy oll a lanwyd â'r Yspryd glân, ac a ddechreuasant lefaru â thafodau eraill, megis y rhoddes yr Yspryd iddynt ymadrodd.

5 Ac yr oedd yn trigo yn Jerusalem, Iddewon, gwŷr bucheddol o bôb cenedl dan y nêf.

6 Ac wedi myned y gair o hyn, daeth y lliaws ynghyd, ac a drallodwyd, o herwydd bôd pôb un yn eu clywed hwy yn llefaru yn ei iaith ei hun.

7 Synnodd hefyd ar bawb, a rhyfeddu a wnaethant, gan ddywedyd wrth ei gilydd, Wele, onid Galilæaid yw y rhai hyn oll sy yn llefaru?

8 A pha fodd yr ydym ni yn eu clywed hwynt, bôb un yn ein hiaith ein hun, yn yr hon i'n ganed ni?

9 Parthiaid, a Mediaid, ac Elamitiaid, a thrigolion Mesopotamia, a Judæa, a Chappadocia, Pontus, ac Asia:

10 Phrygia, a Phamphilia, yr Aipht, a pharthau Libya, yr hon sydd ger llaw Cyrene: a dieithriaid o Rufein-wŷr, Iddewon a phroselytiaid,

11 Cretiaid, ac Arabiaid, yr ydym ni yn eu clywed hwynt yn llefaru yn ein iaith ni, fawrion weithredoedd Duw. ☜

12 A synnasant oll, ac a ammheuasant, gan ddywedyd y naill wrth y llall, Beth a all hyn fôd?

13 Ac eraill gan watwar a ddywedasant, llawn o win melus ydynt.

14 Eithr Petr yn sefyll gyd â'r un ar ddeg, a gyfododd ei leferydd, ac a ddywedodd wrthynt, O wŷr o Iddewon, a chwi oll sydd yn trigo yn Jerusalem, bydded hyspysol hyn i chwi, a chlust-ymwrandewch â'm geiriau.

15 Canys nid yw y rhai hyn yn feddwon, fel yr ydych chwi yn tybied, (oblegid y drydedd awr o'r dydd yw hi.)

*Ioel.2.28. Esa.44.3.

16 *Eithr hyn yw y peth a ddywetpwyd trwy y Prophwyd Joel,

17 A bydd yn y dyddiau diweddaf, medd Duw, y tywalltaf o'm Yspryd ar bob cnawd: a'ch meibion chwi, a'ch merched a brophwydant, a'ch gwŷr ieuaingc a welant weledigaethau, a'ch hynaf-gwŷr a freuddwydiant freuddwydion:

18 Ac ar fy ngweision, ac ar fy llaw-forwynion, y tywalltaf o'm Yspryd yn y dyddiau hynny, a hwy a brophwydant.

19 Ac mi a roddaf ryfeddodau yn y nef uchod, ac arwyddion yn y ddaiar isod, gwaed, a thân, a tharth mŵg.

*Ioel 2.31.

20 *Yr haul a droir yn dywyllwch, a'r lloer yn waed, cyn i ddydd mawr ac eglur yr Arglwydd ddyfod.

*Rhuf. 10, 13.

21 *A bydd, pwy bynnac a alwo ar Enw yr Arglwydd, a fydd cadwedig.

22 Ha-wŷr Israel, clywch y geiriau hyn: Iesu o Nazareth, gŵr profedig gan Dduw yn eich plith chwi, trwy nerthoedd, a rhyfeddodau, ac arwyddion, y rhai a wnaeth Duw trwyddo ef yn eich canol chwi, megis ac y gwyddoch chwithau,

23 Hwn wedi ei roddi trwy derfynedig gyngor a rhag-wybodaeth Duw, a gymmerasoch chwi, a thrwy ddwylo anwir a groes-hoeliasoch, ac a laddasoch.

24 Yr hwn a gyfodes Duw, gan ryddhau gofidiau angeu: canys nid oedd bossibl ei attal ef ganddo.

*Psal. 16. 9.

25 Canys Dafydd sydd yn dywedyd am dano, *Rhag-welais yr Arglwydd ger fy mron yn oestad, canys ar fy neheulaw y mae, fel na'm ysgoger.

26 Am hynny y llawenhaodd fy nghalon, ac y gorfoleddodd fy nhafod; ie, a'm cnawd hefyd a orphywys mewn gobaith,

27 Am na adewi fy enaid yn uffern, ac na oddefi i'th Sanct weled llygredigaeth.

28 Gwnaethost yn hyspys i mi ffyrdd y bywyd: ti a'm cyflawni o lawenydd â'th wyneb-pryd.

*1.Bren.2.10.

29 Ha-wŷr frodyr, y mae yn rhydd i mi ddywedyd yn hŷ wrthych, am y *Patriarch Dafydd, ei farw ef a'i gladdu, ac y mae ei feddrod ef gyd â ni hyd y dydd hwn.

*Psal.132.11.

30 Am hynny, ac efe yn Brophwyd, *yn gwybod dyngu o Dduw iddo trwy lw, mai o ffrwyth ei lwynau ef o ran y cnawd, y cyfodei efe Grist, i eistedd ar ei orseddfa ef.

*Psal.16.11.

31 Ac efe yn rhag-weled a lefarodd am ad-gyfodiad Christ, *na adawyd ei enaid ef yn uffern, ac na's gwelodd ei gnawd ef lygredigaeth.

32 Yr Iesu hwn a gyfododd Duw i fynu, o'r hyn yr ydym ni oll yn dystion.

33 Am hynny wedi ei dderchafu ef drwy ddeheulaw Duw, ac iddo dderbyn gan y Tâd, yr addewid o'r Yspryd glân, efe a dywalltodd y peth ymma yr ydych chwi yr awron yn ei weled, ac yn ei glywed.

*Psal.110.1.

34 Oblegid ni dderchafodd Dafydd i'r nefoedd: ond y mae efe yn dywedyd ei hun, *Yr Arglwydd a ddywedodd wrth fy Arglwydd, Eistedd ar fy neheu-law,

35 Hyd oni osodwyf dy elynion yn droed-faingc i'th draed.

36 Am hynny, gwybydded holl dŷ Israel yn ddiogel, ddarfod i Dduw wneuthur yn Arglwydd ac yn Grist, yr Iesu hwn a groes-hoeliasoch chwi.

37 Hwythau wedi clywed hyn, a ddwysbigwyd yn eu calon, ac a ddywedasant wrth Petr, a'r Apostolion eraill, Ha-wyr frodyr, beth a wnawn ni?

38 A Phetr a ddywedodd wrthynt, Edifarhewch, a bedyddier pôb un o honoch yn Enw Iesu Grist, er maddeuant pechodau: a chwi a dderbyniwch ddawn yr Yspryd glân.

39 Canys i chwi y mae yr addewid, ac i'ch plant, ac i bawb ym-mhell, cynnifer ac a alwo yr Arglwydd ein Duw ni atto.

40 Ac â llawer o ymadroddion eraill y tystiolaethodd, ac y cynghorodd efe, gan ddywedyd, Ymgedwch rhag y genhedlaeth drofaus hon.

41 Yna y rhai a dderbyniasant ei air ef yn ewyllysgar, a fedyddiwyd: a chwanegwyd attynt y dwthwn hwnnw, ynghylch tair mil o eneidiau.

42 Ac yr oeddynt yn parhau yn athrawiaeth ac ynghymdeithas yr Apostolion, ac yn torri bara, ac mewn gweddiau.

43 Ac ofn a ddaeth ar bôb enaid: a llawer o ryfeddodau, ac arwyddion a wnaethpwyd gan yr Apostolion.

44 A'r rhai a gredent oll oeddynt yn yr un man, a phôb peth ganddynt yn gyffredin:

45 A hwy a werthasant eu meddiannau a'u da, ac a'u rhannasant i bawb, fel yr oedd yr eisieu ar neb.

‖ gartref.

46 A hwy beunydd yn parhau yn gytûn yn y Deml, ac yn torri bara ‖ o dŷ i dŷ, a gymmerasant eu lluniaeth mewn llawenydd a symledd calon:

47 Gan foli Duw, a chael ffafor gan yr holl bobl. A'r Arglwydd a chwanegodd beunydd at yr Eglwys, y rhai fyddent gadwedig.

## PEN. III.

1 Petr wrth bregethu i'r bobl a ddaethei i weled y clôff a roesid ar ei draed, 12 yn professu nad trwy ei rym a'i dduwioldeb ef, neu Ioan, y gwnaethid ef yn iâch, ond trwy Dduw, a'i fâb Iesu, a thrwy ffydd yn ei Enw ef: 13 gan eu ceryddu hwy hefyd am groes-hoelio yr Iesu. 17 Yr hyn beth gan iddynt ei wneuthur mewn anwybod, ac wrth hynny gyflawni terfynedic gyngor Duw, ar Scrythyrau: 19 Y mae efe yn eu hannog hwy trwy edifeirwch a ffydd, i geisio maddeuant o'i pechodau, ac iechydwriaeth yn yr unrhyw Iesu.


Etr hefyd ac Joan a aethant i fynu i'r Deml ynghyd, ar yr awr weddi, [sef] y nawfed:

2 A rhyw wr clôff o groth ei fam, a ddygid, yr hwn a ddodent beunydd wrth borth y Deml, yr hwn a elwid Prydferth, i ofyn elusen gan y rhai a elai i mewn i'r Deml.

3 Yr hwn, pan welodd ef Petr ac Joan ar fedr myned i mewn i'r Deml, a ddeisyfiodd gael elusen.

4 A Phetr yn dal sulw arno gyd ag Joan, a ddywedodd, Edrych arnom ni.

5 Ac efe a ddaliodd sulw arnynt, gan obeithio cael rhyw beth ganddynt.

6 Yna y dywedodd Petr, Arian ac aur nid oes gennif; eithr yr hyn sydd gennif, hynny yr wyf yn ei roddi i ti: Yn enw Iesu Grist o Nazareth, cyfod a rhodia.

7 A chan ei gymmeryd ef erbyn ei ddeheu-law, efe a'i cyfododd ef i fynu: ac yn ebrwydd ei draed ef a'i fferau a gadarnhawyd:

8 A chan neidio i fynu, efe a safodd, ac a rodiodd, ac a aeth gyd â hwynt i'r Deml, dan rodio, a neidio, a moli Duw.

9 A'r holl bobl a'i gwelodd ef yn rhodio, ac yn moli Duw.

10 Ac yr oeddynt hwy yn ei adnabod, mai hwn oedd yr un a eisteddai am elusen, wrth borth prydferth y Deml: a hwy a lanwyd o fraw a synnedigaeth am y peth a ddigwyddasei iddo.

11 Ac fel yr oedd y cloff a iachasid yn attal Petr ac Joan, yr holl bobl yn frawychus, a gyd-redodd attynt, i'r porth a elwir [porth] Solomon.

12 A phan welodd Petr, efe a attebodd i'r bobl, Ha wyr Israeliaid, beth a wnewch chwi yn rhyfeddu am hyn? neu beth a wnewch chwi yn dal sulw arnom ni, fel pe trwy ein nerth ein hun, neu [ein] duwioldeb, y gwnaethem i hwn rodio?

13 Duw Abraham, ac Isaac, ac Jacob, Duw ein tadau ni, a ogoneddodd ei Fâb Iesu, yr hwn a draddodasoch chwi, ac a'i gwadasoch ger bron Pilat, pan farnodd efe ef iw ollwng yn rhydd.

14 * Eithr chwi a wadasoch y Sanct a'r Cyfiawn, ac a ddeisyfiasoch roddi i chwi wr llofruddiog: (*Matt.27.20.)

15 A thywysog y bywyd a laddasoch, yr yr hwn a godes Duw o feirw, o'r hyn yr ydym ni yn dystion,

16 A'i Enw ef, trwy ffydd yn ei Enw ef, a nerthodd y dyn ymma a welwch, ac a adwaenoch chwi: a'r ffydd yr hon [sydd] drwyddo ef, a roes iddo ef yr holl-iechyd hwn, yn eich gwydd chwi oll:

17 Ac yn awr frodyr, mi a wn mai trwy anwybod y gwnaethoch, megis y gwnaeth eich penaethiaid chwi hefyd.

18 Eithr y pethau a rag-fynegodd Duw trwy enau ei holl Brophwydi, y dioddefei Christ, a gyflawnodd efe fel hyn.

19 Edifarhewch gan hynny, a dychwelwch, fel y deleer eich pechodau, pan ddelo yr amseroedd i orphywys o olwg yr Arglwydd:

20 Ac yr anfono efe Iesu Grist, yr hwn a bregethwyd o'r blaen i chwi.

21 Yr hwn sydd raid i'r nef ei dderbyn, hyd amseroedd adferiad pob beth, y rhai a ddywedodd Duw drwy enau ei holl sanctaidd Brophwydi, erioed.

22 *Canys Moses a ddywedodd wrth y tadau, yr Arglwydd eich Duw a gyfyd i chwi Brophwyd o'ch brodyr, megis myfi: arno ef y gwrandewch || ymmhob peth a ddywetto wrthych. (*Deut.18.15. Pen.7.37. || yn ol pob peth.)

23 A bydd, pob enaid ni wrandawo ar y Prophwyd hwnnw, a lwyr-ddifethir o blith y bobl.

24 A'r holl Brophwydi hefyd o Samuel, ac o'r rhai wedi, cynnifer ac a lefarasant, a rag-fynegasant hefyd am y dyddiau hyn.

25 Chwy-chwi ydych blant y Prophwydi, a'r cyfammod, yr hwn a wnaeth Duw â'n tadau ni, * gan ddywedyd wrth Abraham, Ac yn dy hâd ti y bendithir holl dylwythau y ddaiar. (*Gen.3.)

26 Duw gwedi cyfodi ei fab Iesu, a'i hanfonodd ef i chwi yn gyntaf, gan eich bendithio chwi, trwy droi pob un o honoch ymmaith oddiwrth eich drygioni.

## PEN. IV.

1 Llywodraethwyr yr Iddewon yn anfodlon i bregeth Petr, 4 (er troi miloedd i'r ffydd o'r bobl a glywsent y gair,) ac yn ei garcharu ef, ac Ioan. 5 Wedi hynny Petr wrth ei holi, yn dywedyd yn hyderus, mai trwy Enw yr Iesu yr iachasid y cloff, ac mai trwy Iesu yn unic y bydd rhaid i ninnau gael iechydwriaeth dragwyddol: 13 hwythau yn gorchymmyn iddo ef ac i Ioan, na phregethent mwyach yn yr Enw hwnnw, ac eu bygwth hwy. 23 Yr Eglwys ar hynny yn ymroi i weddio: 31 A Duw trwy gynnhyrfu y lle 'r oeddent wedi ymgynnull ynddo, yn tystiolaethu glywed o hono ef eu gweddi hwynt: ac yn cadarnhau yr Eglwys trwy roddi yr Yspryd glân, a chariad perffaith tuac at ei gilydd.


C fel yr oeddynt yn llefaru wrth y bobl, yr offeiriaid || a blaenor y Deml, a'r Saducæaid, a ddaethant arnynt hwy: (|| a chapten.)

2 Yn flin ganddynt am eu bôd hwy yn dyscu y bobl, ac yn pregethu trwy yr Iesu, yr adgyfodiad o feirw.

3 A hwy a osodasant ddwylo arnynt hwy, ac a'u dodasant mewn dalfa, hyd trannoeth, canys yr oedd hi yn awr yn hwyr.

4 Eithr llawer o'r rhai a glywsant y gair a gredasant, a rhifedi y gwyr a wnaed ynghylch pum mil.

5 A dig-

5 A digwyddodd drannoeth ddarfod i'w llywodraeth-wyr hwy, a'r Henuriaid, a'r Scrifennyddion, ymgynnull i Jerusalem.

6 Ac Annas yr Arch-offeiriad, a Chaiaphas, ac Joan, ac Alexander, a chymmaint ac oedd o genedl yr Arch-offeiriad.

7 Ac wedi iddynt eu gosod hwy yn y canol, hwy a ofynnasant; trwy ba awdurdod, neu ym mha enw y gwnaethoch chwi hyn?

8 Yna Petr, yn gyflawn o'r Yspryd glân, a ddywedodd wrthynt, [chwy-chwi] Bennaethiaid y bobl, a Henuriaid Israel:

9 Od ydys yn ein holi ni heddyw am y weithred dda i'r dyn clâf, [sef] pa wedd yr iachawyd ef,

10 Bydded yspys i chwi oll, ac i bawb o bobl Israel, mai trwy enw Jesu Grist o Nazareth, yr hwn a groes-hoeliasoch chwi, yr hwn a gyfododd Duw o feirw, trwy hwnnw y mae hwn yn sefyll yn iach ger eich bron chwi.

11 *Hwn yw'r maen a lyswyd gennych chwi yr adeiladwyr, yr hwn a wnaed yn ben i'r gongl.

*Psal.118.22. Matt.21.42.

12 Ac nid oes iechydwriaeth yn neb arall: canys nid oes enw arall tan y nef, wedi ei roddi ymmhlith dynion, drwy yr hwn y mae yn rhaid i ni fod yn gadwedig.

13 A phan welsant hyfder Petr ac Joan, a deall mai gwyr annllythyrennog, ac annyscedig oeddynt, hwy a ryfeddasant. A hwy a'i hadwaenent, eu bod hwy gyd â'r Jesu.

14 Ac wrth weled y dyn a iachasid, yn sefyll gyd â hwynt, nid oedd ganddynt ddim i'w ddywedyd yn erbyn hynny.

15 Eithr wedi gorchymmyn iddynt fyned allan o'r gynghorfa, hwy a ymgynghorasant â'i gilydd,

16 Gan ddywedyd, beth a wnawn ni i'r dynion hyn? canys yn ddiau arwydd hynod a wnaed trwyddynt hwy, yspys i bawb a'r sydd yn preswylio yn Jerusalem, ac nis gallwn ni ei wadu.

17 Eithr fel na's taner ymmhellach ymmhlith y bobl, gan fygwth bygythiwn hwy, na lefaront mwyach wrth un dyn yn yr enw hwn.

18 A hwy a'u galwasant hwynt, ac a orchymynnasant iddynt nad ynganent ddim, ac na ddyscent yn enw'r Jesu.

19 Eithr Petr ac Joan a attebasant iddynt, ac a ddywedasant, Ai cyfiawn yw ger bron Duw, wrando arnoch chwi yn hytrach nag ar Dduw? bernwch chwi.

20 Canys ni allwn ni na ddywedom y pethau a welsom, ac a glywsom.

21 Eithr wedi eu bygwth ymmhellach, hwy a'u gollyngasant hwy yn rhyddion, heb gael dim i'w cospi hwynt, oblegid y bobl: canys yr oedd pawb yn gogoneddu Duw am yr hyn a wnaethid.

22 Canys yr oedd y dyn uwch-law deugain oed, ar yr hwn y gwnaethid yr arwydd hwn o iechydwriaeth.

23 A hwythau wedi eu gollwng ymmaith, a ddaethant at yr eiddynt, ac a ddangosasant yr holl bethau a ddywedasei yr Arch-offeiriaid, a'r Henuriaid wrthynt.

24 Hwythau pan glywsant, o un-fryd a gyfodasant eu llef at Dduw, ac a ddywedasant, ô Arglwydd, tydi yw y Duw yr hwn a wnaethost y nef, a'r ddaiar, a'r môr, ac oll sydd ynddynt:

25 *Yr hwn trwy yr Yspryd glân yngenau dy wâs Dafydd, a ddywedaist, Pa ham y terfyscodd y Cenhedloedd, ac y bwriadodd y bobloedd bethau ofer?

*Psal.2.1.

26 Brenhinoedd y ddaiar a safasant i fynu, a'r llywodraethwyr a ymgasclasant ynghyd, yn erbyn yr Arglwydd, ac yn erbyn ei Grist ef.

27 Canys mewn gwirionedd, yn y ddinas hon yr ymgynhullodd yn erbyn dy Sanct Fâb Jesu, yr hwn a enneiniaisti, Herod a Phontius Pilat, gyd â'r Cenhedloedd, a phobl Israel:

28 I wneuthur pa bethau bynnag a ragluniodd dy law a'th gyngor di, eu gwneuthur.

29 Ac yn awr, Arglwydd, edrych ar eu bygythion hwy, a chaniadhâ i'th weision draethu dy air di gydâ phôb hyfder:

30 Trwy estyn o honot dy law i iachâu, ac fel y gwneler arwyddion a rhyfeddodau, trwy enw dy sanctaidd Fâb Jesu.

31 Ac wedi iddynt weddio, siglwyd y lle yr oeddynt wedi ymgynnull ynddo, a hwy a lanwyd oll o'r Yspryd glan; a hwy a lefarasant air Duw yn hyderus.

32 A lliaws y rhai a gredasent oedd o un galon, ac un enaid, ac ni ddywedodd neb o honynt, fod dim ar a feddei, yn eiddo ei hunan, eithr yr oedd ganddynt bôb peth yn gyffredin.

33 A'r Apostolion, trwy nerth mawr, a roddasant dystiolaeth o adgyfodiad yr Arglwydd Jesu; a grâs mawr oedd arnynt hwy oll.

34 Canys nid oedd un anghenus yn eu plith hwy, oblegid cynnifer ac oedd berchen tiroedd neu dai, au gwerthasant, ac a ddygasant werth y pethau a werthasid,

35 Ac a'i gosodasant wrth draed yr Apostolion: a rhannwyd i bôb un megis yr oedd yr angen arno.

36 A ||Joseph, yr hwn a gyfenwid Barnabas gan yr Apostolion, (yr hyn o'i gyfieithu yw, mâb diddanwch) yn Lefiad, ac yn Cypriad o genedl,

||Joses.

37 A thir ganddo, a'i gwerthodd, ac a ddug yr arian, ac a'i gosodes wrth draed yr Apostolion.

## PEN. V.

1 Wedi i Ananias a Sapphira ei wraig, am ei rhagrith gwympo i lawr yn feirw, wrth gerydd Petr, 12 ac i'r Apostolion eraill wneuthur llawer o wrthiau, 14 er cynnydd i'r ffydd: 17 y mae yr Apostolion yn cael eu carcharu eilwaith, 19 ac er hynny yn cael eu gwaredu gan Angel, yr hwn sydd yn erchi iddynt bregethu i bawb ar gyhoedd: 21 hwythau wedi iddynt bregethu felly yn y Deml, 29 a cher bron y Cyngor, 33 mewn perygl

o gael

o gael eu lladd, eithr trwy gyngor Gamaliel, cynghorwr mawr ymhlith yr Iddewon, yn cael eu cadw yn fyw, 40 ac yn vnic eu curo, a hwythau yn gogoneddu Duw am hynny, ac heb beidio â phregethu.

Eithr rhyw wr, a'i enw Ananias, gyd â Sapphira ei wraig, a werthodd || dir,

2 Ac a ddarn-guddiodd beth o'r gwerth, a'i wraig hefyd || o'r gyfrinach, ac a ddug ryw gyfran, ac a'i gosododd wrth draed yr Apostolion.

3 Eithr Petr a ddywedodd, Ananias, pa ham y llanwodd Satan dy galon di, i ddywedyd celwydd wrth yr Yspryd glân, ac i ddarn-guddio peth o werth y tir?

4 Tra ydoedd yn aros, onid i ti yr oedd yn aros? ac wedi ei werthu, onid oedd yn dy feddiant di? pa ham y gosodaist y peth hyn yn dy galon? ni ddywedaist di gelwydd wrth ddynion, onid wrth Dduw.

5 Ac Ananias pan glybu y geiriau hyn, a syrthiodd i lawr, ac a drengodd: a daeth ofn mawr ar bawb a glybu y pethau hyn.

6 A'r gwŷr ieuaingc a gyfodasant, ac a'i || cymmerasant ef, ac a'i dygasant allan, ac a'i claddasant.

7 A bu megis yspaid tair awr, a'i wraig ef heb wybod y peth a wnaethid, a ddaeth i mewn.

8 A Phetr a attebodd iddi, dywet ti i mi, ai er cymmaint y gwerthasoch chwi y tir? Hithau a ddywedodd, ie, er cymmaint.

9 A Phetr a ddywedodd wrthi, pa ham y cyttunasoch i demtio Yspryd yr Arglwydd? wele draed y rhai a gladdasant dy wr di wrth y drws, a hwy a'th ddygant dithau allan.

10 Ac yn y man hi a syrthiodd wrth ei draed ef, ac a drengodd: a'r gwŷr ieuaingc wedi dyfod i mewn, a'i cawsant hi yn farw, ac wedi iddynt ei dwyn hi allan, hwy a'i claddasant hi yn ymyl ei gwr.

11 A bu ofn mawr ar yr holl Eglwys, ac ar bawb oll a glybu y pethau hyn.

12 ☞ A thrwy ddwylaw yr Apostolion y gwnaed arwyddion a rhyfeddodau lawer, ym-mhlith y bobl, (ac yr oeddynt oll yn gyttûn ym-mhorth Solomon.

13 Eithr ni feiddiei neb o'r lleill ymgyssylltu â hwynt, ond y bobl oedd yn eu mawrhau.

14 A chwanegwyd attynt rai yn credu yn yr Arglwydd, lliaws o wŷr a gwragedd hefyd.)

15 Hyd oni ddygent y rhai cleifion allan ar hŷd yr heolydd, a'u gosod ar welyau a glythau, fel o'r hyn lleiaf y cyscodei cyscod Petr, pan ddelei heibio, rai o honynt.

16 A lliaws a ddaeth hefyd ynghyd, o'r dinasoedd o amgylch Jerusalem, gan ddwyn rhai cleifion, a rhai a drallodid gan ysprydion aflan, y rhai a iachawyd oll. ☜

17 A'r Archoffeiriad a gyfododd, a'r holl rai oedd gyd ag ef (yr hon yw heresi y Saducæaid) a lanwyd o || genfigen,

18 Ac a ddodasant eu dwylo ar yr Apostolion, ac a'u rhoesant yn y carchar cyffredin.

19 Eithr Angel yr Arglwydd o hyd nôs, a agorodd ddrysau y carchar, ac a'u dûg hwynt allan; ac a ddywedodd,

20 Ewch, sefwch a llefarwch yn y Deml wrth y bobl, holl eiriau y fuchedd hon.

21 A phan glywsant, hwy a aethant yn foreu i'r Deml, ac a athrawiaethasant: eithr daeth yr Arch-offeiriad, a'r rhai oedd gyd ag ef, ac a alwasant ynghyd y Cyngor, a holl Henuriaid plant yr Israel, ac a ddanfonasant i'r carchar, iw dwyn hwy [ger bron.]

22 A'r swyddogion pan ddaethant, ni chawsant hwynt yn y carchar, eithr hwy a ddychwelasant, ac a fynegasant,

23 Gan ddywedyd; yn wir ni a gawsom y carchar wedi ei gau o'r fath siccraf, a'r ceidwaid yn sefyll allan o flaen y drysau, eithr pan agorasom, ni chawsom neb i mewn.

24 A phan glybu yr Arch-offeiriad, a || blaenor y Deml, a'r Offeiriaid pennaf, yr ymadroddion hyn, ammau a wnaethant yn eu cylch hwy, beth a ddoe o hyn.

25 Yna y daeth vn ac a fynegodd iddynt, gan ddywedyd, wele y mae y gwŷr a ddodasoch chwi yngharchar, yn sefyll yn y Deml, ac yn dyscu y bobl.

26 Yna y || blaenor gyd â'r swyddogion, a aeth ac a'u dug hwy heb drais: (oblegid yr oedd arnynt ofn y bobl, rhag eu llabyddio)

27 Ac wedi eu dwyn, hwy a'u gosodasant o flaen y Cyngor, a'r Arch-offeiriad a ofynnodd iddynt,

28 Gan ddywedyd, * oni orchymynnasom ni, gan orchymmyn i chwi na athrawiaethech yn yr enw hwn? ac wele, chwi a lanwasoch Jerusalem â'ch athrawiaeth, ac yr ydych yn ewyllysio dwyn arnom ni waed y dŷn hwn.

29 A Phetr, a'r Apostolion, a attebasant, ac a ddywedasant: rhaid yw vfyddhau i Dduw yn fwy nag i ddynion.

30 Duw ein tadau ni a gyfododd i fynu Jesu, yr hwn a laddasoch chwi, ac a groeshoeliasoch ar bren.

31 Hwn a dderchafodd Duw â'i ddeheulaw, yn dywysog, ac yn Jachawdwr, i roddi edifeirwch i Israel, a maddeuant pechodau.

32 A nyni ydym ei dystion ef o'r pethau hyn, a'r Yspryd glân hefyd, yr hwn a roddes Duw i'r rhai sydd yn vfyddhau iddo ef.

33 A phan glywsant hwy hynny, hwy a ffrommasant, ac a ymgynghorasant am eu lladd hwynt.

34 Eithr rhyw Pharisæad a'i enw Gamaliel, Doctor o'r gyfraith, parchedig gan yr holl bobl, a gyfododd i fynu yn y Cyngor, ac a archodd yrru yr Apostolion allan dros ennyd fechan;

35 Ac a ddywedodd wrthynt, Ha-wŷr o Israel, edrychwch arnoch eich hunain, pa beth

|| chapters.

|| Capten.

* Pen.4.18.

|| llid.

beth yr ydych ar fedr ei wneuthur am y dynion hyn.

36 Canys o flaen y dyddiau hyn, cyfododd Theudas i fynu, gan ddywedyd ei fôd ef yn rhyw vn, wrth yr hwn y glynodd rhifedi o wŷr, ynghylch pedwar cant, yr hwn a laddwyd, a chynnifer oll a‖ufyddhasant iddo a wascarwyd, ac a wnaed yn ddiddim.

‖Neu gredasant.

37 Yn ôl hwn y cyfododd Judas y Galilæad, yn nyddiau y drêth, ac efe a drôdd bobl lawer ar ei ôl, ac yntef hefyd a ddarfu am dano, a chynnifer oll a ufyddhasant iddo a wascarwyd.

38 Ac yr awron, meddaf i chwi, ciliwch oddiwrth y dynion hyn, a gadewch iddynt, oblegid os o ddynion y mae y cyngor hwn, neu'r weithred hon, fe a ddiddymmir:

39 Eithr os o Dduw y mae, ni ellwch chwi ei ddiddymmu, rhag eich cael yn ymladd yn erbyn Duw.

40 A chytuno ag ef a wnaethant; ac wedi iddynt alw yr Apostolion attynt, a'u curo, hwy a orchymmynnasant iddynt na lefarent yn enw yr Jesu, ac a'u gollyngasant ymmaith.

41 A hwy a aethant allan o olwg y Cyngor yn llawen, am eu cyfrif hwynt yn deilwng i ddioddef ammarch o achos ei enw ef.

42 A pheunydd yn y Deml, ac o dŷ i dŷ, ni pheidiasant â dyscu, a phregethu Jesu Grist.

## PEN. VI.

1 Yr Apostolion yn chwennych nad esceulusid y tlodion, o ran eu lluniaeth corphorol, ac yn ofalus hefyd eu hunain am gyfrannu gair Duw, lluniaeth yr enaid: 3 yn ordeinio swydd Diaconiaeth i saith o wyr etholedig, 5 o'r rhai y mae Stephan, gwr llawn o ffydd ac o'r Yspryd glân, yn vn: 12 a'i ddal ef gan y rhai a wradwyddodd efe wrth ymresymmu: 13 ac achwyn arno ar gam, am gablu yn erbyn y gyfraith, a'r Deml.



AC yn y dyddiau hynny, a'r dyscyblion yn amlhau, bu grwgnach gan y Groegiaid yn erbyn yr Hebræaid, am ddirmygu eu gwragedd gweddwon hwy, yn y weinidogaeth feunyddol.

2 Yna 'r deuddeg a alwasant ynghyd y lliaws discyblion, ac a ddywedasant: nid yw gymhesur i ni adel gair Duw, a gwasanaethu byrddau.

3 Am hynny frodyr, edrychwch yn eich plith, am seithwŷr da eu gair, yn llawn o'r Yspryd glân, a doethineb, y rhai a osodom ar hyn o orchwyl.

4 Eithr nyni a barhawn mewn gweddi, a gweinidogaeth y gair.

5 A bodlon fu 'r ymadrodd gan yr holl liaws: a hwy a etholasant Stephan, gŵr llawn o ffydd, ac o'r Yspryd glân, a Philip, a Phrochorus, a Nicanor, a Thimon, a Pharmenas, a Nicholas, proselyt o Antiochia:

6 Y rhai a osodasant hwy ger bron yr Apostolion, ac wedi iddynt weddio, hwy a ddodasant eu dwylo arnynt hwy.

7 A gair Duw a gynnyddodd, a rhifedi y discyblion yn Jerusalem a amlhaodd yn ddirfawr, a thyrfa fawr o'r offeiriaid a ufyddhasant i'r ffydd.

8 Eithr Stephan yn llawn ffydd, a nerth, a wnaeth ryfeddodau, ac arwyddion ym-mhlith y bobl.

9 Yna y cyfodes rhai o'r Synagog a elwir eiddo y Libertiniaid, a'r Cyreniaid, a'r Alexandriaid, a'r rhai o Cilicia, ac o Asia, gan ymddadleu ag Stephan.

10 Ac ni allent wrthwynebu y doethineb a'r Yspryd, drwy yr hwn yr oedd efe yn llefaru.

11 Yna y gosodasant wŷr i ddywedyd, nyni a'i clywsom ef yn dywedyd geiriau cablaidd yn erbyn Moses a Duw.

12 A hwy a gynhyrfasant y bobl, a'r henuriaid, a'r Scrifennyddion, a chan ddyfod arno, a'i cipptasant ef ac a'i dygasant i'r Gynghorfa.

13 Ac a osodasant gau dystion, y rhai a ddywedent: nid yw y dŷn hwn yn peidio â dywedyd cabl-eiriau, yn erbyn y lle sanctaidd hwn a'r gyfraith.

14 Canys nyni a'i clywsom ef yn dywedyd, y destrywiei yr Jesu hwn o Nazareth y lle ymma, ac y newidiei efe y defodau a draddododd Moses i ni.

15 Ac fel yr oedd yr oll rai a eisteddent yn y Cyngor yn dal sulw arno, hwy a welent ei wyneb ef, fel wyneb Angel.

## PEN. VII.

1 Stephan, wrth gael cennad i atteb trosto ei hun am y gabledd, 2 yn dangos ddarfod i Abraham addoli Duw yn iawn, a pha fôdd y dewisodd Duw y Tadau, 20 cyn geni Moses, a chyn adeiladu y Babell a'r Deml: 37 a thystiolaethu o Moses ei hun am Grist: 44 ac na pharhae y Ceremoniau oddiallan, y rhai a ordeiniesid ar ddull y portreiad nefawl, ond tros amser: 51 Gan eu ceryddu hwy, am eu gwaith yn gwrthwynebu, ac yn llâdd Christ y Cyfiawn hwnnw, am yr hwn y rhagddywedasei y prophwydi y doe efe i'r byd. 54 Hwythau ar hynny, yn ei labyddio ef i farwolaeth, ac yntef yn gorchymmyn ei enaid i'r Iesu, ac yn gweddio trostynt hwy.



YNa y dywedodd yr Arch-offeiriaid, A ydyw y pethau hyn felly?

2 Yntef a ddywedodd; Hawŷr, frodyr a thadau, gwrandewch, Duw y gogoniant a ymddangosodd i'n tâd Abraham, pan oedd efe ym Mesopotamia, cyn iddo drigo yn Charran;

3 Ac a ddywedodd wrtho; * Dôs allan o'th wlâd, ac oddi wrth dy dylwyth, a thyred i'r tîr a ddangoswyf i ti.

* Gen. 12. 1.

4 Yna y daeth efe allan o dîr y Caldeaid, ac y preswyliodd yn Charran: ac oddi yno wedi marw ei dâd, efe a'i symmudodd ef i'r tîr ymma, yn yr hwn yr ydych chwi yn preswylio yr awr hon.

5 Ac ni roes iddo etifeddiaeth ynddo, na

ddo

oddo lêd troed, ac efe a addawodd ei roddi iddo i'w feddiannu, ac i'w hâd yn ei ôl, pryd nad oedd plentyn iddo.

6 A Duw a lefarodd fel hyn, ||Dy hâd ti a fydd ymdeithydd mewn gwlad ddieithr, a hwy a'i caethiwant ef, ac a'i drygant, bedwar can mlynedd.

7 Eithr y genedl yr hon a wasanaethant hwy, a farnaf fi, medd Duw, ac wedi hynny y dônt allan, ac am gwasanaethant i yn y lle hwn.

8 *Ac efe a roddes iddo gyfammod yr enwaediad; *felly [Abraham] a genhedlodd Isaac, ac a enwaedodd arno yr wythfed dydd: *ac Isaac a genhedlodd Iacob, *ac Iacob a genhedlodd y deuddec Patriarch.

9 *A'r Patrieirch gan gynfigennu a werthasant Ioseph i'r Aipht: ond yr oedd Duw gyd ag ef,

10 Ac a'i hachubodd ef o'i holl orthrymderau, *ac a roes iddo hawddgarwch a doethineb, yngolwg Pharao brenin yr Aipht: ac efe a'i gosododd ef yn llywodraethwr ar yr Aipht, ac ar ei holl dŷ.

11 Ac fe ddaeth newyn dros holl dir yr Aipht a Chanaan, a gorthrymder mawr, a'n tadau ni chawsant lyniaeth.

12 *Ond pan glybu Iacob fôd ŷd yn yr Aipht, efe a anfonodd ein tadau ni allan yn gyntaf.

13 *A'r ail waith yr adnabuwyd Ioseph gan ei frodyr, a chenedl Ioseph a aeth yn hyspys i Pharao.

14 Yna yr anfonodd Ioseph, ac a gyrchodd ei dad Iacob, a'i holl genedl, pymthec enaid a thrugain.

15 *Felly yr aeth Iacob i wared i'r Aipht, *ac a fu farw, efe a'n tadau hefyd.

16 A hwy a symmudwyd i Sichem, ac a ddodwyd yn y bedd a brynasei Abraham er arian, gan feibion Emor [tâd] Sichem.

17 A phan nesaodd amser yr addewid, yr hwn a dyngasei Duw i Abraham, y bobl a gynnyddodd, ac a amlhâodd yn yr Aipht,

18 Hyd oni chyfododd brenin arall, yr hwn nid adwaenei mo Ioseph.

19 Hwn a fu ddichellgar wrth ein cenedl ni, ac a ddrygodd ein tadau, gan beri iddynt fwrw allan eu plant, fel na heppilient.

20 *Ar yr hwn amser y ganwyd Moses, *ac efe oedd || dlŵs i Dduw, ac a fagwyd dri mis yn-nhŷ ei dâd.

21 Ac wedi ei fwrw ef allan, merch Pharao a'i cyfodes ef i fynu, ac a'i magodd ef yn fâb iddi ei hun.

22 A Moses oedd ddyscedig yn holl ddoethineb yr Aiphtiaid, ac oedd nerthol mewn geiriau, ac mewn gweithredoedd.

23 A phan oedd efe yn llawn ddeugeinmlwydd oed, daeth i'w galon ef ymweled â'i frodyr plant yr Israel.

24 *A phan welodd efe un yn cael cam, efe a'i hamddiffynnodd ef, ac a ddialodd gam yr hwn a orthrymmid, gan daro yr Aiphtwr.

25 Ac efe a dybiodd fôd ei frodyr yn deall, fôd Duw yn rhoddi iechydwriaeth iddynt trwy ei law ef, eithr hwynt hwy ni ddeallasant.

26 *A'r dydd nesaf yr ymddangosodd efe iddynt, a hwy yn ymrafaelio, ac a'i hannogodd hwynt i heddychu, gan ddywedyd, ha-wyr, brodyr ydych chwi, pa ham y gwnewch gam â'i gilydd.

27 Ond yr hwn oedd yn gwneuthur cam â'i gymmydog, a'i cilgwthiodd ef, gan ddywedyd, pwy a'th osododd di yn llywodraethwr ac yn farnwr arnom ni.

28 A leddi di fi, y modd y lleddaist yr Aiphtiwr ddoe?

29 A Moses a ffoawdd ar y gair hwn, ac a fu ddieithr yn nhir Madian, lle y cenhedlodd efe ddau o feibion.

30 *Ac wedi cyflawni deugain mhlynedd, yr ymddangosodd iddo, yn anialwch mynydd Sina, Angel yr Arglwydd, mewn fflam dân mewn perth.

31 A Moses pan welodd, a fu ryfedd ganddo y golwg, a phan nessaodd i ystyried, daeth llef yr Arglwydd atto, gan ddywedyd,

32 Myfi yw Duw dy dadau, Duw Abraham, a Duw Isaac, a Duw Iacob. A Moses wedi myned yn ddychrynnedig, ni feiddiai ystyried.

33 Yna y dywedodd yr Arglwydd wrtho, Dattod dy escidiau oddi am dy draed, canys y lle yr wyt yn sefyll ynddo, sydd dir sanctaidd.

34 Gan weled y gwelais ddryg-fyd fy mhobl, y rhai sy yn yr Aipht, ac mi a glywais eu griddfan, ac a ddescynnais i'w gwared hwy; Ac yn awr tyred, mi a'th anfonaf di i'r Aipht.

35 Y Moses ymma, yr hwn a wrthodasant hwy, gan ddywedyd, Pwy a'th osododd di yn llywodraethwr, ac yn farnwr, hwn a anfonodd Duw yn llywydd, ac yn waredwr, trwy law yr Angel, yr hwn a ymddangosodd iddo yn y berth.

36 *Hwn a'u harweiniodd hwynt allan, gan wneuthur rhyfeddodau ac arwyddion, yn-nhir yr Aipht, ac yn y môr côch, ac *yn y diffaethwch, ddeugain mhlynedd.

37 Hwn yw'r Moses a ddywedodd i feibion Israel, *Prophwyd a gyfyd yr Arglwydd eich Duw i chwi, o'ch brodyr, fel myfi, arno ef y gwrandewch.

38 *Hwn yw efe a fu yn || yr Eglwys yn y diffaethwch, gyd â'r Angel a ymddiddanodd ag ef ym mynydd Sina, ac â'n tadau ni, yr hwn a dderbyniodd ymadroddion bywiol i'w rhoddi i ni.

39 Yr hwn ni fynnei ein tadau fod yn ufydd iddo, eithr cilgwthiasant ef, a throesant yn eu calonnau i'r Aipht,

40 *Gan ddywedyd wrth Aaron, Gwna i ni dduwiau i'n blaenori, oblegid y Moses ymma, yr hwn a'n dûg ni allan o dir yr Aipht, ni wyddom ni beth a ddigwyddodd iddo.

41 A hwy a wnaethant lô yn y dyddiau hynny, ac a offrymmasant aberth i'r eulyn, ac

Margin notes: || ei hâd ef. Gen.17.9. Gen.21.3. Gen.25.26. Gen.29.31. Gen.37.28. Gen.41.37. Gen.42.1. Gen.45.4. Gen.46.5. Gen.49.33. Exod.1.22. Heb.11.23. || dlŵs iawn. Exod.2.11. *Exod.2.13. Exod.3.2. *Exod.7. Exod.16. *Deut.18. *Exod.19. || y gynnulleidfa. Exod.32.

ac a ymlawenhasant yngweithredoedd eu dwylo ei hun.

42 Yna y trôdd Duw, ac a'u rhoddes hwy i fynu i wasanaethu llu y nef,* fel y mae yn scrifennedic yn llyfr y Prophwydi: A offrymmasoch i mi laddedigion ac aberthau, ddeugain mhlynedd yn yr anialwch, chwi tŷ Israel?

mos.5.25.

43 A chwi a gymmerasoch babell Moloch, a seren eich Duw Remphan, llunniau y rhai a wnaethoch i'w haddoli, minneu a'ch symmudaf chwi tu hwnt i Babilon.

44 Tabernacl y dystiolaeth oedd ymmhlith ein tadau yn yr anialwch, fel y gorchymynnasei yr hwn a ddywedei wrth Moses,*am ei wneuthur ef yn ôl y portreiad a welsei.

o.25.40.

45 Yr hwn a ddarfu i'n tadau ni ei gymmeryd,a'i ddwyn i mewn gyd ag Jesu i berchennogaeth y cenhedloedd, y rhai a yrrodd Duw allan o flaen ein tadau, hyd yn nyddiau Dafydd;

46 Yr hwn a gafodd ffafor ger bron Duw, ac a ddymunodd gael tabernacl i Dduw Jacob.

47 * Eithr Solomon a adeiladodd dŷ iddo ef.

ron.17.12.

48 * Ond nid yw y Goruchaf yn trigo mewn temlau o waith dwylo, fel y mae y Prophwyd yn dywedyd,

n.17.24.

49 Y nef [ yw ] fy ngorsedd-faingc, a'r ddaiar yw troed-faingc fy nhraed. Pa dŷ a adeiledwch i mi, medd yr Arglwydd, neu pa le fydd im gorphwyssa i.

50 Ond fy llaw i a wnaeth hyn oll?

51 Chwi rai gwar-galed, a dienwaededig o galon, ac o glustiau, yr ydych chwi yn wastad yn gwrthwynebu yr Yspryd glân, megis eich tadau, felly chwithau.

52 Pa un o'r Prophwydi ni ddarfu i'ch tadau chwi ei erlid? a hwy a laddasant y rhai oedd yn rhagfynegi dyfodiad y Cyfiawn,i'r hwn yr awron y buoch chwi fradwyr a llofruddion.

53 Y rhai a dderbyniasoch y gyfraith drwy drefnid angelion, ac nis cadwasoch.

54 A phan glywsant hwy y pethau hyn, hwy a frommasant yn eu calonnau, ac a yscyrnygasant ddannedd arno.

55 ☞ Ac efe yn gyflawn o'r yspryd glân, a edrychodd yn ddyfal tu a'r nef, ac a welodd ogoniant Duw, a'r Jesu yn sefyll ar ddeheu-law Dduw.

Epistol ar wyl S. ...han.

56 Ac efe a ddywedodd; wele, mi a welaf y nefoedd yn agored,a Mâb y dŷn yn eistedd a'r ddeheu-law Duw.

57 Yna y gwaeddasant â llef uchel, ac a gaeasant eu clustiau,ac a ruthrasant yn unfryd arno,

58 Ac a'i bwriasant allan o'r ddinas, ac a'i llabyddiasant, a'r tystion a ddodasant eu dillad wrth draed dŷn ieuangc a elwid Saul.

59 A hwy a labyddiasant Stephan, ac efe yn galw a'r Dduw, ac yn dywedyd, Arglwydd Jesu derbyn fy yspryd.

60 Ac efe a ostyngodd ar ei liniau, ac a lefodd â llef uchel, Arglwydd na ddod y pechod hyn yn eu herbyn. Ac wedi iddo ddywedyd hyn,efe a hunodd.

PEN. VIII.

1 Yr Eglwys, o achos yr erlid yn Ierusalem, wedi ei phlannu yn Samaria, 5 trwy waith Philip y Diacon, y'r hwn a bregethodd,ac a wnaeth wrthiau, ac a fedyddiodd lawer, ymhlith eraill Simon y Swynwr, hudol mawr ymmysc y bobl: 14 Petr ac Ioan yn dyfod i gadarnhau,ac i chwanegu'r Eglwys,gan roddi yr Yspryd glân trwy weddi ac arddodiad dwylaw: 18 A Simon yn ceisio prynu y cyffelyb awdurdod ganthynt, 20 a Phetr yn ei geryddu ef yn dôst, am ei ragrith a'i gybydd-dod,ac yn ei annoc ef i edifeirhau,ac yn dychwelyd i Ierusalem, tan bregethu gair yr Arglwydd, efe ac Ioan. 26 Ac Angel yn anfon Philip,i ddyscu ac i fedydddio yr Efnuch o Ethiopia.



A Saul oedd yn cyttûno i'w ladd ef. A bu yn y dyddiau hynny erlid mawr a'r yr Eglwys oedd yn Jerusalem: a phawb a wascarwyd ar hŷd gwledydd Judæa a Samaria, ond yr Apostolion.

2 A gwŷr bucheddol a ddygasant Stephan [ i'w gladdu,] ac a wnaethant alar mawr am dano ef.

3 Eithr Saul oedd yn anrheithio yr eglwys,gan fyned i mewn i bôb tŷ, a llusco allan wŷr a gwragedd, efe a'u rhoddes yngharchar.

4 A'r rhai a wascarasid, a dramwyasant gan bregethu y gair.

5 Yna Philip a aeth i wared i ddinas Samaria,ac a bregethodd Grist iddynt.

6 A'r bobl yn gyttûn, a ddaliodd ar y pethau a ddywedid gan Philip, wrth glywed o honynt, a gweled yr arwyddion yr oedd efe yn eu gwneuthur.

7 Canys ysprydion aflan, gan lefain â llef uchel, a aethant allan o lawer a berchennogid ganddynt,a llawer yn gleifion o'r parlys,ac yn gloffion,a iachawyd.

8 Ac yr oedd llawenydd mawr yn y ddinas honno.

9 Eithr rhyw wr a'i enw Simon,oedd o'r blaen yn y ddinas, yn swyno, ac yn hudo pobl Samaria, gan ddywedyd ei [fôd] ef ei hûn yn rhyw un mawr.

10 Ar yr hwn yr oedd pawb,o'r lleiaf hyd y mwyaf, yn gwrando, gan ddywedyd, Mawr allu Duw yn hwn.

11 Ac yr oeddynt a'u coel arno, o herwydd iddo dalm o amser eu hudo hwy â swynion.

12 Eithr pan gredasant i Philip, yn pregethu y pethau a berthynent i deyrnas Dduw, ac i enw Jesu Grist, hwy a fedyddiwyd, yn wŷr ac yn wragedd.

13 A Simon yntef hefyd a gredodd, ac wedi

wedi ei fedyddio, a lynodd wrth Philip; a synnodd arno wrth weled yr arwyddion, a'r nerthoedd mawrion a wneid.

14 ☞ A phan glybu yr Apostolion yn Jerusalem, dderbyn o Samaria air Duw, hwy a anfonasant attynt Petr ac Joan.

Epistol ar ... Mawrth ... Sulgwyn.

15 Y rhai wedi eu dyfod i wared, a weddiasant drostynt, ar iddynt dderbyn yr Yspryd glân.

16 Canys etto nid oedd efe wedi syrthio ar nêb o honynt, ond yr oeddynt yn unic wedi eu bedyddio yn enw yr Arglwydd Jesu.

17 Yna hwy a ddodasant eu dwylaw arnynt, a hwy a dderbyniasant yr Yspryd glân. ☜

18 A phan welodd Simon mai trwy ||osodiad dwylaw yr Apostolion y rhoddid yr Yspryd glân, efe a gynnygiodd iddynt arian,

|| ...ddodiad.

19 Gan ddywedyd, rhoddwch i minneu hefyd yr awdurdod hon, fel ar bwy bynnac y gosodwyf fy nwylo, y derbynio efe yr Yspryd glân.

20 Eithr Petr a ddywedodd wrtho, bydded dy arian gyd â thi i ddestryw, am i ti ||dybied y meddiennir dawn Duw trwy arian.

21 Nid oes i ti na rhan, na chyfran yn y gorchwyl hyn, canys nid yw dy galon di yn uniawn ger bron Duw.

22 Edifarhâ gan hynny am dy ddrygioni hyn, a gweddia Dduw a faddeuir i ti feddyl fryd dy galon.

23 Canys mi a'th welaf mewn bustl chwerwder, ac mewn rhwymedigaeth anwiredd.

24 A Simon a attebodd ac a ddywedodd, gweddiwch chwi drosofi at yr Arglwydd, fel na ddêl dim arnaf o'r pethau a ddywedasoch.

25 Ac wedi iddynt dystiolaethu, a llefaru gair yr Arglwydd, hwy a ddychwelasant i Jerusalem, ac a bregethasant yr Efengyl yn llawer o bentrefi y Samariaid.

26 Ac Angel yr Arglwydd a lefarodd wrth Philip, gan ddywedyd, Cyfot a dôs tu a'r deau, i'r ffordd sydd yn myned i wared o Jerusalem i Gaza: yr hon sydd anghyfannedd.

27 Ac efe a gyfododd ac a aeth, ac wele gwr o Ethiopia, Eunuch galluog dan Candace brenhines yr Ethiopiaid, yr hwn oedd a'r ei holl drysor hi, yr hwn a ddaethei i Jerusalem i addoli:

28 Ac oedd yn dychwelyd, ac yn eistedd yn ei gerbyd, ac yn darllein y Prophwyd Esaias.

29 A dywedodd yr Yspryd wrth Philip, dôs yn nês, a glŷn wrth y cerbyd ymma.

30 A Philip a redodd atto, ac a'i clybu ef yn darllein y Prophwyd Esaias; ac a ddywedodd; A wyt ti yn deall y pethau yr wyt yn eu darllein?

31 Ac efe a ddywedodd, pa fodd y gallaf, oddieithr i ryw un fy nghyfarwyddo i. Ac efe a ddymunodd ar Philip ddyfod i fynu, ac eistedd gyd ag ef.

32 A'r lle o'r Scrythur yr oedd efe yn ei ddarllein, oedd hwn, * fel dafad i'r lladdfa yr arweinwyd ef, ac fel oen ger bron ei gneifiwr yn fud, felly nid agorodd efe ei enau.

33 Yn ei ostyngiad, ei farn ef a dynnwyd ymmaith, eithr pwy a draetha ei genhedlaeth ef? oblegid dygir ei fywyd ef oddi ar y ddaiar.

34 A'r Efnuch a attebodd Philip, ac a ddywedodd, Attolwg i ti, am bwy y mae'r Prophwyd yn dywedyd hyn? am dano ei hûn, ai am ryw un arall?

35 A Philip a agorodd ei enau, ac a ddechreuodd ar yr Scrythur honno, ac a bregethodd iddo yr Jesu.

36 Ac fel yr oeddynt yn myned ar hyd y ffordd, hwy a ddaethant at ryw ddwfr, a'r Efnuch a ddywedodd, wele ddwfr, beth sydd yn lluddias fy medyddio?

37 A Philip a ddywedodd, os wyti yn credu â'th holl galon, fe a ellir. Ac efe a attebodd ac a ddywedodd, Yr wyf yn credu fod Jesu Grist yn fab Duw.

38 Ac efe a orchymynnodd sefyll o'r cerbyd, a hwy a aethant i wared ill dau i'r dwfr, Philip a'r Efnuch, ac efe a'i bedyddiodd ef.

39 A phan ddaethant i fynu o'r dwfr, Yspryd yr Arglwydd a gippiod Philip ymmaith, ac ni welodd yr Efnuch ef mwyach. Ac efe a aeth ar hyd ei ffordd ei hun yn llawen.

40 Eithr Philip a gaed yn Azotus; a chan drammwy, efe a efangylodd ym mhôb dinas, hyd oni ddaeth efe i Cæsarea.

## PEN. IX.

1 Saul yn myned i Damascus; a'i daraw ef i lawr i'r ddaiar, 10 a'i alw i fod yn Apostol, 18 a'i fedyddio gan Ananias. 20 Yntef yn pregethu Christ yn hyderus. 23 Yr Iddewon yn cynllwyn iw lâdd ef: 29 a'r Groegwyr hefyd; yntef yn diangc rhag y ddwy blaid. 31 Yr Eglwysi yn cael llonyddwch, Petr yn iachau Æneas or parlys, 36 ac yn codi Tabitha o farw i fyw.



A Saul etto yn chwythu bygythiau a chelanedd, yn erbyn discyblion yr Arglwydd, a aeth at yr Archoffeiriaid,

Yr Epistol ar ddigwyl S. Paul.

2 Ac a ddeisyfodd ganddo lythyrau i Ddamascus, at y Synagogau, fel os cai efe nêb o'r ffordd [hon,] na gwŷr, na gwragedd, y gallei efe eu dwyn hwy yn rhwym i Jerusalem,

3 Ac fel yr oedd efe yn ymdaith, bu iddo ddyfod yn agos i Ddamascus, ac yn ddisymmwth llewyrchodd o'i amgylch oleuni o'r nef.

4 Ac efe a syrthiodd ar y ddaiar, ac a glybu lais yn dywedyd wrtho, Saul, Saul pa ham yr wyt yn fy erlid i.

5 Yntef a ddywedodd, pwy wyt ti, Arglwydd? A'r Arglwydd a ddywedodd; Myfi yw Jesu, yr hwn yr wyt ti yn ei erlid. Caled yw i ti wingo yn erbyn y swmbylau.

6 Ynteu gan grynu, ac a braw arno, a ddywedodd, Arglwydd beth a fynni di i mi

ei wneuthur? A'r Arglwydd [a ddywedodd] wrtho, Cyfod, a dôs i'r ddinas, ac fe a ddywedir i ti pa beth sy raid i ti ei wneuthur.

7 A'r gwyr oedd yn cyd-teithio ag ef, a safasant yn ||fud, gan glywed y llais, ac heb weled neb.

|| syn.

8 A Saul a gyfododd oddi ar y ddaiar: a phan agorwyd ei lygaid, ni welei efe neb: eithr hwy a'i tywysasant ef erbyn ei law, ac a'i dygasant ef i mewn i Ddamascus.

9 Ac efe a fu dridiau heb weled, ac ni wnaeth na bwyta, nac yfed.

10 Ac yr oedd rhyw ddiscybl yn Damascus, a'i enw Ananias. A'r Arglwydd a ddywedodd wrtho ef mewn gweledigaeth; Ananias. Yntef a ddywedodd, wele fi, Arglwydd.

11 A'r Arglwydd [a ddywedodd] wrtho, Cyfod, a dôs i'r heol a elwir Uniawn, a chais yn nhŷ Judas, un a'i enw Saul, o Tharsus: canys wele y mae yn gweddio.

12 Ac ef a welodd mewn gweledigaeth, ŵr a'i enw Ananias yn dyfod i mewn, ac yn dodi ei law arno, fel y gwelei eilwaith.

13 Yna yr attebodd Ananias, O Arglwydd, mi a glywais gan lawer am y gŵr hwn, faint o ddrygau a wnaeth efe i'th Sainct di yn Jerusalem:

14 Ac ymma y mae ganddo awdurdod oddi wrth yr Arch-offeiriaid, i rwymo pawb sy'n galw ar dy enw di.

15 A dywedodd yr Arglwydd wrtho: dôs ymmaith, canys y mae hwn yn llestr etholedic i mi, i ddwyn fy enw ger bron cenhedloedd, a brenhinoedd, a phlant Israel.

16 Canys myfi a ddangosaf iddo pa bethau eu maint sydd raid iddo ef eu dioddef, er mewn fy enw i.

17 Ac Ananias a aeth ymmaith, ac a aeth i mewn i'r tŷ, ac wedi dodi ei ddwylo arno, efe a ddywedodd, Y brawd Saul, yr Arglwydd a'm hanfonodd i, (Jesu yr hwn a ymddangosodd i ti ar y ffordd y daethost) fel y gwelych drachefn, ac i'th lanwer â'r Yspryd glân.

18 Ac yn ebrwydd y syrthiodd oddi wrth ei lygaid ef, megis cenn, ac efe a gafodd ei olwg yn y man; ac efe a gyfododd, ac a fedyddiwyd.

19 Ac wedi iddo gymmeryd bwyd, efe a gryfhaodd. A bu Saul gyd â'r discyblion oedd yn Damascus, dalm o ddyddiau.

20 Ac yn ebrwydd yn y Synagogau, efe a bregethodd Grist, mai efe yw Mâb Duw.

21 A phawb a'r a'i clybu ef, a synnasant ac a ddywedasant, Ond hwn yw'r un oedd yn difetha yn Jerusalem, y rhai a alwent ar yr enw hwn, ac a ddaeth ymma er mwyn hyn, fel y dygei hwynt yn rhwym at yr Arch-offeiriaid?

22 Eithr Saul a gynnyddodd fwy-fwy o nerth, ac a orchfygodd yr Iddewon oedd yn preswylio yn Damascus, gan gadarnhau mai hwn yw'r Christ.

23 Ac wedi cyflawni llawer o ddyddiau, cyd-ymgynghorodd yr Iddewon, i'w ladd ef.

24 *Eithr eu cyd-fwriad hwy a wybuwyd gan Saul, a hwy a ddisgwiliasant y pyrth ddydd a nôs, i'w ladd ef.

*2.Cor.11.32.

25 Yna y discyblion a'i cymmerasant ef o hŷd nôs, ac a'i gollyngasant i wared ||dros y mûr: mewn basced.

|| ar hyd.

26 A Saul, wedi ei ddyfod i Jerusalem, a geisiodd ymwascu â'r discyblion, ac yr oeddynt oll yn ei ofni ef, heb gredu ei fod efe yn ddiscybl.

27 Eithr Barnabas a'i cymmerodd ef, ac a'i dug at yr Apostolion, ac a fynegodd iddynt, pa fodd y gwelsei efe yr Arglwydd ar y ffordd, ac ymddiddan o honaw ag ef, ac mor hŷ a fuasei efe yn Damascus, yn enw yr Jesu.

28 Ac yr oedd efe gyd â hwynt, yn myned i mewn, ac yn myned allan, yn Jerusalem.

29 A chan fod yn hŷ yn enw'r Arglwydd Jesu, efe a lefarodd, ac a ymddadleuodd yn erbyn y Groegiaid, a hwy a geisiasant ei ladd ef.

30 A'r brodyr pan wybuant, a'i dygasant ef i wared i Caesarea, ac a'i hanfonasant ef ymmaith i Tharsus.

31 Yna'r Eglwysi drwy holl Judaea, a Galilaea, a Samaria, a gawsant heddwch, ac a adeiladwyd, a chan rodio yn ofn yr Arglwydd, ac yn niddanwch yr Yspryd glân, hwy a amlhawyd.

32 A bu, a Phetr yn trammwy ||drwy'r holl [wledydd,] iddo ddyfod i wared at y Sainct hefyd, y rhai oedd yn trigo yn Lyda.

|| heibio i ba

33 Ac efe a gafodd yno ryw ddŷn a'i enw Aeneas, er ys wyth mlynedd yn gorwedd ar wely, yr hwn oedd glâf o'r parlys.

34 A Phetr a ddywedodd wrtho, Aeneas, y mae Jesu Grist yn dy iachau di, Cyfod a chyweiria dy wely. Ac efe a gyfododd yn ebrwydd.

35 A phawb a'r oedd yn preswylio yn Lyda, a Saron, a'i gwelsant ef, ac a ymchwelasant at yr Arglwydd.

36 Ac yn Joppa yr oedd rhyw ddiscybles, a'i henw Tabitha, (yr hon, os cyfieithir, a elwir Dorcas,) hon oedd yn llawn o weithredoedd da, ac elusenau, y rhai a wnaethei hi.

37 A digwyddodd yn y dyddiau hynny, iddi fod yn glâf, a marw: ac wedi iddynt ei golchi, hwy a'i dodasant hi mewn llofft.

38 Ac o herwydd bod Lyda yn agos i Joppa, y discyblion a glywsant fod Petr yno, ac a anfonasant ddau ŵr atto ef, gan ddeisyf ||nad oedei ddyfod hyd attynt hwy.

|| na fydde fin gandd

39 A Phetr a gyfodes, ac a aeth gyd â hwynt; ac wedi ei ddyfod, hwy a'i dygasant ef i fynu i'r llofft. A'r holl wragedd gweddwon a safasant yn ei ymyl ef, yn wylo, ac yn dangos y peisiau, a'r gwiscoedd a wnaethei Dorcas, tra ydoedd hi gyd â hwynt.

40 Eithr Petr wedi eu bwrw hwy i gyd allan, a dodi ei liniau [ar lawr,] a weddiodd, a chan droi at y corph, a ddywedodd, Tabitha, Cyfod. A hi a agorodd ei llygaid, a phan welodd hi Petr, hi a gododd yn ei heistedd.

41 Ac efe a roddodd ei law iddi, ac a'i cyfododd

fododd hi i fynu. Ac wedi galw y Sainct, a'r gwragedd gweddwon, efe a'i gosododd hi ger bron yn fyw.

42 Ac yspys fu drwy holl Joppa: a llawer a gredasant yn yr Arglwydd.

43 A bu iddo aros yn Joppa lawer o ddyddiau, gyd ag un Simon, Barcer.

## PEN. X.

1 Cornelius, gwr defosionol, 5 wrth orchymmyn Angel, yn danfon i gyrchu Petr: 11 Ynteu, trwy weledigaeth, 15. 20 a ddyscir na ddiystyrei mo'r Cenhedloedd. 34 Ac efe yn pregethu Christ i Cornelius, a'r rhai oedd gydag ef, 44 yr Yspryd glân yn discyn arnynt, 48 a'i bedyddio hwy.

YR oedd rhyw wr yn Cæsarea, a'i enw Cornelius, Canwriad o'r fyddin a elwid yr Italaidd.

2 [Gwr] defosionol, ac yn ofni Duw, ynghyd â'i holl dŷ, ac yn gwneuthur llawer o elusenau i'r bobl, ac yn gweddio Duw yn wastadol.

3 Efe a welodd mewn gweledigaeth yn eglur, ynghylch y nawfed awr o'r dydd, Angel Duw yn dyfod i mewn atto, ac yn dywedyd wrtho, Cornelius.

4 Ac wedi iddo graffu arno, a myned yn ofnus, efe a ddywedodd, Beth sydd, Arglwydd? ac efe a ddywedodd wrtho, Dy weddiau di, a'th elusenau a dderchafasant yn goffadwriaeth ger bron Duw.

5 Ac yn awr anfon wyr i Joppa, a gyrr am Simon, yr hwn a gyfenwir Petr.

6 Y mae efe yn lletteua gyd ag un Simon Barcer, tŷ 'r hwn sydd wrth y môr: efe a ddywed i ti pa beth sydd raid i ti ei wneuthur.

7 A phan ymadawodd yr Angel oedd yn ymddiddan â Chornelius, efe a alwodd ar ddau o dylwyth ei dŷ, a milwr defosionol, o'r rhai oedd yn aros gyd ag ef.

8 Ac wedi iddo fynegi iddynt y cwbl, efe a'u hanfonodd hwynt i Joppa.

9 A thrannoeth, fel yr oeddynt hwy yn ymdeithio, ac yn nessau at y ddinas, Petr a aeth i fynu ar y tŷ i weddio, ynghylch y chweched awr.

10 Ac fe ddaeth arno newyn mawr, ac efe a chwennychei gael bwyd. Ac a hwynt yn paratoi iddo, fe syrthiodd arno lewyg.

11 Ac efe a welei y nef yn agored, a rhyw lestr yn descyn arno, fel llen-lliain fawr, wedi rhwymo ei phedair congl, a'i gollwng i wared hyd y ddaiar.

12 Yn yr hon yr oedd pôb rhyw bedwarcarnolion y ddaiar, a gwyllt-filod, ac ymlusciaid, ac ehediaid y nef.

13 A daeth llef atto; Cyfot Petr, lladd, a bwyta.

14 A Phetr a ddywedodd; nid felly, Arglwydd; canys ni fwyteais i erioed ddim cyffredin neu aflan.

15 A'r llef drachefn [a ddywedodd] wrtho yr ail waith; Y pethau a lanhâodd Duw, na alw di yn gyffredin.

16 A hyn a wnaed dair gwaith, a'r llestr a dderbyniwyd drachefn i fynu i'r nef.

17 Ac fel yr oedd Petr yn ammau ynddo ei hûn, beth oedd y weledigaeth a welsei: wele, y gwŷr a anfonasid oddiwrth Cornelius, wedi ymofyn am dŷ Simon, oeddynt yn sefyll wrth y porth.

18 Ac wedi iddynt alw, hwy a ofynnasant a oedd Simon, yr hwn a gyfenwid Petr, yn lletteua yno.

19 Ac fel yr oedd Petr yn meddwl am y weledigaeth, dywedodd yr Yspryd wrtho; wele dry-wŷr yn dy geisio di.

20 Am hynny, cyfod, descyn, a dôs gyd â hwynt, heb ammau dim, o herwydd myfi a'u hanfonais hwynt.

21 A Phetr wedi descyn at y gwŷr a anfonasid oddiwrth Cornelius atto, a ddywedodd, wele, myfi yw yr hwn yr ydych chwi yn ei geisio; beth yw yr achos y daethoch o'i herwydd?

22 Hwythau a ddywedasant, Cornelius y Canwriad, gwr cyfiawn, ac yn ofni Duw, ac a gair da iddo gan holl genedl yr Iddewon, a rybuddiwyd gan Angel sanctaidd, i ddanfon am danati i'w dŷ, ac i wrando geiriau gennit.

23 Am hynny efe a'u galwodd hwynt i mewn, ac a'u lletteuodd hwy. A thrannoeth yr aeth Petr ymmaith gyd â hwy: a rhai o'r brodyr o Joppa a aeth gyd ag ef.

24 A thrannoeth yr aethant i mewn i Cæsarea, ac yr oedd Cornelius yn disgwil am danynt, ac efe a alwasei ei geraint a'i anwyl gyfeillion ynghyd.

25 Ac fel yr oedd Petr yn dyfod i mewn, Cornelius a gyfarfu ag ef, ac a syrthiodd wrth ei draed, ac a'i haddolodd ef.

26 Eithr Petr a'i cyfododd ef i fynu, gan ddywedyd; Cyfod, Dyn wyf finneu hefyd.

27 A than ymddiddan ag ef, efe a ddaeth i mewn, ac a gafodd lawer wedi ymgynnull ynghyd.

28 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Chwi a wyddoch mai anghyfreithlawn yw i wr o Iddew ymwascu, neu ddyfod at alltud: eithr Duw a ddangosodd i mi, na alwn neb yn gyffredin, neu yn aflan.

29 O ba herwydd, ie yn ddi-nâg y daethym, pan anfonwyd am danaf: yr wyf gan hynny yn gofyn am ba achos y danfonasoch am danaf.

30 A Chornelius a ddywedodd, Er ys pedwar diwrnod i'r awr hon [o'r dydd,] yr oeddwn yn ymprydio, ac ar y nawfed awr yn gweddio yn fy nhŷ: ac wele, safodd gwr ger fy mron mewn gwisc ddisclair,

31 Ac a ddywedodd; Cornelius, gwrandawyd dy weddi di, a'th elusenau a ddaethant mewn coffa ger bron Duw.

32 Am hynny anfon i Joppa, a galw am Simon, yr hwn a gyfenwir Petr, y mae efe yn lletteua yn nhŷ Simon Barcer, yngllann y môr, yr hwn pan ddelo attat a lefara wrthit.

33 Am hynny yn ddioed myfi a anfonais attat, a thi a wnaethost yn dda ddyfod. Yr awron gan hynny, yr ym ni oll yn bresennol ger bron Duw, i wrando yr holl bethau a orchymynnwyd i ti gan Dduw.

Yr Epistol ar ddie Llun y Sul-gwyn. *Deut.10.17. rhuf.2.11. 1.pet.1.17.

34 ☞ Yna yr agorodd Petr ei enau, ac a ddywedodd, *Yr wyf yn deall mewn gwirionedd, nad ydyw Duw dderbyniwr wyneb.

35 Ond ym-mhôb cenhedl, y neb sydd yn ei ofni ef, ac yn gweithredu cyfiawnder, sydd gymmeradwy ganddo ef.

36 Y gair yr hwn a anfonodd [Duw] i blãt Israel, gan bregethu tangneddyf trwy Iesu Grist, efe yw Arglwydd pawb oll.

||Neu, peth.

37 Chwy-chwi a wyddoch y ||gair a fu yn holl Iudæa, gan ddechreu o Galilæa, wedi y bedydd a bregethodd Ioan:

38 Y modd yr eneiniodd Duw Iesu o Nazareth â'r Yspryd glân, ac â nerth, yr hwn a gerddodd o amgylch gan wneuthur daioni, ac iachau pawb a'r oedd wedi eu gorthrymmu gan ddiafol: oblegid yr oedd Duw gyd ag ef.

39 A ninnau ydym dystion o'r pethau oll a wnaeth efe yngwlad yr Iddewon, ac yn Ierusalem, yr hwn a laddasant, ac a groeshoeliasant ar bren.

40 Hwn a gyfododd Duw y trydydd dydd, ac a'i rhoddes ef i'w wneuthur yn amlwg,

41 Nid i'r bobl oll, eithr i'r tystion etholedig o'r blaen gan Duw, [sef] i ni, y rhai a fwytasom, ac a yfasom gyd ag ef, wedi ei ad-gyfodi ef o feirw.

42 Ac efe a orchymynnodd i ni bregethu i'r bobl, a thystiolaethu mai efe yw 'r hwn a ordeiniwyd gan Dduw, yn farw-wr byw a meirw.

*Ier.31.34. mic.7.18.

43 *I hwn y mae'r holl Brophwydi yn dwyn tystiolaeth, y derbyn pawb a gredo ynddo ef faddeuãt pechodau, drwy ei enw ef.

44 A Phetr etto yn llefaru y geiriau hyn, syrthiodd yr Yspryd glân ar bawb a oedd yn clywed y gair.

45 A'r rhai o'r enwaediad a oeddynt yn credu, cynnifer ac a ddaethent gyd â Phetr, a synnasant, am dywallt dawn yr Yspryd glân ar y cenhedloedd hefyd.

46 Canys yr oeddynt yn eu clywed hwy yn llefaru â thafodau, ac yn mawrygu Duw. Yna yr attebodd Petr.

47 A all nêb luddias dwfr, fel na fedyddier y rhai hyn, y rhai a dderbyniasant yr Yspryd glân, fel ninnau.

48 Ac efe a orchymynnodd eu bedyddio hwynt yn enw yr Arglwydd: yna y deisyfiasant arno aros tros ennyd o ddyddiau.

## PEN. XI.

1 Petr wedi achwyn arno am fyned i mewn at y Cenhedloedd, yn gwneuthur ei amddiffyn, 18 ac yn cael ei dderbyn. 19 Wedi cyrheuddyd o'r Efengyl hyd Phænice, a Cyprus, ac Antiochia, yr ydys yn danfon Barnabas iw cadarnhau hwynt: 26 Y discyblion yno yn cael yn gyntaf rhai eu galwyn Gristianogiō. 27 Ac yn anfō ymwared i'r brodyr yn Iudea yn amser newyn.



A'R Apostolion a'r brodyr oedd yn Iudæa, a glywsant ddarfod i'r Cenhedloedd hefyd dderbyn gair Duw.

2 A phan ddaeth Petr i fynu i Ierusalem, y rhai o'r enwaediad a ymrysonasant yn ei erbyn ef,

3 Gan ddywedyd, Ti a aethost i mewn at wyr dienwaededig, ac a fwyteaist gyd â hwynt.

4 Eithr Petr a ddechreuodd, ac a eglurodd [y peth] iddynt mewn trefn, gan ddywedyd,

5 Yr oeddwn i yn ninas Ioppa yn gweddio, ac mewn llewyg y gwelais weledigaeth, Rhyw lestr megis llenlliain fawr yn descyn, wedi ei gollwng o'r nef, erbyn ei phedair congl, a hi a ddaeth hyd attaf fi.

6 Ar yr hon pan edrychais, yr ystyriais, ac mi a welais bedwar-carnolion y ddaiar, a gwyllt-filod, ac ymlusciaid, ac ehediaid y nêf.

7 Ac mi a glywais lef yn dywedyd wrthif, Cyfod Petr, lladd, a bwyta.

8 Ac mi a ddywedais, nid felly Arglwydd, canys dim cyffredin neu aflan nid aeth un amser i'm genau.

9 Eithr y llais a'm hattebodd i eilwaith o'r nef, Y pethau a lanhaodd Duw, na alw di yn gyffredin.

10 A hyn a wnaed dair gwaith: a'r holl bethau a dynnwyd i fynu i'r nef drachefn.

11 Ac wele, yn y man yr oedd trywyr yn sefyll wrth y tŷ yr oeddwn ynddo, wedi eu hanfon o Cæsarea attaf.

12 A'r Yspryd a archodd i mi fyned gyd â hwynt heb ammau dim. A'r chwe brodyr hyn a ddaethant gyd â mi, ac nyni a ddaethom i mewn i dŷ y gŵr.

13 Ac efe a fynegodd i ni pa fodd y gwelsei efe Angel yn ei dŷ, yn sefyll ac yn dywedyd wrtho; Anfon wyr i Ioppa, a gyrr am Simon a gyfenwir Petr:

14 Yr hwn a lefara eiriau wrthit, trwy y rhai i'th iacheir di, a'th holl dŷ.

*Pen.2.4.

15 Ac a myfi yn dechreu llefaru, syrthiodd yr Yspryd glân arnynt, *megis arnom ninnau yn y dechreuad.

*Ioan.1.16.

16 Yna y cofiais air yr Arglwydd, y modd y dywedasei efe; *Ioan yn wir a fedyddiodd â dwfr, eithr chwi a fedyddir â'r Yspryd glân.

17 Os rhoddes Duw gan hynny iddynt hwy gyffelyb rodd ac i ninnau, y rhai a gredasom yn yr Arglwydd Iesu Grist, pwy oeddwn i, i allu lluddias Duw?

18 A phan glywsant y pethau hyn, distawu a wnaethant, a gogoneddu Duw, gan ddywedyd, fe roddes Duw gan hynny i'r Cenhedloedd hefyd edifeirwch i fywyd.

*Pen.8.1.

19 *A'r rhai a wascarasid o herwydd y blinder a godasei ynghylch Stephan, a dramwyasant hyd yn Phenice, a Cyprus, ac Antiochia, heb lefaru y gair wrth nêb, ond wrth yr Iddewon yn unig.

20 A rhai o honynt oedd wyr o Cyprus, ac o Cirene, y rhai wedi dyfod i Antiochia, a lefarasant wrth y Groegiaid, gan bregethu yr Arglwydd Iesu.

21 A llaw yr Arglwydd oedd gyd â hwynt, a nifer mawr a gredodd, ac a drôdd at yr Arglwydd.

Yr Epistol ddigwyl S. Barnabas.

22 ☞ A'r gair a ddaeth i glustiau yr Eglwys oedd yn Ierusalem, am y pethau hyn; A hwy a anfonasant Barnabas, i fyned hyd Antiochia.

23 Yr hwn pan ddaeth, a gweled grâs

Duw

Duw, a fu lawen ganddo, ac a gynghorodd bawb oll, trwy lwyr-fryd calon i lynu wrth yr Arglwydd.

24 Oblegid yr oedd efe yn wr da, ac yn llawn o'r Yspryd glân, ac o ffydd: a llawer o bobl a chwanegwyd i'r Arglwydd.

25 Yna yr aeth Barnabas i Tharsus, i geisio Saul, ac wedi iddo ei gael, efe a'i dug i Antiochia.

26 A bu iddynt flwyddyn gyfan ymgynnull || yn yr Eglwys, a dyscu pobl lawer, a bod galw y discyblion yn Gristianogion yn gyntaf yn Antiochia.

|| Neu, gyda'r Eglwys.

27 ☞ Ac yn y dyddiau hynny, daeth prophwydi o Jerusalem i waered i Antiochia.

Yr Epistol ar ddigwyl Iaco.

28 Ac un o honynt, a'i enw Agabus, a gyfododd, ac a arwyddocaodd drwy yr Yspryd, y byddei newyn mawr dros yr holl fyd; yr hwn hefyd a fu tan Claudius Cæsar.

29 Yna'r discyblion, bob un yn ôl ei allu, a || fwriadasant anfon cymmorth i'r brodyr oedd yn preswylio yn Judæa.

|| Neu, amddiffyniaeth.

30 Yr hyn beth hefyd a wnaethant, gan ddanfon at yr Henuriaid, drwy law Barnabas a Saul. ☜

PEN. XII.

1 Brenin Herod yn erlid y Christianogion, yn llâdd Iaco, ac yn carcharu Petr: a'r Angel yn ei waredu ef wrth weddiau yr Eglwys. 20 Herod trwy falchder yn cymeryd iddo ei hun y gogoniant oedd ddyledus i Dduw, ac yn cael ei daro gan yr Angel, ac yn marw yn resynol. 24 A'r Eglwys yn llwyddo, ar ôl ei farwolaeth ef.

☞ Yr Epistol ar ddigwyl S. Petr.



AC ynghylch y pryd hynny yr estynnodd Herod frenin [ei] ddwylo, i ddrygu rhai o'r Eglwys.

2 Ac efe a laddodd Jacob brawd Joan â'r cleddyf.

3 A phan welodd fod yn dda gan yr Iddewon hynny, efe a chwanegodd ddala Petr hefyd: (A dyddiau y bara croyw ydoedd hi.)

4 Yr hwn wedi ei ddal a roddes efe yngharchar, ac a'i traddododd at bedwar pedwariaid o filwyr, i'w gadw, gan ewyllysio ar ôl y Pasc ei ddwyn ef allan at y bobl.

5 Felly Petr a gadwyd yn y carchar, eithr gweddi || ddyfal a wnaethpwyd gan yr Eglwys at Dduw drosto ef.

|| Neu, ddifrif.

6 A phan oedd Herod a'i fryd ar ei ddwyn ef allan, y nôs honno yr oedd Petr yn cyscu rhwng dau filwr, wedi ei rwymo â dwy gadwyn, a'r ceidwaid o flaen y drws oeddynt yn cadw y carchar.

7 Ac wele Angel yr Arglwydd a safodd ger llaw, a goleuni a ddiscleiriodd yn || y carchar, ac efe a darawodd ystlys Petr, ac a'i cyfododd ef, gan ddywedyd; Cyfod yn fuan: a'i gadwyni ef a syrthiasant oddi wrth ei ddwylo.

8 A dywedodd yr Angel wrtho, Ymwregysa, a rhwym dy sandalau, ac felly y gwnaeth efe; Yna y dywedodd, bwrw dy wisg am danat, a chanlyn fi.

Yr Epistol ddigwyl S. Barnabas.

9 Ac efe a aeth allan, ac a'i canlynodd ef, ac ni's gwybu mai gwir oedd y peth a wnaethid gan yr Angel, eithr yr oedd yn tybied mai gweled gweledigaeth yr oedd.

10 Ac wedi myned o honynt heb law y gyntaf a'r ail wiliadwriaeth, hwy a ddaethant i'r porth hayarn, yr hwn sydd yn arwain i'r ddinas, yr hwn a ymagorodd iddynt o'i waith ei hun: ac wedi eu myned allan, hwy a aethant ar hyd un heol, ac yn ebrwydd yr Angel a aeth ymmaith oddi wrtho.

11 A Petr, wedi dyfod atto ei hun, a ddywedodd, Yn awr y gwn yn wir anfon o'r Arglwydd ei Angel a'm gwared i allan o law Herod, ac oddi wrth holl ddisgwiliad pobl yr Iddewon. ☜

12 Ac wedi iddo || gymmeryd pwyll, efe a ddaeth i dŷ Mair, mam Joan, yr hwn oedd a'i gyfenw Marcus, lle yr oedd llawer wedi ymgasclu, ac yn gweddio.

|| Neu, ystyried [y peth.]

13 Ac fel yr oedd Petr yn curo drws y porth, morwyn a ddaeth || i ymwrando, a'i henw Rhode.

|| Neu, i ymofyn pwy oedd yno.

14 A phan adnabu hi lais Petr, nid agorodd hi y porth gan lawenydd, eithr hi a redodd i mewn, ac a fynegodd fod Petr yn sefyll o flaen y porth.

15 Hwythau a ddywedasant wrthi, yr wyt ti yn ynfydu. Hithau a daerodd mai felly yr oedd. Eithr hwy a ddywedasant, Ei Angel ef ydyw.

16 A Phetr a barhâodd yn curo; ac wedi iddynt agori, hwy a'i gwelsant ef, ac a synnasant.

17 Ac efe a amneidiodd arnynt â llaw i dewi, ac a adroddodd iddynt pa wedd y dygasei yr Arglwydd ef allan o'r carchar: ac efe a ddywedodd, mynegwch y pethau hyn i Jaco, ac i'r brodyr. Ac efe a ymadawodd ac a aeth i le arall.

18 Ac wedi ei myned hi yn ddydd, yr oedd trallod nid bychan ym mhlith y mil-wyr, pa beth a ddaethei o Petr.

19 Eithr Herod pan ei ceisiodd ef, a heb ei gael, a holodd y ceidwaid, ac a orchymmynnodd eu cymmeryd hwy ymaith. Yntef a aeth i waered o Judæa i Cæsarea, ac a arhôsodd yno.

20 Eithr Herod oedd || yn llidiog iawn yn erbyn gwyr Tyrus a Sidon; a hwy a ddaethant yn gyttûn atto, ac wedi ennill Blastus, yr hwn oedd stafellydd y brenin, hwy a ddeisyfiasant dangnheddyf: am fôd eu gwlâd hwynt yn cael ei chynhaliaeth o wlâd y brenin.

|| Neu, a'i fryd ar ryfela yn erbyn.

21 Ac ar ddydd nodedig, Herod gwedi gwisco dillad brenhinol, a eisteddodd ar yr orsedd-faingc, ac a araithiawdd wrthynt.

22 A'r bobl a roes floedd, Lleferydd Duw, ac nid dyn ydyw.

23 Ac allan o law y tarawodd Angel yr Arglwydd ef, am na roesei y gogonedd i Dduw: a chan bryfed yn ei yssu, efe a drengodd.

24 A gair Duw a gynnyddodd, ac a amlhâodd.

25 A Barnabas a Saul, wedi cyflawni eu *gwenidogaeth, a ddychwelasant o Jerusalem,

* Pen.11.29. 30.

rusalem, gan gymmeryd gyd â hwynt Ioan hefyd, yr hwn a gyfenwid Marc.

## PEN. XIII.

1 Dewis Paul a Barnabas i fyned at y Cenhedloedd. 7 Sergius Paulus, ac Elymas y Swynwr. 14 Paul yn pregethu yn Antiochia, mai Iesu yw Christ. 42 Y Cenhedloedd yn credu: 45 Yr Iddewon yn gwrthwynebu, ac yn cablu: 46 Paul a Barnabas ar hynny yn troi at y Cenhedloedd. 48 Y rhai a ordeiniesid i fywyd yn credu.

Yr oedd hefyd yn yr Eglwys ydoedd yn Antiochia, rai prophwydi ac athrawon, Barnabas, a Simeon, yr hwn a elwid Niger, a Lucius o Cirene, a Manaen brawd-maeth Herod y Tetrarch, a Saul.

2 Ac fel yr oeddynt hwy yn gwasanaethu yr Arglwydd, ac yn ymprydio, dywedodd yr Yspryd glân; Neillduwch i mi Barnabas a Saul, i'r gwaith y gelwais hwynt iddo.

3 Yna wedi iddynt ymprydio, a gweddio, a dodi eu dwylo arnynt, hwy a'u gollyngasant ymmaith.

4 A hwythau wedi eu danfon ymmaith gan yr Yspryd glân, a ddaethant i Seleucia, ac oddi yno a fordwyasant i Cyprus.

5 A phan oeddynt yn Salamis, hwy a bregethasant air Duw yn Synagogau yr Iddewon, ac yr oedd hefyd ganddynt Ioan yn weinidog.

6 Ac wedi iddynt dramwy trwy'r ynys hyd Paphus, hwy a gawsant ryw swynwr gau brophwyd o Iddew, a'i enw Bar-iesu.

7 Yr hwn oedd gydâ'r Rhaglaw Sergius Paulus, gŵr call: hwn wedi galw atto Barnabas a Saul, a ddeisyfiodd gael clywed gair Duw.

8 Eithr Elymas y swyn-wr (canys felly y cyfieithir ei enw ef) a'i gwrthwynebodd hwynt, gan geisio gŵyr-droi y Rhaglaw oddiwrth y ffydd.

9 Yna Saul, yr hwn hefyd [a elwir] Paul, yn llawn o'r Yspryd glân, a edrychodd yn graff arno ef,

10 Ac a ddywedodd, O gyflawn o bôb twyll, a phôb scelerder, [tydi] mâb diafol, a gelyn pôb cyfiawnder, oni pheidi di â gŵyro uniawn ffyrdd yr Arglwydd?

11 Ac yn awr wele, [y mae] llaw yr Arglwydd arnati, a thi a fyddi ddall heb weled yr haul dros amser. Ac yn ddiattreg y syrthiodd arno niwlen, a thywyllwch, ac efe a aeth oddiamgylch gan geisio rhai i'w arwain erbyn ei law.

12 Yna y Rhaglaw, pan welodd yr hyn a wnaethid, a gredodd, gan ryfeddu wrth ddysceidiaeth yr Arglwydd.

13 A Phaul a'r rhai oedd gyd ag ef, a aethant ymaith o Paphus, ac a ddaethant i Perga yn Pamphilia; eithr Ioan a ymadawodd oddi-wrthynt, ac a ddychwelodd i Jerusalem.

14 Eithr hwynt hwy, wedi ymado o Perga, a ddaethant i Antiochia yn Pisidia, ac a aethant i mewn i'r Synagog ar y dydd Sabbath, ac a eisteddasant.

15 Ac yn ôl darllein y gyfraith a'r Prophwydi, llywodraethwyr y Synagog a anfonasant attynt, gan ddywedyd, Ha-wŷr frodyr, od oes gennych air o gyngor i'r bobl, traethwch.

16 Yna y cyfododd Paul i fynu, a chan amneidio â'i law am osteg, a ddywedodd, O wŷr o Israel, a'r rhai ydych yn ofni Duw, gwrandewch.

17 Duw y bobl hyn Israel, a etholodd ein tadau ni, ac a dderchafodd y bobl, *pan oedd yn ymdeithio yngwlâd yr Aipht, *ac â braich uchel y dug efe hwynt oddi yno allā.

* Exod.1.1. * Exod.13.14.

18 *Ac ynghylch deugain mhlynedd o amser, y goddefodd efe eu harferion hwynt yn yr anialwch.

* Exod.13.16

19 Ac wedi iddo ddinistrio saith genedl yn nhir Canaan, *â choel-bren y parthodd efe dir y rhai hynny iddynt hwy.

* Ios.14.1.

20 *Ac wedi y pethau hyn, dros yspaid ynghylch pedwar cant a dêng mhlynedd a deugain, efe a roddes farn-wŷr [iddynt,] hyd Samuel y prophwyd.

* Barn 3.9.

21 Ac yn ôl hynny y dymunasant gael brenin: *ac fe a roddes Duw iddynt Saul fâb Cis, gŵr o lwyth Beniamin, ddeugain mhlynedd.

* 1 Sam.8.5.

22 Ac wedi ei ddiswyddo ef, *y cyfododd efe Ddafydd yn frenin iddynt, am yr hwn y tystiolaethodd, ac y dywedodd; *Cefais Ddafydd fab Iesse, gŵr yn ôl fy nghalon, yr hwn a gyflawna fy holl ewyllys.

* 1 Sam.16.13. * Psal.89.21.

23 *O hâd hwn, Duw yn ôl ei addewid a gyfododd i Israel [yr] Iachawdwr Iesu.

* Esa.11.1.

24 *Gwedi i Ioan rag-bregethu o flaen ‖ei ddyfodiad ef i mewn, fedydd edifeirwch i holl bobl Israel.

* Matt.3.1. ‖ wyneb ei ddyfodiad.

25 Ac fel yr oedd Ioan yn cyflawni ei redfa, efe a ddywedodd, *Pwy yr ydych chwi yn tybied fy mod i? nid myfi yw [efe], eithr wele, y mae yn dyfod ar fy ôl i, yr hwn nid wyfi deilwng i ddattod escidiau ei draed.

* Ioa.1.20.

26 Ha-wŷr frodyr, plant o genedl Abraham, a'r rhai yn eich plith sydd yn ofni Duw, i chwi y danfonwyd gair yr iechydwriaeth hon.

27 Canys y rhai oedd yn preswylio yn Ierusalem, a'u tywysogion, heb adnabod hwn, a lleferydd y Prophwydi, y rhai a ddarllennid bob Sabbath, gan ei farnu ef, a'u cyflawnasant.

28 *Ac er na chawsant [ynddo] ddim achos angeu, hwy a ddymunasant ar Pilat ei ladd ef.

* Mat.27.22.

29 Ac wedi iddynt gwblhau pôb peth a'r a scrifennasid am dano ef, hwy a'i descynnasant ef oddi ar y pren, ac a'i dodasant mewn bedd.

30 *Eithr Duw a'i cyfododd ef oddiwrth y meirw.

* Mat.28.6.

31 Yr hwn a welwyd, dros ddyddiau lawer, gan y rhai a ddaethei i fynu gyd ag ef

ef o Galilæa i Jerusalem, y rhai sydd dystion|| iddo wrth y bobl.

32 Ac yr ydym ni yn efangylu i chwi, yr addewid a wnaed i'r tadau, ddarfod i Dduw gyflawni hwn i ni eu plant hwy, gan iddo ad-gyfodi 'r Jesu.

33 Megis ac yr ysgrifennwyd * yn yr ail Psalm, Fy mâb i ydwyt ti, myfi heddyw a'th genhedlais.

34 Ac am iddo ei gyfodi ef o'r meirw, nid i ddychwelyd mwy i lygredigaeth, y dywedodd fel hyn, * Rhoddaf i chwi sicr drugareddau Dafydd.

35 Ac am hynny y mae yn dywedyd mewn [psalm] arall, * || Ni adewi i'th Sanct weled llygredigaeth.

36 Canys Dafydd || wedi iddo wasanaethu ei genhedlaeth ei hun trwy ewyllys Duw, * a hunodd, ac a ddodwyd at ei dadau, ac a welodd lygredigaeth.

37 Eithr yr hwn a gyfodes Duw, ni welodd lygredigaeth.

38 Am hynny, bydded hyspys i chwi, Ha wyr frodyr, mai trwy hwn yr ydys yn pregethu i chwi faddeuant pechodau.

39 A thrwy hwn y cyfiawnheir pob un sydd yn credu, oddi wrth yr holl bethau, y rhai ni allech drwy gyfraith Moses gael eich cyfiawnhau oddiwrthynt.

40 Gwiliwch gan hynny, na ddel arnoch y peth a ddywedpwyd yn y * Prophwydi.

41 Edrychwch, ô ddirmyg-wyr, a rhyfeddwch, a difennwch: canys yr wyf yn gwneuthur gweithred yn eich dyddiau, gwaith ni chredwch ddim, er i neb ei ddangos i chwi.

42 A phan aeth yr Iddewon allan o'r Synagog, y Cenhedloedd a attolygasant gael pregethu y geiriau hyn iddynt y Sabbath nesaf.

43 Ac wedi gollwng y gynnulleidfa, llawer o'r Iddewon, ac o'r proselytiaid crefyddol, a ganlynasant Paul a Barnabas, y rhai gan lefaru wrthynt, a gynghorasant iddynt aros yngrâs Duw.

44 A'r Sabbath nesaf, yr holl ddinas agos, a ddaeth ynghŷd i wrando gair Duw.

45 Eithr yr Iddewon pan welsant y torfeydd, a lanwyd o genfigen, ac a ddywedasant yn erbyn y pethau a ddywedid gan Paul, gan wrth-ddywedyd a chablu.

46 Yna Paul a Barnabas a aethant yn hŷ, ac a ddywedasant, Rhaid oedd lefaru gair Duw wrthych chwi yn gyntaf, eithr o herwydd eich bod yn ei wrthod, ac yn eich barnu eich hunain yn annheilwng o fywyd tragwyddol, wele yr ydym yn troi at y Cenhedloedd.

47 Canys felly y gorchymynnodd yr Arglwydd i ni, [gan ddywedyd,] * mi a'th osodais di yn oleuni i'r Cenhedloedd, i fod o honot yn iechydwriaeth hyd eithaf y ddaiar.

48 A'r Cenhedloedd pan glywsant, a fu lawen ganddynt, ac a ogoneddasant air yr Arglwydd, a chynnifer ac oedd wedi eu hordeinio i fywyd tragywyddol, a gredasant.

49 A gair yr Arglwydd a daenwyd drwy'r holl wlâd.

50 A'r Iddewon a annogasant y gwragedd crefyddol ac anrhydeddus, a phennaethiaid y ddinas, ac a godasant erlid yn erbyn Paul a Barnabas, ac a'u bwriasant hwy allan o'u terfynau.

51 * Eithr hwy a escydwasant y llwch oddi wrth eu traed yn eu herbyn hwy, ac a ddaethant i Iconium.

52 A'r discyblion a gyflawnwyd o lawenydd, ac o'r Yspryd glân.

Iohan. / *Psal.2.7. hebr.1.5. / *Esa.55.3. / *Psal.16.11. || Ni weddi dy Sanct weled. || wedi iddo ... wasanaethu ewyllys Duw. / *1 Bren.2.10. / *Habac.1.5. / *Esa.49.6. / *Matt.10

## PEN. XIIII.

1 Erlid Paul a Barnabas allan o Iconium. 7 Paul yn iachâu y cloff efrydd yn Lystra: ac ar hynny y bobl yn tybied mai Duwiau oeddynt hwy. 19 Llabyddio Paul. 21 Hwynt hwy yn myned trwy fagad o Eglwysi gan gadarnhau y discyblion yn y ffydd, ac mewn dioddefgarwch: 26 ac wedi dychwelyd i Antiochia, yn mynegi yno beth a wnaethei Duw trwyddynt hwy.



A Digwyddodd yn Iconium iddynt fyned ynghyd i Synagog yr Iddewon, a llefaru felly, fel y credodd lliaws mawr o'r Iddewon ac o'r Groeg-wyr hefyd.

2 Ond yr Iddewon anghredadyn a gyffroesant feddyliau y Cenhedloedd, ac a'u gwnaethant yn ddrwg yn erbyn y brodyr.

3 Am hynny hwy a arhosasant [yno] amser mawr, gan fod yn hŷ yn yr Arglwydd, yr hwn oedd yn dwyn tystiolaeth i air ei râs, ac yn canhiadu gwneuthur arwyddion a rhyfeddodau trwy eu dwylo hwynt.

4 Eithr lliaws y ddinas a rannwyd, a rhai oedd gyd â'r Iddewon, a rhai gyd â'r Apostolion.

5 A phan wnaethpwyd rhuthr gan y Cenhedloedd, a'r Iddewon, ynghŷd â'u llywodraeth-wyr, i'w hammerchi hwy, ac i'w llabyddio,

6 Hwythau a ddeallasant [hyn,] ac a ffoesant i Lystra a Derbe, dinasoedd o Lycaonia, ac i'r wlâd oddi amgylch.

7 Ac yno y buant yn Efangylu.

8 Ac yr oedd gwr yn eistedd yn Lystra, yn ddiffrwyth ei draed, yr hwn oedd gloff o groth ei fam, ac ni rodiasei erioed.

9 Hwn a glybu Paul yn llefaru, yr hwn wrth edrych yn graff arno, a gweled fod ganddo ffydd i gael iechyd,

10 A ddywedodd â llef uchel, Saf ar dy draed yn uniawn: ac efe a neidiodd i fynu, ac a rodiodd.

11 A phan welodd y bobloedd y peth a wnaethei Paul, hwy a godasant eu llef gan ddywedyd yn iaith Lycaonia, y Duwiau yn rhith dynion a ddescynnasant attom.

12 A hwy a alwasant Barnabas yn Jupiter, a Phaul yn Mercurius: oblegid efe oedd yr ymadroddwr pennaf:

13 Yna offeiriad Jupiter, yr hwn oedd o flaen eu dinas, a ddug deirw a garlantau i'r pyrth,

pyrth, ac a fynnasei gyd â'r bobl, aberthu.

14 A'r Apostolion Barnabas, a Phaul, pan glywsant hynny, a rwygasant eu dillad, ac a neidiasant ymmhlith y bobl, gan lefain,

15 A dywedyd, Ha wyr pa ham y gwnewch chwi y pethau hyn? dynion hefyd ydym ninnau, yn gorfod goddef fel chwithau, ac yn pregethu i chwi, ar i chwi droi oddiwrth y pethau gweigion ymma, at Dduw byw, *yr hwn a wnaeth nef a daiar, a'r môr, a'r holl bethau sydd ynddynt.

16 * Yr hwn yn yr oesoedd gynt a oddefodd i'r holl Genhedloedd fyned yn eu ffyrdd eu hunain.

19 Er hynny ni adawodd efe mo honaw ei hun yn ddi-dyst, gan wneuthur daioni, a rhoddi glaw o'r nefoedd i ni, a thymhorau ffrwythlon, a llenwi ein calonnau ni â llynniaeth, ac â llawenydd.

18 Ac er dywedyd y pethau hyn, braidd yr attaliasant y bobl rhag aberthu iddynt.

19 A daeth yno Iddewon o Antiochia ac Iconium, a hwy a berswadiasant y bobl, *ac wedi llabyddio Paul, a'i llusgasant ef allan o'r ddinas, gan dybied ei fôd ef wedi marw.

20 Ac fel yr oedd y discyblion yn sefyll o'i amgylch, efe a gyfododd, ac a aeth i'r ddinas: a thrannoeth efe a aeth allan, efe a Barnabas, i Derbe.

21 Ac wedi iddynt bregethu yr Efengyl i'r ddinas honno, ac ennill llawer o ddiscyblion, hwy a ddychwelasant i Lystra, ac Iconium, ac Antiochia,

22 Gan gadarnhau eneidiau y discyblion, a'u cynghori i aros yn y ffydd, ac mai trwy lawer o orthrymderau y mae yn rhaid i ni fyned i deyrnas Dduw.

23 Ac wedi ordeinio iddynt Henuriaid ym mhôb Eglwys, a gweddio gyd ag ymprydiau, hwy a'u gorchymynnasant hwynt i'r Arglwydd, yr hwn y credasent ynddo.

24 Ac wedi iddynt dramwy drwy Pisidia, hwy a ddaethant i Pamphilia.

25 Ac wedi pregethu y gair yn Perga, hwy a ddaethant i wared i Attalia.

26 Ac oddi yno a fordwyasant i Antiochia, o'r lle yr oeddynt wedi eu gorchymmyn i ras Duw, i'r gorchwyl a gyflawnasant.

27 Ac wedi iddynt ddyfod a chynnull yr Eglwys ynghyd, adrodd a wnaethant faint o bethau a wnaethei Duw gyd â hwy, ac iddo ef agoryd i'r Cenhedloedd ddrws y ffydd.

28 Ac yno yr arhosasant hwy, dros hir o amser, gydâ 'r discyblion.

* Gen. 1. 1. psal. 146. 5. da c. 14. 7.
* Psal. 81. 12.
* 2. Cor. 11. 25.

## ᴾ E N. XV.

1 Ymryson mawr yn cyfodi ynghylch yr Enwaediad. 6 Yr Apostolion yn ymgynghori ynghylch hynny, 22 ac yn anfon eu meddwl trwy lythyrau at yr Eglwysi. 30 Paul a Barnabas wedi bwriadu myned i ymweled â'r brodyr, yn ymrafaelio ac yn ymadel â'i gilydd.


A Rhai wedi dyfod i wared o Iudæa, a ddyscasant y brodyr [gan ddywedyd] * onid enwaedir chwi yn ôl defod Moses, ni ellwch fod yn gadwedig.

2 A phan ydoedd ymryson a dadlau nid bychan gan Paul a Barnabas, yn eu herbyn, hwy a ordeiniasant fyned o Paul a Barnabas, a rhai eraill o honynt, i fynu i Ierusalem, at yr Apostolion, a'r Henuriaid, ynghylch y cwestiwn ymma.

3 Ac wedi eu hebrwng gan yr Eglwys, hwy a dramwyasant drwy Phænice, a Samaria, gan fynegi troad y Cenhedloedd. A hwy a barasant lawenydd mawr i'r brodyr oll.

4 Ac wedi eu dyfod hwy i Ierusalem, hwy a dderbyniwyd gan yr Eglwys, a chan yr Apostolion, a chan yr Henuriaid, a hwy a fynegasant yr holl bethau a wnaethei Duw gyd â hwynt.

5 Eithr cyfododd rhai o sect y Pharisæaid, y rhai oedd yn credu, gan ddywedyd, mai rhaid iddynt eu henwaedu, a gorchymmyn cadw Deddf Moses.

6 A'r Apostolion a'r Henuriaid a ddaethant ynghŷd, i edrych am y matter ymma.

7 Ac wedi bod ymddadleu mawr, cyfododd Petr ac a ddywedodd wrthynt, * Ha-wŷr frodyr, chwi a ŵyddoch ddarfod i Dduw er ys talm o amser yn ein plith ni, fy ethol i, i gael o'r Cenhedloedd drwy fyngenau i, glywed gair yr Efengyl, a chredu.

8 A Duw, adnabydd-ŵr calonnau, a ddûg dystiolaeth iddynt, gan roddi iddynt yr Yspryd glân, megis ac i ninnau.

9 * Ac ni wnaeth efe ddim gwahaniaeth rhyngom ni a hwynt, gan buro eu calonnau hwy trwy ffydd.

10 Yn awr, gan hynny, pa ham yr ydych chwi yn temtio Duw, * i ddodi iau ar warrau y discyblion, yr hon ni allodd ein tadau ni, na ninnau ei dwyn?

11 Eithr trwy râs yr Arglwydd Iesu Grist, yr ydym ni yn credu ein bôd yn gadwedig, yr un modd a hwythau.

12 A'r holl liaws a ddistawodd, ac a wrandawodd ar Barnabas a Phaul yn mynegi pa arwyddion a rhyfeddodau eu maint, a wnaethei Duw ym mhlith y Cenhedloedd trwyddynt hwŷ.

13 Ac wedi iddynt ddi stewi, attebodd Iaco, gan ddywedyd, Ha-wŷr frodyr, gwrandewch arnaf fi.

14 Simeon a fynegodd pa wedd yr ymwelodd Duw ar y cyntaf, i gymmeryd o'r Cenhedloedd bobl i'w Enw.

15 Ac â hyn y cyttûna geiriau y Prophwydi; megis y mae yn scrifennedig:

16 * Yn ôl hyn y dychwelaf, ac yr adeiladaf drachefn Dabernacl Dafydd, yr hwn sydd wedi syrthio, a'i fylchau ef a adeiladaf drachefn, ac a'i cyfodaf eil-chwyl:

17 Fel y byddo i hyn a weddiller o ddynion, geisio yr Arglwydd, ac i'r holl genhedloedd, y rhai y gelwir fy enw i arnynt, medd yr Arglwydd, yr hwn sydd yn gwneuthur yr holl bethau hyn.

* Galat. 5. 2.
* Pen. 10. 20. & 11. 13.
* Pen. 10. 43. 1 cor. 1. 2.
* Matt. 23. 4.
* Amos 9. 11.

18 Yspys

18 Ysbys i Dduw yw ei weithredoedd oll erioed.

19 Oherwydd pa ham, fy marn i yw, na flinom y rhai o'r cenhedloedd a drôesant at Dduw.

20 Eithr scrifennu o honom ni attynt, ar ymgadw o honynt oddiwrth halogrwydd delwau, a godineb, ac oddi wrth y peth a dagwyd, ac oddi wrth waed.

21 Canys y mae i Moses, ym mhôb dinas, er yr hên amseroedd, rai a'i pregethant ef, gan fôd yn ei ddarllen yn y Synagogau bôb Sabbath.

22 Yna y gwelwyd yn dda gan yr Apostolion a'r Henuriaid, ynghŷd â'r holl Eglwys, anfon gwŷr etholedic o honynt eu hunain, i Antiochia, gyd â Phaul a Barnabas, [sef] Judas a gyfenwir Barsabas, a Silas, gwŷr rhagorol ym-mhlith y brodyr.

23 A hwy, a scrifennasant gyd â hwynt fel hyn, Yr Apostolion, a'r Henuriaid, a'r brodyr, at y brodyr y rhai sy o'r Cenhedloedd yn Antiochia, a Syria, a Cilicia, yn anfon annerch.

24 Yn gymmaint a chlywed o honom ni, i rai a aethant allan oddi wrthym ni, eich trallodi chwi â geiriau, gan ddymchwelyd eich eneidiau chwi, a dywedyd [fod] yn rhaid enwaedu arnoch, a chadw y Ddeddf, i'r rhai ni roesem ni [gyfryw] orchymmyn:

25 Ni a welsom yn dda, wedi i ni ymgynnull yn gyttun, anfon gwŷr etholedig attoch, gyd â'n hanwylyd Barnabas a Phaul:

26 Gwŷr a roesant eu heneidiau dros enw ein Harglwydd ni Jesu Grist.

27 Ni a anfonasom, gan hynny, Judas a Silas, a hwythau ar air a fynegant i chwi yr un pethau.

28 Canys gwelwyd yn dda gan yr Yspryd glân, a chennym ninnau, na ddodid arnoch faich ychwaneg nâ'r pethau angenrheidiol hyn:

29 Bod i chwi ymgadw oddi wrth yr hyn a aberthwyd i eulynnod, a gwaed, ac oddi wrth y peth a dagwyd, ac oddi wrth odineb, oddi wrth yr hyn bethau, os ymgedwch, da y gwnewch. Byddwch iach.

30 Felly, wedi eu gollwng hwynt ymmaith, hwy a ddaethant i Antiochia: ac wedi cynnull y lliaws ynghyd, hwy a roesant y llythyr.

31 Ac wedi iddynt ei ddarllen, llawenychu a wnaethant am y || diddanwch.

|| *Neu, gyngor.*

32 Judas hefyd a Silas, a hwythau yn Brophwydi, trwy lawer o ymadrodd, a ddiddanasant y brodyr, ac a'u cadarnhasant.

33 Ac wedi iddynt aros [yno] dros amser, hwy a ollyngwyd ymaith mewn heddwch, gan y brodyr, at yr Apostolion.

34 Eithr gwelodd Silas yn dda aros [yno.]

35 A Phaul a Barnabas a arhosasant yn Antiochia, gan ddyscu ac efengylu gair yr Arglwydd, gyd â llawer eraill hefyd.

36 Ac wedi rhai dyddiau, dywedodd Paul wrth Barnabas, dychwelwn, ac ymwelwn â'n brodyr, ym mhôb dinas y pregethasom air yr Arglwydd ynddynt, [i weled] pa fodd y maent hwy.

37 A Barnabas a gynghorodd gymmeryd gyd â hwynt Joan, yr hwn a gyfenwid Marcus.

38 Ond ni welei Paul yn addas gymmeryd hwnnw gyd â hwynt, yr hwn a dynnasei oddi wrthynt o Pamphilia, ac nid aethei gyd â hwynt i'r gwaith.

39 A bu gymmaint cynhwrf [rhyngddynt,] fel yr ymadawsant oddi wrth ei gilydd, ac y cymmerth Barnabas Marc gyd ag ef, ac y mordwyodd i Cyprus.

40 Eithr Paul a ddewisodd Silas, ac a aeth ymmaith, wedi ei orchymmyn i râs Duw gan y brodyr.

41 Ac efe a dramwyodd trwy Syria a Cilicia, gan gadarnhau yr Eglwysi.

## PEN. XVI.

1 Paul wedi enwaedu ar Timotheus, 7 ac wedi ei alw gan yr Yspryd, 14 yn troi Lydia: 16 Yn bwrw allan yspryd dewiniaeth: 19 Ac am hynny Silas ac yntef, yn cael eu fflangellu, a'i carcharu. 26 Egoryd drysau y carchar. 31 Troi ceidwad y carchar, 37 a'i gwaredu hwythau.



Yna y daeth efe i Derbe ac i Lystra; ac wele, yr oedd yno ryw ddiscybl, * a'i enw Timotheus, mab i ryw wraig, yr hon oedd Iddewes, ac yn credu, a'i dâd oedd Roeg-wr:

* *Rhuf. 16. 21.*

2 Yr hwn oedd yn cael gair da gan y brodyr oedd yn Lystra, ac yn Iconium.

3 Paul a fynnei i hwn fyned allan gyd ag ef, ac efe a'i cymmerth, ac a'i henwaedodd ef, o achos yr Iddewon oedd yn y lleoedd hynny: canys hwy a wyddent bawb, mai Groeg-wr oedd ei dad ef.

4 Ac fel yr oeddynt yn ymdaith trwy y dinasoedd, hwy || a roesant arnynt gadw y gorchymmynion * a ordeiniasid gan yr Apostolion a'r Henuriaid, y rhai oedd yn Jerusalem.

|| *draddodasant iddynt.*
* *Pen. 15. 28.*

5 Ac felly yr Eglwysi a gadarnhawyd yn y ffydd, ac a gynnyddasant mewn rhifedi beunydd.

6 Ac wedi iddynt dramwy trwy Phrygia a gwlad Galatia, a gwarafun iddynt gan yr Yspryd glân bregethu y gair yn Asia:

7 Pan ddaethant i Mysia, hwy a geisiasant fyned i Bithynia, ac ni oddefodd Yspryd yr Jesu iddynt.

8 Ac wedi myned heibio i Mysia, hwy a aethant i waered i Troas.

9 A gweledigaeth a ymddangosodd i Paul liw nôs: Rhyw wr o Macedonia a safai, ac a ddeisyfai arno, ac a ddywedai, Tyred trosodd i Macedonia, a chymmorth ni.

10 A phan welodd efe y weledigaeth, yn ebrwydd ni a geisiasom fyned i Macedonia, gan gwbl gredu alw o'r Arglwydd nyni, i efangylu iddynt hwy.

11 Am

11 Am hynny, wedi myned ymmaith o Troas, ni a gyrchasom yn uniawn i Samothracia, a thrannoeth i Neapolis:

12 Ac oddi yno i Philippi, yr hon || sydd brif-ddinas o barth o Macedonia, || dinas rydd; ac ni a fuom yn aros yn y ddinas honno ddyddiau rai.

|| Gwyw y ddinas gyntaf. || colonia.

13 Ac ar y dydd Sabbath, ni a aethom allan o'r ddinas i lan afon, lle y byddid arferol o weddio; ac ni a eisteddasom, ac a lefarasom wrth y gwragedd a ddaethant ynghyd.

14 A rhyw wraig a'i henw Lydia, un yn gwerthu porphor, o ddinas y Thiatyriaid, yr hon oedd yn addoli Duw, a wrandawodd; yr hon yr agorodd yr Arglwydd ei chalon, i ddal ar y pethau a leferid gan Paul.

15 Ac wedi ei bedyddio hi a'i theulu, hi a ddymunodd arnom, gan ddywedyd, os barnasoch fy mod i yn ffyddlawn i'r Arglwydd, dewch i mewn i'm tŷ, ac arhoswch yno. A hi a'n cymmhellodd ni.

16 A digwyddodd, a ni yn myned i weddio, i ryw langces, yr hon oedd ganddi yspryd || dewiniaeth, gyfarfod â ni; yr hon oedd yn peri llawer o elw i'w meistraid, wrth ddywedyd dewiniaeth.

|| neu, Python.

17 Hon a ddilynodd Paul a ninneu, ac a lefodd, gan ddywedyd, Y dynion hyn ydynt weision y Duw goruchaf, y rhai sydd yn mynegi i chwi ffordd iechydwriaeth.

18 A hyn a wnaeth hi dros ddyddiau lawer, eithr Paul yn flin ganddo; a drodd, ac a ddywedodd wrth yr yspryd, Yr ydwyf yn gorchymmyn i ti, yn enw Iesu Grist, fyned allan o honi. Ac efe a aeth allan yr awr honno.

19 A phan welodd ei meistreid hi, fyned gobaith eu helw hwynt ymmaith, hwy a ddaliasant Paul a Silas, ac a'u llusgasant hwy i'r farchnadfa, at y llywodraethwyr.

a

20 Ac a'i dygasant hwy at y swyddogion, ac a ddywedasant, y mae y dynion hyn, y rhai ydynt Iddewon, yn llwyr gythryblio ein dinas ni;

21 Ac yn dyscu defodau, y rhai nid ydyw rydd i ni eu derbyn, na'u gwneuthur, y rhai ydym Rufein-wyr.

22 A'r dyrfa a safodd i fynu ynghŷd yn eu herbyn hwy, a'r swyddogion gan rwygo eu dillad, a* orchymynnasant eu curo hwy â gwiail.

2.Cor.11.25. 1.thes.2.2.

23 Ac wedi rhoddi gwialennodiau lawer iddynt, hwy a'u taflasant i garchar; gan orchymmyn i geidwad y carchar, eu cadw hwy yn ddiogel.

24 Yr hwn wedi derbyn y cyfryw orchymmyn, a'u bwriodd hwy i'r carchar nesaf i mewn, ac a wnaeth eu traed hwy yn sicr yn y cyffion.

25 Ac am hanner nôs, Paul a Silas oedd yn gweddio, ac yn canu || mawl i Dduw, a'r carcharorion a'u clywsant hwy.

|| hymn.

26 Ac yn ddisymmwth y bu daiar-gryn mawr, hyd oni siglwyd seiliau y carchar: ac yn ebrwydd yr holl ddrysau a agorwyd, a rhwymau pawb a aethant yn rhyddion.

27 A phan ddeffrôdd ceidwad y carchar, a chanfod drysau y carchar yn agored, efe a dynnodd ei gleddyf, ac a amcanodd ei ladd ei hûn; gan dybied ffoi o'r carcharorion ymmaith.

28 Eithr Paul a lefodd â llef uchel gan ddywedyd, na wna i ti dy hûn ddim niwed; canys yr ydym ni ymma oll.

29 Ac wedi galw am oleu, efe a ruthrodd i mewn, ac yn ddychrynnedic ef a syrthiodd i lawr ger bron Paul a Silas,

30 Ac a'u dug hwynt allan, ac a ddywedodd, O feistred, beth sydd raid i mi ei wneuthur, fel y byddwyf gadwedig.

31 A hwy a ddywedasant, Crêd yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig fyddi, ti a'th deulu.

32 A hwy a draethasant iddo air yr Arglwydd, ac i bawb oedd yn ei dŷ ef.

33 Ac efe a'u cymmerth hwy yr awr honno o'r nôs, ac a olchodd eu briwiau, ac efe a fedyddiwyd, a'r eiddo oll, yn y man.

34 Ac wedi iddo eu dwyn hwynt i'w dŷ, efe a osododd fwyd ger eu bron hwy, ac a fu lawen, gan gredu i Dduw, efe a'i holl deulu.

35 A phan aeth hi yn ddydd, y swyddogion a anfonasant y ceisiaid, gan ddywedyd, gollwng ymmaith y dynion hynny.

36 A cheidwad y carchar a fynegodd y geiriau hyn wrth Paul, Y Swyddogion a anfonasant i'ch gollwng chwi ymmaith, yn awr gan hynny cerddwch ymmaith: ewch mewn heddwch.

37 Eithr Paul a ddywedodd wrthynt, wedi iddynt ein curo yn gyhoedd heb ein barnu, a ninnau yn Rhufein-wyr, hwy a'n bwriasant ni i garchar, ac yn awr a ydynt hwy yn ein bwrw ni allan yn ddirgel? Nid felly: ond deuant hwy eu hunain, a dygant ni allan.

38 A'r ceisiaid a fynegasant y geiriau hyn i'r Swyddogion. A hwy a ofnasant, pan glywsant mai Rhufeiniaid oeddynt.

39 A hwy a ddaethant ac a attolygasant arnynt, ac a'i dygasant allan, ac a ddeisyfiasant arnynt fyned allan o'r ddinas.

40 Ac wedi myned allan o'r carchar, hwy a* aethant i mewn at Lydia, ac wedi gweled y brodyr, hwy a'u cyssurasant, ac a ymadawsant.

Pen.16.14.

## P E N. XVII.

1 Paul yn pregethu yn Thessalonica: 4 lle y mae rhai yn credu, ac eraill yn ei erlid ef. 10 Ei anfon ef i Beræa, ac yntef yn pregethu yno. 13 Ac wedi ei erlid yn Thessalonica, 15 yn dyfod i Athen, ac yno yn ymresymmu, ac yn pregethu iddynt hwy y Duw byw, yr hwn nid adwaenent: 34 ac wrth hynny bagad yr troi at Grist.



Wedi iddynt dramwy drwy Amphipolis, ac Apollonia, hwy a ddaethant i Thessalonica, lle yr oedd Synagog i'r Iddewon.

2 A Phaul, yn ôl ei arfer, a aeth i mewn attynt, a thros dri Sabboth a ymresymmodd â hwynt, allan o'r Scrythyrau,

3 Gan egluro, a dodi ger eu bronnau, mai rhaid oedd i Grist ddioddef, a chyfodi oddi wrth y meirw; ac mai hwn yw y Crist, Jesu, yr hwn yr wyf fi yn ei bregethu i chwi.

4 A rhai o honynt a gredasant, ac a ymwascasant â Phaul a Silas, ac o'r Groegwyr crefyddol lliaws mawr, ac o'r gwragedd pennaf nid ychydig.

5 Eithr yr Iddewon, y rhai oedd heb gredu, gan genfigennu, a gymmerasant attynt rywr ddynion drwg o gyrwydriaid; ac wedi casclu tyrfa, hwy a wnaethant gyffro yn y ddinas, ac a osodasant a'r dŷ Jason, ac a geisiasant eu dwyn hwynt allan at y bobl.

6 A phan na chawsant hwynt, hwy a lusgasant Jason, a rhai o'r brodyr, at bennaethiaid y ddinas, gan lefain, Y rhai sydd yn aflonyddu y bŷd, y rhai hynny a ddaethant ymma hefyd,

7 Y rhai a dderbyniodd Jason, ac y mae y rhai hyn oll yn gwneuthur yn erbyn ordeiniadau Cæsar, gan ddywedyd fod brenin arall, [sef] Jesu.

8 A hwy a gyffroesant y dyrfa, a llywodraeth-wyr y ddinas hefyd, wrth glywed y pethau hyn.

9 Ac wedi iddynt || gael || sicrwydd gan Jason a'r lleill, hwy a'u gollyngasant hwynt ymmaith.

10 A'r brodyr yn ebrwydd o hŷd nôs, a anfonasant Paul a Silas i Beræa: y rhai wedi eu dyfod yno, a aethant i Synagog yr Iddewon.

11 Y rhai hyn oedd foneddigeiddiach na'r rhai oedd yn Thessalonica, y rhai a dderbyniasant y gair gyd â phôb parodrwydd meddwl, gan chwilio beunydd yr Scrythyrau, a oedd y pethau hyn felly.

12 Felly llawer o honynt a gredasant, ac o'r Groegesau parchedig, ac o wŷr nid ychydig.

13 A phan wybu yr Iddewon o Thessalonica fod gair Duw yn ei bregethu gan Paul yn Beræa hefyd, hwy a ddaethant yno hefyd, gan gyffroi y dyrfa.

14 Ac yna ŷn ebrwydd, y brodyr a anfonasant Paul ymmaith, i fyned megis i'r môr, ond Silas a Thimotheus a arhosasant yno.

15 A chyfarwydd-wyr Paul a'i dygasant ef hyd Athen: ac wedi derbyn gorchymyn at Silas a Thimotheus, ar iddynt ddyfod atto ar ffrwst, hwy a aethant ymmaith.

16 A thra ydoedd Paul yn aros am danynt yn Athen, ei yspryd a gynhyrfwyd ynddo, wrth weled y ddinas || wedi ymroi i eulynnod.

17 O herwydd hynny yr ymresymmodd efe yn y Synagog â'r Iddewon, ac â'r rhai crefyddol, ac yn y farchnad beunydd, â'r rhai a gyfarfyddent ag ef.

18 A rhai o'r Philosophyddion, o'r Epicuriaid, ac o'r Stoiciaid, a ymddadleuasant ag efe; a rhai a ddywedasant beth a fynnei y || siaradwr hwn ei ddywedyd? a rhai, tebyg yw ei fod ef yn mynegi duwiau dieithr, am ei fôd yn pregethu yr Jesu, a'r ad-gyfodiad, iddynt.

19 A hwy a'i daliasant ef, ac a'i dygasant i || Areopagus, gan ddywedyd; A allwn ni gael gwybod beth yw y ddysc newydd hon, a draethir gennit?

20 Oblegid yr wyt ti yn dwyn rhyw bethau dieithr i'n clustiau ni: am hynny ni a fynnem wybod beth a allei y pethau hyn fod.

21 (Ar holl Atheniaid, a'r dieithriaid, y rhai oedd yn ymdeithio yno, nid oeddynt yn cymmeryd hamdden i ddim arall, ond i ddywedyd, neu i glywed rhyw newydd.)

22 Yna y safodd Paul ynghanol Areopagus, ac a ddywedodd, Ha-wŷr Atheniaid, mi a'ch gwelaf chwi ym-mhob peth yn dra-choel-grefyddol.

23 Canys wrth ddyfod heibio, ac edrych ar || eich defosionau, mi a gefais allor, yn yr hon yr scrifennasid; I'r Duw Nid Adwaenir. Yr hwn, gan hynny, yr ydych chwi heb ei adnabod, yn ei addoli, hwnnw yr wyf fi yn ei fynegi i chwi.

24 *Y Duw a wnaeth y bŷd, a phôb peth sydd ynddo, gan ei fod yn Arglwydd nef a daiar, nid yw yn trigo mewn temlau o waith dwylo.

25 Ac nid â dwylo dynion y gwasanaethir ef, *fel pe bai arno eisieu dim, gan ei fôd efe yn rhoddi i bawb fywyd, ac anadl, a phob peth oll.

26 Ac efe a wnaeth o un gwaed bob cenedl o ddynion, i breswylio ar holl wyneb y ddaiar, ac a bennodd yr amseroedd rhag-osodedig, a therfynau eu preswylfod hwynt.

27 Fel y ceisient yr Arglwydd, os gallent ymbalfalu am dano ef, a'i gael, er nad yw efe yn ddiau neppell oddi wrth bob un o honom.

28 Oblegid ynddo ef yr ydym ni yn byw, yn symmud, ac yn bod: megis y dywedodd rhai o'ch Poetau chwi eich hunain: canys ei hiliogaeth ef hefyd ydym ni.

29 Gan ein bod ni gan hynny, yn hiliogaeth Duw, * ni ddylem ni dybied fod y Duwdod yn debyg i aur, neu arian, neu faen, o gerfiad celfyddyd, a dychymmyg dŷn.

30 A Duw gwedi esceuluso amseroedd yr anwybodaeth hon, sydd yr awron yn gorchymmyn i bôb dŷn, ym-mhob man, edifarhau.

31 O herwydd iddo osod diwrnod, yn yr hwn y barna efe y byd mewn cyfiawnder, drwy y gŵr a ordeiniodd efe, gan roddi ffydd i bawb, o herwydd darfod iddo ei gyfodi ef oddi wrth y meirw.

32 A phan glywsant sôn am adgyfodiad y meirw, rhai a watwarasant, a rhai a ddywedasant, ni a'th wrandawn drachefn am y peth hyn.

33 Ac felly Paul a aeth allan o'u plith hwynt.

|| Derbyn, || sicrwydd.

Pen.16.14.

|| yn llawn delwau.

|| hau reian.

|| Heol Fawr neu, Mars. ... ... fyn Athen ydoedd.

|| Neu, eich ... addoliadau. 2 Thes. 2.4.

*Pen.7.4[illegible]

*Psal.50

*Esa.4[illegible]

34 Eithr rhai gwŷr a lynasant wrtho, ac a gredasant, ym-mhlith y rhai yr oedd Dionysius Areopagita, a gwraig a'i henw Damaris, ac eraill gyd â hwynt.

## PEN. XVIII.

1 Paul yn gweithio â'i ddwylaw, ac yn pregethu yn Corinth i'r Cenhedloedd. 9 Yr Arglwydd yn ei gyssuro ef trwy weledigaeth. 12 Achwyn arno ef gar bron Galio y rhaglaw: yntef yn cael ei ollwng ymaith: 18 ac wedi hynny yn tramwy o ddinas i ddinas, ac yn nerthu y discyblion. 24 Apollos wedi ei ddyscu yn fanylach gan Aquila a Phriscilla, 28 yn pregethu Christ, gydá nerth mawr.



YN ôl y pethau hyn, Paul a ymadawodd ag Athen, ac a ddaeth i Corinth.

2 Ac wedi iddo gael rhyw Iddew, a'i enw * Aquila, un o Pontus o genedl, wedi dyfod yn hwyr o'r Ital, a'i wraig Priscilla, (am orchymmyn o Claudius i'r Iddewon oll fyned allan o Rufain) efe a ddaeth attynt.

3 Ac o herwydd ei fod o'r un gelfyddyd, efe a arhoes gyd â hwynt, ac a weithiodd (canys gwneuthur-wŷr pebyll oeddynt wrth eu celfyddyd.)

4 Ac efe a ymresymmodd yn y Synagog bob Sabbath, ac a || gynghorodd yr Iddewon, a'r Groegiaid.

5 A phan ddaeth Silas a Thimotheus o Macedonia, bu gyfyng ar Paul yn yr Yspryd, ac efe a dystiolaethodd i'r Iddewon, mai Iesu oedd Christ.

6 A hwythau gwedi ymosod yn ei erbyn, a chablu, * efe a escydwodd ei ddillad, ac a ddywedodd wrthynt; Bydded eich gwaed chwi ar eich pennau eich hunain, glân [ydwyf] fi; o hyn allan mi âf at y cenhedloedd.

7 Ac wedi myned oddi yno, efe a ddaeth i dŷ un a'i enw Iustus, un oedd yn addoli Duw, tŷ yr hwn oedd yn cyffwrdd â'r Synagog.

8 *A Chrispus yr Arch-synagogydd a gredodd yn yr Arglwydd, a'i holl dŷ: a llawer o'r Corinthiaid wrth wrando, a gredasant, ac a fedyddiwyd.

9 A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Paul trwy weledigaeth liw nôs, Nac ofna, eithr llefara, ac na thaw.

10 Canys yr wyf fi gyd â thi, ac ni esyd neb arnat, i wneuthur niwed iti: o herwydd y mae i mi bobl lawer yn y ddinas hon.

11 Ac efe a || arhoes [yno] flwyddyn a chwemis, yn dyscu gair Duw yn eu plith hwynt.

12 A phan oedd Gal-lio yn rhaglaw yn Achaia, cyfododd yr Iddewon yn un-fryd yn erbyn Paul, ac a'i dygasant ef i'r frawdle:

13 Gan ddywedyd; Y mae hwn yn annog dynion i addoli Duw yn erbyn y Ddeddf.

14 Ac fel yr oedd Paul yn amcanu agoryd ei enau, dywedodd Gal-lio wrth yr Iddewon; Pe buasei gam, neu ddrwg weithred, ó Iddewon, wrth reswm myfi a gyd-ddygaswn â chwi.

15 Eithr os y qwestiwn sydd am ymadrodd, ac enwau, ar ddeddf sydd yn eich plith chwi, edrychwch eich hunain, canys ni fyddaf fi farnwr am y pethau hyn.

16 Ac efe a'u gyrrodd hwynt oddiwrth y frawdle.

17 A'r holl Roeg-wŷr a gymmerasant Sosthenes yr Arch-synagogydd, ac a'i curasant o flaen y frawdle, ac nid oedd Gal-lio yn gofalu am ddim o'r pethau hynny.

18 Eithr Paul wedi aros etto ddyddiau lawer, a ganodd yn iach i'r brodyr, ac a fordwyodd ymmaith i Syria, a chyd ag ef Priscilla ac Aquila, gwedi iddo gneifio ei ben yn Cenchrea, canys yr oedd arno adduned.

19 Ac efe a ddaeth i Ephesus, ac a'u gadawodd hwynt yno, eithr efe a aeth i'r Synagog, ac a ymresymmodd â'r Iddewon.

20 A phan ddymunasant arno aros gyd â hwynt dros amser hwy, ni chaniattâodd efe.

21 Eithr efe a ganodd yn iach iddynt, gan ddywedyd, Y mae yn angenrhaid i mi gadw yr wyl sy'n dyfod yn Ierusalem; ond *os myn Duw, mi a ddeuaf yn fy ôl attochwi drachefn: ac efe a aeth ymmaith o Ephesus.

22 Ac wedi iddo ddyfod i wared i Cæsarea, efe a aeth i fynu, ac a gyfarchodd yr Eglwys, ac a ddaeth i wared i Antiochia.

23 Ac wedi iddo dreulio talm o amser, efe a aeth ymmaith gan dramwy trwy wlâd Galatia, a Phrygia, mewn trefn, a chadarnhau yr holl ddiscyblion.

24 *Eithr rhyw Iddew, a'i enw Apollos, Alexandriad o genedl, gŵr ymadroddus, cadarn yn yr Scrythyrau, a' ddaeth i Ephesus.

25 Hwn oedd wedi dechreu dyscu iddo ffordd yr Arglwydd, ac efe yn wresog yn yr Yspryd, a lefarodd, ac a athrawiaethodd yn ddiwyd y pethau a berthynent i'r Arglwydd, heb ddeall ond bedydd Ioan yn unig.

26 A hwn a ddechreuodd lefaru yn hŷ yn y Synagog: a phan glybu Aquila a Phriscilla, hwy a'i cymmerasant ef attynt, ac a agorasant iddo ffordd Duw yn fanylach.

27 A phan oedd efe yn ewyllysio myned i Achaia, y brodyr gan annog, a scrifennasant at y discyblion i'w dderbyn ef. Yr hwn wedi ei ddyfod, a gynnorthwyodd lawer ar y rhai a gredasent trwy râs.

28 Canys efe a orchfygodd yr Iddewon yn egniol, ar gyhoedd, gan ddangos trwy yr Scrythyrau mai Iesu yw Christ.

## PEN. XIX.

6 Rhoddi 'r Yspryd glân trwy ddwylaw Paul. 9 Yr Iddewon yn cablu ei athrawiaeth ef, yr hon a gadarnheir trwy wrthiau. 13 Y Consurwyr Iddewaidd 16 yn cael eu curo gan y cythrael. 19 Llosci y llyfrau consurio. 24 Demetrius, o chwant elw, yn codi terfysc mawr yn erbyn Paul: 35 ac yscolhaig y ddinas yn llonyddu 'r derfysc.

A dig-

...af.16.3.

...adiodd.

...o.14.

...r.1.4.

Id-

*1.Cor.4.19. Iac.4.15.

*1.Cor.1.12.


Digwyddodd tra fu Apollos yn Corinth, wedi i Paul dramwy trwy y parthau uchaf, ddyfod o honaw ef i Ephesus, ac wedi iddo gael rhyw ddiscyblion,

2 Efe a ddywedodd wrthynt, a dderbyniasoch chwi yr Yspryd glân, er pan gredasoch. A hwy a ddywedasant wrtho, Ni chawsom ni gymmaint a chlywed a oes Yspryd glân.

3 Ac efe a ddywedodd wrthynt, I ba beth gan hynny y bedyddiwyd chwi? hwythau a ddywedasant, I fedydd Ioan.

4 * A dywedodd Paul, Ioan yn ddiau a fedyddiodd â bedydd edifeirwch, gan ddywedyd wrth y bobl am gredu yn yr hwn oedd yn dyfod ar ei ôl ef, sef yn Ghrist Iesu.

5 A phan glywsant hwy [hyn,] hwy a fedyddiwyd yn enw yr Arglwydd Iesu.

6 Ac wedi i Paul ddodi ei ddwylaw arnynt, yr Yspryd glân a ddaeth arnynt, a hwy a draethasant â thafodau, ac a brophwydasant.

7 A'r gwŷr oll oeddynt ynghylch deuddec.

8 Ac efe a aeth i mewn i'r Synagog, ac a lefarodd yn hŷ dros dri mis, gan ymresymmu a chynghori y pethau a [berthynent] i deyrnas Dduw.

9 Eithr pan oedd rhai wedi caledu, ac heb gredu, gan ddywedyd yn ddrwg am y ffordd [honno,] ger bron y lliaws, efe a dynnodd ymmaith oddi wrthynt, ac a naillduodd y discyblion, gan ymresymmu beunydd yn yscol un Tyrannus.

10 A hyn a fu dros yspaid dwy flynedd, hyd oni ddarfu i bawb a oedd yn trigo yn Asia, yn Iddewon a Groegiaid, glywed gair yr Arglwydd Iesu.

11 A gwyrthiau rhagorol a wnaeth Duw drwy ddwylo Paul;

12 Hyd oni ddygid at y cleifion oddi wrth ei gorph ef, napkynnau neu || foledau; a'r clefydau a ymadawei â hwynt, a'r ysprydion drwg a aent allan o honynt.

13 Yna rhai o'r Iddewon cyrwydraidd, [y rhai oedd] consur-wŷr, a gymmerasant arnynt henwi uwch ben y rhai oedd ac ysprydion drwg ynddynt, enw'r Arglwydd Iesu, gan ddywedyd, Yr ydym ni yn eich tynghedu chwi trwy yr Iesu, yr hwn y mae Paul yn ei bregethu.

14 Ac yr oedd rhyw saith o feibion i Sceva, Iddew [ac] arch-offeiriad, y rhai oedd yn gwneuthur hyn.

15 A'r Yspryd drwg a attebodd ac a ddywedodd, Yr Iesu yr wyf yn ei adnabod, a Phaul a adwaen, eithr pwy ydych chwi?

16 A'r dyn, yr hwn yr oedd yr yspryd drwg ynddo, a ruthrodd arnynt, ac a'u || gorchfygodd, ac a fu drwm yn eu herbyn, hyd oni ffoesant hwy allan o'r tŷ hwnnw, yn noethion, ac yn archolledig.

17 A hyn a fu hyspys gan yr holl Iddewon a'r Groegiaid hefyd, y rhai oedd yn preswylio yn Ephesus, ac ofn a syrthiodd arnynt oll, ac enw yr Arglwydd Iesu a fawrygwyd.

18 A llawer o'r rhai a gredasent a ddaethant, ac a gyffesasant, ac a fynegasant eu gweithredoedd.

19 Llawer hefyd o'r rhai a fuasei yn gwneuthur || rhodreswaith, a ddygasant eu llyfrau ynghyd, ac a'u llosgasant yngwydd pawb, a hwy a fwriasant eu gwerth hwy, ac a'u cawsant yn ddeng-mil a deugain [o ddarnau] arian.

20 Mor gadarn y cynyddodd gair yr Arglwydd, ac y cryfhaodd.

21 A phan gyflawnwyd y pethau hyn, arfaethodd Paul yn yr Yspryd, gwedi iddo dramwy trwy Macedonia ac Achaia, fyned i Jerusalem, gan ddywedyd, gwedi i mi fod yno, rhaid i mi weled Rhufain hefyd.

22 Ac wedi anfon i Macedonia ddau o'r rhai oedd yn gweini iddo, [sef] Timotheus ac Erastus, efe ei hun a arhosodd dros amser yn Asia.

23 A bu ar yr amser hwnnw drallod nid bychan ynghylch y ffordd honno.

24 Canys rhyw un a'i enw Demetrius, gôf arian, yn gwneuthur temlau arian i Ddiana, oedd yn peri elw nid bychan i'r crefftwŷr.

25 Y rhai a alwodd efe ynghyd â gweithwŷr y cyfryw bethau hefyd, ac a ddywedodd, Ha-wŷr, chwi a wyddoch mai oddi wrth yr elw hwn y mae ein golud ni.

26 Chwi a welwch hefyd ac a glywch, nid yn unig yn Ephesus, eithr agos tros Asia oll, ddarfod i'r Paul ymma berswadio a throi llawer o bobl ymmaith, wrth ddywedyd nad ydyw dduwiau y rhai a wnair â dwylo.

27 Ac nid yw yn unig yn enbyd i ni ddyfod y rhan hon i ddirmyg, eithr hefyd bod cyfrif Teml y dduwies fawr Diana yn ddiddim, a bôd hefyd ddestrywio ei mawrhydi hi, yr hon y mae Asia oll, a'r byd yn ei haddoli.

28 A phan glywsant, hwy a lanwyd o ddigofaint, ac a lefasant, gan ddywedyd, Mawr yw Diana yr Ephesiaid.

29 A llanwyd yr holl ddinas o gythryfwl, a hwy a ruthrasant yn un-fryd i'r || orsedd, gwedi cippio Gaius ac Aristarchus o Macedonia, cydymdeithion Paul.

30 A phan oedd Paul yn ewyllysio myned i mewn i blith y bobl, ni adawodd y discyblion iddo.

31 Rhai hefyd o bennaethiaid Asia, y rhai oedd gyfeillion iddo, a yrrasant atto i ddeisyf arno, nad ymroddei efe i fyned i'r orsedd.

32 A [rhai] a lefasant [un peth,] ac eraill beth arall. Canys y gynnulleidfa oedd yn gymmysg: a'r rhan fwyaf ni wyddent o herwydd pa beth y daethent ynghyd.

33 A hwy a dynnasant Alexander allan o'r dyrfa, a'r Iddewon yn ei yrru ef ymlaen. Ac Alexander a amneidiodd â'i

[M] law

Margin notes: Mat.3.11. — 1.Cor.4.19. ...15. — ...r.1.12. — || ...rsau. — || ...ifriodd. — || mabyl-waith. — || Theatr, y lysfa.

law am osteg, ac a fynnasei ei amddiffyn ei hun wrth y bobl.

34 Eithr pan wybuant mai Iddew oedd efe, pawb ag vn llef a lefasant megis dros ddwy awr, Mawr yw Diana yr Ephesiaid.

35 Ac wedi i ysgolhaig y [ddinas,] lonyddu y bobl, efe a ddywedodd, Ha-wyr Ephesiaid, pa ddyn sydd ni's gwyr fod dinas yr Ephesiaid yn || addoli y dduwies fawr Diana, a'r [ddelw] a ddisgynnodd oddi wrth Iupiter?

|| yn geidwad Teml.

36 A chan fod y pethau hyn heb allu dywedyd i'w herbyn, rhaid i chwi fod yn llonydd, ac na wneloch ddim mewn byrbwyll.

37 Canys dygasoch ymma y gwyr hyn, y rhai nid ydynt, nac yn yspeilwyr temlau, nac yn cablu eich duwies chwi.

38 Od oes, gan hynny, gan Ddemetrius a'r crefftwyr sy gyd ag ef, vn hawl yn erbyn nêb, y mae cyfraith i'w chael, ac y mae rhaglawiaid, rhodded pawb yn erbyn ei gilydd.

39 Ac os gofynnwch ddim am bethau eraill, mewn cynnulleidfa gyfraithlawn y terfynir [hynny:]

40 O herwydd enbyd yw rhag achwyn arnom am y derfysc heddyw, gan nad oes vn achos, trwy yr hwn y gallom roddi rheswm o'r ymgyrch hwn.

41 Ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a ollyngodd y gynnulleidfa ymmaith.

## PEN. XX.

1 Paul yn myned i Macedonia, 7 yn gwasanaethu swpper yr Arglwydd, ac yn pregethu. 9 Eutychus wedi cwympo i lawr yn farw, yn cael ei godi i fynu yn fyw. 17 Paul ym Miletum yn galw yr Henuriaid ynghyd, ac yn mynegi iddynt beth a ddigwyddai iddo, 28 yn yn gorchymmyn praidd Duw iddynt, 29 yn eu rhybuddio hwynt am y gau athrawon, 36 yn gweddio gydâ hwynt, ac yn myned ymaith.



AC ar ôl gostegu y cythrysfwl, Paul wedi galw y discyblion atto, a'u cofleidio, a ymadawodd i fyned i Macedonia.

2 Ac wedi iddo fyned tros y parthau hynny, a'i cynghori hwynt â llawer o ymadrodd, efe a ddaeth i dir Groeg:

3 Ac wedi aros dri-mis, a gwneuthur o'r Iddewon gynllwyn iddo, fel yr oedd ar fedr morio i Syria, efe a arfaethodd ddychwelyd trwy Macedonia.

4 A chydymdeithiodd ag ef hyd yn Asia, Sopater o Berea, ac o'r Thessaloniaid Aristarchus, a Secundus, a Gaius o Derbe, a Thimotheus; ac o'r Asiaid Tychicus, a Throphimus.

5 Y rhai hyn a aethant o'r blaen, ac a arhosasant am danom yn Troas.

6 A ninnau a fordwyasom ymmaith oddi wrth Philippi, yn ôl dyddiau y bara croyw, ac a ddaethom attynt hwy i Troas mewn pum nhiwrnod, lle yr arhosasom saith niwrnod.

7 Ac ar y dydd cyntaf o'r || wythnos, wedi i'r discyblion ddyfod ynghyd *i dorri bara, Paul a || ymresymmodd â hwynt, ar fedr myned ymmaith drannoeth, ac efe a barhaodd yn ymadrodd hyd hanner nôs.

|| Sabbathau. *Pen. 2. 6. || bregethodd iddynt.

8 Ac yr oedd llawer o lampau yn y llofft lle yr oedynt wedi ymgasclu.

9 A rhyw wr ieuangc, a'i enw Eutychus, a eisteddai mewn ffenestr, ac efe a syrthiodd mewn trym-gwsg, tra yr oedd Paul yn ymresymmu yn hir, wedi ei orchfygu gan gwsc, ac a gwympodd i lawr o'r drydedd lofft, ac a gyfodwyd i fynu yn farw.

10 A Phaul a aeth i wared, ac a syrthiodd arno ef, a chan ei gofleidio, a ddywedodd, Na chyffroed arnoch; canys y mae ei enaid ynddo ef.

11 Ac wedi iddo ddyfod i fynu, a thorri bara, a bwyta, ac ymddiddan llawer hyd toriad y dydd; felly efe a aeth ymmaith.

12 A hwy a ddygasant y llangc yn fyw, ac a gysurwyd yn dirfawr.

13 Ond nyni a aethom o'r blaen i'r llong, ac a hwyliasom i Assos, ar fedr oddi yno dderbyn Paul: canys felly yr oedd efe wedi ordeinio, ar fedr myned ei hun ar ei draed.

14 A phan gyfarfu ef â ni yn Assos, nyni a'i derbyniasom ef i mewn, ac a ddaethom i Mitylene.

15 A morio a wnaethom oddi yno, a dyfod trannoeth gyferbyn â Chios, a thradwy y tiriasom yn Samos, ac a arhosasom yn Trogilium, a'r ail dydd y daethom i Miletus.

16 Oblegid Paul a roddasei ei fryd ar hwylio heibio i Ephesus, fel na byddei iddo dreulio amser yn Asia, canys brysio yr oedd, os bai bossibl iddo, i fod yn Ierusalem erbyn dydd y || Sulgwyn.

|| Pentecost.

17 Ac o Miletus efe a anfonodd i Ephesus, ac a alwodd atto Henuriaid yr Eglwys.

18 A phan ddaethant atto, efe a ddywedodd wrthynt, Chwi a wyddoch er y dydd cyntaf y daethym i Asia, pa fodd y bum i gyd â chwi dros yr holl amser,

19 Yn gwasanaethu yr Arglwydd gyd â phob gostyngeiddrwydd, a llawer o ddagrau, a phrofedigaethau, y rhai a ddigwyddodd i mi trwy gynllwynion yr Iddewon:

20 Y modd nad atteliais ddim o'r pethau buddiol heb eu mynegi i chwi, a'ch dyscu ar gyhoedd, ac o dŷ i dŷ,

21 Gan dystiolaethu i'r Iddewon, ac i'r Groegiaid hefyd, yr edifeirwch sydd tu ag at Dduw, a'r ffydd sydd tu ag at ein Harglwydd Iesu Grist.

22 Ac yn awr, wele fi yn rhwym yn yr yspryd yn myned i Ierusalem, heb wybod y pethau a ddigwydd i mi yno:

23 Eithr bod yr Yspryd glân yn tystio i mi ym-mhôb dinas, gan ddywedyd, fod rhwymau a blinderau yn fy aros.

24 Ond nid wyfi yn gwneuthur cyfrif o ddim, ac nid gwerthfawr gennif fy einioes

fy

fy hun, os gallaf orphen fy ngyrfa trwy lawenydd, a'r weinidogaeth a dderbyniais gan yr Arglwydd Iesu, i dystiolaethu Efengyl grâs Duw.

25 Ac yr awron, wele, mi a wn na chewch chwi oll (ymmysc y rhai y bum i yn tramwy yn pregethu teyrnas Duw) weled fy wyneb i mwyach.

26 O herwydd pa ham, yr ydwyf yn tystio i chwi y dydd heddyw, fy môd i yn lân oddi wrth waed pawb oll.

27 Canys nid ymmatteliais rhag mynegi i chwi holl gyngor Duw.

28 Edrychwch, gan hynny, arnoch eich hunain, ac ar yr holl braidd, ar yr hwn y gosododd yr Yspryd glân chwi yn olygwyr, i fugeilio Eglwys Duw, yr hon a bwrcasodd efe â'i briod waed.

29 Canys myfi a wn hyn, y daw yn ôl fy ymadawiad i, fleiddiau || blinion i'ch plith, heb arbed y praidd.

30 Ac o honoch chwi eich hunain y cyfyd gwŷr yn llefaru pethau gwyr-draws, i dynnu discyblion ar eu hôl.

31 Am hynny gwiliwch a chofiwch, dros dair blynedd na pheidiais i nos a dydd â rhybuddio pob vn [o honoch] â dagrau.

32 Ac yr awr hon frodyr, yr ydwyf yn eich gorchymmynyn i Dduw, ac i air ei râs ef, yr hwn a all adeiladu chwaneg, a rhoddi i chwi etifeddiaeth ym-mhlith yr holl rai a sancteiddiwyd.

33 Arian, neu aur, neu wisg neb, ni chwennychais.

34 Je chwi a wyddoch eich hunain * ddarfod i'r dwylo hyn wasanaethu i'm cyfraidiau i, ac i'r rhai oedd gyd â mi.

* 1 Cor.4.12. 1 thes.2.9. 2 thes.3.8.

35 Mi a ddangosais i chwi bôb peth, mai wrth lafurio felly y mae yn rhaid cynnorthwyo y gweiniaid, a chofio geiriau yr Arglwydd Iesu, ddywedyd o honaw ef, mai dedwydd yw rhoddi yn hyttrach nâ derbyn.

36 Ac wedi iddo ddywedyd y pethau hyn, efe a roddodd ei liniau i lawr, ac a weddiodd gyd â hwynt oll.

37 Ac wylo yn dost a wnaeth pawb, a hwy a syrthiasant ar wddf Paul, ac a'i cusanasant ef,

38 Gan ofidio yn bennaf am y gair a ddywedasei efe, na chaent weled ei wyneb ef mwy. A hwy a'i hebryngasant ef i'r llong.

## PEN. XXI.

1 Paul yn gwrthod ei gynghori i beidio a myned i Ierusalem. 9 Merched Philip yn Brophwydesau. 15 Paul yn dyfod i Ierusalem: 24 lle y daliwyd ef, ac y bu mewn mawr berygl: 31 a'r pen-capten yn ei achub ef, ac yn rhoi cennad iddo i lefaru wrth y bobl.



A Digwyddodd wedi i ni osod allan, ac ymadel â hwynt, ddyfod o honom ag vniawngyrch i Coos, a thrannoeth i Rhodos, ac oddi yno i Patara.

2 A phan gawsom long yn hwylio trosodd i Phenice, ni a ddringasom iddi, ac a aethom ymmaith.

3 Ac wedi ymddangos o Cyprus i ni, ni a'i gadawsom hi ar y llaw asswy, ac a hwyliasom i Syria, ac a diriasom yn Tyrus: canys yno yr oedd y llong yn dadlwytho y llwyth.

4 Ac wedi i ni gael discyblion, nyni a arhosasom yno saith niwrnod: y rhai a ddywedasant i Paul, trwy yr Yspryd, nad elei i fynu i Jerusalem.

5 A phan ddarfu i ni orphen y dyddiau, ni a ymadawsom, ac a gychwynnasom: a phawb ynghyd, a'r gwragedd, a'r plant, a'n hebryngasant ni hyd allan o'r ddinas, ac wedi i ni ostwng ar ein gliniau ar y traeth, ni a weddiasom.

6 Ac wedi i ni ymgyfarch â'i gilydd, ni a ddringasom i'r llong, a hwythau a ddychwelasant i'w cartref.

7 Ac wedi i ni orphen hwylio o Tyrus, ni a ddaethom i Ptolemais: ac wedi i ni gyfarch y brodyr, ni a drigasom vn diwrnod gyd â hwynt.

8 A thrannoeth || y rhai oedd ynghylch Paul || a ymadawsant, ac a ddaethant i Caesarea. Ac wedi i ni fyned i mewn i dŷ Philip yr Efengylwr, * (yr hwn oedd vn o'r saith) ni a arhosasom gyd ag ef.

|| Paul a'r rhai oedd gyd ag ef. pen.13.13.
|| gwedi myned allan nyni a ddaethom i Caesarea.
* Pen.6.5.

9 Ac i hwn yr oedd pedair merched, o forwynion, yn prophwydo.

10 Ac fel yr oeddem yn aros yno ddyddiau lawer, daeth i wared o Judaea brophwyd â'i enw Agabus.

11 Ac wedi dyfod attom, a chymmeryd gwregys Paul, a rhwymo [ei] ddwylaw ef [a'i] draed, efe a ddywedodd, hyn a ddywed yr Yspryd glân, Y gŵr biau y gwregys hwn, a rwym yr Iddewon fel hyn yn Jerusalem, ac a'i traddodant i ddwylo y Cenhedloedd.

12 A phan glywsom y pethau hyn, nyni a'r rhai oedd o'r fan honno hefyd, a ddeisyfiasom nad elei efe i fynu i Jerusalem.

13 Eithr Paul a attebodd, beth a wnewch chwi yn wylo, ac yn torri fy nghalon i? canys parod wyfi, nid i'm rhwymo yn vnig, ond i farw hefyd yn Jerusalem, er mwyn Enw yr Arglwydd Iesu.

14 A chan na ellid ei berswadio, ni a beidiasom, gan ddywedyd; Ewyllys yr Arglwydd a wneler.

15 Hefyd, yn ôl y dyddiau hynny, ni a gymmerasom ein beichiau, ac a aethom i fynu i Jerusalem.

16 A [rhai] o'r discyblion o Caesarea a ddaeth gyd â ni, gan ddwyn vn Mnason o Cyprus, hên ddiscybl, gyd â'r hwn y letteuem.

17 Ac wedi ein dyfod i Jerusalem, y brodyr a'n derbyniasant yn llawen.

18 A'r dydd nesaf yr aeth Paul gyd â ni i mewn at Jaco; a'r holl Henuriaid a ddaethant yno.

19 Ac wedi iddo gyfarch gwell iddynt, efe a fy-

a fynegodd iddynt bob yn un ac un, bôb peth a wnaethei Duw ym-mlith y Cenhedloedd trwy ei weinidogaeth ef.

20 A phan glywsant, hwy a ogoneddasant yr Arglwydd, ac a ddywedasant wrtho, Ti a weli, frawd, pa sawl myrddiwn sydd o'r Iddewon y rhai a gredasant, ac y maent oll yn dwyn zêl i'r Ddeddf.

21 A hwy a glywsant am danat ti, dy fod ti yn dyscu yr Iddewon oll, y rhai sydd ym mysc y Cenhedloedd i ymwrthod â Moses, ac yn dywedyd, na ddylent hwy enwaedu ar eu plant, na rhodio yn ôl y defodau.

22 Pa beth gan hynny? nid || oes fodd na dêl y lliaws ynghyd: canys hwy a gânt glywed dy ddyfod ti.

23 Gwna gan hynny, yr hyn a ddywedwn wrthit, y mae gennym ni bedwar-gwyr a chanddynt adduned arnynt.

24 Cymmer y rhai hyn, a glanhaer di gyd â hwynt, a gwna draul arnynt, fel yr *eilliont eu pennau, ac y gwypo pawb am y pethau a glywsant am danat ti, nad ydynt ddim, ond dy fod di dy hun hefyd yn rhodio, ac yn cadw y Ddeddf.

25 Eithr am y Cenhedloedd, y rhai a gredasant, *ni a scrifennasom, ac a farnasom na bo iddynt gadw dim o'r cyfryw beth, eithr iddynt ymgadw oddi wrth y pethau a aberthwyd i eulynnod, a gwaed, a rhag peth tagedig, a rhag puttteindra.

26 Yna Paul a gymmerth y gwyr, a thrannoeth gwedi iddo ymlanhau gyd â hwynt, efe a aeth i mewn i'r Deml, *gan yspysu cyflawni dyddiau y glanhâd, hyd oni offrymmid offrwm dros bôb un o honynt.

27 A phan oedd y saith niwrnod ar ddarfod, yr Iddewon oeddent o Asia, pan welsant ef yn y Deml, a derfyscasant yr holl bobl, ac a ddodasant ddwylo arno,

28 Gan lefain, ha-wyr Israeliaid, cynhorthwywch, dymma 'r dŷn sydd yn dyscu pawb ym mhôb man yn erbyn y bobl, a'r gyfraith, a'r lle ymma, ac ym mhellach, y Groegiaid hefyd a ddûg efe i mewn i'r Deml, ac a halogodd y lle sanctaidd hwn.

29 Canys hwy a welsent o'r blaen Trophimus yr Ephesiad yn y ddinas gyd ag ef, yr hwn yr oeddynt hwy yn tybied ddarfod i Paul ei ddwyn i mewn i'r Deml.

30 A chynnhyrfwyd y ddinas oll, || a'r bobl a redodd ynghyd, ac wedi ymaelyd yn Paul, hwy a'i tynnasant ef allan o'r Deml; ac yn ebrwydd, caewyd y drysau.

31 Ac fel yr oeddynt hwy yn ceisio ei ladd ef, daeth y gair at ben-capten y fyddin, fôd Jerusalem oll mewn terfysc.

32 Yr hwn allan o law a gymmerodd filwyr, a chanwriaid, ac a redodd i wared attynt: hwythau, pan welsant y pen-capten a'r milwyr, a beidiasant a churo Paul.

33 Yna y daeth y pen-capten yn nês, ac a'i daliodd ef, ac a archodd ei rwymo ef â dwy gadwyn, ac a ymofynnodd pwy oedd efe, a pha beth a wnaethei?

34 Ac amryw rai a lefent amryw beth yn y dyrfa: ac am nas gallei wybod yspyssrwydd, o herwydd y cythryfwl, efe a orchymynnodd ei ddwyn ef i'r castell.

35 A phan oedd efe ar y grisiau, fe a ddigwyddodd gorfod ei ddwyn ef gan y milwyr, o achos trais y dyrfa.

36 Canys yr oedd lliaws y bobl yn canlyn, gan lefain, Ymmaith ag ef.

37 A phan oedd Paul ar ei ddwyn i mewn i'r castell, efe a ddywedodd wrth y pen-capten, Ai rhydd i mi ddywedyd peth wrthit? Ac efe a ddywedodd, A fedri di Roeg.

38 *Ond tydi yw yr Aiphti-wr, yr hwn o flaen y dyddiau hyn, a gyfodaist derfysc, ac a arweiniaist i'r anialwch bedair mil o wyr llofruddiog?

39 A Phaul a ddywedodd, gwr ydwyf yn wir o Iddew, [un] o Tharsus, dinesydd o ddinas nid anenwog, o Cilicia; ac yr wyf yn deisyf arnat ti, dyro gennad i mi i lefaru wrth y bobl.

40 Ac wedi iddo roi cennad iddo, Paul a safodd ar y grisiau, ac a amneidiodd â llaw ar y bobl; ac wedi gwneuthur distawrwydd mawr, efe a lefarodd wrthynt yn Hebr-aec, gan ddywedyd,

PEN. XXII.

1 Paul yn mynegi yn helaeth y môdd y troesid ef i'r ffydd, 17 ac y galwesid ef i fôd yn Apostol. 22 Y bobl wrth glywed crybwyll am y Cenhedloedd, yn llefain yn ei erbyn ef: 24 Ac ynteu yn debyg i gael ei fflangellu, 25 ac etto yn diangc, trwy ymhonni o ddinas-fraint Rufain.



H A-wyr, frodyr a thadau, gwrandewch fy amddiffyn wrthych yr awr hon.

2 A phan glywsant mai yn Hebr-aec yr oedd efe yn llefaru wrthynt, hwy a roesant iddo osteg gwell, ac efe a ddywedodd:

3 *Gwr wyf yn wir o Iddew, yr hwn a aned yn Tharsus yn Cilicia, ac wedi fy meithrin yn y ddinas hon, wrth draed Gamaliel, ac wedi fy athrawiaethu yn ôl manylaf gyfraith y tadau, yn dwyn zêl i Dduw, fel yr ydych chwithau oll heddyw.

4 *A mi a erlidiais y ffordd hon hyd angeu, gan rwymo a dodi yngharchar wyr a gwragedd hefyd.

5 Megis ac y mae yr Arch-offeiriad yn dyst i mi, a'r holl henaduriaeth, gan y rhai hefyd y derbyniais lythyrau at y brodyr, ac yr aethym i Ddamascus, ar fedr dwyn

Margin notes: || ...ynghenhaid ... dyfod. — *Num.6.18. ...18.18. — *Pen.15.20. — *Num.6.13. — || bwrwlw y bobl, ac &c. — *Pen.5.36. — *Pen.21.39. — *Pen.8.3.

dwyn y rhai oedd yno hefyd, yn rhwym i Jerusalem, i'w cospi.

6 Eithr digwyddodd, a mysi yn myned, ac yn nesau at Ddamascus, ynghylch hanner dydd, yn ddisymmwth, i fawr oleuni o'r nef ddisgleirio o'm hamgylch.

7 A mi a syrthiais ar y ddaiar, ac a glywais lais yn dywedyd wrthif; Saul, Saul, pa ham yr wyt yn fy erlid?

8 A minnau a attebais, Pwy wyt ti, ô Arglwydd? Yntef a ddywedodd wrthif, mysi yw Jesu o Nazareth, yr hwn yr wyt ti yn ei erlid.

9 Hefyd, y rhai oedd gyd â mysi a welsant y goleuni yn ddiau, ac a ofnasant, ond ni chlywsant hwy lais yr hwn oedd yn llefaru wrthif.

10 Ac mysi a ddywedais: Beth a wnaf, ô Arglwydd? A'r Arglwydd a ddywedodd wrthif, Cyfod, a dôs i Ddamascus, ac yno y dywedir i ti bob peth a'r a ordeiniwyd i ti eu gwneuthur.

11 A phryd nad oeddwn yn gweled gan ogoniant y goleuni hwnnw, a'r rhai oedd gyd â mi yn fy nhywys erbyn fy llaw, mysi a ddaethym i Ddamascus.

12 Ac vn Ananias, gwr defosionol yn ôl y Ddeddf, ac iddo air da gan yr Iddewon oll, ar oeddynt yn preswylio [yno],

13 A ddaeth attaf, ac a safodd ger llaw, ac a ddywedodd wrthif, Y brawd Saul, cymmer dy olwg, ac mi a edrychais arno yn yr awr honno.

14 Ac efe a ddywedodd, Duw ein tadau ni a'th rag-ordeiniodd di i wybod ei Ewyllys ef, ac i weled y Cyfiawn [hwnnw,] ac i glywed llefer ydd ei enau ef.

15 Canys ti a fyddi dyst iddo wrth bôb dyn, o'r [ pethau] a welaist, ac a glywaist.

16 Ac yr awron, ‖ beth yr wyt ti yn ei aros? Cyfod, bedyddier di, a golch ymmaith dy bechodau, gan alw ar Enw yr Arglwydd.

‖ beth yr wyt yn ei amcanu?

17 A darfu wedi i mi ddyfod yn fy ôl i Jerusalem, fel yr oeddwn yn gweddio yn y Deml, i mi syrthio mewn llewyg;

18 A'i weled ef yn dywedyd wrthif, Brysia, a dôs ar frys allan o Jerusalem; o herwydd ni dderbyniant dy destiolaeth am danaf fi.

19 A minneu a ddywedais, O Arglwydd, hwy a wyddant fy mod i yn carcharu, ac yn baeddu ym-mhôb Synagog, y rhai a gredent ynot ti.

20 * A phan dywalltwyd gwaed Stephan dy ferthyr di, yr oeddwn i hefyd yn sefyll ger llaw, ac yn cydsynio i'w ladd ef, ac yn cadw dillad y rhai a'i lladdent ef.

* Pen.7.58.

21 Ac efe a ddywedodd wrthif, Dôs ymmaith, canys mi a'th anfonaf ym-mhell at y Cenhedloedd.

22 A hwy a'i gwrandawsant ef hyd y gair hwn. A hwy a godasant eu llef, ac a ddywedasant, Ymmaith â'r cyfryw vn oddi ar y ddaiar, canys nid cymmwys ei fod ef yn fyw.

23 Ac fel yr oeddynt yn llefain, ac yn bwrw eu dillad, ac yn taflu llwch i'r awyr,

24 Y pen-capten a orchymmynnodd ei ddwyn efe i'r castell, gan beri ei holi ef trwy fflangellau, fel y galle i wybod am ba achos yr oeddynt yn llefain arno felly.

25 Ac fel yr oeddynt yn ei rwymo ef â charreiau, dywedodd Paul wrth y Canwriad, yr hwn oedd yn sefyll ger llaw, Ai rhydd i chwi fflangellu gwr o Rufeiniad, ac heb ei gondemnio hefyd.

26 A phan glybu y Canwriad, efe a aeth ac a fynegodd i'r pen-capten, gan ddywedyd, Edrych beth yr wyt yn ei wneuthur; canys Rhufeiniad yw y dyn hwn.

27 A'r pen-capten a ddaeth ac a ddywedodd wrtho, dywed i mi, ai Rhufeiniad wyt ti? ac efe a ddywedodd, Je.

28 A'r pen-capten a attebodd, A swm mawr y cefais i y ddinas-fraint hon. Eithr Paul a ddywedodd, A minnau a anwyd [yn freiniol].

29 Yn ebrwydd gan hynny yr ymadawodd oddi wrtho y rhai oedd ar fedr ei holi ef. A'r pen-capten hefyd a ofnodd, pan wybu ei fod ef yn Rhufeiniad, ac oblegid darfod iddo ei rwymo ef.

30 A thrannoeth, ac efe yn ewyllysio gwybod yspysrwydd am ba beth y cyhuddid ef gan yr Iddewon, efe a'i gollyngodd ef o'r rhwymau, ac a archodd i'r Arch-offeiriaid a'u cyngor oll ddyfod [yno], ac efe a a ddug Paul i wared, ac a'i gosododd ger eu bron hwy.

## PEN. XXIII.

1 Paul yn atteb trosto ei hun. 2 Ananias yn gorchymmyn ei daro ef. 7 Ymryson ymysc ei gyhuddwyr ef. 11 Duw yn ei gysfuro ef. 14 Yr Iddewon yn cynllwyn iddo: 20 a dangos hynny i'r pen-capten: 27 Yntef yn ei anfon ef at Phelix y Rhaglaw.



A Phaul yn edrych yn graff ar y Cynghor a ddywedodd, Hawyr, frodyr, mi a wasanaethais Dduw mewn pob cydwybod dda, hyd y dydd heddyw.

2 A'r Archoffeiriad Ananias, a archodd i'r rhai oedd yn sefyll yn ei ymmyl, ei daro ef ar ei enau.

3 Yna y dywedodd Paul wrtho, Duw a'th dery di bared wedi ei wyngalchu: canys, a ydwyt ti yn eistedd i'm barnu i yn ôl y Ddeddf, a chan droseddu y Ddeddf yn peri fy nharo i?

4 A'r sefyll-wyr a ddywedasant wrtho, A ddifenwi di Archoffeiriad Duw?

5 A dywedodd Paul, Ni wyddwn i, frodyr, mai yr Arch-offeiriad oedd efe: * canys scrifennedic yw, Na ddywaid yn ddrwg am bennaeth dy bobl.

* Exod.22.

6 A phan wybu Paul fod y naill ran o'r Saducæaid, a'r llall o'r Phariseaid, efe a lefodd yn y Cyngor, Hawyr frodyr,* Pharisead wyfi, mab i Pharisæad:* am obaith ac adgyfodiad y meirw yr ydys yn fy marnu i.

7 Ac wedi iddo ddywedyd hyn, bu ymryson rhwng y Pharisæaid a'r Saducæaid; a rhannwyd y lliaws.

8* Canys y Saducæaid yn wir a ddywedant nad oes nac adgyfodiad, nac Angel, nac yspryd: eithr y Pharisæaid sydd yn addef pob un o'r ddau.

9 A bu llefain mawr, A'r Scrifennyddion o ran y Pharisæaid a godasant i fynu, ac a ymrysonasant, gan ddywedyd; Nid ydym ni yn cael dim drwg yn y dyn hwn; eithr os yspryd a lefarodd wrtho, neu Angel, nac ymrysonwn â Duw.

10 Ac wedi cyfodi terfysc mawr, y pen-capten yn ofni rhac tynnu Paul yn ddryllau ganddynt, a archodd i'r mil-wyr fyned i wared, a'i gipio ef o'i plith hwynt, a'i ddwyn i'r castell.

11 Yr ail nos, yr Arglwydd a safodd ger llaw iddo, ac a ddywedodd, Paul, cymmer gyssur; canys megis y tystiolaethaist am danafi yn Jerusalem, felly y mae yn rhaid i ti dystiolaethu yn Rhufain hefyd.

12 A phan aeth hi yn ddydd; rhai o'r Iddewon, wedi llunio cyfarfod, a'i rhwymasant eu hunain â diofryd, gan ddywedyd; na fwytâent, ac nad yfent, nes iddynt ladd Paul.

13 Ac yr oedd mwy na deugain, o'r rhai a wnaethant y cyngrair hwn.

14 A hwy a ddaethant at yr Arch-offeiriaid a'r Henuriaid, ac a ddywedasant, Ni a'n rhwymasom ein hunain â diofryd, na archwaethem ddim, hyd oni laddem Paul.

15 Yn awr gan hynny, yspyswch gyd â'r Cyngor i'r pen-capten, fel y dygo efe ef i wared yfory attoch chwi, fel pe byddech ar fedr cael gwybod yn fanylach ei hanes ef, a ninnau cyn y delo efe yn agos, ydym barod i'w ladd ef.

16 Eithr pan glybu mab chwaer Paul y cynllwyn ymma; efe a aeth i mewn i'r castell, ac a fynegodd i Paul.

17 A Phaul a alwodd un o'r Canwriaid atto, ac a ddywedodd; Dwg y gwr ieuangc hwn at y pen-capten; canys y mae ganddo beth i'w fynegi iddo.

18 Ac efe a'i cymmerth ef, ac a'i dug at y pen-capten, ac a ddywedodd; Paul y carcharor a'm galwodd i atto, ac a ddymunodd arnaf, ddwyn y gwr ieuangc ymma attati, yr hwn sydd ganddo beth i'w ddywedyd wrthit.

19 A'r pen-capten a'i cymmerodd ef erbyn ei law, ac a aeth ag ef o'r neilldu, ac a ofynnodd, Beth yw yr hyn sydd gennit i'w fynegi i mi.

20 Ac efe a ddywedodd, Yr Iddewon a gydfwriadasant ddeisyf arnat ddwyn Paul i wared yfory i'r Cyngor, fel pe baent ar fedr ymofyn yn fanylach yn ei gylch ef.

21 Ond na chyttuna di â hwynt; canys y mae yn cynllwyn iddo mwy na deugeinwr o honynt, y rhai a roesant ddiofryd na bwyta nac yfed, nes ei ladd ef: ac yn awr y maent hwy yn barod yn disgwil am addewid gennit ti.

22 Y pen-capten, gan hynny, a ollyngodd y gwr ieuangc ymmaith, wedi gorchymyn iddo || na ddywedei i neb, ddangos o hono y pethau hyn iddo ef.

23 Ac wedi galw atto ryw ddau Ganwriad, efe a ddywedodd, paratowch ddau cant o fil-wyr, i fyned hyd yn Cæsarea, a dêc a thrugain o wyr meirch, a deu-cant o ffynwewyr, ar y drydedd awr o'r nôs.

24 A pharattowch yscrubliaid iddynt i osod Paul arnynt, i'w ddwyn ef yn ddiogel at Phælix y Rhaglaw.

25 Ac efe a scrifennodd lythyr yn cynnwys yr ystyriaeth ymma.

26 Claudius Lysias at yr ardderchoccaf Raglaw Phælix, yn anfon annerch.

27 Y gwr hwn a ddaliwyd gan yr Iddewon, ac a fu agos a'i ladd ganddynt, ac a achubais i, gan ddyfod a llu arnynt, gwedi deall mai Rhufeiniad oedd.

28 A chan ewyllysio gwybod yr achos yr oeddynt yn achwyn arno, mi a'i dugym ef i wared i'w Cyngor hwynt.

29 Yr hwn y cefais fod yn achwyn arno am arholion o'u cyfraith hwy, heb fod un cwyn arno yn haeddu angeu neu rwymau.

30 A phan fynegwyd i mi fod yr Iddewon ar fedr cynllwyn i'r gwr, mysi a'i hanfonais ef allan o law attati: ac a rybuddiais y cyhuddwyr i ddywedyd y pethau oedd yn ei erbyn ef, ger dy fron di. Bydd iach.

31 Yna y milwyr, megis y gorchymynnasid iddynt, a gymmerasant Paul, ac a'i dygasant o hyd nôs i Antipatris.

32 A thrannoeth, gan adel i'r gwyr meirch fyned gyd ag ef, hwy a ddychwelasant i'r castell.

33 Y rhai gwedi dyfod i Cæsarea a rhoddi y llythyr at y Rhaglaw, a osodasant Paul hefyd ger ei fron ef.

34 Ac wedi i'r Rhaglaw ddarllen [y llythyr], ac ymofyn o ba dalaith yr oedd efe, a gwybod mai o Cilicia yr ydoedd,

35 Mi a'th wrandawaf, eb efe, pan ddelo dy gyhuddwyr hefyd. Ac efe a orchymynnodd ei gadw ef yn nadleu-dy Herod.

|| [gwel na ddywedeth i neb ddangos o honot y pethau hyn i mi.

## PEN. XXIIII.

1 Paul wedi ei gyhuddo gan Tertulus yr araithiwr, 10 yn atteb tros ei fuchedd a'i athrawiaeth, 24 Yn pregethu Christ i'r Rhaglaw a'i wraig. 26 Y Rhaglaw, yn gobeithio cael brib, eithr yn ofer: 27 ac o'r diwedd wrth fyned allan o'i swydd yn gadel Paul yngharchar.



A C yn ôl pum nhiwrnod y daeth Ananias yr Archoffeiriad i wared, a'r Henuriaid, ac un Tertulus areithiwr, y rhai a ymddangosasant

sant ger bron y Rhaglaw yn erbyn Paul.

2 Ac wedi ei alw ef ger bron, Tertulus a ddechreuodd ei gyhuddo ef, gan ddywedyd,

3 Gan ein bod ni yn cael trwot ti heddwch mawr, a bod pethau llwyddiannus i'r genedl hon trwy dy ragweledigaeth di, yr ydym ni yn gwbl, ac ym-mhôb man yn eu cydnabod, (o arddercoccaf Phælix) gyd â phob diolch.

4 Eithr, fel na rwystrwyf di ym-mhellach, yr ydwyf yn deisyf arnat, o'th hynawsedd, wrando arnom ar fyrr eiriau.

5 Oblegid ni a gawsom y gwr hwn yn blâ, ac yn cyfodi terfysg ym-mysc yr holl Iddewon drwy y byd, ac yn ben ar sect y Nazareniaid.

6 Yr hwn a amcanodd halogi y Deml; yr hwn hefyd a ddaliasom ni, ac a fynnasem ei farnu yn ôl ein cyfraith ni.

7 Ethr Lysias y pen-capten a ddaeth, a thrwy orthrech mawr a'i dug ef allan o'n dwylo ni:

8 Ac a archodd i'w gyhudd-wyr ddyfod ger dy fron di, gan yr hwn wrth ei holi, y gelli dy hûn gael gwybodaeth o'r holl bethau am y rhai yr ydym ni yn achwyn arno.

9 A'r Iddewon a gydsyniasant hefyd, gan ddywedyd, fôd y pethau hyn felly.

10 A Phaul a attebodd, wedi i'r rhaglaw amneidio arno i ddywedyd, Gan i mi wybod dy fod ti yn farn-wr i'r genedl hon, er ys llawer o flynyddoedd, yr ydwyf yn fwy cyssurus yn atteb trosof fy hûn.

11 Canys ti a elli wybod nad oes tros ddeuddec diwrnod er pan ddaethym i fynu i addoli yn Jerusalem:

12 Ac ni chawsant fi yn y Deml yn ymddadleu â neb, nac yn gwneuthur terfysc i'r bobl, nac yn y Synagogau, nac yn y ddinas.

13 Ac ni allant brofi y pethau y maent yn awr yn achwyn arnaf o'i plegid.

14 Ond hyn yr ydwyf yn ei gyffessu i ti, mai yn ôl y ffordd y maent hwy yn ei galw yn heresi, felly yr wyf fi yn addoli Duw fy nhadau, gan gredu yr holl bethau sy scrifennedic yn y Ddeddf a'r Prophwydi,

15 A chennif obaith ar Dduw, yr hon y mae y rhai hyn eu hunain yn ei disgwil, y bydd adgyfodiad y meirw, i'r cyfiawnion, ac i'r anghyfiawnion.

16 Ac yn hyn yr ydwyf fy hûn yn ymarfer, i gael cydwybod ddirwystr tu ag at Dduw a dynion, yn wastadol.

17 Ac yn ôl llawer o flynyddoedd, y daethym i wneuthur elusenau i'm cenedl, ac offrymmau.

*Pen.21.27.

18 * Ar hynny rhai o'r Iddewon o Asia a'm cawsant i wedi fy nglanhau yn y Deml, nid gyd â thorf na therfysc.

19 Y rhai a ddylasent fôd ger dy fron di ac achwyn, os oedd ganddynt ddim i'm herbyn.

20 Neu ddywededd y rhai hyn eu huain, os cawsant ddim camwedd ynof, tra fûm i yn sefyll o flaen y Cyngor;

21 Oddieithr yr un llef hon a lefais pan oeddwn yn sefyll yn eu plith, * Am adgyfodiad y meirw i'm bernir heddyw gennych.

*Pen.23.6.

22 Pan glybu Phælix y pethau hyn, efe a'u hoedodd hwynt: gan wybod yn yspyssach y pethau a berthynent i'r ffordd hon, ac a ddywedodd, Pan ddêl Lysias y pen-capten i wared, mi a gâf wybod eich matterion chwi yn gwbl.

23 Ac efe a archodd i'r Canwriad gadw Paul, a chael o hono esmwythdra, ac na lesteiriei neb o'r eiddo ef i'w wasanaethu, nac i ddyfod atto.

24 Ac yn ôl talm o ddyddiau, y daeth Phælix gyd â'i wraig Drusilla, yr hon ydoedd Iddewes, ac a yrrodd am Paul, ac a'i gwrandawodd ef ynghylch y ffydd yng-Hrist.

25 Ac fel yr oedd efe yn ymresymmu am gyfiawnder, a dirwest, a'r farn a fydd; Phælix a ddychrynodd, ac a attebodd; dôs ymaith ar hyn o amser: a phan gaffwyf amser cyfaddas, mi a alwaf amdanat.

26 A chan obeithio hefyd y rhoddid arian iddo gan Paul, er ei ollwng ef yn rhydd: o herwydd pa ham efe a anfonodd am dano yn fynychach, ac a chwedleuodd ag ef.

27 Ac wedi cyflawni dwy flynedd, y daeth Portius Ffestus yn lle Phælix. A Phælix yn ewyllysio gwneuthur cymmwynas i'r Iddewon, a adawodd Paul yn rhwym.

## PEN. XXV.

1 Yr Iddewon yn achwyn ar Paul gar bron Ffestus: 8 ac ynteu yn atteb trosto ei hûn, 11 ac yn appelio at Cæsar: 14 Ac wedi hynny Ffestus yn yspyssu ei achos ef i frenin Agrippa, 23 a'i ddwyn ef gar bron; 25 Ffestus yn ei ddiheuro ef, na wnaethai efe ddim a haeddai farwolaeth.



Ffestus, gan hynny, wedi dyfod i'r dalaith, yn ôl tri diwrnod a aeth i fynu i Jerusalem, o Cæsarea.

2 Yna yr || ymddangosodd yr Arch-offeiriad a phennaethiaid yr Iddewon, ger ei fron ef, yn erbyn Paul, ac a ymbiliasant ag ef,

|| ysyss

3 Gan geisio ffafor yn ei erbyn ef, fel y cyrchei efe ef i Jerusalem: gan wneuthur cynllwyn i'w ladd ef ar y ffordd.

4 A Ffestus a attebodd, y cedwid Paul yn Cæsarea, ac yr ai efe ei hun yno ar fyrder.

5 Y rhai gan hynny, a allant yn eich mysc, eb efe, deuant i wared gyd â ni, ac od oes dim [drwg] yn y gwr hwn, cyhuddant ef.

6 A phryd na thrigasei efe gyd â hwy dros || ddeng nhiwrnod, efe a aeth i wared i Cæsarea, a thrannoeth efe a eisteddodd yn yr orsedd, ac a archodd ddwyn Paul atto.

|| wyt. ddeg.

7 Ac wedi ei ddyfod, yr Iddewon a ddaethent o Jerusalem i wared, a safasant o'i amgylch, ac a ddygasant lawer o achwynion

wynion trymion yn erbyn Paul, y rhai ni's gallent eu profi.

8 Ac yntef yn ei amddiffyn ei hûn, Ni phechais i ddim, nac yn erbyn cyfraith yr Iddewon, nac yn erbyn y Deml, nac yn erbyn Cæsar.

9 Eithr Ffestus yn chwennych dangos ffafor i'r Iddewon, a attebodd Paul, ac a ddywedodd, A fynni di fyned i fynu i Jerusalem i'th farnu yno ger fy mron i, am y pethau hyn?

10 A Phaul a ddywedodd; O flaen gorsedd-faingc Cæsar yr wyfi yn sefyll, lle y mae yn rhaid fy marnu; ni wnaethum i ddim cam â'r Iddewon, megis y gwyddost ti yn dda.

11 Canys os ydwyf yn gwneuthur cam, ac [os] gwneuthym ddim yn haeddu angeu, nid wyf yn gwrthod marw: eithr onid oes dim o'r pethau y mae y rhai hyn yn fy nghyhuddo, ni ddichon neb fy rhoddi iddynt. Appelio yr wyf at Cæsar.

12 Yna Ffestus, wedi ymddiddan â'r Cyngor, a attebodd, A appeliaist di at Cæsar? at Cæsar y cei di fyned.

13 Ac wedi talm o ddyddiau, Agrippa y brenin, a Bernice, a ddaethant i Cæsarea i gyfarch Ffestus.

14 Ac wedi iddynt aros yno lawer o ddyddiau, Ffestus a fynegodd i'r brenin hanes Paul, gan ddywedyd; Y mae [ymma] ryw wr wedi ei adel gan Phelix yngharchar:

15 Ynghylch yr hwn, pan oeddwn yn Jerusalem, yr || ymddangosodd Arch-offeiriaid a henuriaid yr Iddewon ger bron, gan ddeisyf cael barn yn ei erbyn ef. [..., yspy-]

16 I'r rhai yr attebais, nad oedd arfer y Rhufein-wyr, roddi neb rhyw ddyn iw ddifetha, nes cael o'r cyhuddol ei gyhudd-wyr yn ei wyneb, a chael lle iw amddeffyn ei hûn rhag y cwyn.

17 Wedi eu dyfod hwy ymma gan hynny, heb wneuthur dim oed, trannoeth mi a eisteddais ar yr orsedd-faingc, ac a orchymmynnais ddwyn y gwr ger bron.

18 Am yr hwn ni ddûg y cyhudd-wyr [i fynu] ddim achwyn, o'r pethau yr oeddwn i yn tybieid.

19 Ond yr oedd ganddynt yn ei erbyn ef, ryw ymofynion ynghylch eu coel-grefydd eu hunain, ac ynghylch un Jesu a fuasei farw, yr hwn a daerei Paul ei fod yn fyw.

20 A mysi yn||anhyspys i ymofyn am hyn, a ddywedais, a fynnei efe fyned i Jerusalem, a'i farnu yno am y pethau hyn. [...eso / ...ylch y cy- / ...gwestion.]

21 Eithr gwedi i Paul appelio i'w gadw i || wybyddiaeth Augustus, mi a erchais ei gadw ef hyd oni allwn ei anfon ef at Cæsar. [...farn.]

22 Yna Agrippa a ddywedodd wrth Ffestus, minneu a ewyllysiwn glywed y dyn. Yntef a ddywedodd, Ti a gei ei glywed ef y fory.

23 Trannoeth, gan hynny, wedi dyfod Agrippa, a Bernice, a rhwysc fawr, a myned i mewn i'r orsedd, a'r pen-capteniaid, a phendefigion y ddinas; wrth orchymmyn Ffestus fe a ddugpwyd Paul ger bron.

24 A Ffestus a ddywedodd; O frenin Agrippa, a chwi wyr oll sydd gyd â ni yn bresennol, chwi a welwch y dyn hwn, o blegit pa un y galwodd holl liaws yr Iddewon arnafi, yn Jerusalem ac ymma, gan lefain, na ddylei efe fyw yn hwy.

25 Eithr pan ddeellais na wnaethei efe ddim yn haeddu angeu, ac yntef ei hun wedi appelio at Augustus, mi a fernais ei ddanfon ef.

26 Am yr hwn nid oes gennif ddim sicrwydd iw scrifennu at [fy] Arglwydd; o herwydd pa ham, mi a'i dugym ef ger eich bron chwi, ac yn enwedic ger dy fron di, ô frenin Agrippa, fel wedi ei holi ef, y caffwyf ryw beth i'w scrifennu.

27 Canys allan o reswm y gwelaf fi anfon carcharor, heb ysbysu hefyd yr achwynion a fyddo yn ei erbyn ef.

## P E N. XXVI.

1 Paul yngwydd Agrippa yn dangos ei fuchedd o'i febyd, 12 ac mor rhyfeddol i troesid ac y galwesid ef i fôd yn Apostol. 24 Ffestus yn teuru ei fôd ef wedi ynfydu, yntef ar hynny yn atteb yn llariaidd. 28 Agrippa ymron myned yn Gristion: 31 Yr holl gynnulleidfa yn ei farnu ef yn ddieuog.



AC Agrippa a ddywedodd wrth Paul, Y mae cennad i ti i ddywedyd trosot dy hunan. Yna Paul a estynnodd ei law, ac a'i hamddeffynnodd ei hun.

2 Yr ydwyf yn fy nhybied fy hun yn ddedwydd, ô frenhin Agrippa, gan fy mod yn cael fy amddeffyn fy hun ger dy fron di heddyw, am yr holl bethau yr achwynir arnaf gan yr Iddewon.

3 Yn bendifaddeu gan wybod dy fod di yn gydnabyddus â'r holl ddefodau, a'r holion sydd ym mhlith yr Iddewon; o herwydd pa ham, yr ydwyf yn deisyf arnat fy ngwrando i yn ddioddefgar.

4 Fy muchedd i o'm mebyd, yr hon oedd or dechreuad, ym mhlith fy nghenedl yn Jerusalem, a wyr yr Iddewon oll,

5 Y rhai am hadwaenent i o'r dechreu, (os mynnant dystiolaethu) mai yn ôl y sect fanylaf o'n crefydd ni, y bûm i fyw, yn Pharisæad.

6 Ac yn awr, am obaith yr addewid a wnaed i'n tadau gan Dduw, yr wyf yn sefyll i'm barnu.

7 I'r hwn [addewid] y mae ein deuddecllwyth ni, || heb dorr yn gwasanaethu [Duw] nôs a dydd, yn gobeithio dyfod; am yr hon obaith yr achwynir arnaf, ô frenin Agrippa, gan yr Iddewon. [|| yn astud.]

8 Pa beth? ai anghredadwy y bernir gennych chwi, y cyfyd Duw y meirw?

9 Minneu, yn wir a dybiais ynof fy hûn, fod yn rhaid [i mi] wneuthur llawer o bethau yn erbyn enw Jesu o Nazareth.

10 * Yr

Pen. 8. 3.

10 *Yr hyn hefyd a wneuthym yn Jerusalem; a llawer o'r Sainct a gaeais i mewn carcharau, wedi derbyn awdurdod gan yr Arch-offeiriaid; ac wrth eu difetha, mi a roddais farn yn eu herbyn.

11 Ac ym mhôb Synagog yn fynych mi a'i cospais hwy, ac a'u cymhellais i gablu; a chan ynfydu yn fwy yn eu herbyn, mi a'u herlidiais hyd ddinasoedd dieithr hefyd.

Pen. 9. 2.

12 *Ac yn hyn, a myfi yn myned i Ddamascus, ag awdurdod a chennad oddi wrth yr Arch-offeiriaid;

13 Ar hanner dydd, ô frenin, ar y ffordd, y gwelais oleuni o'r nef, mwy nâ disclairdeb yr haul, yn disclairio o'm hamgylch, a'r rhai oedd yn ymdaith gyd â mi.

14 Ac wedi i ni oll syrthio ar y ddaiar, mi a glywais leferydd yn llefaru wrthif, ac yn dywedyd yn Hebraeg, Saul, Saul, pa ham yr ydwyt yn fy erlid i? caled yw i ti wingo yn erbyn y symbylau.

15 Ac mi a ddywedais, Pwy wyt ti, Arglwydd? Ac efe a ddywedodd, Myfi yw Jesu, yr hwn yr wyt ti yn ei erlid.

16 Eithr cyfot, a saf ar dy draed, canys i hyn yr ymddangosais i ti, i'th osod ti yn weinidog, ac yn dyst o'r pethau a welaist, ac o'r pethau yr ymddangosaf i ti ynddynt:

17 Gan dy wared di oddi wrth y bobl a'r Cenhedloedd, at y rhai yr ydwyf yn dy anfon di yr awron;

18 I agoryd eu llygaid, ac i'w troi o dywyllwch i oleuni, ac o feddiant Satan at Dduw; fel y derbyniont faddeuant pechodau, a chyfran ym-mysc y rhai a sancteiddiwyd trwy y ffydd sydd ynof fi.

19 Am ba achos, ô frenin Agrippa, ni bûm anufydd i'r weledigaeth nefol.

20 Eithr mi a bregethais i'r rhai yn Damascus yn gyntaf, ac yn Jerusalem, a thros holl wlad Judæa, ac i'r Cenhedloedd; ar iddynt edifarhau, a dychwelyd at Dduw, a gwneuthur gweithredoedd addas i edifeirwch.

21 O achos y pethau hyn, yr Iddewon a'm daliasant i yn y Deml, ac a geisiasant fy lladd i â'u dwylo[eu hûn.]

22 Am hynny wedi i mi gael help gan Dduw, yr wyf fi yn aros hyd y dydd hwn, gan dystiolaethu i fychan a mawr, ac heb ddywedyd dim amgen nag a ddywedasei y Prophwydi a Moses, y delent i ben:

23 Y dioddefei Christ, ac y byddei efe yn gyntaf o adgyfodiad y meirw, ac y dangosei oleuni i'r bobl, ac i'r Cenhedloedd.

24 Ac fel yr oedd efe yn dywedyd y pethau hyn trosto, Ffestus a ddywedodd â llef uchel, Paul, yr wyt ti yn ynfydu; llawer o ddysc sydd yn dy yrru di yn ynfyd.

25 Ac efe a ddywedodd, Nid wyf i yn ynfydu, ô ardderchoccaf Ffestus; eithr geiriau gwirionedd a sobrwydd, yr wyf fi yn eu hadrodd.

26 Canys y brenin a wyr oddi wrth y pethau hyn, wrth yr hwn yr wyf fi yn llefaru yn hŷf; o herwydd nid wyf yn tybied fod dim o'r pethau hyn yn guddiedig rhagddo, oblegid nid mewn congl y gwnaed hyn.

27 Oh frenin Agrippa, A wyt ti yn credu i'r Prophwydi? mi a wn dy fôd yn credu.

28 Ac Agrippa a ddywedodd wrth Paul, yr wyti o fewn ychydig i'm hynnill i fôd yn Gristion.

29 A Phaul a ddywedodd; Mi a ddymunwn gan Dduw, o fewn ychydig, ac yn gwbl oll, fod nid tydi yn unic, ond pawb hefyd ar sydd yn fy ngwrando heddyw, yn gyfryw ac wyfi, ond y rhwymau hyn.

30 Ac wedi iddo ddywedyd hyn, cyfododd y brenin, a'r Rhaglaw, a Bernice, a'r rhai oedd yn eistedd gyd â hwynt.

31 Ac wedi iddynt fyned o'r neilltu, hwy a lefarasant wrth ei gilydd, gan ddywedyd, Nid yw'r dŷn hwn yn gwneuthur dim yn haeddu angeu neu rwymau.

32 Yna y dywedodd Agrippa wrth Ffestus, fe allasid gollwng y dŷn ymma ymmaith, oni buasei iddo appelio at Cæsar.

## PEN. XXVII.

1 Paul wrth forio tua Rhufain, 10 yn rhagddywedyd perygl y daith: 11 ac heb gael ei goelio. 14 Hwythau yn cael eu taflu draw ac yma gan y dymestl: 41 y llong yn torri arnynt: 22, 34, 44 ac er hynny yn dyfod i gyd i dir yn ddiangol.



A Phan gyttunwyd forio o honom ymmaith i'r Ital, hwy a roesant Paul, a rhyw garcharorion eraill, at Ganwriad a'i enw Julius, o fyddin Augustus.

2 Ac wedi dringo i long o Adramyttium, ar fedr hwylio i dueddau Asia, ni a aethom allan o'r porth-ladd, a chyd â ni yr oedd Aristarchus, Macedoniad o Thessalonica.

3 A thrannoeth ni a ddygpwyd i wared i Sidon, a Julius a ymddûg yn garedigol tu ac at Paul, ac a roddes iddo gennad i fyned at ei gyfeillion, i gael ymgeledd.

4 Ac wedi myned oddi yno, ni a hwyliasom tan Cyprus, am fod y gwyntoedd yn wrthwynebus.

5 Ac wedi hwylio o honom tros y môr sydd ger llaw Cilicia a Phamphilia, ni a ddaethom i Myra, [dinas] yn Lycia.

6 Ac yno y Canwriad wedi cael llong o Alexandria, yn hwylio i'r Ital, a'n gosodes ni ynddi.

7 Ac wedi i ni hwylio yn anniben llawer o ddyddiau, a dyfod yn brin ar gyfer Gnidus,

Gnidus, am na adawei y gwynt i ni; ni a hwyliasom is law Creta, ar gyfer Salmône.

8 Ac wedi i ni yn brin fyned heibio iddo, ni a ddaethom i ryw le a elwir y porthladdoedd prydferth, yr hwn yr oedd dinas Lasæa yn agos iddo.

9 Ac wedi i dalm o amser fyned heibio, a bôd morio weithian yn enbyd, o herwydd hefyd ddarfod yr ympryd weithian, Paul a gynghorodd,

10 Gan ddywedyd wrthynt, Ha wŷr, yr wyf yn gweled y bydd yr hynt hon ynghyd â sarhâed a cholled fawr, nid yn unic am y llwyth a'r llong, eithr am ein heinioes ni hefyd.

11 Eithr y Canwriad a gredodd i lywydd, ac i berchen y llong, yn fwy nag i'r pethau a ddywedid gan Paul.

12 A chan fôd y porthladd yn anghyfleus i aiafu, y rhan fwyaf a roesant gyngor i ymado oddi yno hefyd, os gallent rhyw fodd gyrhaeddyd hyd Phœnice, i aiafu [yno;] yr hwn sydd borthladd yn Creta, ar gyfer y deau-orllewin, a'r gogledd-orllewin.

13 A phan chwythodd y deheu-wynt yn araf, hwynt hwy yn tybieid cael eu meddwl, gan godi [ hwyliau ] a foriasant heibio yn agos i Creta.

14 Ond cyn nemmawr, cyfododd yn ei herbyn hi wynt temhestlog, yr hwn a elwir Euroclydon.

15 A phan gippiwyd y llong, ac heb allu gwrthwynebu y gwynt, ni a ymroesom, ac a ddycpwyd [gyda'r gwynt.]

16 Ac wedi i ni redeg goris ynys fach, a elwir Clauda, braidd y gallasom gael y bâd:

17 Yr hwn a godasant i fynu, ac a wnaethant gynnorthwyon, gan wregysu y llong oddi dani, a hwy yn ofni rhag syrthio a'r sugn-draeth, wedi gostwng yr hwyl, a ddycpwyd felly.

18 A ni yn flin iawn arnom gan y dymestl, trannoeth hwy a yscafnhasant y llong.

19 A'r trydydd dydd y bwriasom, â'n dwylo ein hunain, daclau y llong allan.

20 A phan nad oedd na haul na sêr yn ymddangos dros lawer o ddyddiau, a thymestl nid bychan yn pwyso arnom, pôb gobaith y byddem cadwedic a ddycpwyd oddi arnom o hynny allan.

21 Ac wedi bod hir ddirwest, yna y safodd Paul yn eu canol hwy, ac a ddywedodd, Ha-wŷr, chwi a ddylasech wrando arnafi, a bod heb ymadaw o Creta, ac ennill y syrhaed ymma, a'r golled.

22 Ac yr awr hon yr wyf yn eich cynghori chwi i fôd yn gyssurus; canys ni bydd colled am einioes [un] o honoch, ond am y llong yn unic.

23 Canys safodd yn fy ymyl y nôs hon Angel Duw yr hwn a'm piau, a'r hwn yr wyf yn ei addoli;

24 Gan ddywedyd, Nac ofna Paul, rhaid i ti sefyll ger bron Cæsar, ac wele, rhoddes Duw i ti y rhai oll sydd yn morio gyd â thi.

25 Am hynny, Ha wŷr, cymmerwch gyssur canys yr wyf fi yn credu i Dduw, mai felly y bydd, yn ôl y modd y dywedpwyd i mi.

26 Ond mae yn rhaid ein bwrw ni i ryw ynys.

27 Ac wedi dyfod y bedwaredd nôs ar ddec, fe a ddigwyddodd a ni yn morio yn Adria, ynghylch hanner nôs, dybied o'r mor-wŷr eu bod yn nessau i ryw wlâd.

28 Ac wedi iddynt blymmio, hwy a'i cawsant yn ugain gwrhyd, ac wedi myned ychydig pellach, a phlymmio drachefn, hwy a'i cawsant yn bymtheg gwrhyd.

29 Ac a hwy yn ofni rhag || i ni syrthio ar leoedd geirwon, wedi iddynt fwrw pedair angor allan o'r llyw, hwy a ddeisyfiasant ei myned hi yn ddydd.

|| iddynt.

30 Ac fel yr oedd y llong-wŷr yn ceisio ffoi allan o'r llong, ac wedi gollwng y bâd i wared i'r môr, yn rhith bod ar fedr bwrw angorau o'r pen blaen i'r llong,

31 Dywedodd Paul wrth y Canwriad âr milwŷr, onid erys y rhai hyn yn y llong, ni ellwch chwi fôd yn gadwedig.

32 Yna y torrodd y milwyr raffau y bâd, ac a adawsant iddo syrthio ymmaith.

33 A thra 'r ydoedd hi yn dyddhau, Paul a eiriolodd ar bawb gymmeryd lluniaeth, gan ddywedyd, heddyw yw y pedwerydd dydd a'r ddêc yr ydych chwi yn disgwil, ac yn aros ar eich cythlwng, heb gymmeryd dim.

34 O herwydd pa ham, yr ydwyf yn dymuno arnoch gymmeryd lluniaeth, oblegid hyn sydd er iechyd i chwi, canys blewyn i'r un o honoch ni syrth oddiar ei ben.

35 Ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a gymerodd fara, ac a ddiolchodd i Dduw yn eu gŵydd hwynt oll, ac a'i torrodd, ac a ddechreuodd fwyta.

36 Ac yr oeddynt bawb wedi myned yn gyssurol, a hwy a gymerasant lyniaeth hefyd.

37 Ac yr oeddem yn y llong i gyd, yn ddau cant, ac un ar bymthec a thrugain o eneidiau.

38 Ac wedi eu digoni o lyniaeth, hwy a yscafnhasant y llong, gan fwrw y gwenith allan i'r môr.

39 A phan aeth hi yn ddydd, nid oeddynt yn adnabod y tir; ond hwy a ganfuant ryw gilfach, a glan iddi, i'r hwn y cynghorasant (os gallent) wthio y llong iddo.

40 Ac wedi iddynt || godi yr angorau, || hwy a ymollyngasant i'r môr, ac a ollyngasant hefyd yn rhydd rwymau y llyw,

|| dorri, || gollyngasant i'r mor.

ac a

ac a godasant yr hwyl i'r gwynt, ac a geisiasant y lan.

41 Ac wedi i ni syrthio ar le deu-for-gyfarfod, hwy a wthiasant y llong, a'r pen blaen iddi a lynodd, ac a safodd yn ddi-yscog, eithr y pen ôl a ymddattododd gan nerth y tonnau.

42 A chyngor y milwyr oedd ladd y carcharorion, rhag i neb o honynt nofio allan, a diangc ymmaith.

43 Ond y Canwriad yn ewyllysio cadw Paul, a rwystrodd iddynt eu hamcan, ac a archodd i bawb ar a fedrei nofio, ymfwrw yn gyntaf [i'r môr,] a myned allan i'r tir:

44 Ac i'r lleill, rhai ar ystyllod, ac eraill ar ryw [ddrylliau] o'r llong. Ac felly y digwyddodd dyfod o bawb i dir yn ddiangol.

PEN. XXVIII.

1 Paul wedi torri y llong arno, yn cael ei dderbyn yn rhywiogaidd gan y Barbariaid. 5 Y wiber ar ei law ef, heb wneuthur iddo niwed: 8 ac ynteu yn iachau llawer o glefydau yn yr ynys. 11 Hwynt hwy yn myned ymaith tua Rhufain. 17 Yntef yn mynegi i'r Iddewon achos ei ddyfodiad, 24 Wedi iddo bregethu, rhai yn credu, a rhai heb gredu: 30 ac yntau er hynny yn pregethu yno ddwy flynedd.



AC wedi iddynt ddiangc, yna y gwybuant mai Melita y gelwid yr ynys.

2 A'r Barbariaid a ddangosasant i ni fwyneidd-dra nid bychan; oblegid hwy a gynneuasant dân, ac a'n derbyniasant ni oll, o herwydd y gafod gynnyrchiol, ac o herwydd yr oerfel.

3 Ac wedi i Paul gynnull ynghyd lawer o || friwydd, a'i dodi ar y tân, gwiber a ddaeth allan o'r gwrês, ac a lynodd wrth ei law ef.

4 A phan welodd y Barbariaid y bwystfil yngrhog wrth ei law ef; hwy a ddywedasant wrth ei gilydd, yn sicr, llawrudd yw y dyn hwn, yr hwn er ei ddiangc o'r môr ni adawodd dialedd iddo fyw.

5 Ac efe a ysgydwodd y bwystfil i'r tân, ac ni oddefodd ddim niwed.

6 Ond yr oeddynt hwy yn disgwil iddo ef chwyddo, neu syrthio yn ddisymmwth yn farw. Eithr wedi iddynt hir ddisgwil, a gweled nad oedd dim niwed yn digwydd iddo, [hwy] a newidiasant eu meddwl, ac a ddywedasant mai Duw oedd efe.

7 Ynghylch y man hwnnw yr oedd tiroedd i bennaeth yr ynys, a'i enw Publius, yr hwn a'n derbyniodd ni, ac a'n lletteuodd dridiau yn garedig.

8 A digwyddodd, fod tâd Publius yn gorwedd yn glâf o gryd a gwaedlif, at yr hwnwedi i Paul fyned i mewn, a gweddio, efe a ddododd ei ddwylo arno ef, ac a'i iachaodd.

9 Felly wedi gwneuthur hyn, y lleill hefyd y rhai oedd a heintiau arnynt yn yr ynys, a ddaethant atto, ac a iachawyd.

10 Y rhai hefyd a'n parchasant ni â llawer o brddas, a phan oeddym yn ymadel, hwy a'n llwythasant ni â phethau angenrheidiol.

11 Ac wedi trimis yr aethom ymmaith mewn llong o Alexandria, yr hon a aiafasei yn yr ynys: a'i harwydd hi oedd Castor a Phollux.

12 Ac wedi ein dyfod i Syracusa, ni a drigasom [yno] dridiau.

13 Ac oddiyno wedi myned oddi amgylch ni a ddaethom i Rhegium, ac yn ôl un diwrnod y deheu-wynt a chwythodd, ac ni a ddaethom yr ail dydd i Puteoli;

14 Lle y cawsom frodyr, ac y dymunwyd arnom aros gyd â hwynt saith niwrnod: ac felly ni a ddaethom i Rufain.

15 Ac oddi yno pan glybu 'r brodyr am danom, hwy a ddaethant i'n cyfarfod ni hyd Appii forum,, a'r tair Tafarn; y rhai pan welodd Paul, efe a diolchodd i Dduw, ac a gymmerodd gyssur.

16 Eithr pan ddaethom i Rufain, y Canwriad a roddes y carcharorion at ben-capten y llu: eithr canhiadwyd i Paul aros wrtho ei hûn, gyd â milwr oedd yn ei gadw ef.

17 A digwyddodd yn ôl tridiau, alw o Paul ynghyd y rhai oedd bennaf o'r Iddewon. Ac wedi iddynt ddyfod ynghyd, efe a ddywedodd wrthynt, Ha-wŷr frodyr, er na wnaethym i ddim yn erbyn y bobl, na defodau y tadau, etto mi a roddwyd yn garcharor o Jerusalem i ddwylo y Rhufeinwyr.

18 Y rhai wedi darfod fy holi, a fynnasent fy ngollwng ymmaith, am nad oedd dim achos angeu ynof.

19 Eithr, am fôd yr Iddewon yn dywedyd yn erbyn hyn, mi a yrrwyd i appelio at Cæsar, nid fel pettei gennif beth i achwyn ar fy nghenedl.

20 Am yr achos hwn, gan hynny, y gelwais am danoch chwi, i'ch gweled, ac i ymddiddan â [chwi:] canys o achos gobaith Israel i'm rhwymwyd i â'r gadwyn hon.

21 A hwythau a ddywedasant wrtho, ni dderbyniasom ni lythyrau o Judæa yn dy gylch di, ac ni fynegodd, ac ni lefarodd neb o'r brodyr a ddaeth oddi yno, ddim drwg am danat ti.

22 Ond yr ydym ni yn deisyf cael clywed gennit ti beth yr ydwyt yn ei synied, oblegid am y sect hon, y mae yn hyspys i ni fod ym-mhôb man yn dywedyd yn ei herbyn.

23 Ac wedi iddynt || nodi diwrnod iddo, llawer a ddaeth atto ef, i'w letty, i'r rhai y tystiolaethodd ac yr eglurodd efe deyrnas Duw, gan gynghori iddynt y pethau am yr Jesu, allan o gyfraith Moses, a'r Prophwydi, o'r boreu hyd yr hwyr.

24 A rhai a gredasant i'r pethau a ddywedasid, a rhai ni chredasant.

|| benn.

25 Ac

25 Ac a hwy yn anghyttûn â'u gilydd, hwy a ymadawsant, wedi i Paul ddywedyd un gair, mai da y llefarodd yr Yspryd glân trwy Esaias y prophwyd wrth ein tadau ni,

26 Gan ddywedyd, * Dôs at y bobl ymma, a dywed, Yn clywed y clywch, ac ni ddeellwch, ac yn gweled y gwelwch, ac ni chanfyddwch.

27 Canys brâs-hawyd calon y bobl hyn, a thrwm y clywsant â'u clustiau, â'u llygaid a gaeasant, rhac iddynt weled â'u llygaid, a chlywed â'u clustiau, a deall â'r galon, a dychwelyd, ac i mi i hiachau hwynt.

28 Bydded hyspys i chwi gan hynny, anfon iechydwriaeth Duw at y Cenhedloedd, a hwy a wrandawant.

29 Ac wedi iddo ddywedyd hyn, ymadawodd yr Iddewon, a chanddynt ddadl mawr yn eu plith.

30 A Phaul a arhoes ddwy flynedd gyfan yn ei dy ardrethol ei hûn, ac a dderbyniodd bawb ar oedd yn dyfod i mewn atto,

31 Gan bregethu teyrnas Duw, ac athrawiaethu y pethau am yr Arglwydd Iesu Grist, gyd â phob hyder, yn ddiwahardd.

6.9. .13.14. c.4.12. 8.4. .12.40. .11.8.

Diwedd Gweithredoedd yr *Apostolion.



# EPISTOL PAUL YR APOSTOL AT Y RHUFEINIAID.

## PENOD. I.

1 Paul yn dangos ei alwedigaeth i'r Rhufeiniaid, 4 a'i chwant i ddyfod attynt hwy. 16 Beth yw ei Efengyl ef, a'r cyfiawnder y mae hi yn ei ddangos. 18 Bôd Duw yn ddigllon wrth bôb mâth a'r bechod. 21 Pa beth oedd bechodau y Cenhedloedd.



Aul gwasanaethwr Iesu Grist, wedi ei alw [i fod] yn Apostol, ac wedi ei * naillduo i Efengyl Duw:

2 (Yr hon a ragaddawsei efe, trwy ei Brophwydi, yn yr Scrythurau sanctaidd)

3 Am ei fâb ef Iesu Grist ein Arglwydd ni, yr hwn a wnaed o hâd Dafydd o ran y cnawd,

4 Ac a || eglurwyd yn fâb Duw mewn gallu, yn ôl Yspryd sancteiddiad, trwy 'r adgyfodiad oddi wrth y meirw:

5 Trwy 'r hwn y derbyniasom râs ac apostoliaeth i ufydd-dod ffydd, ym-mhlith yr holl Genhedloedd, er mwyn ei enw ef.

6 Ym-mysc y rhai yr ydych chwithau yn alwedigion Iesu Grist.

7 At bawb sydd yn Rhufain, yn anwyl gan Dduw, wedi eu galw [i fôd] yn Sainct; Gras i chwi a thangneddyf oddi wrth Dduw ein Tâd ni, a'r Arglwydd Iesu Grist.

8 Yn gyntaf yr wyf yn diolch i'm Duw trwy Iesu Grist trosoch chwi oll, oblegid bod eich ffydd chwi yn gyhoeddus yn yr holl fyd.

9 Canys tyst i mi yw Duw, yr hwn yr ydwyf yn ei wasanaethu || yn fy yspryd, yn Efengyl ei fâb ef, fy mod i yn ddibaid yn gwneuthur coffa o honoch, bob amser yn fy ngweddiau,

10 Gan ddisyf a gawn ryw fodd, ryw amser bellach, rwydd-hynt gyd ag ewyllys Duw, i ddyfod attoch chwi.

11 Canys yr wyf yn hiraethu am eich gweled, fel y gallwyf gyfrannu i chwi ryw ddawn Ysprydol, fel i'ch cadarnhaer.

12 A hynny sydd i'm cyd-ymgyssuro || ynoch chwi, trwy ffydd ei gilydd; yr eiddoch chwi, a'r eiddof finnau.

13 Eithr ni fynnwn i chwi fôd heb wybod, frodyr, i mi yn fynych arfaethu dyfod attoch, (ond fo'm lluddiwyd i hyd yn hyn) fel y cawn ryw ffrwyth ynoch chwi hefyd, megys ac yn y Cenhedloedd eraill.

14 Dyled-wr ydwyf i'r Groegiaid, ac i'r Barbariaid hefyd, i'r doethion, ac i'r annoethion hefyd.

15 Felly, hyd y mae ynof, parod ydwyf, i bregethu yr Efengyl i chwithau hefyd, y rhai ydych yn Rhufain.

16 Canys nid oes arnaf gywilydd o Efengyl Grist; oblegit gallu Duw yw hi er iechydwriaeth, i bôb un ar sydd yn credu: i'r Iddew yn gyntaf, a hefyd i'r Groegwr.

17 Canys

.13.1.

fynwyd.

|| neu, â'm hyspryd.

|| gyd â chwi.

17 Canys yndi hi y datcuddir cyfiawnder Duw, o ffydd i ffydd, megis y mae yn scrifennedig, * Y cyfiawn a fydd byw trwy ffydd.

*Hab. 2.4.

18 Canys digofaint Duw a ddatcuddiwyd o'r nef, yn erbyn pob annuwioldeb, ac anghyfiawnder dynion, y rhai sydd yn attal y gwirionedd mewn anghyfiawnder.

19 O herwydd yr hyn a ellir ei wybod am Dduw sydd eglur ynddynt hwy: canys Duw a'i heglurodd iddynt.

20 Canys ei anweledig bethau ef, er creaduriaeth y byd, wrth eu hystyried yn y pethau a wnaed, a welir yn amlwg; sef ei dragwyddol allu ef, a'i Dduwdod, || hyd onid ydynt yn ddiescus.

21 Oblegit a hwy yn adnabod Duw, nis gogoneddasant ef megis Duw, ac na buant ddiolchgar iddo: eithr ofer fuant yn eu rhesymmau, a'u calon anneallus hwy a dywyllwyd.

22 Pan dybient eu bod yn ddoethion, hwy a aethant yn ffyliaid.

23 Ac a newidiasant ogoniant yr anllygredig * Dduw, i gyffelybiaeth llun dyn llygredig, ac ehediaid, ac anifeiliaid pedwar carnol, ac ymlusciaid.

*Psal. 106.20.

24 O ba herwydd, Duw hefyd a'u rhoddes hwy i fynu yn nrachwantau eu calonnau, i aflendid, i ammherchi eu cyrph eu hun yn eu plith eu hunain:

25 Y rhai a newidiasant wirionedd Duw yn gelwydd, ac a addolasant, ac a wasanaethasant y creadur yn fwy na'r creawdr, yr hwn sydd fendigedig yn dragwyddol. Amen.

26 Oblegid hyn y rhoddes Duw hwynt i fynu i wyniau gwarthus: canys eu || gwragedd hwy a newidiasant yr arfer || anianol, i'r hon sydd yn erbyn || anian.

27 Ac yn gyffelyb y || gwyr hefyd, gan adel yr arfer naturiol o'r wraig, a ymloscent yn eu hawydd i'w gilydd: y gwyr ynghyd â gwyr yn gwneuthur brynti; ac yn derbyn ynddynt eu hunain y cyfryw dâl am eu cyfeiliorni, ac oedd raid.

28 Ac megis nad oedd gymmeradwy ganddynt || gadw Duw yn eu gwybodaeth, Duw a'u rhoddes hwynt i fynu i feddwl anghymmeradwy, i wneuthur y pethau nid oedd weddaidd:

29 Wedi eu llenwi â phob anghyfiawnder, godineb, anwiredd, cybydd-dod, drygioni: yn llawn cynfigen, llofruddiaeth, cynnen, twyll, drwg-anwydau:

30 Yn hustyng-wyr, yn athrodwyr, yn gâs ganddynt Dduw, yn drahaus, yn feilchion, yn ffrostwyr, yn ddychymygwyr drygioni, yn anufydd i rieni:

31 Yn anneallus, yn dorrwyr ammod, yn || angharedig, yn anghymmodlon, yn annhrugarogion:

32 Y rhai yn gwybod cyfiawnder Duw, (fod y rhai sy yn gwneuthur y cyfryw bethau, yn haeddu marwolaeth) [ydynt] nid yn unig yn gwneuthur y pethau hyn, eithr hefyd yn || cyd-ymfodloni â'r rhai sy yn eu gwneuthur hwynt.

## PEN. II.

1 Na all y rhai sydd yn pechu, er eu bôd yn condemnio pechod mewn eraill, mo'i hescusodi eu hunain, 6 ac mai anhaws o lawer iddynt ddiangc rhag barn Duw, 9 pa vn bynnac fônt ai Iddewon ai Cenhedloedd. 14 Nas gall y Cenhedloedd ddiangc, 16 Na'r Iddewon chwaith, 25 ac na wná eu Enwaediad lesâd iddynt, oni chadwant y Ddeddf.



O Herwydd pa ham diescus wyt ti, ô ddyn, pwy bynnag wyt yn barnu: canys yn yr hyn yr wyt yn barnu arall, yr wyt yn dy gondemnio dy hun: canys ti yr hwn wyt yn barnu, wyt yn gwneuthur yr un pethau.

2 Eithr ni a wyddom fod barn Duw yn ôl gwirionedd, yn erbyn y rhai a wnânt gyfryw bethau.

3 Ac a wyt ti yn tybied hyn, ô ddyn yr hwn wyt yn barnu y rhai sy yn gwneuthur y cyfryw bethau, a thithau yn gwneuthur yr un pethau, y diengi di rhag barn Duw?

4 Neu a wyt ti yn dirmygu golud ei ddaioni ef, a'i ddioddefgarwch, a'i ymaros, heb wybod fod daioni Duw yn dy dywys di i edifeirwch?

5 Eithr yn ôl dy galedrwydd, a'th galon ddiedifeiriol, wyt yn * trysori i ti dy hun ddigofaint, erbyn dydd y digofaint, a datcuddiad cyfiawn farn Duw.

*Iaco. 5.

6 * Yr hwn a dâl i bob un yn ôl ei weithredoedd.

* Psal. 62. Mat. 16. Dat. 22.

7 [Sef] i'r rhai trwy barhau yn gwneuthur da, a geisiant ogoniant, ac anrhydedd, ac anllygredigaeth, bywyd tragwyddol:

8 Eithr i'r rhai sy gynhennus, ac anufydd i'r gwirionedd, eithr yn ufydd i anghyfiawnder, [y bydd] llid, a digofaint.

9 Trallod, ac ing, ar bôb enaid dyn sydd yn gwneuthur drwg; yr Iddew yn gyntaf, a'r Groegwr hefyd.

10 Eithr gogoniant, ac anrhydedd, a thangneddyf, i bôb un sydd yn gwneuthur daioni; i'r Iddew yn gyntaf, ac i'r Groegwr hefyd.

11 Canys nid oes derbyn wyneb ger bron Duw.

12 Oblegid cynnifer ac a bechasant yn ddi-ddeddf, a gyfrgollir hefyd yn ddiddeddf. A chynnifer ac a bechasant yn y Ddeddf, a fernir wrth y Ddeddf.

13 Canys nid gwrandawyr y Ddeddf [sydd] gyfiawn ger bron Duw, ond gwneuthur-wyr y Ddeddf a gyfiawnheir.

14 Cans pan yw'r Cenhedloedd y rhai nid yw [y] Ddeddf ganddynt, wrth naturiaeth yn gwneuthur y pethau sydd yn y Ddeddf, y rhai hyn heb fod y Ddeddf ganddynt, ydynt ddeddf iddynt eu hunain.

15 Y rhai sydd yn dangos gweithred y Ddeddf yn scrifennedig yn eu calonnau, a'u cydwybod yn cyd-tystiolaethu, a'u meddyliau || yn cyhuddo ei gilydd, neu yn esgusodi.)

|| yngddynt gilydd yn uddo, neu yn sodi.

16 Yn y dydd y barno Duw ddirgeloedd dynion, yn ôl fy Efengyl i, trwy Iesu Grist.

17 Wele, Iddew i'th elwir di, ac yr wyt yn gorphywys yn y Ddeddf, ac yn gorfoleddu yn-Nuw,

18 Ac yn gwybod ei ewyllys ef, ac yn || darbod pethau rhagorol, gan fôd wedi dy addyscu o'r Ddeddf.

|| osi pethau ahani-l y thyng-ns.

19 Ac yr wyt yn coelio dy fod yn dywysog i'r deillion, yn llewyrch i'r rhai sydd mewn tywyllwch:

20 Yn athro i'r anghall, yn ddyscawdr i'r rhai bach, a chennit ffurf y gwybodaeth, a'r gwirionedd yn y Ddeddf.

21 Tydi, gan hynny, yr hwn wyt yn addyscu arall, oni'th ddysci dy hun? Yr hwn wyt yn pregethu, Na ladratter, a ladretti di?

22 Yr hwn wyt yn dywedyd, Na odineber, a odinebi di? yr hwn wyt yn ffieiddio delwau, a gyssegr-yspeili di?

23 Yr hwn wyt yn gorfoleddu yn y Ddeddf, drwy dorri y Ddeddf a ddianrhydeddi di Dduw?

24 Canys Enw Duw o'ch plegid chwi a geblir ym-mlith y Cenhedloedd; *megis y mae yn scrifennedig.

* 52.5. 36.20.

25 Canys Enwaediad yn wir a wna lês, os cedwi y Ddeddf: eithr os troseddwr y Ddeddf ydwyt, aeth dy Enwaediad yn ddienwaediad.

26 Os y dienwaediad gan hynny a geidw gyfiawnderau y Ddeddf, oni chyfrifir ei ddienwaediad ef yn enwaediad?

27 Ac oni bydd i'r dienwaediad, yr hwn sydd o naturiaeth (os ceidw y Ddeddf) dy farnu di, yr hwn wrth y llythyren, a'r enwaediad, wyt yn troseddu y Ddeddf?

28 Canys nid yr hwn [sydd] yn yr amlwg, sydd Iddew: ac nid Enwaediad [yw] yr hyn sydd yn yr amlwg, yn y cnawd:

29 Eithr yr hwn sydd yn y dirgel sydd Iddew, ac enwaediad y galon sydd yn yr yspryd, nid yn y llythyren: yr hwn [y mae] ei glod nid o ddynion, ond o Dduw.

## PEN. III.

1 Rhagor-fraint yr Iddewon: 3 yr rhwn ni chollasant: 9 Er hynny y mae y Ddeddf yn eu barnu hwythau hefyd yn euog o bechod: 20 gan hynny ni chyfiawnheir vn cnawd trwy'r Ddeddf. 28 Eithr pawb heb wahaniaeth, trwy ffydd yn vnic: 31 ac etto ni ddiddymwyd y Ddeddf.



Pa ragoriaeth, gan hynny, sydd i'r Iddew? neu pa fudd sydd o'r Enwaediad?

2 Llawer ym mhôb rhyw fodd. Yn gyntaf o herwydd darfod ymddiried iddynt hwy am ymadroddion Duw.

3 Oblegit beth os anghredodd rhai? a wna eu hanghrediniaeth hwy ffydd Duw yn ofer?

4 Na atto Duw. Eithr bydded Duw yn eir-wir, a phob dŷn yn gelwyddog: megis yr scrifennwyd, *fel i'th gyfiawnhaer yn dy eiriau, ac y gorfyddech || pan i'th farner.

* Psal. 51.4.
|| pan farnech.

5 Eithr os yw ein hanghyfiawnder ni yn canmol cyfiawnder Duw, pa beth a ddywedwn? Ai anghyfiawn yw Duw, yr hwn sydd yn dwyn arnom ddigofaint? (yn ôl dŷn yr wyf yn dywedyd.)

6 Na atto Duw. Canys wrth hynny, pa fodd y barna Duw y byd?

7 Canys os bu gwirionedd Duw drwy fy nghelwydd i, yn helaethach i'w ogoniant ef, pa ham i'm bernir innau etto megis pechadur?

8 Ac nid (megis i'n ceblir, ac megis y dywed rhai ein bôd yn dywedyd) gwnawn ddrwg fel y dêl daioni; y rhai y mae eu damnedigaeth yn gyfiawn.

9 Beth gan hynny? A ydym ni fwy rhagorol? Nac [ydym] ddim. Canys ni a brofasom o'r blaen fôd pawb, yr Iddewon, a'r Groeg-wyr, tan bechod,

10 Megis y mae yn scrifennedig, Nid oes neb cyfiawn, nac oes vn.

11 Nid oes [neb] yn deall; nid oes [neb] yn ceisio Duw.

12 Gwyrasant oll, aethant i gyd yn anfuddiol; nid oes vn yn gwneuthur daioni, nac oes vn.

13 Bedd agored yw eu cêg; â'u tafodau y gwnaethant ddichell; gwenwyn aspiaid sydd tan eu gwefusau.

14 Y rhai y mae eu genau yn llawn melldith a chwerwedd.

15 Buan yw eu traed i dywallt gwaed.

16 Distryw ac aflwydd sydd yn eu ffyrdd:

17 A ffordd tangneddyf nid adnabuant.

18 Nid oes ofn Duw ger bron eu llygaid.

19 Ni a wyddom hefyd am ba bethau bynnag y mae y Ddeddf yn ei ddywedyd, mai wrth y rhai sy tan y Ddeddf y mae hi yn ei ddywedyd: fel y caueer pob genau, ac y byddo yr holl fyd tan farn Duw.

20 Am hynny trwy weithredoedd y Ddeddf ni chyfiawnheir vn cnawd yn ei olwg ef, canys trwy y Ddeddf [y mae] adnabod pechod.

21 Ac yr awr hon yr eglurwyd cyfiawnder

der Duw heb y Ddeddf, wrth gael tystiolaeth gan y Ddeddf a'r Prophwydi.

22 Sef cyfiawnder Duw, yr hon sydd trwy ffydd Iesu Grist i bawb, ac ar bawb a gredant: canys nid oes gwahaniaeth.

23 Oblegit pawb a bechasant, ac ydynt yn ôl am ogoniant Duw.

24 A hwy wedi eu cyfiawnhau yn rhad trwy ei râs ef, trwy'r prynedigaeth sydd ynGhrist Iesu:

25 Yr hwn a osododd Duw yn || iawn, trwy ffydd yn ei waed ef, i ddangos ei gyfiawnder ef, trwy faddeuant y pechodau a wnaethid o'r blaen, trwy ddioddefgarwch Duw:

|| gymmod, gymmodwr.

26 I ddangos ei gyfiawnder ef y pryd hyn, fel y byddei efe yn gyfiawn, ac yn cyfiawnhau y neb sydd o ffydd Iesu.

27 Pa le gan hynny [y mae] yr gorfoledd? Ef a gaewyd allan. Trwy ba Ddeddf? Ai [Deddf] gweithredoedd? nag e, eithr trwy Ddeddf ffydd.

28 Yr ydym ni gan hynny yn cyfrif mai trwy ffydd y cyfiawnheir dŷn, heb weithredoedd y Ddeddf.

29 Ai i'r Iddewon y mae efe yn Dduw yn vnig? Onid yw i'r Cenhedloedd hefyd? yn wir [y mae efe.]

30 Gan mai vn Duw [sydd,] yr hwn a gyfiawnhâ yr Enwaediad || wrth ffydd, a'r dienwaediad trwy ffydd.

31 Wrth hynny, a ydym ni yn gwneuthur y Ddeddf yn ddirym trwy ffydd? Na atto Duw: eithr yr ydym yn cadarnhau y Ddeddf.

PEN. IIII.

1 Ffydd Abraham a gyfrifwyd iddo yn gyfiawnder, 10 cyn enwaedu arno. 13 Trwy ffydd yn vnic y derbyniodd ef a'i hâd yr addewid. 16 Abraham yw Tâd pawb ac sydd yn credu. 24 Ein ffydd ninnau hefyd a gyfrifir i ni yn gyfiawnder.

PA beth, gan hynny, a ddywedwn ni ddarfod i Abraham ein tâd ni ei gael, yn ôl y cnawd?

2 Canys os Abraham a gyfiawnhawyd trwy weithredoedd y mae iddo orfoledd, eithr nid ger bron Duw.

3 Canys pa beth a ddywed yr Scrythur? Credodd Abraham i Dduw, a chyfrifwyd iddo yn gyfiawnder.

4 Eithr i'r neb sydd yn gweithio, ni chyfrifir y gwobr o râs, onid o ddyled.

5 Eithr i'r neb nid yw yn gweithio, onid yn credu yn yr hwn sydd yn cyfiawnhau yr annuwiol, ei ffydd ef a gyfrifir yn gyfiawnder.

6 Megis y mae Dafydd hefyd yn datcan dedwyddwch y dŷn y mae Duw yn cyfrif cyfiawnder iddo heb weithredoedd, [gan ddywedyd,]

Yr Epistol ar ddydd yr Enwaediad.

7 ☞ Dedwydd [yw] y rhai y maddeuwyd eu hanwireddau, a'r rhai y cuddiwyd eu pechodau.

8 Dedwydd [yw] y gwr nid yw yr Arglwydd yn cyfrif pechod iddo.

9 A [ddaeth] y dedwyddwch hwn, gan hynny, ar yr Enwaediad [yn vnig,] ynteu ar y dienwaediad hefyd? Canys yr ydym yn dywedyd [ddarfod] cyfrif ffydd i Abraham yn gyfiawnder.

10 Pa fodd gan hynny y cyfrifwyd hi? Ai pan oedd yn yr Enwaediad, ynteu yn y dienwaediad? Nid yn yr Enwaediad, ond yn y dienwaediad.

11 Ac efe a gymmerth arwydd yr Enwaediad yn insel cyfiawnder y ffydd, yr hon [oedd ganddo] yn y dienwaediad, fel y byddei efe yn dâd pawb a gredent yn y dienwediad, fel y cyfrifid cyfiawnder iddynt hwythau hefyd:

12 Ac yn dâd yr Enwaediad, nid i'r rhai o'r Enwaediad yn vnig, onid i'r sawl hefyd a gerddant lwybrau ffydd Abraham ein tâd ni, yr hon oedd [ganddo] yn y dienwaediad.

13 Canys nid trwy y Ddeddf [y daeth] yr addewid i Abraham, neu i'w hâd, y byddei ef yn etifedd y byd, eithr trwy gyfiawnder ffydd.

14 Canys os y rhai sydd o'r Ddeddf, yw'r etifeddion, gwnaed ffydd yn ofer, a'r addewid yn ddirym. ☜

15 Oblegit y mae y Ddeddf yn peri digofaint, canys lle nid oes Deddf, nid oes gamwedd.

16 Am hynny o ffydd [y mae,] fel [y byddei] yn ôl grâs, fel y byddei yr addewid yn siccr i'r holl hâd: nid yn vnig i'r hwn sydd o'r Ddeddf; onid hefyd i'r hwn sydd o ffydd Abraham, yr hwn yw ein tâd ni oll,

17 (Megis y mae yn scrifennedig, * Mi a'th wnaethym yn dâd llawer o Genhedloedd) ger bron y neb y credodd efe iddo, [sef] Duw, yr hwn sydd yn bywhau y meirw, ac sydd yn galw y pethau nid ydynt, fel pe byddent.

*Gen.17.5

18 Yr hwn yn erbyn gobaith, a gredodd tan obaith, fel y byddei efe yn dâd Cenhedloedd lawer, yn ôl yr hyn a ddywedasid, * felly y bydd dy hâd di.

*Gen.15.5

19 Ac efe yn ddiegwan o ffydd, nid ystyriodd ei gorph ei hun, [yr hwn oedd] yr awron wedi marweiddio, ac ef ynghylch can-mlwydd oed, na marweidd-dra bru Sara.

20 Ac nid amheuodd efe addewid Duw drwy ang-rhediniaeth, eithr efe a nerthwyd yn y ffydd, gan roddi gogoniant i Dduw.

21 Ac yn gwbl siccr ganddo, am yr hyn a addawsei [efe,] ei fod ef yn abl i'w wneuthur hefyd.

22 Ac am hynny y cyfrifwyd iddo yn gyfiawnder.

23 Eithr nid scrifennwyd hynny er ei fwyn ef yn vnig, ddarfod ei gyfrif iddo,

24 Ond er ein mwyn ninnau hefyd, i'r rhai y cyfrifir, y rhai ydym yn credu yn yr hwn a gyfodes Iesu ein Harglwydd ni o feirw.

25 Yr hwn a draddodwyd tros ein pechodau ni, ac a gyfodwyd i'n cyfiawnhau ni.

PEN. V.

1 Wedi ein cyfiawnhau trwy ffydd, y mae i ni dangneddyf rhyngom a Duw, 2 a llawenydd yn ein gobaith: 8 gan ein cymmodi trwy ei waed ef, a nyni yn elynion iddo, 10 y cawn yn hytrach fôd yn gadwedig wedi ein cymmodi. 12 Megis y daeth pechod a marwolaeth trwy Adda, 17 Felly yn hytrach y daw cyfiawnder a bywyd trwy Iesu Grist. 20 Lle'r amlhaodd pechod, y rhagor-amlhaodd grâs.

AM hynny, gan ein bod wedi ein cyfiawnhau trwy ffydd, y mae gennym heddwch tu ag at Dduw, trwy ein Harglwydd Iesu Grist.

2 Trwy yr hwn hefyd y cawsom ddyfodfa trwy ffydd, i'r grâs hyn, yn yr hwn yr ydym yn sefyll, ac yn gorfoleddu tan obaith gogoniant Duw.

3 Ac nid [felly] yn unig, eithr yr ydym yn gorfoleddu mewn gorthrymderau, gan wybod fod gorthrymder yn peri dioddefgarwch:

4 A dioddefgarwch brofiad, a phrofiad obaith:

5 A gobaith ni chywilyddia, am fod cariad Duw wedi ei dywallt yn ein calonnau ni, trwy yr Yspryd glân, yr hwn a roddwyd i ni.

6 Canys Christ, pan oeddym ni etto yn weiniaid, || mewn pryd a fu farw dros yr annuwiol.

|| mewn amser cyfaddas

7 Oblegid braidd y bydd neb farw dros un cyfiawn, oblegid dros y da ys gatfydd fe feiddiai un farw hefyd.

8 ☞ Eithr y mae Duw yn canmol ei gariad tu ag attom, oblegid, a nyni etto yn bechaduriaid, i Grist farw trosom ni.

Yr Epistol ar ddyd yr Enwaedi-ad.

9 Mwy ynteu o lawer, a nyni yn awr wedi ein cyfiawnhau trwy ei waed ef, i'n achubir rhag digofaint trwyddo ef.

10 Canys os pan oeddym yn elynion, i'n heddychwyd â Duw trwy farwolaeth ei fab ef, mwy o lawer wedi ein heddychu, i'n achubir trwy ei fywyd ef.

11 Ac nid [hynny] yn unig, eithr gorfoleddu [yr ydym] hefyd yn Nuw trwy ein Harglwydd Jesu Grist, trwy yr hwn yr awr-hon y derbyniasom y cymmod.

12 Am hynny, megis trwy un dŷn y daeth pechod i'r byd, a marwolaeth trwy bechod, ac felly yr aeth marwolaeth ar bôb dŷn, yn gymmaint a phechu o bawb.

13 Canys hyd y Ddeddf yr oedd pechod yn y byd: eithr ni chyfrifir pechod, pryd nad oes Deddf.

14 Eithr teyrnasodd marwolaeth, o Adda hyd Moses, ie arnynt hwy, y rhai ni phechasant yn ôl cyffelybiaeth camwedd Adda, yr hwn yw ffurf yr un oedd ar ddyfod. ☜

15 Eithr nid megis y camwedd, felly y mae y dawn hefyd; canys os trwy gamwedd un y bu feirw llawer, mwy o lawer yr amlhaodd grâs Duw, a'r dawn trwy râs yr un dŷn Jesu Grist, i laweroedd.

16 Ac nid megis [y bu] drwy un a bechodd, [y mae] 'r dawn; canys y farn a ddaeth o un [camwedd] i gondemniad, eithr y dawn [sydd] o gamweddau lawer i gyfiawnhâd.

17 Canys os || trwy gamwedd un y teyrnasodd marwolaeth trwy un, mwy o lawer y caiff y rhai sydd yn derbyn lluosogrwydd o râs, ac o ddawn cyfiawnder, deyrnasu mewn bywyd trwy un, Jesu Grist.

|| trwy un camwedd.

18 Felly gan hynny, megis trwy || gamwedd un [y daeth barn] ar bôb dŷn i gondemniad, felly hefyd trwy || gyfiawnder un [y daeth y dawn] ar bob dŷn i gyfiawnhâd bywyd.

|| un camwedd.

|| un cyfiawnder.

19 Oblegit megis trwy anufudd-dod un dŷn, y gwnaethpwyd llawer yn bechaduriaid: felly trwy ufudd-dod un, y gwneir llawer yn gyfiawn.

20 Eithr y Ddeddf a ddaeth i mewn fel yr amlhaai y camwedd: eithr lle'r amlhaodd y pechod, y rhagor-amlhaodd grâs.

21 Fel megis y teyrnasodd pechod i farwolaeth, felly hefyd y teyrnasei grâs trwy gyfiawnder, i fywyd tragwyddol, trwy Jesu Grist ein Harglwydd.

## PEN. VI.

1 Na ddylem ni fyw mewn pechod, 2 a ninnau wedi marw iddo, 3 megis y mae ein bedydd ni yn dangos. 12 Na theyrnased pechod mwyach, 18 gan ddarfod i ni ymroi i wasanaeth cyfiawnder, 23 ac o herwydd mai cyflog pechod yw marwolaeth.

Beth wrth hynny a ddywedwn ni? a drigwn ni yn wastad mewn pechod, fel yr amlhao grâs?

2 Na atto Duw. A ninnau wedi meirw i bechod, pa wedd y byddwn fyw etto ynddo ef?

3 ☞ Oni wyddoch chwi am gynnifer o honom ac a fedyddiwyd i Grist Jesu, ein bedyddio ni i'w farwolaeth ef?

Yr Epistol y chweched Sul ar ol y Drindod.

4 Claddwyd ni gan hynny gyd ag ef trwy fedydd i farwolaeth, fel megis ac y cyfodwyd Christ o feirw trwy ogoniant y Tâd, felly y rhodiom ninnau hefyd mewn newydd-deb buchedd.

5 Canys os gwnaed ni yn gyd-blanhigion i gyffelybiaeth ei farwolaeth ef, felly y byddwn [i gyffelybiaeth ei] adgyfodiad [ef.]

6 Gan wybod hyn, ddarfod croes-hoelio ein hên ddŷn ni gyd ag ef, er mwyn dirymmu corph pechod, fel rhag llaw na wasanaethom bechod

7 Canys y mae yr hwn a fu farw, wedi ei || ryddhau oddi wrth bechod.

||Gr. gyfiawnhau.

8 Ac os buom feirw gyd â Christ, yr ydym ni yn credu y byddwn fyw hefyd gyd ag ef.

9 Gan wybod nad yw Christ, yr hwn a gyfodwyd oddi wrth y meirw, yn marw mwyach, nad arglwyddiaetha marwolaeth arno mwyach.

10 Canys fel y bu efe farw, efe a fu farw unwaith i bechod: ac fel [y mae yn] byw, byw y mae i Dduw.

11 Felly chwithau hefyd, cyfrifwch eich hunain yn feirw i bechod, eithr yn fyw i Dduw, yn Ghrist Jesu ein Harglwydd. ☜

12 Na theyrnased pechod gan hynny yn eich corph marwol, i ufyddhau o honoch iddo yn ei chwantau.

13 Ac na roddwch eich aelodau yn arfau anghyfiawnder i bechod, eithr rhoddwch eich hunain i Dduw megis rhai o feirw yn fyw, a'ch aelodau yn arfau cyfiawnder i Dduw.

14 Canys nid arglwyddiaetha pechod arnoch chwi, oblegid nid ydych chwi tan y Ddeddf, eithr tan râs.

15 Beth wrth hynny? A bechwn ni o herwydd nad ydym tan y Ddeddf eithr tan râs? Na atto Duw.

16 Oni wyddoch chwi, mai i bwy bynnag yr ydych yn eich rhoddi eich hunain yn weision i ufyddhau iddo, eich bod yn weision i'r hwn yr ydych yn ufyddhau iddo, pa un bynnag ai i bechod i farwolaeth, ynte i ufydd-dod i gyfiawnder.

17 Ond i Dduw y bo'r diolch, eich bod chwi [gynt] yn weision i bechod, eithr ufyddhau o honoch o'r galon i'r ffurf o athrawiaeth || a draddodwyd i chwi.

||i'r hwn i'ch traddodwyd

18 Ac wedi eich ryddhau oddi wrth bechod,

fe

fe a'ch gwnaethpwyd yn weision i gyfiawnder.

19 Yn ôl dull dynol yr ydwyf yn dywedyd, oblegid gwendid eich cnawd chwi. Canys megis ac y rhoddasoch eich aelodau yn weision i aflendid ac anwiredd, i anwiredd; felly yr awr hon, rhoddwch eich aelodau yn weision i gyfiawnder, i sancteiddrwydd.

20 Canys pan oeddych yn weision pechod, rhyddion oeddych || oddiwrth gyfiawnder.

|| gyfiawnder.

21 Pa ffrwyth, gan hynny, oedd i chwi y pryd hynny o'r pethau y mae arnoch yr awr hon gywilydd o'u plegid: canys diwedd y pethau hynny yw marwolaeth,

22 Ac yr awr hon, wedi eich rhyddhau oddiwrth bechod, a'ch gwneuthur yn weision i Dduw, y mae i chwi eich ffrwyth yn sancteiddrwydd, a'r diwedd yn fywyd tragwyddol.

23 Canys cyflog pechod yw marwolaeth: eithr dawn Duw yw bywyd tragwyddol, trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

P E N. VII.

Nad oes vn Ddeddf yn arglwyddiaethu ar ddyn, ond tra fyddo byw: 4 ond ein bod ni wedi meirw i'r ddeddf. 7 Etto nad yw'r Ddeddf bechod: 12 eithr sanctaidd, a chyfiawn, a da, 16 fel yr ydwyfi yn cydnabod, ac yn ddrwg cennif nas gallaf ei chadw.



Ni wyddoch chwi frodyr, (canys wrth y rhai sy'n gwybod y Ddeddf yr wyf yn dywedyd) fod y Ddeddf yn arglwyddiaethu ar ddyn tra fyddo efe byw.

2 Canys y wraig y mae iddi ŵr, sydd yn rhwym wrth y Ddeddf i'r gŵr, tra fyddo efe byw: ond o bydd marw y gŵr, hi a ryddhawyd oddi wrth ddeddf y gŵr.

3 Ac felly, os a'r gŵr yn fyw, y bydd hi yn eiddo gŵr arall, hi a elwir yn odinebus: eithr os marw fydd ei gŵr hi, y mae hi yn rhydd oddi wrth y ddeddf, fel nad yw hi odinebus, er bod yn eiddo gŵr arall.

4 Ac felly chwithau, fy mrodyr, ydych wedi meirw i'r Ddeddf trwy gorph Christ, fel y byddech eiddo vn arall, [sef] eiddo yr hwn a gyfodwyd o feirw, fel y dygem ffrwyth i Dduw.

5 Canys pan oeddym yn y cnawd, gwyniau pechodau, y rhai oedd trwy'r Ddeddf, oedd yn gweithio yn ein haelodau ni, i ddwyn ffrwyth i farwolaeth.

6 Eithr yn awr y rhyddhawyd ni oddi wrth y Ddeddf, wedi ein meirw i'r peth i'n attelid, fel y gwasanaethem mewn newydd-deb yspryd, ac nid yn hender y llythyren.

7 Beth wrth hynny a ddywedwn ni? Ai pechod yw'r Ddeddf? Na atto Duw. Eithr nid adnabûm i bechod, ond wrth y Ddeddf. Canys nid adnabuaswn i drachwant, oni bai ddywedyd o'r Ddeddf, Na thrachwanta.

8 Eithr pechod wedi cymmeryd achlysur drwy 'r gorchymmyn, a weithiodd ynofi bôb trachwant.

9 Canys heb y Ddeddf, marw [oedd] bechod. Eithr yr oeddwn i gynt yn fyw heb y Ddeddf; ond pan ddaeth y gorchymyn, yr adfywiodd pechod, a minneu a fûm farw.

10 A'r gorchymyn yr hwn [ydoedd] i fywyd, hwnnw a gaed i mi i farwolaeth.

11 Canys pechod, wedi cymmeryd achlysur trwy'r gorchymmyn, am twyllodd i, a thrwy hwnnw am lladdodd.

12 Felly yn wir, [y mae] 'r Ddeddf yn sanctaidd, a'r gorchymmyn yn sanctaidd, ac yn gyfiawn, ac yn dda.

13 Gan hynny a wnaethpwyd y peth oedd dda, yn farwolaeth i mi? Na atto Duw. Eithr pechod, fel yr ymddangosei yn bechod, gan weithio marwolaeth ynofi, drwy'r hyn sydd dda, fel y byddei pechod drwy'r gorchymmyn yn dra phechadurus.

14 Canys ni a wyddom fod y Ddeddf yn ysprydol, eithr myfi sydd gnawdol, wedi fy ngwerthu tan bechod.

15 Canys yr hyn yr wyf yn ei wneuthur, nid yw fodlon gennif. Canys nid y peth yr wyf yn ei ewyllysio, hynny yr wyf yn ei wneuthur, eithr y peth sydd gâs gennif, hyn yr ydwyf yn ei wneuthur.

16 Ac os y peth nid wyf yn ei ewyllysio, hynny yr wyf yn ei wneuthur, yr wyfi yn cydsynio â'r Ddeddf, mai da ydyw.

17 Felly yr awron, nid myfi sydd mwy yn gwneuthur hynny, eithr y pechod yr hwn sydd yn trigo ynofi.

18 Canys mi a wn nad oes ynofi, hynny yw yn fy nghnawd i, ddim da yn trigo: oblegit yr ewyllysio sydd barod gennif; eithr cwplau yr hyn sydd dda, nid wyf yn medru arno.

19 Canys nid wyf yn gwneuthur y peth da yr wyf yn ei ewyllysio, ond y drwg, yr hwn nid wyf yn ei ewyllysio, hynny yr wyf yn ei wneuthur.

20 Ac os ydwyfi yn gwneuthur y peth nid wyf yn ei ewyllysio, nid myfi mwyach sydd yn ei wneuthur, ond y pechod sydd yn trigo ynofi.

21 Yr ydwyfi, gan hynny, yn cael deddf, a mi yn ewyllysio gwneuthur da, fôd drwg yn bresennol gydâ mi.

22 Canys ymhyfrydu yr wyf ynghyfraith Duw yn ôl y dyn oddi mewn.

23 Eithr yr wyf yn gweled deddf arall yn fy aelodau, yn gwrthryfela yn erbyn deddf fy meddwl, ac yn fy nghaethiwo i ddeddf pechod, yr hon sydd yn fy aelodau.

24 Ys truan o ddŷn wyfi: pwy am gwared i || oddiwrth gorph y farwolaeth hon?

|| od diwrth y corph marwolaeth hwn.

25 Yr wyfi yn diolch i Dduw trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Felly, gan hynny, yr wyfi fy hun â'r meddwl yn gwasanaethu Cyfraith Duw, ond â'r cnawd cyfraith pechod.

P E N. VIII.

1 Bod y rhai sydd ynGhrist, ac yn byw yn ôl yr Yspryd, yn rhyddion oddiwrth ddamnedigaeth. 5. 13 Pa niwed sydd yn digwydd oddiwrth y cnawd, 6. 14 a pha lês oddiwrth yr Yspryd: 17 ac o fôd yn blentyn i Dduw: 19 yr hwn y mae pob peth yn hiraethu am ei ogoneddus ymwared: 29 yr hwn a

rag-ordeinwyd gan Dduw. 38 Na all dim ein gwahanu ni oddiwrth ei gariad ef.

NId oes gan hynny, yn awr ddim damnedigaeth i'r rhai sy yng-Hrist Iesu, y rhai sydd yn rhodio, nid yn ôl y cnawd, eithr yn ôl yr yspryd.

2 Canys deddf yspryd y bywyd yng-Hrist Iesu, a'm rhyddhaodd i oddi wrth ddeddf pechod a marwolaeth.

3 Canys || yr hyn ni allai y Ddeddf o herwydd ei bod yn wan drwy'r cnawd, Duw a ddanfonodd ei fâb ei hun yngh-yffelybiaeth cnawd pechadurus, ac am bechod a gondemnodd bechod yn y cnawd:

|| yr hyn [oedd] amhossibl i'r Ddeddf, yn yr hyn yr oedd hi yn wan.

4 Fel y cyflawnid cyfiawnder y Ddeddf ynom ni, y rhai ydym yn rhodio, nid yn ôl y cnawd, eithr yn ôl yr yspryd.

5 Canys y rhai sydd yn ôl y cnawd, am bethau'r cnawd y maent yn synniaw: eithr y rhai sy yn ôl yr yspryd, am bethau yr yspryd.

6 Canys syniad y cnawd, marwolaeth yw, a syniad yr yspryd, bywyd a thangneddyf yw.

7 Oblegid synniad y cnawd [sydd] elyniaeth yn erbyn Duw; canys nid yw ddarostyngedic i Ddeddf Duw: oblegid ni's gall chwaith.

8 A'r rhai sydd yn y cnawd, ni allant ryngu bodd Duw.

9 Eithr chwy-chwi nid ydych yn y cnawd, ond yn yr yspryd; od yw Yspryd Duw yn trigo ynoch. Ac od oes neb heb Yspryd Christ ganddo, nid yw hwnnw yn eiddo ef.

10 Ac os yw Christ ynoch, y mae'r corph yn farw o herwydd pechod: eithr yr yspryd yn fywyd, o herwydd cyfiawnder.

11 Ac os Yspryd yr hwn a gyfododd Iesu o feirw, sydd yn trigo ynoch; yr hwn a gyfododd Grist o feirw, a fywocca hefyd eich cyrph marwol chwi, trwy ei Yspryd, yr hwn sydd yn trigo ynoch.

Yr Epistol yr wythfed Sul ar ôl y Drindod.

12 Am hynny, ☞ frodyr, dyled-wyr ydym, nid i'r cnawd, i fyw yn ôl y cnawd.

13 Canys os byw yr ydych yn ôl y cnawd, meirw fyddwch; eithr os ydych yn marweiddio gweithredoedd y corph trwy 'r Yspryd, byw fyddwch.

14 Canys y sawl a arweinir gan Yspryd Duw, y rhai hyn sydd blant i Dduw.

15 Canys ni dderbyniasoch yspryd caethiwed drachefn i [beri] ofn; eithr derbyniasoch yspryd mabwysiad, trwy'r hwn yr ydym yn llefain Abba Dâd.

16 Y mae yr Yspryd || hwn yn cyd-tystiolaethu â'n hyspryd ni, ein bod ni yn blant i Dduw.

|| ei hun.

17 Ac os plant, etifeddion hefyd, sef etifeddion i Dduw, a chyd-etifeddion â Christ; os ydym yn cyd-ddioddef [gydag ef], fel i'n cyd-ogonedder hefyd. ☜

Yr Epistol y pedwerydd Sul ar ôl y Drindod.

18 ☞ Oblegid yr ydwyf yn cyfrif nad yw dioddefiadau yr amser presennol hwn, yn haeddu [eu cyffelybu] i'r gogoniant a ddatcuddir i ni.

19 Canys awydd-fryd y creadur sydd yn disgwil am ddadcuddiad meibion Duw.

20 Canys y creadur sydd wedi ei ddarostwng i oferedd, nid o'i fodd, eithr oblegit yr hwn a'i darostyngodd.

21 Tan obaith y rhyddheir y creadur yntau hefyd, o gaethiwed llygredigaeth, i ryddid gogoniant plant Duw.

22 Canys ni a wyddom fod pôb creadur yn cyd-ocheneidio, ac yn cyd-ofidio hyd y pryd hyn.

23 Ac nid yn unic y [creadur], ond ninnau hefyd, y rhai sydd gennym flaen-ffrwyth yr Yspryd; yr ydym ninnau ein hunain hefyd yn ocheneidio ynom ein hunain, gan ddisgwil y mabwysiad, [sef] * prynedigaeth ein corph. ☜

* Luc. 21.28.

24 Canys trwy obaith i'n hiachawyd: eithr y gobaith a welir, nid yw obaith: oblegid y peth y mae un yn ei weled, i ba beth y mae etto yn ei obeithio?

25 Ond os ydym ni yn gobeithio yr hyn nid ŷm yn ei weled, yr ydym trwy amynedd yn disgwil amdano.

26 A'r un ffunyd y mae'r Yspryd hefyd yn cynnorthwyo ein gwendid ni. Canys ni wyddom ni beth a weddiom, megis y dylem, ethr y mae'r Yspryd ei hun yn erfyn trosom ni, ag ocheneidiau annhraethadwy.

27 A'r hwn sydd yn chwilio y calonnau, a wyr beth yw meddwl yr Yspryd; canys y mae efe yn ôl [ewyllys] Duw yn erfyn tros y Sainct.

28 Ac ni a wyddom fod pôb peth yn cydweithio er daioni, i'r rhai sy yn caru Duw, [sef] i'r rhai sydd wedi eu galw yn ôl ei arfaeth ef.

29 Oblegid y rhai a ragwybu, a ragluniodd efe hefyd, i fod yn un ffurf â delw ei fâb ef, fel y byddei efe yn gyntaf-anedig ym mhlith brodyr lawer.

30 A'r rhai a ragluniodd efe, y rhai hynny hefyd a alwodd efe: a'r rhai alwodd efe, y rhai hynny hefyd a gyfiawnhaodd efe; a'r rhai a gyfiawnhaodd efe, y rhai hynny hefyd a ogoneddodd efe.

31 Beth gan hynny a ddywedwn ni wrth y pethau hyn? os [yw] Duw trosom; pwy a [all fod] i'n herbyn?

32 Yr hwn nid arbedodd ei briod fab, ond a'i traddododd ef trosom ni oll; pa wedd gyd ag ef hefyd na ddyry efe i ni bob peth?

33 Pwy a rydd ddim yn erbyn etholedigion Duw? Duw [yw]'r hwn sydd yn cyfiawnhau.

34 Pwy yw'r hwn sydd yn damnio? Christ yw'r hwn a fu farw, ie yn hytrach, yr hwn a gyfodwyd hefyd: yr hwn hefyd sydd ar ddeheu-law Duw; yr hwn hefyd sydd yn erfyn trosom ni.

35 Pwy a'n gwahana ni oddi wrth gariad Christ? ai gorthrymder, neu ing, neu ymlid, neu newyn, neu noethni, neu enbydrwydd, neu gleddyf?

36 Megis y mae yn scrifennedig, * Er dy fwyn di yr ydys yn ein lladd ni ar hyd y dydd, cyfrifwyd ni fel defaid i'r lladdfa.

* Psal. 44.22.

37 Eithr yn y pethau hyn oll yr ydym ni yn fwy na chwncwer-wyr,

trwy'r

trwy'r hwn a'n carodd ni.

38 Canys mae yn ddiogel gennif na all nac angeu, nac einioes, nac Angelion, na thywysogaethau, na meddiannau, na phethau presennol, na phethau i ddyfod,

39 Nac uchder, na dyfnder, nac un creadur arall, ein gwahanu ni oddi wrth gariad Duw, yr hwn sydd ynGhrist Iesu ein Harglwydd.

## PEN. IX.

1 Paul yn ddrwg cantho tros yr Iddewon. 7 Nad oedd holl hâd Abraham yn blant yr addewid. 18 Bod Duw yn trugarhau wrth y neb y mynno. 21 Y gall y crochenydd wneuthur â'i bridd y peth a fynno. 25 Darfod rhag-fynegi galwedigaeth y Cenedloedd, a gwrthodiad yr Iddewon. 32 Yr achos pa ham y croesawodd cyn lleied o'r Iddewon, gyfiawnder ffydd.

Y Gwirionedd yr wyf yn ei ddywedyd ynGhrist, nid wyf yn dywedyd celwydd, am cydwybod hefyd yn cyd-tystiolaethu â mi, yn yr Yspryd glân,

2 Fod i mi dristyd mawr, a gofid dibaid i'm calon.

3 Canys mi a ddymunwn fy mod fy hun ||yn anathema oddi wrth Grist, dros fy mrodyr, sef fy nghenedl yn ôl y cnawd:

|| wedi fyngybahanu.

4 Y rhai sydd Israeliaid; eiddo y rhai yw y mabwysiad, a'r gogoniant, a'r cyfammodau, a dodiad y Deddf, a'r gwasanaeth, a'r addewidion:

5 Eiddo y rhai yw 'r tadau, ac o'r rhai [yr hanoedd] Christ yn ôl y cnawd, yr hwn sydd uwch-law pawb, yn Dduw bendigedig yn oes oesoedd. Amen.

6 Eithr nid possibl yw myned gair Duw yn ddirym: canys nid ||Israel yw pawb ac sydd o Israel.

|| y rhai hyn o Israel, ar a ydynt o Israel.

7 Ac nid ydynt, oblegid eu bod yn hâd Abraham, i gyd yn blant: * eithr yn Isaac y gelwir i ti hâd.

Gen.21.12.

8 Hynny ydyw, nid plant y cnawd, y rhai hynny sy blant i Dduw; eithr plant yr addewid a gyfrifir yn hâd.

9 Canys gair yr addewid yw hwn, * Ar yr amser hwn y deuaf, a bydd mâb i Sara.

Gen.18,10.

10 Ac nid hyn yn unig, eithr Rebecca hefyd, wedi iddi feichiogi o un, [sef] o'n Tâd Isaac,

11 Canys cyn geni [y plant] etto, na gwneuthur o honynt dda na drwg, fel y byddei i'r arfaeth yn ôl etholedigaeth Duw sefyll, nid o weithredoedd, eithr o'r hwn sydd yn galw,

12 Y dywedwyd wrthi, * Yr hynaf a wasanaetha yr ieuangaf.

Gen.25.23.

13 Megis yr scrifennwyd *, Jacob a gerais, eithr Esau a gaseais.

Malaci.1.2.

14 Beth gan hynny a ddywedwn ni? a oes anghyfiawnder gyda Duw? Na atto Duw.

15 Canys y mae yn dywedyd wrth Moses, * Mi a drugarhâf wrth yr hwn y trugarhawyf, ac a dosturiaf wrth yr hwn y tosturiwyf.

Exod.33.19.

16 Felly gan hynny, nid o'r hwn sydd yn ewyllysio y mae, nac o'r hwn sydd yn rhedeg chwaith, ond o Dduw, yr hwn sydd yn trugarhau.

17 Canys y mae yr Scrythur yn dywedyd wrth Pharao, * I hyn ymma i'th gyfodais di, fel y dangoswn fy ngallu ynot ti, ac fel y datcenid fy Enw trwy 'r holl ddaiar.

Exod.9.16.

18 Felly gan hynny, y neb y mynno y mae efe yn trugarhau wrtho, a'r neb y mynno y mae efe yn ei galedu.

19 Ti a ddywedi gan hynny wrthif, Pa ham y mae efe etto yn beio? canys pwy a wrthwynebodd ei ewyllys ef?

20 Yn hytrach, ô ddŷn, pwy wyt ti yr hwn a ddadleui yn erbyn Duw? A ddywed y peth ffurfiedic, wrth yr hwn a'i ffurfiodd, * Pa ham i'm gwnaethost fel hyn?

* Esai.45.9.

21 Onid oes awdurdod * i'r crochenydd ar y priddgist, i wneuthur o'r un telpyn pridd, un llestr i barch, ac arall i amharch?

* Ieremi 18.6 doeth.15.7.

22 [Beth] os Duw yn ewyllysio dangos ei ddigofaint, a pheri adnabod ei allu, a oddefodd drwy hir-ymaros, lestri digofaint, wedi eu || cymhwyso i golledigaeth:

|| neu, gorphen.

23 Ac i beri gwybod golud ei ogoniant a'r lestri trugaredd, y rhai a rag-baratoodd, efe i ogoniant?

24 [Sef] nyni y rhai a alwodd efe, nid o'r Iddewon yn unig, eithr hefyd o'r Cenhedloedd.

25 Megis hefyd y mae efe yn dywedyd yn Hosea, * Mi alwaf yr hwn nid yw bobl i mi, yn bobl i mi: a'r hon nid yw anwyl yn anwyl.

Osea 2.23. 1 pet.2.10.

26 * A bydd yn y fangre lle y dywedwyd wrthynt, nid fy mhobl i [ydych] chwi, yno y gelwir hwy yn feibion i'r Duw byw.

Ose.1.10.

27 Hefyd, y mae Esaias yn llefain am yr Israel, * cyd byddei nifer meibion Israel fel tywod y môr, gweddill a achubir.

Esai.10.22-23.

28 Canys [efe] a orphen ac a gwttoga y ||gwaith mewn cyfiawnder: oblegid byr || waith a wna yr Arglwydd ar y ddaiar.

|| neu, cyfrif. || neu, gyfrif.

29 Ac megis y dywedodd Esaias yn y blaen, * Oni buasei i Arglwydd y Sabbath adel i ni hâd, megis Sodoma y buasem, a gwneuthid ni yn gyffelyb i Gomorra.

Esai.1.9.

30 Beth gan hynny a ddywedwn ni? bod y Cenhedloedd, y rhai nid oeddynt yn dilyn cyfiawnder, wedi derbyn cyfiawnder, [sef] y cyfiawnder [sydd] o ffydd?

31 Ac Israel yr hwn oedd yn dilyn Deddf cyfiawnder, ni chyrhaeddodd Ddeddf cyfiawnder.

32 Pa ham? am nad [oeddynt yn ei cheisio] trwy ffydd, ond megis trwy weithredoedd y Ddeddf: canys hwy a dramgwyddasant wrth y maen tramgwydd,

33 Megis y mae yn scrifennedig *: wele fi yn gosod yn Sion faen tramgwydd, a chraig rhwystr, a phôb un a gredo ynddo ni chywilyddir.

* Esai.8 14. & 28.16. 1 pet.2.6.

## PEN. X.

1 Bod yr Scrythur lân yn dangos y rhagor sy rhwng cyfiawnder y gyfraith, a'r hwn

sydd o ffydd, 11 ac na chwilyddir neb a gredo, pa vn bynnac ai Iddew a'i Cenedlddyn fyddo, 18 ac y derbyn y Cenhedloedd y gair, ac y credant. 19 Nad oedd y pethau hyn anyspys i'r Iddewon.



O frodyr, gwir-ewyllys fynghalon, a'm gweddi ar Dduw dros yr Israel, sydd || er iechydwriaeth.

|| ar eu bod yn gadwedig.

2 Canys yr wyf yn dyst iddynt, fod ganddynt zêl Duw, eithr nid ar ôl gwybodaeth.

3 Canys hwynt hwy heb wybod cyfiawnder Duw, ac yn ceisio gosod eu cyfiawnder eu hunain, nid ymostyngasant i gyfiawnder Duw.

4 Canys Christ yw diwedd y Ddeddf, er cyfiawnder i bôb vn sy'n credu.

5 Canys y mae Moses yn scrifennu [am] y cyfiawnder sydd o'r Ddeddf, mai 'r * dyn a wnêl y pethau hynny a fydd byw trwyddynt.

* Leuit. 18.5. ezec. 20.11. galat. 3.12.

6 Eithr y mae y cyfiawnder sydd o ffydd yn dywedyd fel hyn, * Na ddywed yn dy galon, pwy a escyn i'r nef? hynny yw dwyn Christ i waered [oddi vchod.]

* Deut. 30. 12.

7 Neu pwy a ddescyn i'r dyfnder? hynny yw dwyn Christ drachefn i fynu oddi wrth y meirw.

8 Eithr pa beth y mae efe yn ei ddywedyd? * Mae'r gair yn agos attat, yn dy enau, ac yn dy galon; hwn yw gair y ffydd, yr hwn yr ydym ni yn ei bregethu,

* Deut 30.14.

9 Mai os cyffessi â'th enau, yr Arglwydd Iesu, a chredu yn dy galon, i Dduw ei gyfodi ef o feirw, cadwedig fyddi.

10 Canys â'r galon y credir i gyfiawnder, ac â'r genau y cyffessir i iechydwriaeth.

11 Oblegid y mae'r Scrythur yn dywedyd, * Pwy bynnag sydd yn credu ynddo ef, ni chywilyddir.

* Esai. 28.16.

12 Canys nid oes gwahaniaeth rhwng Iddew a Groeg-wr, oblegid yr vn Arglwydd ar bawb, [sydd] oludog i bawb ac sydd yn galw arno.

13 * Canys pwy bynnac a alwo ar Enw yr Arglwydd, cadwedig fydd.

* Ioel. 2.32. act 2.21.

14 Pa fodd gan hynny y galwant ar yr hwn ni chredasant ynddo? a pha fodd y credant yn yr hwn ni chlywsant am dano? a pha fodd y clywant heb bregeth-wr?

15 A pha fodd y pregethant, onis danfonir [hwynt]? megis y mae yn scrifennedig *, Mor brydferth yw traed y rhai sy yn efangylu tangneddyf, y rhai sydd yn efangylu pethau daionus.

* Esa. 52.7. nahum. 1.15.

16 Eithr nid vfyddhasant hwy oll i'r Efengyl; canys y mae Esaias yn dywedyd; * O Arglwydd, pwy a gredodd i'n hymadrodd ni?

* Esa. 53.1. ioan. 12.38.

17 Am hynny ffydd sydd trwy glywed, a chlywed trwy air Duw.

18 Eithr meddaf; oni chlywsant hwy? * Yn ddiau i'r holl ddaiar yr aeth eu sŵn hwy, a'u geiriau hyd derfynau y byd.

Psal. 19.4.

19 Eithr meddaf; Oni wybu Israel? Yn gyntaf y mae Moses yn dywedyd, * Mi a baraf i chwi wŷn-fydu trwy rai nid yw genedl; trwy genedl anneallus i'ch digiaf chwi.

* Deut. 32.21.

20 Eithr y mae Esaias yn ymhŷf-hau ac yn dywedyd; * Caffwyd fi gan y rhai nid oeddynt yn fy ngheisio; a gwnaed fi yn eglur i'r rhai nid oeddynt yn ymofyn am danaf.

* Esai. 65.1.

21 Ac wrth yr Israel y mae yn dywedyd, * Ar hyd y dydd yr estynnais fy nwylo at bobl anufydd, ac yn gwrth-ddywedyd.

* Esai. 65.2.

## PEN. XI.

1 Na fwriodd Duw ymaith holl Israel: 7 ond rhai a ddewiswyd, er darfod caledu 'r lleill. 16 Y mae gobaith y troir hwynt. 18 Na ddylai y Cenhedloedd, orfoleddu yn eu herbyn hwy: 26 oblegid y mae addewid o'i hiechydwriaeth hwythau. 33 Bod barnedigaethau Duw yn anchwiliadwy.



A M hynny meddaf, A wrthododd Duw ei bobl? Na atto Duw. Canys yr wyf finneu hefyd yn Israeliad, o hâd Abraham, o lwyth Beniamin.

2 Ni wrthododd Duw ei bobl, yr hwn a adnabu efe o'r blaen. Oni wyddoch chwi pa beth y mae yr Scrythur yn ei ddywedyd am Elias? pa fodd y mae efe yn erfyn ar Dduw yn erbyn Israel gan ddywedyd:

3 * Oh Arglwydd, hwy a laddasant dy Brophwydi, ac a gloddiasant dy allorau i lawr; ac myfi a adawyd yn vnic, ac y maent yn ceisio fy einioes inneu.

* 1 Bren. 19. 14.

4 Eithr pa beth y mae atteb Duw yn ei ddywedyd wrtho? Mi a adewais i mi fy hun saith mil o wŷr, y rhai ni phlygasant eu gliniau i Baal.

* 1 Bren. 19. 18.

5 Felly gan hynny, y pryd hyn hefyd, y mae gweddill yn ôl etholedigaeth grâs.

6 Ac os o râs, nid o weithredoedd mwyach: os amgen nid yw grâs yn râs mwyach. Ac os o weithredoedd, nid yw yn râs mwyach: os amgen nid yw gweithred yn weithred mwyach.

7 Beth gan hynny? ni chafas Israel yr hyn y mae yn ei geisio: eithr yr etholedigaeth a'i cafas, a'r lleill a || galedwyd.

|| ddallwyd.

8 Megis y mae yn scrifennedic; * Rhoddes Duw iddynt yspryd trym-gwsc; * llygaid fel na welent, a chlustiau fel na chlywent, hyd y dydd heddyw.

* Esai. 29 10. * Esai. 6.9.

9 Ac y mae Dafydd yn dywedyd; * Bydded eu bord hwy yn rhwyd, ac yn fagl, ac yn dramgwydd, ac yn daledigaeth iddynt.

* Psal. 69. 22.

10 * Tywyller eu llygaid hwy, fal na welant, a chyd-grymma di eu cefnau hwy bob amser.

* Psal. 69. 23.

11 Gan hynny meddaf, a dramgwyddasant hwy fel y cwympent? Na atto Duw. Eithr trwy

trwy eu cwymp hwy [y daeth] iechydwriaeth i'r cenhedloedd, i yrru eiddigedd arnynt.

12 O herwydd paham, os ydyw eu cwymp hwy yn olud i'r byd, a'u lleihâd hwy yn olud i'r Cenhedloedd, pa faint mwy [y bydd] eu cyflawnder hwy?

13 Canys wrthych chwi y Cenhedloedd yr wyf yn dywedyd, yn gymmaint a'm bôd i yn Apostol y Cenhedloedd, yr wyf yn mawrhau fy swydd:

14 Os gallaf rywfodd yrru eiddigedd ar fynghig [a'm gwaed fy hun,] ac achub rhai o honynt.

15 Canys os yw eu gwrthodiad hwy yn gymmod i'r byd, beth [fydd] eu derbyniad hwy, ond bywyd o feirw?

16 Canys os sanctaidd y blaen-ffrwyth, y mae'r clamp toes hefyd [yn sanctaidd.] Ac os sanctaidd y gwreiddyn, y mae'r canghennau hefyd [felly.]

17 Ac os rhai o'r canghennau a dorrwyd ymmaith, a thydi yn olewydden wyllt a impiwyd i mewn || yn eu plith hwy, ac a'th wnaethpwyd yn gyfrannog o'r gwreiddyn, ac o fraster yr olew-wydden:

|| yn eu lle hwynt.

18 Na orfoledda yn erbyn y canghennau. Ac os gorfoleddi, nid tydi sydd yn dwyn y gwreiddyn, eithr y gwreiddyn dydi.

19 Ti a ddywedi gan hynny, torrwyd y canghennau ymmaith, fel yr impid fi i mewn.

20 Da: trwy anghrediniaeth y torrwyd hwynt ymmaith, a thitheu sydd yn sefyll trwy ffydd; na fydd uchel-fryd, eithr ofna.

21 Canys onid arbedodd Duw y canghennau naturiol, [gwilia] rhag nad arbedo ditheu chwaith.

22 Gwêl am hynny, ddaioni a thoster Duw, sef i'r rhai a gwympasant, toster: eithr daioni i ti, os arhosi yn ei ddaioni ef: os amgen, torrir ditheu hefyd ymmaith.

23 A hwythau, onid arhosant yn anghrediniaeth, a impir i mewn, canys fe all Duw eu himpio hwy i mewn drachefn.

24 Canys os tydi a dorrwyd ymmaith o'r olewydden, yr hon oedd wyllt wrth naturiaeth, a'th impio yn erbyn naturiaeth mewn gwir olew-wydden: pa faint mwy y caiff y rhai hyn [sydd] wrth naturiaeth, eu himpio i mewn yn eu holew-wydden eu hun?

25 Canys ni ewyllysiwn, frodyr, eich bôd heb wybod y dirgelwch hyn, (fel na byddoch ddoethion yn eich golwg eich hun) ddyfod || dallineb o ran i Israel, hyd oni ddêl cyflawnder y Cenhedloedd i mewn.

|| caledwch.

26 Ac felly holl Israel a fydd cadwedig, fel y mae yn scrifennedic, * Y gwaredwr a ddaw allan o Sion, ac a dry ymmaith annuwioldeb oddiwrth Jacob.

Esa.59.20.

27 A hyn yw'r ammod sydd iddynt gennif, pan gymmerwyf ymmaith eu pechodau hwynt.

Psal.69.22. Psal.69.23.

28 Felly o ran yr Efengyl, gelynion [ydynt,] o'ch plegid chwi; eithr o ran yr etholedigaeth, caredigion [ydynt,] oblegid y tadau.

29 Canys diedifarus yw doniau, a galwedigaeth Duw.

30 Canys megis y buoch chwithau gynt yn || anufydd i Dduw, eithr yr awron a gawsoch drugaredd, drwy || annufydd-dod y rhai hyn:

|| anghredadyn. || anghrediniaeth.

31 Felly hwythau hefyd yr awron a || anufyddhasant, fel y caent hwythau drugaredd, drwy eich trugaredd chwi.

|| anghredasant.

32 Canys Duw a'i caeodd hwynt oll mewn || anufydd-dod, fel y trugarhaai wrth bawb.

|| anghrediniaeth.

33 O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw; mor anchwiliadwy yw ei farnau ef! a'i ffyrdd mor anolrheinadwy ydynt!

34 * Canys pwy a wybu feddwl yr Arglwydd? neu pwy a fu gynghorwr iddo ef?

Esa 40.13. doeth.9.13. 1.cor.2.16.

35 Neu pwy a roddes iddo ef yn gyntaf, ac fe a delir iddo drachefn.

36 Canys o honaw ef, a thrwyddo ef, ac iddo ef [y mae] pôb peth: iddo ef [y byddo] gogoniant yn dragywydd. Amen.

## PEN. XII.

1 Y dylai trugareddau Duw ein cynhyrfu ni i ryngu ei fodd ef. 3 Na ddylai neb feddwl yn rhydda o hono ei hun, 6 eithr bôd yn ddiwyd yn yr alwedigaeth y gosodwyd ef ynddi. 9 Cariad a llawer eraill o rinweddau a ofynnir cennym ni: 29 A dial yn bendifaddeu a warafunir i ni.

Yr Epistol y Sul cyntaf ar ol yr Ystwyll.

A hynny yr wyf yn attolwg i chwi, frodyr, er trugareddau Duw, roddi o honoch eich cyrph yn aberth byw, sanctaidd, cymmeradwy gan Dduw; [yr hyn yw] eich rhesymmol wasanaeth chwi.

2 Ac na chyd-ymffurfiwch â'r byd hwn, eithr ymnewidiwch trwy adnewyddiad eich meddwl, fel y profoch beth yw daionus a chymmeradwy, a pherffaith ewyllys Duw.

3 Canys yr wyf yn dywedyd, trwy y grâs a roddwyd i mi, wrth bob un sydd yn eich plith, na byddo i nêb uchel-synied yn amgen nag y dylid synied, eithr synied i sobrwydd, fel y rhannodd Duw i bob un fesur ffydd.

4 Canys megis y mae gennym aelodau lawer mewn un corph, ac nad oes gan yr holl aelodau yr un swydd;

5 Felly [ninnau,] a ni yn llawer, ydym un corph yng-Hrist, a phôb un yn aelodau i'w gilydd. ☜

Yr Epistol yr ail Sul ar ol yr Ystwyll.

6 ☞ A chan fôd i ni amryw ddoniau, yn ôl y grâs a roddwyd i ni, pa un bynnac ai prophwydoliaeth, [prophwydwn] yn ôl cyssondeb y ffydd:

7 Ai gweinidogaeth, [byddwn ddyfal] yn y weinidogaeth; neu'r hwn sydd yn athrawiaethu, yn yr athrawiaeth.

8 Neu'r hwn sydd yn cynghori, yn y cynghor; yr hwn sydd yn cyfrannu, [gwnaed] mewn symlrwydd: yr hwn sydd yn llywodraethu, mewn diwydrwydd; yr hwn sydd yn trugarhau, mewn llawenydd.

9 [Bydded] cariad yn ddiragrith: casewch y drwg, a glynwch wrth y da.

10 Mewn

10 Mewn cariad brawdol byddwch garedig i'w gilydd, yn rhoddi parch yn blaenori ei gilydd.

11 Nid yn ddiog mewn diwydrwydd, yn wresog yn yr Yspryd yn gwasanaethu yr Arglwydd,

12 Yn llawen mewn gobaith, yn ddioddefgar mewn cystudd, yn dyfal-barhau mewn gweddi,

13 Yn cyfrannu i gyfreidiau'r Sainct, ac yn dilyd lletteugarwch.

14 Bendithiwch y rhai sy yn eich ymlid: bendithiwch, ac na felldithiwch.

15 Byddwch lawen gyd â'r rhai sydd lawen, ac wylwch gyd â'r rhai sy'n wylo.

16 Byddwch yn un-fryd â'i gilydd: heb roi eich meddwl a'r uchel-bethau: eithr ||yn gydostyngedig â'r rhai isel-radd. Na fyddwch ddoethion yn eich tyb eich hunain.

|| yn fodlon i bethau isel.

Yr Epistol y trydydd Sul ar ol yr Ystwyll.

17 Na thelwch i neb ddrwg am ddrwg. Darperwch bethau onest yngolwg pôb dyn.

18 Os [yw] bossibl, hyd y mae ynoch chwi, || byddwch heddychlawn â phôb dyn.

|| yn byw yn heddychlawn.

19 Nac ymddielwch, rai anwyl, onid rhoddwch le i ddigofaint: canys y mae yn scrifennedic,* I mi y mae dial, myfi a dalaf, medd yr Arglwydd.

*Deut.32.35.

20 Am hynny,* os dy elyn a newyna, portha ef: os sycheda, dyro iddo ddiod; canys wrth wneuthur hyn, ti a bentyrri || farwor tanllyd am ei ben ef.

*Dihar.25.21.

|| farwor tân.

21 Na orchfyger di gan ddrygioni, eithr gorchfyga di ddrygioni trwy ddaioni.

## PEN. XIII.

1 Ymddarostwng, a llawer o bethau eraill sydd ddyledus i'r llywodraethwyr. 8 Mai cariad yw cyflawnder y Ddeddf: 11 Bod glothineb, a meddwdod, a gweithredoedd y tywyllwch, yn annhymmoraidd yn amser yr Efengyl.

Yr Epistol y pedwerydd Sul ar ol yr Ystwyll.



Ymddarostynged pob enaid i'r awdurdodau goruchel, canys nid oes awdurdod onid oddiwrth Dduw: a'r awdurdodau sydd, gan Dduw y maent wedi eu hordeinio.

2 Am hynny, pwy bynnac sydd yn ymosod yn erbyn yr awdurdod, sydd yn gwrthwynebu ordinhâd Duw: a'r rhai a wrthwynebant, a dderbyniant farnedigaeth iddynt eu hunain.

3 Canys tywysogion nid ydynt ofn i weithredoedd da, eithr i'r rhai drwg. A fynni di nad ofnech yr awdurdod? gwna'r hyn sydd dda; a thi a gai glod ganddo.

4 Canys gweinidog Duw ydyw ef i ti er daioni: eithr os gwnei ddrwg, ofna, canys nid yw efe yn dwyn y cleddyf yn ofer. Oblegid gweinidog Duw yw efe, dialudd llid i'r hwn sydd yn gwneuthur drwg.

5 Herwydd pa ham, anghenrhaid yw ymddarostwng, nid yn unic o herwydd llid, eithr o herwydd cydwybod hefyd.

6 Canys am hyn yr ydych yn talu teyrnged hefyd, oblegid gwasanaeth-wyr Duw ydynt hwy, yn gwilied ar hyn ymma.

7 Telwch gan hynny i bawb [eu] dyledion; teyrn-ged i'r hwn y mae teyrnged [yn ddyledus.] toll i'r hwn y mae toll; ofn i'r hwn y mae ofn; parch i'r hwn y mae parch [yn ddyledus:]

8 Na fyddwch yn nlêd nêb o ddim, ond o garu bawb ei gilydd: canys yr hwn sydd yn caru arall, a gyflawnodd y Gyfraith.

9 Canys hyn, Na odineba, Na ladd, Na ledratta, Na ddwg gam dystiolaeth, Na thrachwanta: ac od oes [un] gorchymyn arall, y mae wedi ei gynnwys yn gryno yn yr ymadrodd hwn, Car dy gymmydog fel ti dy hun.

10 Cariad ni wna ddrwg i'w gymmydog; am hynny cyflawnder y gyfraith, yw cariad.

11 A hyn, gan wybod yr amser, [ei bod] hi weithian yn brŷd i ni i ddeffroi o gyscu: canys yr awr hon y mae ein iechydwriaeth ni yn nês nâ phan gredasom.

12 Y nos a gerddodd ym-mhell, a'r dydd a nessaodd, am hynny bwriwn oddi wrthym weithredoedd y tywyllwch, a gwiscwn arfau y goleuni.

13 Rhodiwn yn weddus, [megis wrth] liw dydd; nid mewn cyfeddach, a meddwdod; nid mewn cyd-orwedd, ac anlladrwydd; nid mewn cynnen, a chenfigen:

14 Eithr gwiscwch am danoch yr Arglwydd Iesu Grist, ac na wnewch rag-ddarbod tros y cnawd, er mwyn [cyflawni] ei chwantau ef.

## PEN. XIIII.

1 Na ddylai dynion na dirmygu, na chondemnio ei gilydd, am bethau nid ydynt na da na drwg, o honynt eu hunain: 13 Eithr gochelyd rhoddi achos tramgwydd ynddynt: 15 o blegid, hynny y mae'r Apostol yn ei brofi ei fôd yn anghyfraithlawn, trwy lawer o resymmau.



Yr hwn sydd wan yn y ffydd, derbyniwch attoch, nid i ||ymrafaelion rhesymmau.

|| nid i farnu ei feddyliau ambyssyl.

2 Canys y mae un yn credu y gall fwyta pôb peth; ac y mae arall, yr hwn sydd wan, yn bwyta dail.

3 Yr hwn sydd yn bwyta, na ddirmyged yr hwn nid yw yn bwyta; a'r hwn nid yw yn bwyta, na farned ar yr hwn sydd yn bwyta: canys Duw a'i derbyniodd ef.

4 Pwy wyt ti yr hwn wyt yn barnu gwâs un arall? I'w arglwydd ei hun y mae efe yn sefyll, neu yn syrthio; ac efe a gynhelir, canys fe a all Duw ei gynnal ef.

5 Y mae un yn barnu diwrnod uwch-law diwrnod, ac arall yn barnu pôb diwrnod yn [ogyfuwch.] Bydded pôb un yn sicer yn ei feddwl ei hun.

6 Yr hwn sydd yn ystyried diwrnod, i'r Arglwydd y mae yn ei ystyried; a'r hwn sydd heb ystyried diwrnod, i'r Arglwydd y mae heb ei ystyried. Yr hwn sydd yn bwyta, i'r Arglwydd y mae yn bwyta: canys y mae yn diolch i Dduw. A'r hwn sy heb fwyta, i'r

Arglwydd

glwydd y mae heb fwyta, ac y mae yn diolch i Dduw.

7 Canys nid oes yr vn o honom yn byw iddo ei hun, ac nid yw yr vn yn marw iddo ei hun.

8 Canys pa vn bynnac yr ydym ai byw, i'r Arglwydd yr ydym yn byw; ai marw, i'r Arglwydd yr ydym yn marw. Am hynny, pa vn bynnac yr ydym ai byw ai marw, eiddo yr Arglwydd ydym.

9 O blegit er mwyn hyn y bu farw Christ, ac yr adgyfodes, ac y bu fyw drachefn hefyd, fel yr arglwyddiaethei ar y meirw, a'r byw hefyd.

10 Eithr pa ham yr wyt ti yn barnu dy frawd? neu pa ham yr wyt yn dirmygu dy frawd? Canys gosodir ni oll ger bron gorsedd-faingc Christ.

11 Canys y mae yn scrifennedig, * Byw wyfi, medd yr Arglwydd; Pôb glin a blyga i mi, a phob tafod a gyffessa i Dduw.

12 Felly gan hynny, pôb vn o honom || trosto ei hun, a rydd gyfrif i Dduw.

13 Am hynny na farnwn ei gilydd mwyach; ond bernwch hyn yn hytrach, na bo i neb roddi tramgwydd i'w frawd, neu rwystr.

14 Mi a wn, ac y mae yn sicer gennif trwy 'r Arglwydd Iesu, nad oes dim yn || aflan a honaw ei hun, onid i'r hwn sydd yn tybied fod peth yn aflan, i hwnnw y mae yn aflan.

15 Eithr os o achos bwyd y tristeir dy frawd, nid wyt ti mwyach yn rhodio yn ôl cariad. * Na ddestrywia ef â'th fwyd, tros yr hwn y bu Christ farw.

16 Na chabler gan hynny, eich daioni chwi.

17 Canys nid yw teyrnas Dduw fwyd a diod, ond cyfiawnder, a thangneddyf, a llawenydd yn yr Yspryd glân.

18 Canys yr hwn sydd yn gwasanaethu Christ yn y pethau hyn, sydd hoff gan Dduw, a chymmeradwy gan ddynion.

19 Felly gan hynny dilynwn y pethau a a berthynant i heddwch, a'r pethau a berthynant i adeiladaeth ei gilydd.

20 O achos bwyd, na ddinistria waith Duw. Pôb * peth yn wir sydd lân; eithr drwg yw i'r dyn sydd yn bwyta drwy dramgwydd.

21 Da yw na fwytaer * cig, ac nad yfer gwin, na dim drwy 'r hyn y tramgwydder, neu y rhwystrer, neu y gwanhaer dy frawd.

22 A oes ffydd gennit ti? bydded hi gyd â thi dy hun ger bron Duw. Gwyn ei fyd yr hwn nid yw yn ei farnu ei hun, yn yr hyn y mae yn ei dybied yn dda.

23 Eithr yr hwn sydd yn petruso, os bwyty, ef a gondemnwyd, am nad yw [yn bwyta] o ffydd. A pheth bynnag nid yw o ffydd, pechod yw.

PEN. XV.

1 Rhaid i'r cryf gyd-ddwyn â'r gwan. 2 Na ddylem ni ryngu ein bodd ein hunain, 3 gan na wnaeth Christ hynny, 7 ond derbyn bôb vn ei gilydd, megis y derbyniodd Christ ninnau i gyd, 8 Iddewon, 9 a Chenhedloedd. 15 Paul yn escusodi ei scrifen, 28 ac yn addaw ymweled â hwynt, 30 ac yn deisyf eu gweddiau.



A Nyni, y rhai ydym gryfion, a ddylem gynnal gwendid y rhai gweniaid, ac nid rhyngu ein bodd ein hunain.

2 Boddhaed pôb vn o honom ei gymmydog, yn yr hyn sy dda [iddo] er adeiladaeth.

3 Canys Christ nis boddhaodd ef ei hun, eithr megis y mae yn scrifennedig, * Gwradwyddiadau y rhai a'th wradwyddent di, a syrthiasant arnafi.

4 ☞ Canys, pa bethau bynnag a scrifennwyd o'r blaen, er addysc i ni yr scrifennwyd hwynt, fel trwy ammynedd a diddanwch yr Scrythyrau, y gallem gael gobaith.

5 * A Duw yr ammynedd a'r diddanwch, a roddo i chwi synied yr vn peth tu ag at ei gilydd || yn ôl Christ Iesu:

6 Fel y galloch, yn vn-fryd, o vn genau, ogoneddu Duw, a Thâd ein Harglwydd Iesu Grist.

7 O herwydd pa ham, derbyniwch ei gilydd, megis ac y derbyniodd Christ ninnau i ogoniant Duw.

8 Ac yr wyf yn dywedyd, wneuthur Iesu Grist yn weinidog i'r enwaediad, er mwyn gwirionedd Duw, er mwyn cadarnhau yr addewidion a [wnaethpwyd] i'r tadau.

9 Ad fel y byddei i'r Cenhedloedd ogoneddu Duw am ei drugaredd, fel y mae yn scrifennedig; * Am hyn y cyffesaf i ti ym-mhlith y Cenhedloedd, ac y canaf i'th Enw.

10 A thrachefn y mae yn dywedyd; * Ymlawenhewch Genhedloedd gyd â'i bobl ef.

11 A thrachefn, * Molwch yr Arglwydd yr holl Genhedloedd, a chlodforwch ef yr holl bobloedd.

12 A thrachefn y mae Esaias yn dywedyd, * Fe fydd gwreiddyn Iesse, a'r hwn a gyfyd i lywodraethu y Cenhedloedd: ynddo ef y gobeithia y Cenhedloedd.

13 A Duw 'r gobaith a'ch cyflawno o bôb llawenydd a thangneddyf gan gredu, fel y cynnyddoch mewn gobaith, trwy nerth yr Yspryd glân. ☜

14 Ac yr wyfi fy hun, fy mrodyr, yn credu am danoch chwi, eich bôd chwithau yn llawn daioni, wedi eich cyflawni o bôb gwybodaeth, ac yn abl i rybuddio ei gilydd hefyd.

15 Eithr mi a scrifennais yn hyfach o beth attoch, o frodyr, fel vn yn dwyn ar gof i chwi, trwy y grâs a roddwyd i mi gan Dduw.

16 Fel y byddwn weinidog i Iesu Grist at y Cenhedloedd, gan weini i Efengyl Dduw, fel y byddei offrymiad y Cenhedloedd

Margin notes: 1.Cor.5.10. Esai.45.23. || am dano ei hun. || cyffredin. 1.Cor.8.11. || i farnu ei ... ei ... Tit.1.15. 1.Cor.8.13. * Psal.69.9. Yr Epistol yr ail Sul o'r Advent. * 1.Cor.1.10. || Neu, yn ôl esampl Christ Iesu. * Psal.18.49. * Deut.32.43. * Psal.117.1. * Esa.11.10.

oedd yn gymmeradwy, wedi ei sancteiddio gan yr Yspryd glân.

17 Y mae i mi, gan hynny, orfoledd ynGhrist Iesu, o ran y pethau [a berthyn] i Dduw.

18 Canys ni feiddiaf ddywedyd dim o'r pethau ni weithredodd Christ trwofi, i [wneuthur] y Cenhedloedd yn ufydd, ar air a gweithred:

19 Trwy nerth arwyddion a rhyfeddodau, gan nerth Yspryd Duw: hyd pan, o Ierusalem, ac o amgylch hyd Illyricum, y llenwais Efengyl Grist.

20 Ac felly gan ymorchestu i bregethu'r Efengyl, nid lle yr henwid Crist, fel nad adeiladwn ar sail un arall:

21 Eithr megis y mae yn scrifennedic; *I'r rhai ni fynegwyd am dano, hwynt [hwy a'i] gwelant ef; a'r rhai ni chlywsant, a ddeallant.

*Esai. 52.15.

22 Am hynny hefyd i'm lluddiwyd yn fynych i ddyfod attoch chwi.

23 Eithr yr awr hon, gan nad oes gennif le mwyach yn y gwledydd hyn, a hefyd bod arnaf hiraeth erys llawer o flynyddoedd am ddyfod attoch chwi:

24 Pan elwyf i'r Hispaen, mysi a ddeuaf attoch chwi. Canys yr wyf yn gobeithio wrth fyned heibio, y caf eich gweled, a'm hebrwng gennych yno, os byddaf yn gyntaf o ran wedi fy llenwi ‖ o honoch.

‖neu, o'ch cymdeithas, Gr. a chwi.

25 Ac yr awr hon yr wyfi yn myned i Ierusalem, i weini i'r Sainct.

26 Canys rhyngodd bodd i'r rhai o Macedonia ac Achaia, wneuthur rhyw gymmorth i'r rhai tlodion o'r Sainct [sydd] yn Ierusalem.

27 Canys rhyngodd bodd iddynt, a'u dyledwyr hwy ydynt: oblegid os cafodd y Cenhedloedd gyfran o'u pethau ysprydol hwynt, hwythau hefyd a ddylent weini iddynt hwytheu mewn pethau cnawdol.

28 Wedi i mi, gan hynny, orphen hyn, a selio iddynt y ffrwyth hwn, mi a ddeuaf heibioch i'r Hispaen.

29 Ac mi a wn pan ddelwyf attoch, y deuaf â chyflawnder bendith Efengyl Grist.

30 Eithr yr wyf yn attolwg i chwi, frodyr, er mwyn ein Harglwydd Iesu Grist, ac er cariad yr Yspryd, ar gyd-ymdrech o honoch gyd â mysi mewn gweddiau trosofi at Dduw,

31 Fel i'm gwareder oddiwrth y rhai ‖ anufydd yn Iudaea, ac ar fod fy ngweinidogaeth, yr hon sydd gennif i Ierusalem, yn gymmeradwy gan y Sainct.

‖heb gredu.

32 Fel y delwyf attoch mewn llawenydd, trwy ewyllys Duw, ac i'm cyd-lonner gyd â chwi.

33 A Duw'r heddwch [fyddo] gyd â chwi oll. Amen.

PEN. XVI.

1 Paul yn ewyllysio i'r brodyr annerch llawer, 17 ac yn eu cynghori hwy, i ochelyd y rhai sydd y peri anghydfod, a rhwystrau, 21 ac ar ôl amryw annherchion, yn diweddu gydà moliant a diolch i Dduw.



R wyf yn gorchymmyn i chwi Phoebe ein chwaer, yr hon sydd weinidoges i Eglwys Cenchrea:

2 Dderbyn o honoch hi yn yr Arglwydd, [megis y mae] yn addas i Sainct, a'i chynnorthwyo hi ym-mha beth bynnac y byddo rhaid iddi wrthych: canys hitheu hefyd a fu gymmorth i lawer, ac i minneu fy hun hefyd.

3 Annherchwch Priscilla, ac Aquila, fy nghydweith-wyr ynGhrist Iesu.

4 (Y rhai dros fy mywyd i a ddodasant eu gyddfau eu hunain i lawr; i'r rhai nid wyfi yn unic yn diolch, onid hefyd holl Eglwysydd y Cenhedloedd.)

5 [Anherchwch] hefyd yr Eglwys sydd yn eu tŷ hwy. Anherchwch fy anwyl Epenetus, yr hwn yw blaen-ffrwyth Achaia ynGhrist.

6 Annherchwch Mair, yr hon a gymmerodd lawer o boen erom ni.

7 Annherchwch Andronicus, a Iunia, fy ngheraint, a'm cydgarcharorion, y rhai sy hynod ym-mlith yr Apostolion, y rhai hefyd oeddent ynGhrist o'm blaen i.

8 Annherchwch Amplias fy anwylyd yn yr Arglwydd.

9 Annherchwch Urbanus ein cydweithwr ynGhrist, ac Stachys fy anwylyd.

10 Annherchwch Appelles y profedic ynGhrist. Anherchwch y rhai sy o [dylwyth] Aristobulus.

11 Annherchwch Herodion fy nghâr. Anherchwch y rhai sy o [dylwyth] Narcissus, y rhai sydd yn yr Arglwydd.

12 Annherchwch Tryphaena a Thryphôsa, y rhai a gymmerasant boen yn yr Arglwydd. Annherchwch yr anwyl Persis, yr hon a gymmerodd lawer o boen yn yr Arglwydd.

13 Annherchwch Rufus etholedig yn yr Arglwydd, a'i fam ef a minneu.

14 Annherchwch Asyncritus, Phlegon, Hermas, Patrobas, Mercurius, a'r brodyr [sy] gyd â hwynt.

15 Annherchwch Philologus, a Iulia, Nereus a'i chwaer, ac Olympas, a'r holl Sainct, y rhai sydd gyd â hwynt.

16 Annherchwch y naill y llall â chusan sanctaidd. Y mae Eglwysi Christ yn eich annerch.

17 Ac yr wyf yn attolwg i chwi, frodyr, graffu ar y rhai sy yn peri anghydfod a rhwystrau, yn erbyn yr athrawiaeth a ddyscasoch chwi, a chiliwch oddi wrthynt.

18 Canys y rhai sy gyfryw, nid ydynt yn gwasanaethu ein Harglwydd Iesu Grist, eithr eu bol eu hunain; a thrwy ymadrodd têg a gweniaith yn twyllo calonnau y rhai diddrwg.

19 Canys eich ufydd-dod chwi a ddaeth ar lêd at bawb. Yr wyfi gan hynny yn llawen o'ch rhan chwi, eithr mysi a ewyllysiwn

sy'wn i chwi fod yn ddoethion tu ag at y peth sy dda, ac yn wirion tu ag y peth sy ddrwg.

20 A Duw y tangneddyf a || sathr Satan tan eich traed chwi ar frys. Grâs ein Harglwydd Iesu Ghrist fyddo gyd â chwi. Amen.

21 Y mae Timotheus fy nghydweith-wr, a Lucius, a Iason, a Sosipater, fy nghenaint, yn eich annerch.

22 Yr wyf fi Tertius, yr hwn a scrifennais yr Epistol hwn, yn eich annerch yn yr Arglwydd.

23 Y mae Gaius fy lletteu-wr i, a'r holl Eglwys, yn eich annerch. Y mae Erastus, goruchwiliwr y ddinas, yn eich annerch, a'r brawd Quartus.

24 Grâs ein Harglwydd Iesu Christ a fyddo gyd â chwi oll. Amen.

25 I'r hwn a ddichon eich cadarnhau, yn ôl fy Efengyl i, a phregethiad Iesu Christ, yn ôl datcuddiad y dirgelwch, yr hwn ni soniwyd am dano er || dechreuad y byd;

26 Ac yr awron a eglurwyd, a thrwy Scrythyrau y Prophwydi yn ol gorchymmyn y tragwyddol Dduw, a gyhoeddwyd ym-mhlith yr holl Genhedloedd, er mwyn vfydd-dod ffydd.

27 I Dduw yr vnic ddoeth [y byddo] gogoniant trwy Iesu Christ yn dragywydd. Amen.

¶ At y Rhufeiniaid yr scrifennwyd o Corinthus, gyd â Phœbe gweinidoges yr Eglwys yn Cenchrea.

|| *ysig.* || *amseroedd tragwyddol.*



# YR EPISTOL CYNTAF I PAVL yr Apostol at y CORINTHIAID.

## PENNON. I.

1 Ar ôl iddo gyfarch iddynt a diolch trostynt, 10 y mae efe yn eu hannog i vndeb ac 12 yn beio ar eu anghytundeb hwy. 18 Bód Duw yn difetha 'r doethion, 21 trwy ffolineb pregethu, ac 26 nad yw efe yn galw y doethion, na'r galluoc, na'r boneddigion, ond 27.28. y ffol, a'r gwan, a'r distadl.



Paul wedi ei alw [ei fód] yn Apostol Iesu Grist, trwy ewyllys Duw, a'r brawd Sosthenes,

2 At Eglwys Dduw, yr hon sydd yn Corinth, at y rhai * a sancteiddiwyd yng-Ghrist Iesu, a alwyd yn Sainct, gyd â * phawb ac sydd yn galw ar enw ein Harglwydd Iesu Ghrist, ym-mhôb man, || o'r eiddynt hwy a ninnau:

3 Grâs fyddo i chwi a thangneddyf oddiwrth Dduw ein Tâd ni, a'r Arglwydd Iesu Grist.

4 ☞ Yr ydwyf yn diolch i'm Duw bob amser drosoch chwi, am y grâs Duw a rodded i chwi yng-Ghrist Iesu:

5 Am eich bôd ym-mhôb peth wedi eich cyfoethogi ynddo ef, mewn pôb ymadrodd a phob gwybodaeth:

6 Megis y cadarnhawyd tystiolaeth Christ ynoch.

7 Fel nad ydych yn ôl mewn vn dawn, yn disgwil am || ddatcuddiad ein Harglwydd Iesu Christ:

8 Yr hwn hefyd a'ch cadarnhâ chwi hyd y diwedd, yn ddiargyoedd, yn nydd ein Harglwydd Iesu Ghrist. ☜

9 * Ffyddlawn yw Duw, trwy yr hwn i'ch galwyd i gymdeithas ei fab ef Iesu Grist ein Harglwydd ni.

10 Ac yr wyf yn attolwg i chwi frodyr, trwy enw ein Harglwydd Iesu Grist, ddywedyd o bawb o honoch chwi yr vn peth, ac na byddo || ymbleidio yn eich plith, eithr bod o honoch wedi eich cyfan-gyssylltu, yn yr vn meddwl, ac yn yr vn farn.

11 Canys fe ddangoswyd i mi am danoch chwi, fy mrodyr, gan y rhai [sy o dŷ] Chloe, fód cynhennau yn eich plith chwi.

12 A hyn yr ydwyf yn ei ddywedyd, bod pob vn o honoch yn dywedyd, * Yr ydwyf fi yn eiddo Paul, minneu yn eiddo Apollos, minneu yn eiddo Cephas, minneu yn eiddo Christ.

13 A rannwyd Christ? Ai Paul a groeshoeliwyd trosoch? neu ai yn enw Paul i'ch bedyddiwyd chwi?

14 Yr ydwyf yn diolch i Dduw na fedyddiais i neb o honoch, ond * Crispus a Gaius,

15 Fel na ddywedo nêb fedyddio o honof yn fy enw fy hun.

16 Mi a fedyddiais hefyd dylwyth Stephanas: heb law hynny ni's gwn a fedyddiais i nêb arall.

17 Canys ni anfonodd Christ fi i fedyddio, ond i efangylu; * nid mewn doethineb

[O] ymadrodd

*Act.15.9.* *...1.7.* || *Neu, sef [eu harglwydd] hwy a ninnau.* *Yr Epistol ar y ... Sul ar ol y Drindod.* || *neu, dadguddiad* *1.Thes.5.24.* || *schismau.* *Act.18.24.* *Act.18.8.* *2.Pet.1.16.*

ymadrodd, fel na wnelid croes Christ yn ofer.

18 Canys || yr ymadrodd am y groes, i'r rhai colledig ynfydrwydd yw; eithr i ni y rhai cadwedig,* nerth Duw ydyw.

|| pregethu y groes. *Rhuf.1.16.

19 Canys scrifennedic yw, Mi a ddifethaf ddoethineb y doethion, a *deall y rhai deallus a ddileaf.

*Esa.29.14.

20 * Pa le y mae'r doeth< Pa le mae'r Scrifennydd< Pa le y mae ymholydd y byd hwn< Oni wnaeth Duw ddoethineb y byd hwn yn ynfydrwydd<

*Esa.33.18.

21 * Canys o herwydd yn noethineb Duw nad adnabu y byd trwy ddoethineb mo Dduw; fe welodd Duw yn dda trwy ffolineb pregethu, gadw y rhai sy yn credu.

*Rhuf.1.20.

22 Oblegit y mae * yr Iddewon yn gofyn arwydd, a'r Groegwyr yn ceisio doethineb.

*Matt.12.38.

23 Eithr nyni ydym yn pregethu Christ wedi ei groes-hoelio, i'r Iddewon yn dramgwydd, ac i'r Groeg-wyr yn ffolineb.

24 Ond iddynt hwy y rhai a alwyd, Iddewon a Groeg-wyr, yn Grist, gallu Duw, a doethineb Duw.

25 Canys y mae ffolineb Duw yn ddoethach nâ dynion, a gwendid Duw yn grysach nâ dynion.

26 Canys yr ydych yn gweled eich galwedigaeth, frodyr, nad llawer [o rai] ddoethion yn ôl y cnawd, nad llawer [o rai] galluog, nad llawer [o rai] boneddigion, [a alwyd.]

27 Eithr Duw a etholodd ffol-bethau y byd, fel y gwradwyddei y doethion, a gwan bethau y byd a etholodd Duw, fel y gwradwyddei y pethau cedyrn:

28 A phethau distadl y bŷd, a phethau dirmygus, a ddewisodd Duw, a'r pethau nid ydynt, fel y diddymmei y pethau sydd.

29 Fel na orfoleddei || un cnawd ger ei fron ef.

|| pôb cnawd.

30 Eithr yr ydych chwi o honaw ef yng Hrist Iesu, yr hwn a wnaethpwyd i ni gan Dduw yn ddoethineb, ac yn gyfiawnder, ac yn sancteiddrwydd, ac yn brynedigaeth:

31 Fel, megis ac y mae yn scrifennedig, *Yr hwn sydd yn ymffrostio, ymffrostied yn yr Arglwydd.

*Ier.9.23.

## PEN. II.

1 Mae efe yn dangos fod ei bregeth ef, er nad ydoedd yn dwyn gydâ hi odidawgrwydd ymadrodd, 4 neu ddoethineb dynawl: etto yn sefyll mewn 4. 5. nerth Duw, ac yn rhagori cymmaint 6 ar ddoethineb y byd yma, a 9 synwyr dynawl, ac nas 14 gall y dyn anianol mo'i deall.



A Myfi pan ddaethum attoch, frodyr, a * ddaethum nid yn ôl godidawgrwydd ymadrodd neu ddoethineb, gan fynegi i chwi dystiolaeth Duw.

*Doet.1.17.

2 Canys ni fernais i mi wybod dim yn eich plith, ond Iesu Ghrist, a hwnnw wedi ei groes-hoelio.

3 A mi a fûm yn eich mysc mewn gwendid, ac ofn, a dychryn mawr.

4 A'm hymadrodd, a'm pregeth i, *[ni bu] mewn geiriau || denu, o ddoethineb ddynawl, ond yn eglurhâd yr Yspryd, a nerth:

*2.Pet.1.10. || bygoel.

5 Fel na byddei eich ffydd mewn doethineb dynion, ond mewn nerth Duw.

6 A doethineb yr ydym ni yn ei llefaru ym-mysc rhai perffaith; eithr nid doethineb y byd hwn, na thywysogion y byd hwn, y rhai sy yn diflannu:

7 Eithr yr ydym ni yn llefaru doethineb Duw mewn dirgelwch, [sef y ddoethineb] guddiedig, yr hon a rag-ordeiniodd Duw cyn yr oesoedd, i'n gogoniant ni.

8 Yr hon ni adnabu neb o dywysogion y byd hwn, o herwydd pes adwaenasent, ni chroes-hoeliasent Arglwydd y gogoniant.

9 Eithr fel y mae yn scrifennedic:* Ni welodd llygad, ac ni chlywodd clust, ac ni ddaeth i galon dŷn, y pethau a ddarparodd Duw i'r rhai a'i carant ef.

*Esa.64.4.

10 Eithr Duw a'u heglurodd i ni trwy ei Yspryd, canys yr Yspryd sydd yn chwilio pob peth; ie dyfnion bethau Duw hefyd.

11 Canys pa ddŷn a edwyn bethau dŷn, ond yspryd dŷn yr hwn sydd ynddo ef< felly hefyd, pethau Duw nid edwyn neb ond Yspryd Duw.

12 A nyni a dderbyniasom, nid yspryd y byd, ond yr Yspryd sydd o Dduw; fel y gwypom y pethau a râd-roddwyd i ni gan Dduw.

13 * Y rhai yr ydym yn eu llefaru hefyd, nid â'r geiriau a ddyscir gan ddoethineb ddynol, ond a ddyscir gan yr Yspryd glân; gan gyd-farnu pethau ysprydol a pethau ysprydol.

*2.Pet.1.16.

14 Eithr dŷn anianol nid yw yn derbyn y pethau sy o Yspryd Duw; canys ffolineb ydynt ganddo ef, ac nis gall eu gwybod; oblegid yn ysprydol y bernir hwynt.

15 *Ond yr hwn sydd ysprydol sydd yn barnu pôb peth, eithr efe nis bernir gan nêb.

*Dihar.27.19.

16 *Canys pwy a wybu feddwl yr Arglwydd, yr hwn a'i cyfarwydda ef< Ond y mae gennym ni feddwl Christ.

Rhuf.11.34. Esa.40.13.

## PEN. III.

1 Bod llaeth yn gymwys i blant; 3 Cynhen ac ymbleidio yn arwyddion o feddwl bydol. 7 Nad yw 'r hwn sydd yn plannu, na'r hwn sydd yn dyfrhau ddim. 9 Bod y gweinidogion yn gydweithwyr i Dduw. 11 Christ yw yr vnic sylfaen. 16 Bod dynion yn Demlau Duw, y rhai 17 sydd raid eu cadw yn sanctaidd. 19 Nad yw doethineb y byd yma, ond ffolineb gydâ Duw.



A Myfi frodyr, ni allwn lefaru wrthych megis wrth rai ysprydol, ond megis rhai cnawdol, megis wrth rai bâch yng Hrist.

2 Mi

2 Mi a roddais i chwi laeth i'w yfed, ac nid bwyd; canys hyd yn hyn ni's gallech, ac ni's gellwch chwaith etto yr awron [ei dderbyn.]

3 Canys cnawdol ydych chwi etto. Canys tra fyddo yn eich plith chwi genfigen, a chynnhen, ac ymbleidio, onid ydych yn gnawdol, ac yn rhodio yn || ddynol?

|| yn ôl dyn.

4 Canys tra dywedo vn, myfi ydwyf eiddo Paul, ac arall, Myfi wyf eiddo Apollos; ond ydych chwi yn gnawdol?

5 Pwy gan hynny yw Paul? A phwy Apollos? ond gweinidogion, trwy y rhai y credasoch chwi, ac fel y rhoddes yr Arglwydd i bôb vn.

6 Myfi a blennais, Apollos a ddyfrhaodd, ond Duw a roddes y cynnydd.

7 Felly nid yw yr hwn sydd yn plannu ddim, na'r hwn sydd yn dyfrhau; ond Duw yr hwn sydd yn rhoi y cynnydd.

8 Eithr yr hwn sydd yn plannu, a'r hwn sydd yn dyfrhau, vn ydynt; *a phob vn a dderbyn ei briod wobr ei hun, yn ôl ei lafur ei hun.

*Psal.62.12. Gal.6.5.

9 Canys cyd-weithwyr Duw ydym ni: llafur-waith Duw, adeiladaeth Duw, ydych chwi.

10 Yn ôl y grâs Duw a roddwyd i mi, megis pen-saer celfydd, myfi a osodais y sylfaen, ac y mae arall yn goruwch-adeiladu, ond edryched pob vn pa wedd y mae yn goruwch-adeiladu.

11 Canys sylfaen arall ni's gall neb ei osod, heb law yr vn a osodwyd, yr hwn yw Iesu Ghrist.

12 Eithr os goruwch-adeilada neb ar y sylfaen hwn, aur, arian, meini gwerthfawr, coed, gwair, sofl:

13 Gwaith pôb dyn a wneir yn amlwg: canys y dydd a'i dengys, oblegid trwy dân y dadcuddir ef; a'r tân a brawf waith pawb, pa fath ydyw.

14 Os gwaith nêb a erys, yr hwn a oruwch-adailadodd ef; efe a dderbyn wobr.

15 Os gwaith nêb a loscir, efe a gaiff golled; eithr efe ei hûn a fydd cadwedig, etto felly megis trwy dân.

16 * Oni wyddoch chwi, mai Teml Ddûw ydych, a bod Yspryd Duw yn trigo ynoch?

*1.Cor.6.19.

17 Os llygra nêb Deml Dduw, Duw a lygra hwnnw. Canys sanctaidd yw Teml Dduw, yr hon ydych chwi.

18 Na thwylled neb ei hunan. Od oes neb yn eich mysc yn tybied ei fôd ei hun yn ddoeth yn y byd hwn; bydded ffol fel y byddo doeth.

19 Canys doethineb y byd hwn [sydd] ffolineb gyd â Duw: o herwydd scrifennedig yw, *Y mae efe yn dal y doethion yn eu cyfrwystra.

*Iob 5.13.

20 A thrachefn, *Y mae'r Arglwydd yn gwybod meddyliau y doethion, mai ofer ydynt.

*Psal.94.11.

21 Am hynny na orfoledded neb mewn dynion, canys pôb peth sydd eiddoch chwi.

22 Pa vn bynnag ai Paul, ai Apollos, ai Cephas, ai'r byd, ai bywyd, ai angeu, ai pethau presennol, ai pethau i ddyfod, y mae pôb peth yn eiddoch chwi:

23 A chwithau yn eiddo Christ, a Christ yn eiddo Duw.

## PEN. IV.

1 Pa gyfrif a ddyleid ei wneuthur o weinidogion. 7 Nad oes gennym ni ddim ar nas derbyniasom. 9 Bôd yr Apostolion yn ddrychau i'r byd, i'r Angylion, ac i ddynion, 13 yn yscubion, ac yn sorod y byd: 15 ac er hynny eu bod yn dadau i ni ynghrist, 16 ac y dylem ni eu dilyn hwy.



Felly cyfrifed dyn nyni, megis gwenidogion i Ghrist a goruchwyl-wyr ar ddirgeledigaethau Duw.

Yr Epistol ar y trydydd Sul o'r Advent.

2 Am ben hyn, yr ydys yn disgwil mewn goruchwyl-wyr, gael vn yn ffyddlon.

3 Eithr gennifi bychan iawn yw fy marnu gennych chwi, neu gan || farn dyn: ac nid wyf chwaith yn fy marnu fy hun.

|| ddydd dyn.

4 Canys ni wn i ddim arnaf fy hun; ond yn hyn ni'm cyfiawnhawyd, eithr yr Arglwydd yw yr hwn sydd yn fy marnu.

5 *Am hynny, na fernwch ddim cyn yr amser, hyd oni ddelo yr Arglwydd, yr hwn a oleua ddirgelion y tywyllwch, ac a eglura fwriadau y calonnau, ac yna y bydd y glôd i bôb vn gan Dduw.

*Matt.7.1. Rhuf.2.1.

6 A'r pethau hyn, frodyr, mewn cyffelybiaeth a fwriais i attaf fy hun, ac at Apollos, o'ch achos chwi, fel y gallech ddyscu ynom ni, na synier mwy nag sydd scrifennedig, fel na bôch y naill tros y llall yn ymchwyddo yn erbyn arall.

7 Pwy sydd yn gwneuthur rhagor rhyngoti ac [arall?] A pha beth sydd gennit a'r na's derbyniaist? Ac os derbyniaist, pa ham yr wyt ti yn gorfoleddu, megis pe bait heb dderbyn.

8 Yr ydych chwi yr awron wedi eich diwallu, yr ydych chwi yr awron wedi eich cyfoethogi, chwi a deyrnasasoch hebom ni; ac och Dduw na baech yn teyrnasu, fel y caem ninnau deyrnasu gyd â chwi.

9 Canys tybied yr wyf, ddarfod i Dduw ein dangos ni, yr Apostolion diweddaf, fel rhai wedi eu bwrw i angeu; oblegid nyni a wnaethpwyd yn || ddrych i'r byd, ac i'r Angelion, ac i ddynion.

|| theatr.

10 Yr ydym ni yn ffyliaid er mwyn Christ, a chwithau yn ddoethion ynGhrist; nyni yn weiniaid, a chwithau yn gryfion; chwychwi yn anrhydeddus, a ninnau yn ddirmygus.

11 Hyd yr awr hon yr ydym ni yn dwyn newyn a syched, ac yr ydym ni yn noethion, ac yn cael cernodiau, ac yn grwydraidd.

12 *Ac yr ydym yn llafurio, gan weithio â'n dwylo ein hunain. Pan i'n difenwir, yr ydym yn bendithio; pan i'n herlidir, yr ydym yn ei ddioddef.

*Act.20.34. 1.Thes.2.9. 2.Thes.3.8.

13 *Pan sn ceblir, yr ydym yn gweddio, fel yscubion y byd y gwnaethpwyd ni, [a] sorod pob dim hyd yn hyn.

*Matt. 5.44.

14 Nid i'ch gwradwyddo chwi yr ydwyf yn scrifennu y pethau hyn, ond eich rhybuddio yr wyf, fel fy mhlant anwyl.

15 Canys pe byddei i chwi ddeng-mil o athrawon ynGhrist, er hynny nid oes i chwi nemmawr o dadau: canys myfi a'ch cenhedlais chwi ynGhrist Iesu trwy yr Efengyl.

16 Am hynny yr wyf yn attolwg i chwi; byddwch ddilyn-wyr i mi.

17 O blegid hyn yr anfonais attoch Timotheus, yr hwn yw fy anwyl fab, a ffyddlawn yn yr Arglwydd, yr hwn a ddwg ar gof i chwi fy ffyrdd i ynGhrist; megis yr wyf ym mhob man yn athrawiaethu ym-mhob Eglwys.

18 Ac y mae rhai wedi ymchwyddo, fel pe bawn i heb fod ar fedr dyfod attoch chwi.

19 *Eithr mi a ddeuaf attoch ar fyrder, os yr Arglwydd a'i mynn, ac a fynnaf wybod, nid ymadrodd y rhai sy wedi chwyddo, ond [eu] gallu.

*Act. 19. 21. Iac. 4. 15.

20 Canys nid mewn ymadrodd y mae teyrnas Dduw, eithr mewn gallu.

21 Beth a fynnwch chwi? ai dyfod o honof attoch chwi â gwialen, ynteu mewn cariad, ac yspryd addfwynder.

PEN. V.

1 Bod y gwr godinebus yn achos o gywilydd iddynt, yn hytrach nag o orfoledd. 7 Rhaid yw ymlanhau oddiwrth yr hên Lefain. 10 Y dylid cilio oddiwrth anfad ddrwg-weithredwyr.



MAE yr gair yn hollawl, fôd yn eich plith chwi odineb, a chyfryw odineb ac na henwir vn-waith ym mysc y Cenhedloedd: [sef] cael o vn wraig ei dâd.

2 Ac yr ydych chwi wedi ymchwyddo, ac ni alarasoch yn hytrach, fel y tynnid o'ch mysc chwi y neb a wnaeth y weithred hon.

3 *Canys myfi yn ddiau fel absennol yn y corph, etto yn bresennol yn yr yspryd; a fernais eusys, fel pe bawn bresennol, am yr hwn a wnaeth y peth hyn felly:

*Colos. 2. 5.

4 Yn enw ein Harglwydd Iesu Ghrist, pan ymgynnulloch ynghyd, a'm hyspryd innau, gydâ gallu ein Harglwydd Iesu Ghrist,

5 *Draddodi y cyfryw vn i Satan, i ddinystr y cnawd, fel y byddo yr yspryd yn gadwedig yn nydd yr Arglwydd Iesu.

*1. Tim. 1. 20.

6 Nid da eich gorfoledd chwi; *Oni wyddoch chwi fôd ychydig lefein yn lefeinio yr holl does?

*Gal. 5. 9.

7 Am hynny certhwch allan yr hên lefein, fel y byddoch does newydd, megis yr ydych ddilefeinllyd. Canys Christ ein Pasc ni a || aberthwyd trosom ni.

||neu, laddwyd.

8 Am hynny cadwn wyl, nid â hên lefein, nac â lefein malis a drygioni, ond â [bara] croyw purdeb a gwirionedd.

9 Mi a scrifennais attoch mewn llythyr, na chyd-ymgymmyscech â godinebwyr.

10 Ac nid yn hollawl â godineb-wyr y byd hwn, neu â'r cybyddion, neu â'r cribddeil-wyr, neu ag eulyn-addolwyr; oblegid felly, rhaid fyddai i chwi fyned allan o'r byd.

11 Ond yn awr mi a scrifennais attoch na chyd-ymgymmyscech; os bydd neb a henwir yn frawd, yn odineb-wr, neu yn gybydd, neu yn eulyn-addolwr, neu yn ddifennwr, neu yn feddw, neu yn grib-ddeiliwr; gydâ'r cyfryw ddyn, na chyd-fwytta chwaith.

12 Canys beth sydd i mi a farnwyf ar y rhai sy oddi allan? Onid y rhai sy oddi mewn yr ydych chwi yn eu barnu?

13 Eithr y rhai sy oddi allan, Duw sy yn eu barnu. Bwriwch chwithau ymmaith y dŷn drygionus hwnnw o'ch plith chwi.

PEN. VI.

1 Na ddylai y Corinthiaid flino eu brodyr trwy fyned i'r gyfraith â hwynt: 6 yn enwedic ger bron rhai digred. 9 Na chaiff y rhai anghyfiawn etifeddu teyrnas Dduw. 15 Bod ein cyrph ni yn aelodau i Ghrist, 19 ac yn demlau i'r Yspryd glân: 16. 17. ac am hynny na ddylid mo'i halogi.



A Feiddia neb o honoch, a chanddo fatter yn erbyn arall, ymgyfreithio o flaen y rhai anghyfiawn, ac nid o flaen y Sainct?

2 Oni wyddoch chwi y barna y Sainct y byd? Ac os trwoch chwi y bernir y byd, a ydych chwi yn anaddas i farnu y pethau lleiaf?

3 Oni wyddoch chwi y barnwn ni Angelion? pa faint mwy y pethau a berthyn i'r bywyd [hwn?]

4 Gan hynny, od oes gennwch farnedigaethau am bethau a berthyn i'r bywyd [hwn,] dodwch ar y faingc y rhai gwaelaf yn yr Eglwys.

5 Er cywilydd i chwi yr ydwyf yn dywedyd. Felly, onid oes vn eich plith cymmaint ac vn doeth, yr hwn a fedro farnu rhwng ei frodyr?

6 Ond bôd brawd yn ymgyfreithio â brawd, a hynny ger bron y rhai digred.

7 Yr awron gan hynny y mae yn hollawl ddiffyg yn eich plith, am eich bôd yn ymgyfreithio â'i gilydd. Pa ham nad ydych yn hytrach yn dioddef cam? Pa ham nad ydych yn hytrach mewn colled?

8 Eithr chwy chwi sydd yn gwneuthur cam, a cholled, a hynny i'r brodyr.

9 Oni

9 Oni wyddoch chwi na chaiff y rhai anghyfiawn etifeddu teyrnas Dduw. Na thwyller chwi ; ni chaiff na godinebwyr, nac eulyn-addolwyr, na thorwyr priodas, na maswedd-wyr, na gwryw-gydwyr,

10 Na lladron, na chybyddion, na meddwon, na difenwyr, na chribddeil-wyr, etifeddu teyrnas Dduw.

11 A hyn fu rai o honoch chwi. Eithr chwi a olchwyd ; eithr chwi a sancteiddwyd ; eithr chwi a gyfiawnhawyd, yn Enw yr Arglwydd Jesu, a thrwy Yspryd ein Duw ni.

12 Pob peth sydd gyfreithlon i mi, ond nid yw pob peth yn lles-hau; pob peth sydd gyfreithlon i mi, eithr ni'm dygir i dan awdurdod gan ddim.

13 Y bwydydd i'r bol, a'r bol i'r bwydydd; eithr Duw a ddinistria hwn, a hwythau. A'r corph nid yw i odineb, ond i'r Arglwydd; a'r Arglwydd i'r corph.

14 Eithr Duw a gyfododd yr Arglwydd, ac a'n cyfyd ninnau trwy ei nerth ef.

15 Oni wyddoch chwi fôd eich cyrph yn aelodau i Grist? gan hynny a gymmeraf fi aelodau Christ, a'u gwneuthur yn aelodau puttain? Na atto Duw.

16 Oni wyddoch chwi fôd yr hwn sydd yn cydio â phuttain yn un corph? canys y ddau (medd efe) fyddant un cnawd.

17 Ond yr hwn a gyssylltir â'r Arglwydd, un yspryd yw.

18 Gochelwch odineb. Pob pechod a wnelo dyn, oddi allan iw gorph y mae; ond yr hwn sydd yn godinebu, sydd yn pechu yn erbyn ei gorph ei hun.

19 Oni wyddoch chwi fôd eich corph yn Deml i'r Yspryd glân sydd ynoch, yr hwn yr ydych yn ei gael gan Dduw, ac nad ydych yn eiddoch eich hunain?

20 Canys er gwerth y prynwyd chwi; gan hynny gogoneddwch Dduw yn eich corph, ac yn eich yspryd, y rhai sydd eiddo Duw.

## PEN. VII.

1 Y mae efe yn crybwyll am briodas, 4 ac yn dangos mai rhwymedi yw yn erbyn godineb: 10 ac na ddylid dattod y cwlwm hwnnw mewn yscafnder. 18. 20. Rhaid i bob dyn fôd yn fodlon iw alwedigaeth. 25 Pa ham y dylid mawrhau gwyryfdod: 35 ac ar ba achosion y gallwn ni briodi, neu beidio â phriodi.



A Cam y pethau yr scrifennasoch attaf; da i ddyn na chyffyrddei â gwraig.

2 Ond rhag godineb, bydded i bôb gwr ei wraig ei hun, a bydded i bôb gwraig ei gwr ei hun.

3 Rhodded y gwr i'r wraig ddyledus ewyllys da, a'r un wedd y wraig i'r gwr.

4 Nid oes i'r wraig feddiant ar ei chorph ei hun, ond i'r gwr; ac yr un ffunyd, nid oes i'r gwr feddiant ar ei gorph ei hun, ond i'r wraig.

5 Na thwyllwch ei gilydd, oddieithr o gyd-syniad tros amser, fel y galloch ymroi i ympryd a gweddi: a deuwch drachefn ynghyd, rhag temptio o Satan chwi o herwydd eich anlladrwydd.

6 A hyn yr wyf yn ei ddywedyd o ganniad-tâd, nid o orchymmyn.

7 Canys mi a fynnwn fôd pôb dyn fel fi fy hun, eithr y mae i bôb un ei ddawn ei hun gan Dduw; i un fel hyn, ac i arall fel hyn.

8 Dywedyd yr wyf wrth y rhai heb priodi, a'r gwragedd gweddwon; Da yw iddynt os arhosant fel finneu.

9 Eithr oni allant ymgadw, priodant: canys gwell yw priodi nag ymlosgi.

10 Ac i'r rhai a briodwyd yr ydwyf yn gorchymmyn, nid myfi chwaith ond yr Arglwydd, Nad ymadawo gwraig oddiwrth [ei] gwr.

11 Ac os ymedy hi, arhoed heb priodi, neu gymmoded hi â'i gwr: ac na ollynged y gwr ei wraig ymmaith.

12 Ac wrth y lleill, dywedyd yr wyfi, nid yr Arglwydd; Os bydd i un brawd wraig ddigrêd, a hitheu yn fodlon i drigo gyd ag ef, na ollynged hi ymmaith.

13 A'r wraig, yr hon y mae iddi wr digrêd, ac yntef yn fodlon i drigo gyd â hi, na ||wrthoded hi ef.

14 Canys y gwr di-grêd a sancteiddir trwy y wraig: a'r wraig ddi-grêd a sancteiddir trwy y gwr. Pe amgen aflan yn ddiau fyddei eich plant; eithr yn awr sanctaidd ydynt.

15 Eithr os yr anghredadyn a ymedy, ymadawed; nid yw y brawd neu y chwaer gaeth yn y cyfryw [bethau:] eithr Duw a'n galwodd ni || i heddwch.

16 Canys beth a wyddost ti, wraig, a gedwi di dy wr? a pheth a wyddost titheu wr, a gedwi di dy wraig?

17 Ond megis y darfu i Dduw rannu i bôb un, megis y darfu i'r Arglwydd alw pôb un, felly rhodied. Ac fel hyn yr wyf yn ordeinio yn yr Eglwysi oll.

18 A alwyd neb wedi ei enwaedu? nac ad-geisied [ddienwaediad.] A alwyd neb mewn dienwaediad? nac enwaeder arno.

19 Enwaediad nid yw ddim, a dienwaediad nid yw ddim, ond cadw gorchymynion Duw.

20 Pob un yn y galwedigaeth y galwyd ef, yn honno arhosed.

21 Ai yn wâs i'th alwyd? na fydded gwaeth gennit; etto os gelli gael bod yn rhydd, mwynhâ [hynny] yn hytrach.

22 Canys yr hwn, ac ef yn wâs, a alwyd yn yr Arglwydd, gwr rhydd i'r Arglwydd ydyw. A'r un ffunyd yr hwn, ac efe yn wr rhydd a alwyd, gwas i Grist yw.

23 Er gwerth i'ch prynwyd; na fyddwch weision dynion.

||adawed.

||Gr. mewn heddw.h.

24 Yn yr hyn y galwyd pôb un, frodyr, yn hynny arhosed gyd â Duw.

25 Eithr am wyryfon, nid oes gennif orchymmyn yr Arglwydd. Ond barn yr ydwyf yn ei roi, fel un a gafas drugaredd gan yr Arglwydd, i fod yn ffyddlon.

26 Am hynny yr wyf yn tybied mai da yw hyn, o herwydd yr angenrhaid presennol; mai da [meddaf] i ddyn fôd felly.

27 A wyt ti yn rhwym i wraig? na chais dy ollwng yn rhydd. A wyt ti yn rhydd oddiwrth wraig? na chais wraig.

28 Ac os priodi hefyd ni phechaist, ac os prioda gwyryf, ni pechodd. Er hynny, y cyfryw rai a gânt flinder yn y cnawd: eithr yr wyf yn eich arbed chwi.

29 A hyn yr ydwyf yn ei ddywedyd, frodyr, am fod yr amser yn fyrr. Y mae yn ôl, fod o'r rhai sy a gwragedd iddynt, megis pe byddent hebddynt:

30 A'r rhai a wylant, megis heb wylo; a'r rhai a lawenhânt, megis heb lawenhau; a'r rhai a brynant, megis heb feddu.

31 A'r rhai a arferant y byd hwn, megis heb ei gam-arfer. Canys y mae dull y byd hwn yn myned heibio.

32 Eithr mi a fynnwn i chwi fôd yn ddiofal. Yr hwn sydd heb briodi, sydd yn gofalu am bethau yr Arglwydd, pa wedd y bodlona'r Arglwydd:

33 Ond y neb a wreiccâodd, sydd yn gofalu am bethau y byd; pa wedd y bodlona ei wraig.

34 Y mae gwahaniaeth hefyd rhwng wraig ||a gwyryf. Y mae yr hon sydd heb briodi, yn gofalu am y pethau sydd yn perthyn i'r Arglwydd, fel y byddo hi sanctaidd yng-horph, ac yspryd: ac y mae yr hon sydd wedi priodi, yn gofalu am bethau bydol; pa fodd y rhynga hi fodd i'r gŵr.

|| morwyn. ieuangc.

35 A hyn yr ydwyf yn ei ddywedyd er llesâd i chwi eich hunain; nid i osod magl i chwi, eithr er mwyn gweddeidd-dra, a dyfal lynu wrth yr Arglwydd yn ddiwahan.

36 Ond os yw neb yn tybied ei fod yn anweddaidd tu ag at ei wyryf, od â hi tros flodau ei hoedran, a bod yn rhaid gwneuthur felly: gwnaed a fynno; nid yw yn pechu; priodant.

37 Ond yr hwn sydd yn sefyll yn sicer yn ei galon, ac yn afraid iddo; ac a meddiant ganddo ar ei ewyllys ei hun; ac a rodd ei fryd ar hynny yn ei galon, ar gadw o honaw ei wyryf; da y mae yn gwneuthur.

38 Ac am hynny, yr hwn sydd yn [ei] rhoddi yn briod, sydd yn gwneuthur yn dda; ond yr hwn nid yw yn ei rhoddi yn briod, sydd yn gwneuthur yn well.

39 Y mae gwraig yn rhwym wrth y gyfraith, tra fyddo byw ei gŵr: ond o bydd marw ei gŵr, y mae hi yn rhydd i briodi y neb a fynno; yn unic yn yr Arglwydd.

40 Eithr dedwyddach yw hi, os erys hi felly yn fy marn i: ac yr ydwyf finneu yn tybied fôd Yspryd Duw gennif.

## PEN. VIII.

1 Bod iddynt ymgadw oddiwrth y bwydydd a offrymmir i eilynnod. 8. 9. Na ddylem ni gamarferu ein rhydd-did Christianogaidd, i rwystro ein brodyr: 11 Eithr ffrwyno ein gwybodaeth â chariad perffaith.



EIthr am yr hyn a aberthwyd i eulynnod, ni a wyddom fôd gan bawb o honom wybodaeth. Gwybodaeth sydd yn chwyddo, eithr cariad sydd yn adeiladu.

2 Eithr os yw neb yn tybied ei fôd yn gwybod dim, ni wyr efe etto ddim fel y dylei wybod.

3 Ond od oes neb yn caru Duw, hwnnw a adwaenir ganddo ef.

4 Am fwytta gan hynny, o'r pethau a aberthir i eulynnod, ni a wyddom nad yw eulyn ddim yn y byd, ac nad oes un Duw arall, onid un.

5 Canys er bod rhai a elwir yn dduwiau, pa un bynnag ai yn y nef ai ar y ddaiar, (megis y mae duwiau lawer, ac arglwyddi lawer)

6 Eithr i ni nid oes ond un Duw, y Tâd, o'r hwn y mae pob peth, a ninnau ||ynddo ef; ac un Arglwydd Iesu Grist, trwy yr hwn [y mae] pob peth, a ninnau trwyddo ef.

|| iddo ef. Rhuf. 11. 36.

7 Ond nid yw yr wybodaeth [hon] gan bawb; || canys rhai a chanddynt gyd-wybod o'r eulyn, hyd y pryd hyn, sydd yn bwyta fel peth a aberthwyd i eulynnod; a'u cyd-wybod hwy, a hi yn wan, a halogir.

|| ond.

8 Eithr nid yw bwyd yn ein gwneuthur ni yn gymmeradwy gan Dduw, canys nid ydym, os bwyttawn, yn || helaethach; nac onis bwyttawn, yn || brinnach.

|| well. || waeth.

9 Ond edrychwch rhag mewn un-modd i'ch rhydd-did hwn, fôd yn dramgwydd i'r rhai sy weiniaid.

10 Canys os gwêl neb dydi sydd a gwybodaeth gennit, yn eistedd i fwyta yn nheml yr eulynnod; oni chadarnheir ei gydwybod ef, ac yntau yn wan, i fwyta y pethau a aberthwyd i eulynnod?

11 Ac a ddifethir y brawd gwan, trwy dy wybodaeth di, tros yr hwn y bu Christ farw?

12 A chan bechu felly yn erbyn y brodyr, a churo eu gwan gydwybod hwy, yr ydych chwi yn pechu yn erbyn Christ.

13 O herwydd pa ham, os yw bwyd yn rhwystro fy mrawd, ni fwyttaf fi gig fyth, rhac i mi rwystro fy-mrawd.

## PEN. IX.

1 Y mae efe yn dangos ei rydd-did, 7 ac y dylai y gweinidoc fyw wrth yr Efengyl: 15 Etto ddarfod iddo ef o'i wir-fodd ymgadw 18 rhag na'i gyrru hwy mewn traul, 22 na bod yn achos o rwystr i nêb, mewn pethau cyffredin. 24 Bôd ein bywyd ni yn debyg i yrfa.

Ond



Onid wyf fi yn Apostol? Onid wyf fi yn rhydd? Oni welais i Iesu Ghrist ein Harglwydd? Onid fy ngwaith i ydych chwi yn yr Arglwydd?

2 Onid wyf yn Apostol i eraill, etto yr wyf i chwi: canys sêl fy Apostoliaeth i ydych chwi yn yr Arglwydd.

3 Fy amddiffyn i i'r rhai a'm holant, yw hyn:

4 Onid oes i ni awdurdod i fwyta ac i yfed?

5 Onid oes i ni awdurdod i arwain o amgylch wraig [a fyddei] chwaer, megis ac [y mae] i'r Apostolion eraill, ac i frodyr yr Arglwydd, ac i Cephas?

6 Ai myfi yn unic a Barnabas nid oes gennym awdurdod i fôd heb weithio?

7 Pwy sydd un amser yn rhyfela ar ei draul ei hun? Pwy sydd yn plannu gwinllan, ac nid yw yn bwyta o'i ffrwyth hi? Neu pwy sydd yn porthi praidd, ac nid yw yn bwytta o laeth y praidd?

8 Ai yn ôl dŷn yr wyf fi yn dywedyd y pethau hyn? Neu onid yw y Ddeddf hefyd yn dywedyd hyn?

9 Canys scrifennedic yw yn Neddf Moses; * Na chae safn yr ŷch sydd yn dyrnu. Ai tros ychen y mae Duw yn gofalu?

*Deut. 25.4.

10 Ynteu er ein mwyn ni yn hollawl y mae yn dywedyd? Canys er ein mwyn ni yr scrifennwyd, mai mewn gobaith y dylei yr arddwr aredig, a'r dyrnwr mewn gobaith, i fôd yn gyfrannog o'i obaith.

11 * Os nyni a hauasom i chwi bethau ysprydol, ai mawr yw os nyni a fedwn eich pethau cnawdol?

*Rhuf. 15.27.

12 Os yw eraill yn gyfrannogion o'r awdurdod hon arnoch; onid [ydym] ni yn hytrach? Eithr nid arferasom ni yr awdurdod hon; ond goddef yr ydym bôb peth, fel na roddom ddim rhwystr i Efengyl Ghrist.

13 * Oni wyddoch chwi fôd y rhai sy yn gwneuthur pethau cyssygredig, yn bwytta o'r cyssygr, a'r rhai sy yn gwasanaethu yr allor, yn gyd-gyfrannogion o'r allor?

*Deut. 18.1.

14 Felly hefyd, yr ordeiniodd yr Arglwydd, i'r rhai sy'n pregethu yr Efengyl, fyw wrth yr Efengyl.

15 Eithr myfi nid arferais yr un o'r pethau hyn: ac nid scrifennais y pethau hyn, fel y gwnelid felly i mi. Canys gwell yw i mi farw nâ gwneuthur o neb fy ngorfoledd ofer.

16 Canys os pregethaf yr Efengyl, nid oes orfoledd i mi. Canys angenrhaid a osodwyd arnaf; a gwae fydd i mi, oni phregethaf yr Efengyl.

17 Canys os gwnaf hyn o'm bodd, y mae i mi wobr: ond os o'm hanfodd, ymddiriedwyd i mi am y gorchwyl.

18 Pa wobr sydd i mi gan hynny? Bod i mi pan efangylwyf, osod Efengyl Grist yn rhad; fel na cham-arferwyf fy awdurdod yn yr Efengyl.

19 Canys er fy mod yn rhydd oddi wrth bawb, mi a'm gwneuthym fy hun yn wâs i bawb, fel yr ennillwn fwy.

20 Ac mi a ymwneuthym i'r Iddewon megis yn Iddew, fel yr ennillwn yr Iddewon. I'r rhai tan y Ddeddf, megis tan y Ddeddf; fel yr ennillwn y rhai sy tan y Ddeddf.

21 I'r rhai di-ddeddf, megis di-ddeddf (a minnau heb fod yn ddi-ddeddf i Dduw, ond tan y Ddeddf i Ghrist) fel yr ennillwn y rhai di-ddeddf.

22 Ymwneuthym i'r rhai gweiniaid, megis yn wan, fel yr ennillwn y gweiniaid. Mi a ymwneuthym yn bob peth i bawb, fel y gallwn yn hollawl gadw rhai.

23 A hyn yr wyf fi yn ei wneuthur er mwyn yr Efengyl: fel i'm gwneler yn gydgyfrannog o honi.

24 ☞ Oni wyddoch chwi fod y rhai sy yn rhedeg mewn gyrfa, i gyd yn rhedeg, ond bod un yn derbyn y gamp. Felly rhedwch fel y caffoch afael.

Yr Epistol y Sul a elwir Septuagesima.

25 Ac y mae pob un a'r sydd yn ymdrechu, yn ymgadw ym-mhob peth; a hwynt hwy yn wir, fel y derbyniont goron lygredig, eithr nyni, un anllygredig.

26 Yr wyf fi gan hynny felly yn rhedeg, nid megis ar amcan; felly yr wyf yn ymdrechu, nid fel un yn curo yr awyr.

27 Ond yr wyf fi yn cosbi fy nghorph, ac yn ei ddwyn yn gaeth; rhag i mi mewn un modd, wedi i mi bregethu i eraill, fod fy hun yn anghymmeradwy. ☜

## PEN. X.

1 Bôb Sacramentau yr Iddewon, 6 yn gyscodau i ni, 7 a'i cospedigaethau hwy, 11 yn siamplau i ni. 14 Rhaid i ni ochelyd gauadduwiaeth. 21 Na ddylem ni wneuthur bwrdd yr Arglwydd yn fwrdd cythreuliaid: 24 ac y dylem, mewn pethau cyffredin, ystyried ein brodyr.



Ac ni fynnwn i chwi fod heb wybod, frodyr, fod ein tadau oll tan y cwmwl, a'u myned oll trwy y môr;

Yr Epistol y nawfed Sul ôl y Drindod.

2 A'u bedyddio [hwy] oll i Moses, yn y cwmwl, ac yn y môr;

3 A bwyta o bawb [o honynt] yr un bwyd ysprydol,

4 Ac yfed o bawb [o honynt] yr un ddiod ysprydol: (canys hwy a yfasant o'r graig ysprydol a oedd yn canlyn; a'r graig oedd Grist)

5 Eithr ni bu Dduw fodlon || i'r rhan fwyaf o honynt: canys cwympwyd hwynt yn y diffaethwch.

|| i lawer,

6 A'r pethau hyn a wnaed yn siamplau i ni, fel na chwennychem ddrygioni, megis ac y chwennychasant hwy.

7 Ac na fyddwch eulyn-addolwyr, megis rhai o honynt hwy, fel y mae yn scrifennedic, * Eisteddodd y bobl i fwyta, ac i yfed, ac a gyfodasant i chwareu.

*Exod 32.6. Psal. 106.19

8 Ac na odinebwn, fel y godinebodd rhai o honynt hwy, ac y * syrthiodd mewn un dydd dair mil ar hugain.

*Num. 25.9

9 Ac

9 Ac na themtiwn Ghrist, megis ac y temtiodd rhai o honynt hwy, ac a'i * destrywiwyd gan seirph.

*Num.21.6.

10 Ac na rwgnechwch, megis y grwgnachodd rhai o honynt hwy, ac a'i * destrywiwyd gan y dinistrydd.

*Num.14.37.

11 A'r pethau hyn oll a ddigwyddasant yn siamplau iddynt hwy, ac a scrifennwyd yn rhybydd i ninnau, ar y rhai y daeth terfynau yr oesoedd.

12 Am hynny, yr hwn sydd yn tybied ei fod yn sefyll, edryched na syrthio.

13 Nid ymaflodd ynoch demtasiwn, onid un dynol: eithr ffyddlon yw Duw, yr hwn ni ad eich temtio uwch-law yr hyn a alloch, eithr a wna ynghŷd â'r temtasiwn ddiangfa hefyd, fel y galloch ei ddwyn.

14 O herwydd pa ham, fy anwylyd, ffowch oddiwrth eulyn-addoliaeth.

15 Dywedyd yr wyf fel wrth rai synhwyrol: bernwch chwi beth yr wyf fi yn ei ddywedyd.

16 Phiol y fendith yr hon a fendigwn, onid cymmun gwaed Christ ydyw? y bara yr ydym yn ei dorri, onid cymmun corph Christ yw?

17 Oblegid nyni yn llawer ydym un bara, [ac] un corph; canys yr ydym ni oll yn gyfrannogion o'r un bara.

18 Edrychwch ar yr Israel yn ôl y cnawd: onid yw y rhai sy yn bwyta yr ebyrth, yn gyfrannogion o'r allor

19 Beth gan hynny yr ydwyf yn ei ddywedyd? bôd yr eulyn yn ddim? neu 'r hyn a aberthwyd i eulyn yn ddim?

20 Ond y pethau y mae y Cenhedloedd yn eu * haberthu, i gythreuliaid y maent yn eu haberthu, ac nid i Dduw. Ni fynnwn i chwi fôd yn gyfrannogion â'r cythreuliaid.

Deut.32.17. Psal.106.37.

21 Ni ellwch yfed o phiol yr Arglwydd, a phiol y cythreuliaid. Ni ellwch fôd yn gyfrannogion o fwrdd yr Arglwydd, a bord y cythreuliaid.

22 Ai gyrru 'r Arglwydd i eiddigedd yr ydym? A ydym ni yn gryfach nag ef?

23 Pob beth sydd gyfreithlawn i mi, eithr nid yw pôb peth yn llesâu. Pob peth sydd gyfreithlon i mi, eithr nid yw pob peth yn adeiladu.

24 Na cheisied neb yr eiddo ei hun, ond pob un || yr eiddo arall.

|| fudd.

25 Beth bynnag a werthir yn y gigfa, bwytewch, heb ofyn dim er mwyn cydwybod.

26 Canys * eiddo'r Arglwydd y ddaiar, a'i chyflawnder.

Deut.10.14. Psal.24.1.

27 Os bydd i neb o'r rhai di-grêd eich gwahodd, ac os mynnwch fyned; bwytewch beth bynnag a ddodder ger eich bron, heb ymofyn dim er mwyn cydwybod.

28 Eithr os dywed neb wrthych; peth wedi ei aberthu i eulynnod yw hwn: na fwytewch, er mwyn hwnnw, yr hwn a'i mynegodd, ac er mwyn cydwybod: canys eiddo 'r Arglwydd y ddaiar, a'i chyflawnder.

29 Cydwybod meddaf, nid yr eiddot ti, ond yr eiddo arall. Canys pa ham y bernir fy rhydd-did i, gan gydwybod un arall?

30 Ac os wyfi trwy || ras yn cymmeryd cyfran, pa ham i'm ceblir am y peth yr wyf yn rhoddi diolch amdano?

|| ddiolch.

31 Pa un bynnag, gan hynny, ai bwyta, ai yfed, ai beth bynnag a wneloch, gwnewch bob peth er gogoniant i Dduw.

32 Byddwch ddiachos tramgwydd i'r Iddewon ac i'r Cenhedloedd hefyd, ac i Eglwys Dduw.

|| Groegiaid.

33 Megis yr ydwyf finneu yn rhyngu bodd i bawb ym mhôb peth, heb geisio fy llesâd fy hun, ond [llesâd] llaweroedd, fel y byddont hwy gadwedig.

## PEN. XI.

1 Y mae efe yn eu ceryddu hwy, 4 am fod eu gwyr yn y cynnulleidfaoedd sanctaidd yn gweddio â pheth am eu pennau, a'u 6 gwragedd yn ben-noethion: 17 Ac o ran eu bod hwy yn gyffredinawl yn cyfarfod nid i'r gwell ond i'r gwaeth, 21 gan halogi swpper yr Arglwydd â'u gwleddoedd eu hunain. 25 Yn ddiweddaf y mae efe yn eu galw hwy yn eu hôl, at ordinhâd cyntaf y Swpper hwnnw.

Yddwch ddilyn-wŷr i mi, megis yr wyf finnau i Ghrist.

2 Yr ydwyf yn eich canmol, frodyr, eich bôd yn fy nghofio i ym-mhob peth, ac yn dal y traddodiadau, fel y traddodais i chwi.

3 Eithr mi a fynnwn i chwi wybod, mai pen pob gŵr yw Christ, a phen y wraig [yw] 'r gŵr, a phen Christ [yw] Duw.

4 Pob gŵr yn gweddio, neu yn prophwydo â pheth am ei ben, sydd yn cywilyddio ei ben.

5 Eithr pob gwraig yn gweddio, neu yn prophwydo, yn bennoeth, sydd yn cywilyddio ei phen; canys yr un yw a phe byddei wedi ei heillio.

6 Canys os y wraig ni wisc [am ei phen,] cneifier hi hefyd: eithr os brwnt i wraig ei chneifio, neu ei heillio, gwisced.

7 Canys gŵr yn wir ni ddylei wisco am ei ben, am ei fôd yn ddelw a gogoniant Duw: a'r wraig yw gogoniant y gŵr.

8 Canys nid yw y gŵr o'r wraig, ond y wraig o'r gŵr.

9 Ac ni chrewyd y gŵr er mwyn y wraig, eithr y wraig er mwyn y gŵr.

10 Am hynny y dylei y wraig fôd ganddi awdurdod ar ei phen, o herwydd yr Angelion.

11 Er hynny nid [yw] na'r gŵr heb y wraig, na'r wraig heb y gŵr, yn yr Arglwydd.

12 Canys un wedd ac [y mae] y wraig o'r gŵr, felly [y mae] y gŵr drwy y wraig: a phob peth [sydd] o Dduw.

13 Bernwch ynoch eich hunain, ai hardd yw i wraig weddio Duw yn bennoeth?

14 Ond

14 Ond yw naturiaeth ei hun yn eich dyscu chwi, os gwallt-laes a fydd gwr, mai ammharch yw iddo?

15 Eithr os gwraig a fydd gwallt-laes clod yw iddi, oblegid ei llaes-wallt a ddodwyd yn orchudd iddi.

16 Od oes neb a fyn fod yn ymrysongar, nid oes gennym ni gyfryw ddefod; na chan Eglwysi Duw.

Yr Epistol ar ddydd Iau cyn y Pasc.

17 ☞ Eithr wrth ‖ ddywedyd hyn, nid ydwyf yn eich canmol, eich bod yn dyfod ynghŷd, nid er gwell, ond er gwaeth.

‖ orchymmyn.

18 Canys yn gyntaf, pan ddeloch ynghŷd yn yr Eglwys, yr ydwyf yn clywed fod ‖ amrafaelion yn eich mysc chwi, ac o ran yr wyfi yn credu.

‖ schisman.

19 Canys rhaid yw bôd hefyd heresiau yn eich mysc; fel y byddo y rhai cymmeradwy yn eglur yn eich plith chwi.

20 Pan fyddoch chwi gan-hynny yn dyfod ynghŷd i'r vn lle, nid bwyta swpper yr Arglwydd ydyw [hyn.]

21 Canys y mae pôb vn wrth fwytta yn cymmeryd ei swpper ei hun o'r blaen, ac vn sydd a newyn arno, ac arall sydd yn feddw.

22 Onid oes gennych dai i fwytta ac i yfed? Ai dirmygu yr ydych chwi Eglwys Dduw? A gwradwyddo y rhai nid oes ganddynt? Pa beth a ddywedaf wrthych? a ganmolaf i chwi yn hyn? nid wyf yn eich canmol.

23 Canys myfi a dderbyniais gan yr Arglwydd yr hyn hefyd a draddodais i chwi; bod i'r Arglwydd Iesu y nos y bradychwyd ef, gymmeryd bara,

*Mat.26.16. Marc.14.22. Luc.22.19.

24 * Ac wedi iddo ddiolch, efe a'i torrodd, ac a ddywedodd, Cymmerwch, bwyttewch hwn yn fy nghorph, yr hwn a dorrir trosoch: gwnewch hyn er coffa am danaf.

25 Yr vn modd [efe a gymmerodd] y cwppan wedi swpperu, gan ddywedyd, Y cwppan hwn yw 'r Testament newydd yn fy ngwaed, gwnewch hyn cynnifer gwaith bynnac yr yfoch, er coffa am danaf:

26 Canys cynnifer gwaith bynnac y bwytaoch y bara hwn, ac yr yfoch y cwppan hwn, y dangoswch farwolaeth yr Arglwydd hyd oni ddelo.

27 Am hynny, pwy bynnac a fwytâo y bara hwn, neu a yfo gwppan yr Arglwydd yn annheilwng, euog fydd o gorph a gwaed yr Arglwydd.

28 Eithr holed dŷn ef ei hun, ac felly bwytaed o'r bara, ac yfed o'r cwppan.

29 Canys yr hwn sydd yn bwytta, ac yn yfed yn annheilwng; sydd yn bwytta ac yn yfed barnedigaeth iddo ei hun, am nad yw yn iawn farnu corph yr Arglwydd.

30 Oblegid hyn y mae llawer yn weiniaid ac yn llesc yn eich mysc, a llawer yn huno.

31 Canys pe iawn farnem ni ein hunain, ni'n bernid.

32 Eithr pan i'n bernir, i'n ceryddir gan yr Arglwydd, fel na'n damner gyd â'r bŷd.

33 Am hynny, fy mrodyr, pan ddeloch ynghyd i fwytta, arhoswch ei gilydd.

34 Either os bydd newyn ar neb, bwytaed gartref, fel na ddeloch ynghyd i farnedigaeth. Ond y pethau eraill mi a'u trefnaf pan ddelwyf. ☜

## PEN. XII.

1 Bod amryw ddoniau ysprydawl, 7 Eithr y cwbl er lleshâd: 8 ac o ran hynny hwy a gyfrennir mewn amryw foddion: 12 Megis y mae aelodau 'r corph naturiol yn gwasanaethu bob vn 16 er harddwch iw gilydd, 22 er gwasanaeth, a 26 chymmorth i'r vn corph: 27 felly yr vn modd y dylem ni wneuthur y naill er y llall, er mwyn gorphen dirgel gorph Christ.



Yr Epistol y degfed Sul ar ol y Drindod.

Eithr am ysprydol [ddoniau] frodyr, ni fynnwn i chwi fôd heb wybod.

2 Chwi a wyddoch mai Cenhedloedd oeddych, yn eich arwain ymmaith at yr eulynnod mudion, fel i'ch tywysid.

3 Am hynny yr wyf yn yspysu i chwi, nad oes neb yn llefaru trwy Yspryd Duw, yn galw yr Iesu yn ‖ escymmun-beth: ac ni all neb ddywedyd ‖ yr Arglwydd Iesu, eithr trwy yr Yspryd glân.

‖ anathema. ‖ mai Iesu yw yr Arglwydd.

4 Ac y mae amryw ddoniau, eithr yr vn Yspryd.

5 Ac y mae amryw weinidogaethau, eithr yr vn Arglwydd.

6 Ac y mae amryw weithrediadau, ond yr vn ‖ yw Duw yr hwn sydd yn gweithredu pob peth ym mhawb.

‖ Neu, yr vn Duw yw yr &c.

7 Eithr eglurhâd yr Yspryd a roddir i bob vn er lles-hâd.

8 Canys i vn trwy yr Yspryd y rhoddir ymadrodd doethineb, ac i arall ymadrodd gwybodaeth, trwy yr vn Yspryd:

9 Ac i arall ffydd, trwy yr vn Yspryd; ac i arall ‖ ddawn i iachau, trwy yr vn Yspryd:

‖ doniau.

10 Ac i arall wneuthur gwyrthiau, ac i arall Brophwydoliaeth, ac i arall wahaniaeth ysprydoedd; ac i arall amryw dafodau, ac i arall gyfieithiad tafodau.

11 A'r holl bethau hyn, y mae'r vn a'r vnrhyw Yspryd yn eu gweithredu, gan rannu i bôb vn o'r neilltu, megis y mae yn ewyllysio. ☜

12 Canys fel y mae 'r corph yn vn, ac iddo aelodau lawer, a holl aelodau 'r vn corph, cyd bônt lawer, ydynt vn corph; felly [y mae] Christ hefyd.

13 O herwydd trwy vn Yspryd y bedyddiwyd ni oll yn vn corph, pa vn bynnag ai Iddewon ai Groegwyr, ai caethion ai rhyddion, ac ni a ddiodwyd oll i vn Yspryd.

14 Canys y corph nid yw vn aelod, eithr llawer.

15 Os dywed y troed, am nad wyf law, nid wyf o'r corph; ai am hynny nid yw efe o'r corph?

16 Ac

gwael yn eich plith, ond yn absennol ydwyf yn hŷ arnoch.

2 Ac yr ydwyf yn dymuno na byddwyf yn bresennol yn hyf, â'r hyder || yr wyf yn meddwl bôd tu ag at rai, y sy yn ein cyfrif ni megis rhai yn rhodio megis ar ôl y cnawd.

|| i'm tybir fy nôl.

3 Canys er ein bod ni yn rhodio yn y cnawd, nid ydym yn milwrio yn ôl y cnawd.

4 Canys arfau ein milwriaeth ni, nid [ydynt] gnawdol, ond nerthol || trwy Dduw i fwrw cestyll i'r llawr.

|| Neu, y.

5 Gan fwrw || dychymmygion i lawr, a phôb uchder ac sy yn ymgodi yn erbyn gwybodaeth Dduw, a chan gaethiwo pob meddwl i ufydd-dod Christ:

|| rhesymmiadau.

6 Ac yn barod gennym ddial ar bob anufydd-dod, pan gyflawner eich ufydd-dod chwi.

7 Ai edrych yr ydych chwi ar bethau yn ôl y golwg? os ymddiried nêb ynddo ei hun, ei fôd efe yn eiddo Christ, meddylied hyn drachefn o honaw ei hun, megis ac [y mae] efe yn eiddo Christ, felly [ein bôd] ninnau hefyd yn eiddo Christ.

8 Oblegid pe bostiwn beth ychwaneg hefyd am ein hawdurdod, yr hon a roddodd yr Arglwydd i ni er adeilad, ac nid er eich dinistr chwi, ni'm cywilyddid.

9 Fel na thybier fy mod megis yn eich dychrynu chwi trwy lythyrau.

10 Oblegid y llythyrau yn wir, meddant, [sy] drymion, a chryfion, eithr presennoldeb y corph sydd wan, a'r ymadrodd yn ddirmygus.

11 Y cyfryw un, meddylied hyn, mai y fath ydym ni ar air, drwy lythyrau yn absennol, yr un fath hefyd [a fyddwn] a'r weithred yn bresennol.

12 Canys nid ŷm ni yn beiddio ein cydstadlu, neu ein cyffelybu ein hunain, i rai sy yn eu canmol eu hunain: eithr hwynt hwy gan eu mesur eu hunain wrthynt eu hunain, a'i cyffelybu eu hunain iddynt eu hunain, nid ydynt yn deall.

13 Eithr ni fostiwn ni hyd at bethau allan [o'n] mesur, ond yn ôl mesur y rheol a rannodd Duw i ni, mesur i gyrhaeddyd hyd attoch chwi hefyd.

14 Canys nid ydym, megis [rhai] heb gyrhaeddyd hyd attoch chwi, yn ymystyn allan tu hwnt i'n mesur: canys hyd attoch chwi hefyd y daethom ag Efengyl Grist.

15 Nid gan fostio hyd at bethau allan [o'n] mesur, yn llafur [rhai] eraill eithr gan obeithio pan gynnyddo eich ffydd chwi, gael ynoch chwi ein mawrygu yn ôl ein rheol, || yn ehelaeth:

|| i helaethrwydd.

16 I bregethu yr Efengyl tu hwnt i chwi: ac nid i fostio yn rheol un arall, am bethau parod eusys.

17 * Eithr yr hwn sydd yn ymffrostio, ymffrostied yn yr Arglwydd.

* Jer.9.24. 1 cor.1.31.

18 Canys nid yr hwn sydd yn ei gannmol ei hun, sydd gymmeradwy, ond yr hwn y mae yr Arglwydd yn ei gannmol.

## PEN. XI.

1 Allan o'i eiddigedd tros y Corinthiaid, y rhai oedd yn dangos eu bod yn gwneuthur mwy o gyfrif o'r gau-Apostolion nag o hono ef, y mae yn gorfod arno yn erbyn ei ewyllys, ei ganmol ei hun, 5 trwy ei gystadlu ei hun â'r Apostolion pennaf, 7 a'i fod yn pregethu yr Efengyl yn rhâd, ac yn ddigost, iddynt hwy, 13 gan ddangos nad oedd efe ddim gwaeth nâ'r gweithredwyr twyllodrus hynny, mewn vn rhagorfraint o'r ddeddf, 23 a'i fod yn rhagori arnynt yngwasanaeth Christ, ac ym mhôb math a'r ddioddefiadau o achos ei weinidogaeth.

Na chyd-ddygech â myfi ychydig yn fy ffolineb, eithr hefyd cyd-ddygwch â myfi.

2 Canys eiddigus wyf trosoch, ag eiddigedd duwiol; canys mi a'ch || dyweddiais chwi i un gwr, i'ch || rhoddi chwi megis morwyn bûr i Grist.

|| Gr. cymmwysais. || bresentio.

3 Ond y mae arnaf ofn, rhag mewn modd yn y bŷd, megis y twyllodd y sarph Efa, trwy ei chyfrwysdra, felly bôd eich meddyliau chwi wedi eu llygru oddi wrth y symlrwydd sydd yng Hrist.

4 Canys yn wir os ydyw yr hwn sydd yn dyfod, yn pregethu Jesu arall, yr hwn ni phregethasom ni, neu os ydych yn derbyn yspryd arall, yr hwn ni's derbyniasoch, neu Efengyl arall, yr hon ni dderbyniasoch, têg y cyd-ddygech [ag ef].

5 Canys yr ydwyf yn meddwl, na bum i ddim yn ôl i'r Apostolion pennaf.

6 Ac os [ydwyf] hefyd yn anghyfarwydd ar ymadrodd, etto nid [wyf] felly mewn gwybodaeth, eithr yn eich plith chwi, nyni a eglurhawyd yn hollawl ym-mhôb dim.

7 A wneuthym i fai wrth fy ngostwng fy hun, fel y derchefid chwi; oblegid pregethu o honof i chwi Efengyl Dduw yn rhâd?

8 Eglwysi eraill a yspeiliais, gan gymmeryd cyflog ganddynt hwy, i'ch gwasanaethu chwi.

9 A phan oeddwn yn bresennol gyd â chwi, ac arnaf eisieu, ni ormesais ar neb, canys fy eisieu i a gyflawnodd y brodyr a ddaethent o Macedonia: ac ym-mhôb dim i'm cedwais fy hun heb pwyso arnoch, ac mi a ymgadwaf.

10 Fel y mae gwirionedd Christ ynof, ni argaeir yr ymffrost hyn yn fy erbyn, yngwledydd Achaia.

11 Pa ham? [ai] am nad wyf yn eich caru chwi? Duw a'i gwyr.

12 Eithr yr hyn yr wyf yn ei wneuthur, a wnaf hefyd: fel y torrwyf ymmaith achlysur oddi wrth y rhai sy yn ewyllysio cael achlysur, fel yn yr hyn y maent yn ymffrostio, y caer hwynt megis ninnau hefyd.

13 Canys y cyfryw gau Apostolion [sy] weith-wyr twyllodrus, wedi ymrithio yn Apostolion i Grist.

14 Ac nid rhyfedd, canys y mae Satan yntef yn ymrithio yn Angel goleuni.

15 Gan hynny nid mawr yw, er ymrithio ei weinidogion ef fel gweinidogion cyfiawnder, y rhai y bydd eu diwedd yn ôl eu gweithredoedd.

16 Trachefn

16 Trachefn meddaf, na thybied neb fy môd i yn ffôl: os amgen, etto || derbyniwch fi fel ffôl, fel y gallwyf finneu hefyd ymffrostio ychydig.

||neu, goddefwch.

17 Yr hyn yr wyf yn ei ddywedyd, nid ydwyf yn ei ddywedyd yn ôl yr Arglwydd, eithr megis mewn ffolineb, yn hyn o fôst hyderus.

18 Gan fôd llawer yn ymffrostio yn ôl y cnawd, minneu a ymffrostiaf hefyd.

19 Canys yr ydych yn goddef ffyliaid yn llawen, gan fôd eich hun yn synhwyrol.

Yr Epistol ar y Sul a elwir Sexagesima.

20 ☞ Canys yr ydych yn goddef, os bydd un i'ch caethiwo, os bydd un i'ch llwyr-fwytta, os bydd un yn cymmeryd [gennych,] os bydd un yn ymdderchafu, os bydd un yn eich taro chwi ar [eich] wyneb.

21 Am amharch yr ydwyf yn dywedyd, megis pe buasem ni weiniaid: eithr ym mha beth bynnag y mae nêb yn hyf, (mewn ffolineb yr wyf yn dywedyd) hŷ wyf finneu hefyd.

22 Ai Hebræaid ydynt hwy? felly finneu. Ai Israeliaid ydynt hwy? felly finneu. Ai hâd Abraham ydynt hwy? felly finneu.

23 Ai gweinidogion Crist ydynt hwy? (yr ydwyf yn dywedyd yn ffôl) mwy [wyf] fi. Mewn blinderau yn helaethach, mewn gwialennodiau tros fesur, mewn carcharau yn amlach, mewn marwolaethau yn fynych.

24 Gan yr Iddewon bum-waith y derbyniais *ddeugain [gwialennod] onid un.

*Deut.25.3.

25 Tair gwaith i'm curwyd â gwiail; unwaith i'm llabyddiwyd; teir-gwaith y torrodd llong arnaf; noswaith a diwrnod y bum yn y dyfn-fôr.

26 Mewn teithiau yn fynych, ym mheryglon llif-ddyfroedd, ym mheryglon lladron; ym mheryglon fy nghenedl [fy hun;] ym mheryglon gan y Cenhedloedd; ym mheryglon yn y ddinas; ym mheryglon yn yr anialwch; ym mheryglon ar y môr; ym mheryglon ym mhlith brodyr gau.

27 Mewn llafur a lludded: mewn anhunedd yn fynych; mewn newyn a syched; mewn ymprydiau yn fynych; mewn anwyd a noethni.

28 Heb law y pethau [sy yn digwydd] oddi allan, yr ymosod yr hwn [sydd arnaf] beunydd, y gofal tros yr hôll Eglwysi.

29 Pwy sy wan, nad wyf finneu wan? pwy a dramgwyddir, nad wyf finneu yn llosci?

30 Os rhaid ymffrostio, mi a ymffrostiaf am y pethau sy yn perthyn i'm gwendid.

31 Duw, a Thâd ein Harglwydd ni Iesu Grist, yr hwn sydd fendigedig yn oes oesoedd, a wyr nad wyf yn dywedyd celwydd. ☜

32 Yn Damascus, y llywydd tan Aretas y brenin, a wiliodd ddinas y Damasciaid, gan ewyllysio fy nal i.

33 A thrwy ffenestr mewn basced i'm gollyngwyd || a'r hyd y mur, ac y diengais o'i ddwylaw ef.

||tros y mur.

## PEN. XII.

1 Er gallu o hono ef orfoleddu yn ei ddatcuddiadau rhyfeddawl, er mwyn gosod allan ei Apostoliaeth, 9 etto mae yn well gantho orfoleddu yn ei wendid: 11 gan fwrw bai arnynt hwy am ei yrru ef i wag-fostio fel hyn. 14 Mae efe yn addo dyfod attynt hwy drachefn, ac er hynny trwy dadawl garedigrwydd: 20 er ei fôd yn ofni y caiff efe yno lawer o ddrwg-weithredwyr, ac anhrefn cyffredinawl.



Mffrostio yn ddiau nid yw fuddiol i mi; canys myfi a ddeuaf at weledigaethau, a datcuddiedigaethau yr Arglwydd.

2 Mi a adwaenwn ddyn yng-Hrist, er ys rhagor i bedair blynedd ar ddêc, (pa un ai yn y corph, ni wn, ai allan o'r corph, ni wn i, Duw a wyr,) y cyfryw [un] a gippiwyd i fynu hyd y drydedd nef.

3 Ac mi a adwaenwn y cyfryw ddyn (pa un ai yn y corph, ai allan o'r corph ni wn i; Duw a wyr.)

4 Ei gippio ef i fynu i Baradwys, ac iddo glywed geiriau annhraethadwy, y rhai nid yw || gyfreithlon i ddyn eu hadrodd.

||bossibl.

5 Am y cyfryw [un] yr ymffrostiaf, eithr am danaf fy hun nid ymffrostiaf, oddieithr yn fy ngwendid.

6 Canys os ewyllysiaf ymffrostio, ni byddaf ffôl; canys mi a ddywedaf y gwir: eithr yr wyf yn arbed, rhag i neb wneuthyr cyfrif o honof, uwch law y mae yn gweled fy mod, neu yn ei glywed gennif.

7 Ac fel na'm tra derchafer gan odidowgrwydd y datguddiedigaethau, rhoddwyd i mi *swmbwl yn y cnawd, cennad Satan, i'm cernodio, fel na'm tra derchefid.

*Edrych Ezec.28.24.

8 Am y peth hyn mi a attolygais i'r Arglwydd deir-gwaith, ar fod iddo ymadel â mi.

9 Ac efe a ddywedodd wrthif, Digon i ti fy ngrâs i; canys fy nerth i a berffeithir mewn gwendid: yn llawen iawn gan hynny yr ymffrostiaf fi, yn hytrach yn fy ngwendid, fel y preswylio nerth Christ ynofi.

10 Am hynny yr wyf yn fodlawn mewn gwendid, mewn amarch, mewn anghenion, mewn erlidiau, mewn cyfyngderau er mwyn Christ: canys pan wyf wan, yna yr wyf gadarn.

11 Mi a euthym yn ffôl wrth ymffrostio; chwychwi a'm || gyrrasoch; canys myfi a ddylaswn gael fy nghanmol gennych chwi: canys ni bûm i ddim yn ôl i'r Apostolion pennaf, er nad ydwyfi ddim.

||cymmellasoch.

12 Arwyddion Apostol yn wir a weithredwyd yn eich plith chwi, mewn pôb amynedd, mewn arwyddion, a rhyfeddodau, a gweithredoedd nerthol.

13 Canys beth yw yr hyn y buoch chwi yn ôl am dano, mwy na'r Eglwysi eraill, oddieithr am na bûm i fy hun ormesol arnoch? Maddeuwch i mi hyn o gam.

14 Wele, y drydedd waith yr wyfi yn barod i ddyfod attoch, ac ni byddaf ormesol arnoch; canys nid ydwyf yn ceisio yr eiddoch chwi, ond chwy-chwi; canys ni ddylei y plant

plant gasglu trysor i'r rhieni, ond y rhieni i'r plant.

15 A myfi yn ewyllysgar iawn a dreuliaf, ac a ymdreuliaf tros eich eneidiau chwi, er fy môd yn eich caru yn helaethach, ac yn cael fy ngharu yn brinnach.

16 Eithr bid, Ni phwysais i arnoch: ond gan fôd yn gyfrwys, mi a'ch deliais chwi trwy ddichell.

17 A wneuthum i elw o honoch chwi, drwy neb o'r rhai a ddanfonais attoch?

18 Mi a ddeisyfiais ar Titus, a chyd [ag ef] mi a anfonais frawd: a elwodd Titus ddim arnoch? Onid yn yr vn yspryd y rhodiasom? Onid yn yr vn llwybrau?

19 Drachefn, A ydych chwi yn tybied mai ymescusodi yr ydym wrthych? Ger bron Duw yng Hrist yr ydym yn llefaru: a phôb peth, anwylyd, er adeiladaeth i chwi.

20 Canys ofni yr wyf, rhag pan ddelwyf, na'ch caffwyf yn gyfryw rai ac a fynnwn; a'm cael inneu i chwithau yn gyfryw ac nis mynnech, rhag [bôd] cynhennau, cenfigennau, llidiau, ymrysonau, || goganau, hustingau, ymchwyddiadau, anghydfyddiaethau:

|| absennau.

21 Rhac pan ddelwyf drachefn, fôd fy Nuw fy narostwng yn eich plith, ac i mi ddwyn galar dros lawer, y rhai a bechasant eusys, ac nid edifarhasant am yr aflendid, a'r godineb, a'r anlladrwydd a wnaethant.

## PEN. XIII.

1 Y mae efe yn bygwth pechaduriad diedifeiriol â thoster a gallu ei Apostoliaeth: 5 a chan eu cynghori hwynt i brofi eu ffydd, 7 ac i ddiwygio eu beiau cyn ei ddyfod ef, 11 y mae efe yn diweddu ei Epistol trwy eu hannoc hwy yn gyffredinawl, a gweddio.



Y Drydedd waith hon yr ydwyf yn dyfod attoch. Yngenau dau neu dri o dystion y bydd safadwy pob gair.

2 Rhag-ddywedais i chwi, ac yr ydwyf yn rhag-ddywedyd, fel [pe bawn] yn bresennol yr ail waith, ac yn absennol yr awron, yr ydwyf yn scrifennu at y rhai a bechasant eusys, ac at y lleill i gyd, os deuaf drachefn, nad arbedaf:

3 Gan eich bôd yn ceisio profiad o Grist, yr hwn sydd yn llefaru ynof, yr hwn tu ag attoch chwi nid yw wan, eithr sydd nerthol ynoch chwi.

4 Canys er ei groes-hoelio ef o ran gwendid, etto byw ydyw drwy nerth Duw; canys ninnau hefyd ydym weiniaid || ynddo ef, eithr byw fyddwn gyd ag ef, trwy nerth Duw tu ag attoch chwi.

|| gyd ag ef.

5 Profwch chwychwi eich hunain, a ydych yn y ffydd; holwch eich hunain. Ai nid ydych yn eich adnabod eich hunain, [sef] bôd Iesu Grist ynoch, oddieithr i chwi fôd yn anghymmeradwy?

6 Ond yr wyf yn gobeithio y gwybyddwch nad ydym ni yn anghymmeradwy.

7 Ac yr wyf yn gweddio ar Dduw na wneloch chwi ddim drwg, nid fel yr ymddangosom ni yn gymmeradwy, ond fel y gwneloch chwi yr hyn sydd dda, er bôd o honom ni megis rhai anghymmeradwy.

8 Canys ni allwn ni ddim yn erbyn y gwirionedd, ond tros y gwirionedd.

9 Canys llawen ydym, pan fyddom ni yn weiniaid, a chwithau yn gryfion. A hyn hefyd yr ydym yn ei ddymuno, [sef] eich perffeithrwydd chwi.

10 Am hynny, myfi yn absennol ydwyf yn scrifennu y pethau hyn, fel pan fyddwyf bresennol nad arferwyf doster, yn ôl yr awdurdod a roes yr Arglwydd i mi, er adeilad, ac nid er dinystr.

11 Bellach frodyr byddwch || wych; byddwch berffaith; diddaner chwi; syniwch yr vn peth; byddwch heddychol. A Duw y cariad a'r heddwch a fydd gyd â chwi.

|| iach.

12 Annerchwch ei gilydd â chusan sanctaidd. Y mae'r holl Sainct yn eich annerch chwi.

13 Gras ein Harglwydd Iesu Grist, a chariad Duw, a chymdeithas yr Yspryd glan, a fyddo gyd â chwi oll. Amen.

¶ Yr ail at y Corinthiaid a scrifennwyd o Philipi ym-Macedonia, gyd â Titus a Luc.

EPISTOL



# EPISTOL PAUL YR APOSTOL AT Y GALATIAID.

## PEN. I.

*6 Y mae efe yn rhyfeddu iddynt ei adel ef a'r Efengyl cyn gynted: 8 ac yn melltithio y rhai a bregethant Efengyl amgen nâ'r hon a bregethai efe. 11 Nad gan ddynion y dyscodd efe yr Efengyl, eithr gan Dduw: 14 Ac y mae efe yn dangos pa beth ydoedd efe cyn ei alw, 17 a pha beth a wnaeth efe yn y man wedi ei alw.*



PAul Apostol, nid o ddynion, na thrwy ddŷn, eithr trwy Jesu Grist, a Duw Tâd, yr hwn a'i cyfododd ef o feirw,

2 A'r brodyr oll, y rhai sy gyd â mi, at Eglwysi Galatia:

3 Gras fyddo chwi, a heddwch oddiwrth Dduw Tâd, a'n Harglwydd Jesu Grist:

4 Yr hwn a'i rhoddes ei hun tros ein pechodau, fel i'n gwaredei ni oddi wrth y bŷd drwg presennol, yn ôl ewyllys Duw a'n Tad ni:

5 I'r hwn y byddo gogoniant yn oes oesoedd. Amen.

6 Y mae yn rhyfedd gennif eich symmud mor fuan oddi wrth yr hwn a'ch galwodd ‖ i râs Crist, at Efengyl arall:

‖ yngras.

7 Yr hon nid yw arall: ond bôd rhai yn eich trallodi chwi, ac yn chwennych dattroi Efengyl Grist.

8 Eithr pe byddei i ni, neu i Angel o'r nef, efangylu i chwi, amgen nâ'r hyn a efangylasom i chwi, bydded ‖ anathema.

‖ felldigedig.

9 Megis y rhag-ddywedasom, felly yr ydwyf yr awron drachefn yn dywedyd, os efangyla neb i chwi amgen nâ'r hyn a dderbyniasoch, bydded anathema.

10 Canys yr awron, ai ‖ peri credu dynion yr wyf, ynteu Duw? neu a ydwyf yn ceisio rhyngu bodd dynion? canys pe rhyngwn fodd dynion etto, ni byddwn was i Grist.

‖ perswadio.

11 Eithr yr ydwyf yn yspysu i chwi, frodyr, [am] yr Efengyl a bregethwyd gennifi, nad yw hi ‖ ddynol.

‖ yn ol dyn.

12 Canys nid gan ddŷn y derbyniais i hi, nac i'm dyscwyd: eithr trwy ddatcuddiad Jesu Grist.

13 Canys chwi a glywsoch fy ymarweddiad i gynt yn y Grefydd Iddewig, i mi allan o fesur erlid Eglwys Dduw, a'i hanrheithio hi.

14 Ac i mi gynyddu yn y Grefydd Iddewig, yn fwy nâ llawer o'm cyfoedion, yn fy nghenedl fy hun, gan ‖ fôd yn fwy awyddus i draddodiadau fy nhadau.

‖ ddwyn zel yn fwy.

15 Ond pan welodd Duw yn dda, yr hwn a'm naillduodd i o groth fy mam, ac a'm galwodd i trwy ei râs,

16 I ddatcuddio ei Fâb ef ynofi, fel y pregethwn ef ym mhlith y Cenhedloedd; yn y fan nid ymgynghorais â chig a gwaed:

17 Ac nid aethym ‖ yn fy ôl i Jerusalem, at y rhai oedd o'm blaen i yn Apostolion: ond mi a aethym i Arabia, a thrachefn y dychwelais i Ddamascus.

‖ i fynu.

18 Yna yn ôl tair blynedd y daethym ‖ yn fy ôl i Jerusalem i ymweled â Phetr: ac a arhosais gyd ag ef bymtheng nhiwrnod.

‖ i fynu.

19 Eithr [neb] arall o'r Apostolion ni's gwelais, ond Jaco, brawd yr Arglwydd.

20 A'r pethau yr wyf yn eu scrifennu attoch, wele, ger bron Duw nad wyf yn dywedyd celwydd.

21 Wedi hynny y daethym i wledydd Syria a Cilicia;

22 Ac yr oeddwn heb fy adnabod wrth [fy] wyneb yn Eglwysi Judæa, y rhai [oedd] yn Ghrist.

23 Ond yn unic hwy a glywsent, fôd yr hwn oedd gynt yn ein herlid ni, yr awron yn pregethu y ffydd, yr hon gynt a anrheithiasei.

24 A hwy a ogoneddasant Dduw ynofi.

## PEN. II.

*1 Y mae efe yn dangos pa bryd yr aeth efe i fynu i Jerusalem, ac i ba beth: 3 ac nad enwaedasid ar Titus, 11 a gwrthwynebu o hono ef Petr. 14 Pa ham y mae efe ac eraill, a hwythau yn Iddewon, yn credu y cânt ei cyfiawnhau yn Ghrist trwy ffydd, ac nid trwy weithredoedd, 20 ac na bo iddynt hwy y rhai a gyfiawnhawyd felly, fyw mewn pechod.*

YNa wedi pedair blynedd ar ddêc yr aethym drachefn i fynu i Jerusalem gyd â Barnabas, gan gymmeryd Titus hefyd gyda [mi.]

2 Ac

2 Ac mi a aethym i fynu yn ôl datcuddiad, ac a fynegais iddynt yr Efengyl, yr hon yr wyf yn ei phregethu ym mhlith y Cenhedloedd: ond o'r nailltu, i'r rhai cyfrifol, rhag mewn un modd fy môd yn rhedeg yn ofer, neu ddarfod i mi redeg.

3 Eithr Titus yr hwn [oedd] gyd â mi, er ei fôd yn Roegwr, ni chymmhellwyd chwaith i enwaedu arno.

4 A [hynny] o herwydd y gau-frodyr a ddygasid i mewn, y rhai a ddaethent i mewn i yspio ein rhydd-did ni, yr hon sydd gennym yng-Hghrist Jesu, fel i'n caethiwent ni:

5 I ba rai nid ymroesom trwy ddarostyngiad, na ddo tros awr: fel yr arhosai gwirionedd yr Efengyl gyd â chwi.

6 A chan y rhai a dybid eu bôd yn rhyw beth, (pa fath gynt oeddynt, nid yw ddim i mi, nid yw Duw yn derbyn wyneb dyn:) canys y rhai || cyfrifol ni chwanegasant ddim i mi.

|| a dybid eu bod yn rhyw beth.

7 Eithr yn y gwrthwyneb, pan welsant ddarfod ymddiried i mi am Efengyl y dienwaediad, megis am [Efengyl] yr Enwaediad i Petr:

8 (Canys yr hwn oedd yn gweithredu yn nerthol yn Petr, i apostoliaeth yr Enwaediad, a nerthol weithredoedd ynofinnau hefyd tu ac at y Cenhedloedd.)

9 A phan wybu Jaco, a Cephas, ac Joan, y rhai a dybid eu bôd yn golofnau, y grâs a roddwyd i mi, hwy a roddasant i mi ac i Barnabas, ddeheu-ddwylo cymdeithas: fel [yr elem] ni at y Cenhedloedd, a hwythau at yr Enwaediad.

10 Yn unic ar fod i ni gofio'r tlodion: yr hyn hefyd y bûm i ddiwyd i'w wneuthur.

11 A phan ddaeth Petr i Antiochia, mi a'i gwrth-wynebais yn ei wyneb, am ei fôd i'w feio.

12 Oblegid cyn dyfod rhai oddi wrth Jaco, efe a fwyttâodd gyd â'r Cenhedloedd: ond wedi iddynt ddyfod, efe a giliodd ac a'i naillduodd ei hun oddi wrthynt, gan ofni y rhai oedd o'r Enwaediad.

13 A'r Iddewon eraill hefyd a gyd-ragrithiasant ag ef; yn gymmaint ac y dygwyd Barnabas hefyd i'w rhagrith hwy.

14 Eithr pan welais i nad oeddynt yn iawn-droedio at wirionedd yr Efengyl, mi a ddywedais wrth Petr yn eu gŵydd hwy oll, Os wyt ti, a thi yn Iddew, yn byw fel y Cenhedloedd, ac nid fel yr Iddewon, pa ham yr wyt ti yn cymmell y Cenhedloedd i fyw yn Iddewaidd?

15 Nyni y rhai wrth naturiaeth ydym Iddewon, ac nid o'r Cenhedloedd yn bechaduriaid;

16 Yn gŵybod nad ydys yn cyfiawnhau dyn trwy weithredoedd y Ddeddf, ond trwy ffydd Jesu Grist: ninneu hefyd a gredasom yng-Hghrist Jesu, fel i'n cyfiawnhaer trwy ffydd Grist, ac nid trwy weithredoedd y Ddeddf: o blegid ni chyfiawnheir un cnawd trwy weithredoedd y Ddeddf.

17 Ac os wrth geisio ein cyfiawnhau yng-Hghrist, i'n caed ninneu hefyd yn bechaduriaid, a ydyw Christ am hynny yn weinidog pechod? Na atto Duw.

18 Canys os wyfi yn adeiladu drachefn, y pethau a ddestrywiais, yr wyf yn fy ngwneuthur fy hun yn drosseddwr.

19 Canys yr wyfi trwy y Ddeddf wedi marw i'r Ddeddf, fel y byddwn fyw i Dduw.

20 Mi a groes-hoeliwyd gyd â Christ: eithr byw ydwyf, etto nid myfi, ond Christ sydd yn byw ynofi: a'r hyn yr ydwyf yr awron yn ei fyw yn y cnawd, ei fyw yr ydwyf trwy ffydd Mab Duw, yr hwn a'm carodd, ac a'i rhoddes ei hun drosofi.

21 Nid wyf yn dirymmu grâs Duw: canys os o'r Ddeddf [y mae] cyfiawnder, yna y bu Christ farw yn ofer.

## PEN. III.

1 Y mae efe yn gofyn pa bêth a'i cynhyrfodd hwy i ymadel â'r ffydd, ac i lynu wrth y gyfraith. 6 Y rhai a gredant a gyfiawnheir, 9 ac a fendithir gydag Abraham: 10 a hyn y mae efe ei ddangos trwy lawer o resymmau.



O Y Galatiaid ynfyd, pwy a'ch || llygadtynodd chwi, fel nad ufuddhaech i'r gwirionedd: i ba rai o flaen eu llygaid y portreiadwyd Jesu Grist, wedi ei groes-hoelio yn eich plith?

|| rheibiodd.

2 Hyn yn unic a ewyllysiaf ei ddyscu gennwch: ai wrth weithredoedd y Ddeddf y derbyniasoch yr Yspryd, ynteu wrth wrandawiad ffydd?

3 A ydych chwi mor ynfyd? gwedi i chwi ddechreu yn yr Yspryd, a berffeithir chwi yr awron yn y cnawd?

4 A ddioddefasoch gymmaint yn ofer? os yw ofer hefyd.

5 Yr hwn gan hynny sydd yn trefnu i chwi yr Yspryd, ac yn gwneuthur gwrthiau yn eich plith, a'i o weithredoedd y Ddeddf, ynteu o wrandawiad ffydd [y mae?]

6 Megis y credodd Abraham i Dduw, ac y cyfrifwyd iddo yn gyfiawnder.

7 Gwybyddwch felly mai y rhai sy o ffydd, y rhai hynny yw plant Abraham.

8 A'r Scrythur yn rhag-weled mai trwy ffydd y mae Duw yn cyfiawnhau y Cenhedloedd, a rag-efangylodd i Abraham, [gan ddywedyd,] *Ynot ti y bendithir yr holl Genhedloedd.

*Gen. 12. 3.

9 Felly gan hynny, y rhai sy o ffydd a fendithir gyd ag Abraham ffyddlon.

10 Canys cynnifer ac y sy o weithredoedd y Ddeddf, tan felldith y maent: canys scrifennwyd, *Melldigedig yw pob un nid yw yn aros yn yr holl bethau a scrifennir yn llyfr y Ddeddf, i'w gwneuthur hwynt.

*Deut. 27. 26.

11 Ac na chyfiawnheir neb trwy'r Ddeddf ger bron Duw, eglur [yw:] oblegid *y cyfiawn a fydd byw trwy ffydd.

*Habac. 2. 4. Rhuf. 1. 17.

*Leuit.18.5.

12 A'r Ddeddf nid yw o ffydd: eithr *y dŷn a wna y pethau hynny, a fydd byw yn ddynt.

13 Christ a'n llwyr-brynodd oddi wrth felldith y Ddeddf, gan ei wneuthur yn felldith trosom: canys y mae yn scrifennedig, *Melldigedig yw pôb vn [sydd] ynghrog ar bren:

*Deut.21.23.

14 Fel y delai bendith Abraham ar y Cenhedloedd, trwy Grist Iesu: fel y derbyniem addewid yr Yspryd trwy ffydd.

15 Y brodyr, dywedyd yr wyf ar wedd ddynol, Cyd na byddo ond || ammod dŷn, wedi y cadarnhaer, nid yw neb yn ei ddirymmu, neu yn rhoddi atto.

||testament.

Yr Epistol y iiij. Sul wedi y Drindod.

16 ☞ I Abraham y gwnaethpwyd yr addewidion, ac i'w hâd ef. Nid yw yn dywedyd, Ac i'w hadau, megis am lawer; ond megis am vn, Ac i'th hâd ti: yr hwn yw Christ.

17 A hyn yr wyf yn ei ddywedyd: am yr ammod a gadarnhawyd o'r blaen gan Dduw ynGhrist, nad yw y Ddeddf oedd bedwar cant a dêc ar hugain o flynyddoedd wedi, yn ei ddirymmu, i wneuthur yr addewid yn ofer.

18 Canys os o'r Ddeddf [y mae] yr etifeddiaeth, nid yw hayach o'r addewid: ond Duw a'i rhâd-roddodd i Abraham drwy addewid.

19 Beth gan hynny [yw]'r Ddeddf? oblegid trosseddau y rhoddwyd hi yn ychwaneg, hyd oni ddelei yr hâd, i'r hwn y gwnaethid yr addewid: a hi a drefnwyd trwy Angelion, yn llaw Cyfryngwr.

20 A chyfryngwr, nid yw i vn: ond Duw sydd vn.

21 [A ydyw,] y Ddeddf gan hynny yn erbyn addewiddion Duw? Na atto Duw: canys pe rhoesid Deddf a allasei fywhau, yn wir o'r Ddeddf y buasai cyfiawnder.

22 Eithr cyd-gaeodd yr Scrythur bôb peth tan bechod, fel y rhoddid yr addewid trwy ffydd Iesu Grist, i'r rhai sy yn credu. ☜

23 Eithr cyn dyfod ffydd, i'n cadwyd tan y Ddeddf, wedi ein cyd-gau i'r ffydd, yr hon oedd i'w dad-cuddio.

24 Y Ddeddf gan hynny oedd ein hathro ni at Grist, fel i'n cyfiawnhaid drwy ffydd.

25 Eithr wedi dyfod ffydd, nid ydym hayach tan athro.

26 Canys chwi oll ydych blant i Dduw, drwy ffydd ynGhrist Iesu.

27 Canys cynnifer o honoch ac a fedyddiwyd ynGhrist, a wiscasoch Grist.

28 Nid oes nac Iddew, na Groegwr: nid oes na chaeth, na rhydd: nid oes na gwrryw, na benyw: canys chwi oll vn ydych ynGhrist Iesu.

29 Ac os eiddo Christ [ydych,] yna hâd Abraham ydych, ac etifeddion yn ôl yr addewid.

## PEN IIII.

1 Ein bod ni tan y Ddeddf hyd ddyfodiad Christ, fel y mae'r etifedd tan ei ymgeleddwr, nes ei ddyfod i'w oed: 5 Eithr darfod i Grist ein rhyddhau ni oddiwrth y Ddeddf: 7 Nad ydym ni gan hynny weision iddi mwyach. 14 Y mae efe yn cofio eu hewyllys da hwynt tuag atto ef, a'r eiddo yntef tuag attynt hwythau, 22 ac yn dangos mai meibion i Abraham ydym ni, o'r wraig rydd.

Yr Epistol ar y Sul wedi 'r Natalic.



A [Hyn] yr wyf yn ei ddywedyd: dros gymmaint o amser ac y mae'r etifedd yn fachgen, nid oes dim rhagor rhyngddo a gwâs, er ei fôd yn Arglwydd ar y cwbl.

2 Eithr y mae efe tan ymgeledd-wyr a llywodraeth-wyr, hyd yr amser a osodwyd gan y tâd.

3 Felly ninnau hefyd, pan oeddym fechgyn, oeddym gaethion tan wyddorion y bŷd:

4 Ond pan ddaeth cyflawnder yr amser, y danfonodd Duw ei Fâb, wedi ei wneuthur o wraig, wedi ei wneuthur tan y Ddeddf:

5 Fel y prynei y rhai [oedd] tan y Ddeddf, fel y derbyniem y mabwysiad.

6 Ac o herwydd eich bôd yn feibion, yr anfonodd Duw Yspryd ei Fâb i'ch calonnau chwi yn llefain, Abba, Dâd.

7 Felly nid wyti mwy yn wâs, ond yn fab: ac os mab, etifedd hefyd i Dduw trwy Grist. ☜

8 Eithr y pryd hynny, pan oeddych heb adnabod Duw, chwi a wasanaethasoch y rhai wrth naturiaeth nid ydynt dduwiau.

9 Ac yn awr, a chwi yn adnabod Duw, ond yn hytrach yn adnabyddus gan Dduw, pa fodd yr ydych yn troi drachefn at y gwyddorion llesc a thlodion, y rhai yr ydych yn chwennych drachefn o newydd eu gwasanaethu?

10 Cadw yr ydych ddiwrnodiau, a misoedd, ac amseroedd, a blynyddoedd.

11 Y mae arnaf ofn am danoch, rhag darfod i mi boeni wrthych yn ofer.

12 Byddwch fel fyfi, canys yr wyfi fel chwi, y brodyr, attolwg i chwi; ni wnaethoch i mi ddim cam.

13 A chwi a wyddoch mai trwy wendid y cnawd yr efangylais i chwi y waith gyntaf:

14 A'm profedigaeth, yr hon [oedd] yn fy nghnawd, ni ddiystyrasoch, ac ni ddirmygasoch: eithr chwi a'm derbyniasoch megis Angel Duw, megis Christ Iesu.

15 Beth wrth hynny oedd eich dedwyddwch chwi? canys tystio yr wyf i chwi, pe buasei bossibl, y tynnasech eich llygaid, ac a'u rhoesech i mi.

16 A aethym i gan hynny yn elyn i chwi, wrth ddywedyd i chwi y gwir?

17 Y maent yn rhoi mawr-serch arnoch, ond nid yn dda, eithr chwennych y maent || eich cau chwi allan, fel y rhoddoch fawrserch arnynt hwy.

||ein cau ni.

18 Eithr da yw dwyn mawr-serch mewn peth da yn wastadol, ac nid yn vnic tra fyddwyf bresennol gyd â chwi.

19 Fy mhlant bychain, y rhai yr wyf yn eu hescor drachefn, hyd oni ffurfier Christ ynoch.

20 Ac mi a fynnwn pe bawn yn awr gyd â chwi, a newidio fy llais, o herwydd yr wyf yn ammeu || o honoch.

|| am danoch.

Yr Epistol y pedwerydd Sul o'r Garawys.

21 ☞ Dywedwch i mi y rhai ydych yn chwennych bôd tan y Ddeddf, onid ydych chwi yn clywed y Ddeddf?

22 Canys y mae yn scrifennedig fôd i Abraham ddau fâb: vn o'r wasanaeth-ferch, ac vn o'r [wraig] rydd.

23 Eithr yr hwn [oedd] o'r wasanaeth-ferch, a aned yn ôl y cnawd: a'r hwn [oedd] o'r [wraig] rydd, trwy'r addewid.

24 Yr hyn bethau ydynt mewn || alegori: canys y rhai hyn yw y ddau Destament, vn yn ddiau o fynydd Sina, yn cenhedlu i gaethiwed, yr hon yw Agar:

|| cyffelybiaeth.

25 Canys yr Agar ymma, yw mynydd Sina yn Arabia; ac y mae yn cyf-atteb i'r Jerusalem [sydd] yn awr, ac y mae yn gaeth [hi] a'i phlant.

26 Eithr y Jerusalem honno vchod, sydd rydd, yr hon yw ein mam ni oll.

27 Canys scrifennedig yw, * Llawenhâ di yr ammhlantadwy yr hon nid wyt yn heppilio: torr allan a llefa, yr hon nid wyt yn escor: canys i'r || vnic y mae llawer mwy o blant nag i'r hon y mae iddi wr.

* Esai 54. 1.

|| ymddifad.

28 A ninneu, frodyr, megis [yr oedd] Isaac, ydym blant yr addewid.

29 Eithr megis y pryd hynny, yr hwn a anwyd yn ôl y cnawd a erlidiai yr hwn [a anwyd] yn ôl yr Yspryd: felly yr awr hon hefyd.

30 Ond beth y mae 'r Scrythur yn ei ddywedyd? * Bwrw allan y wasanaeth-ferch, a'i mab: canys ni chaiff mab y wasanaeth-ferch etifeddu gyd â mab y [wraig] rydd.

* Gen. 21. 10.

31 Felly, frodyr, nid* plant i'r wasanaeth-ferch ydym, ond i'r [wraig] rydd.

## PEN. V.

1 Y mae efe yn eu hannog hwy i sefyll yn eu rhydd-did, 3 ac nad arferont Enwaediad. 13 Eithr yn hytrach cariad, yr hwn yw cyflawnder y Gyfraith. 19 Y mae efe yn rhifo gweithredoedd y Cnawd, 22 a ffrwythau yr Yspryd, 25 ac yn eu hannog i rodio yn yr Yspryd.



Sefwch gan hynny yn y rhydd-did â'r hon y rhyddhaodd Christ ni, ac na ddalier chwi drachefn dan iau caethiwed.

2 Wele, myfi Paul wyf yn dywedyd wrthych, os enwaedir chwi, ni les-hâ Christ ddim i chwi.

3 Ac yr wyf yn tystiolaethu drachefn i bôb dyn a'r a enwaedir, ei fôd efe yn ddyledwr i || gadw yr holl Ddeddf.

|| wneuthur.

4 Chwi a aethoch yn ddifudd oddi wrth Grist, y rhai ydych yn ymgyfiawnhau yn y Ddeddf: chwi a syrthiasoch ymmaith oddi wrth râs.

5 Canys nyni yn yr Yspryd drwy ffydd ydym yn disgwil gobaith cyfiawnder.

6 Canys yng-Hrist Jesu ni all enwaediad ddim, na di-enwaediad, ond ffydd yn gweithio trwy gariad.

7 Chwi a redasoch yn dda, pwy a'ch rhwystrodd chwi, fel nad vfyddhaech i'r gwirionedd?

8 Y cyngor [hyn] nid yw oddi wrth yr hwn sydd yn eich galw chwi.

9 Y mae ychydig lefein yn lefeinio yr holl does.

10 Y mae gennifi hyder am danoch yn yr Arglwydd, na synniwch chwi ddim arall: ond y neb sydd yn eich trallodi a ddwg farnedigaeth, pwy bynnag fyddo.

11 A myfi, frodyr, os yr Enwaediad etto yr wyf yn ei bregethu, pa ham i'm erlidir etto? yn wir tynnwyd ymmaith dramgwydd y groes.

12 Mi a fynnwn, iê pe torrid ymaith y rhai sy yn aflonyddu arnoch.

13 Canys i rydd-did i'ch galwyd chwi, frodyr: yn vnic nac [arferwch] y rhydd-did yn achlysur i'r cnawd, ond trwy gariad gwasanaethwch ei gilydd.

14 Canys yr holl Ddeddf a gyflawnir mewn vn gair, [sef] yn hwn, * Câr dy gymmydog fel ti dy hun.

* Leuit. 19. 18. Mat. 22. 39.

15 Ond os || cnoi a thraflyngcu ei gilydd yr ydych, gwiliwch na ddifether chwi gan ei gilydd.

|| brathu.

16 ☞ Ac yr wyf yn dywedyd, Rhodiwch yn yr Yspryd, ac || na chyflawnwch drachwant y cnawd.

Yr Epistol y xiiij. Sul ar ol y Drindod.

|| ni.

17 Canys y mae y cnawd yn chwennychu yn erbyn yr Yspryd, a'r Yspryd yn erbyn y cnawd: a'r rhai hyn a wrthwynebant ei gilydd, fell na alloch wneuthur beth bynnag a ewyllysioch.

18 Ond os gan yr Yspryd i'ch arweinir, nid ydych tan y Ddeddf.

19 Hefyd amlwg yw gweithredoedd y cnawd, y rhai yw, torr-priodas, godineb, aflendid, anlladrwydd,

20 Delw-addoliaeth, swyn-gyfaredd, || casineb, cynhennau, gwynfydau, llid, ymrysonau, ymbleidio, heresiau,

|| gelyniaeth.

21 Cenfigennau, llofruddiaeth, meddwdod, cyfeddach; a chyffelyb i'r rhai hyn: [am] y rhai yr wyf yn rhag-ddywedyd wrthych, megis ac y rhag-ddywedais, na chaiff y rhai sy yn gwneuthur y cyfryw bethau etifeddu teyrnas Dduw.

22 Eithr ffrwyth yr yspryd, yw cariad, llawenydd, tangneddyf, hir-ymaros, cymmwynasgarwch, daioni, ffydd, addfwynder, dirwest.

23 Yn erbyn y cyfryw nid oes Ddeddf.

24 A'r rhai [sydd] yn eiddo Christ, a groeshoeliasant y cnawd, a'i wyniau, a'i chwantau.

25 Os byw yr ydym yn yr Yspryd, rhodiwn hefyd yn yr Yspryd.

26 Na fyddwn wag-ogonedd gar, gan ymannog ei gilydd, gan ymgenfigennu wrth ei gilydd.

## PEN. VI.

1 Y mae efe yn eu hannog hwy i ymddwyn yn

llariaidd

llariaidd tuac at frawd a lithrodd, 2 ac i ddwyn bôb vn faich ei gilydd: 6 i fôd yn hael tuag at eu dyscawdwyr, 9 ac na ddeffygiont yn gwneuthur da. 12 Y mae efe yn dangos pa beth yw amcan y rhai sy'n pregethu'r Enwaedfad. 14 Nad yw efe yn gorfoleddu mewn dim, ond yngrhoes Christ.



Y Brodyr, os goddiweddir dŷn ar ryw fai, chwy-chwi y rhai ysprydol adgyweiriwch y cyfryw vn, mewn yspryd addfwynder: gan dy ystyried dy hun, rhag dy demtio ditheu.

2 Dygwch feichiau ei gilydd, ac felly cyflawnwch gyfraith Christ.

3 O blegid os tybia neb ei fôd yn rhyw beth, ac yntef heb fôd yn ddim, y mae efe yn ei || dwyllo ei hun.

|| Gr. feddwl-dwyllo.

4 Eithr profed pôb vn ei waith ei hun: ac yna y caiff orfoledd ynddo ei hun yn vnic, ac nid mewn arall.

5 Canys pôb vn a ddwg ei faich ei hun.

6 A chyfranned yr hwn a ddyscwyd yn y gair, â'r hwn sydd yn ei ddyscu, ym-mhôb peth da.

7 Na thwyller chwi: ni watwarir Duw: canys beth bynnac a hauo dŷn, hynny hefyd a fêd efe.

8 Oblegid yr hwn sydd yn hau i'w gnawd ei hun, o'r cnawd a fêd lygredigaeth: eithr yr hwn sydd yn hau i'r Yspryd, o'r Yspryd a fêd fywyd tragwyddol.

9 Eithr yn gwneuthur daioni na ddiogwn: canys yn ei iawn bryd y medwn, oni ddeffygiwn.

10 Am hynny tra ydym yn cael amser cyfaddas, gwnawn dda i bawb, ond yn enwedig i'r rhai sy o deulu'r ffydd.

11 Gwelwch cyhyd y llythyr a scrifennais attoch, â'm llaw fy hun.

12 Cynnifer ac sy yn ewyllysio ymdeccâu yn y cnawd, y rhai hyn sy yn eich cymmell i'ch enwaedu, yn vnic fel nad erlidier hwy oblegid croes Christ.

13 Canys nid yw y rhai a enwaedir, eu hunain yn cadw y Ddeddf: ond ewyllysio y maent enwaedu arnoch chwi, fel || y gorfoleddont yn eich cnawd chwi.

|| yr ymffrostiont.

14 Eithr na atto Duw i mi ymffrostio, ond yngrhoes ein Harglwydd Iesu Grist: drwy yr hwn y croes-hoeliwyd y bŷd i mi, a minneu i'r bŷd.

15 Canys yng Nghrist Iesu ni dichon Enwaediad ddim, na di-enwaediad, ond creadur newydd.

16 A chynnifer ac a rodiant yn ôl y rheol hon, tangneddyf arnynt a thrugaredd, ac ar Israel Duw.

17 O hyn allan, na flined neb fi: canys dwyn yr wyfi yn fy nghorph nodau'r Arglwydd Iesu.

18 Grâs ein Harglwydd Iesu Grist [a fyddo] gyd â'ch yspryd chwi, frodyr. Amen.

At y Galatiaid yr scrifennwyd o Rufain.





# EPISTOL PAVL YR Apostol at yr EPHESIAID.

PENNOD. I.

1 Ar ôl cyfarch yr Ephesiaid, 3 a diolch trostynt, 4 y mae efe yn crybwyll am ein etholedigaeth ni, 6 a'n mabwysiad trwy râs, 11 yr hyn yw gwîr ffynnon iechydwriaeth dyn: 13 ac am na ellir yn hawdd gyrhaeddyd vchder y dirgelwch hwn, 16 y mae efe yn gweddio a'r iddynt ddyfod 18 i gyflawn wybodaeth, a 20 meddiant o hono ynGhrist.



PAul Apostol Jesu Grist trwy ewyllys Duw, at y Saint sydd yn Ephesus, a'r ffyddloniaid ynGhrist Jesu.

2 Grâs [fyddo] i chwi a thangnefedd oddi wrth Dduw ein Tâd, a'r Arglwydd Jesu Grist.

3 Bendigedig [fyddo] Duw, a Thâd ein Harglwydd Jesu Grist, yr hwn a'n bendithiodd ni â phôb bendith ysprydol, yn y nefolion [|| leodd] ynGhrist:

[ bethau. ]

4 Megis yr etholodd efe ni ynddo ef, cyn seiliad y byd, fel y byddem yn sanctaidd ac yn ddifeius ger ei fron ef mewn cariad:

5 Wedi iddo ein rhaguniaethu ni i fabwysiad trwy Jesu Grist iddo ei hun, yn ôl bodlonrwydd ei ewyllys ef,

6 Er mawl gogoniant ei râs ef, trwy yr hwn || y gwnaeth ni yn gymmeradwy yn yr anwylyd:

|| Neu, y rhadgarodd ni.

7 Yn yr hwn y mae i ni brynedigaeth trwy ei waed ef, [sef] maddeuant pechodau, yn ôl cyfoeth ei râs ef:

8 Trwy yr hwn y bu efe helaeth i ni ym mhôb doethineb a deall:

9 Gwedi iddo yspysu i ni ddirgelwch ei ewyllys, yn ôl ei fodlonrwydd ei hun, yr hon a arfaethasei efe ynddo ei hun:

10 || Fel yngorchwiliaeth cyflawnder yr amseroedd, y gallai grynhoi ynghyd ynGhrist yr holl bethau sydd yn y nefoedd, ac ar y ddaiar, ynddo ef;

|| Hyd lywodraeth cyflawnder yr amseroedd i grynhoi &c.

11 Yn yr hwn || i'n dewiswyd hefyd, wedi ein rhaguniaethu yn ôl arfaeth yr hwn sydd yn gweithio pôb peth wrth gyngor ei ewyllys ei hun:

|| Neu, y cawsom etifeddiaeth,

12 Fel y byddem ni er mawl i'w ogoniant ef, y rhai o'r blaen a obeithiasom ynGhrist.

13 Yn yr hwn [y gobeithiasoch] chwithau hefyd, wedi i chwi glywed gair y gwirionedd, Efengyl eich iechydwriaeth, yn yr hwn hefyd, wedi i chwi gredu, i'ch seliwyd trwy lân Yspryd yr addewid:

14 Yr hwn yw || ernes ein etifeddiaeth ni, hyd brynniad || y pwrcas, i fawl ei ogoniant ef.

|| gwystl.
|| y meddiant a bwrcaswyd.

15 O herwydd hyn, minneu hefyd wedi clywed eich ffydd yn yr Arglwydd Jesu, a'ch cariad tu ac at yr holl Sainct,

16 Nid wyf yn peidio â diolch trosoch, gan wneuthur coffa am danoch yn fy ngweddiau:

17 Ar i Dduw ein Harglwydd Jesu Grist, Tâd y gogoniant, roddi i chwi yspryd doethineb, a datcuddiad, trwy ei adnabod ef:

18 Wedi goleuo llygaid eich meddyliau: fel y gwypoch beth yw gobaith ei alwedigaeth ef, a pheth [yw] golud gogoniant ei etifeddiaeth ef yn y Sainct:

19 A pheth yw rhagorol fawredd ei nerth ef, tu ac attom ni y rhai ŷm yn credu, yn ôl gweithrediad nerth ei gadernid ef:

20 Yr hon a weithredodd efe ynGhrist, pan y cyfododd ef o feirw; ac a'i gosododd i eistedd ar ei ddeheu-law ei hun, yn y nefolion [leoedd,]

21 Goruwch pôb tywysogaeth, ac awdurdod, a gallu, ac arglwyddiaeth, a phôb enw a henwir, nid yn unic yn y byd hwn, ond hefyd yn yr hwn a ddaw;

22 Ac a ddarostyngodd bôb peth tan ei draed ef: ac a'i rhoddes ef yn ben, uwch law pob peth i'r Eglwys,

23 Yr hon yw ei gorph ef, ei gyflawnder ef, yr hwn sydd yn cyflawni oll yn oll.

PEN. II.

1 Trwy gyffelybu yr hyn oeddym ni wrth 3 naturiaeth, a'r hyn ydym ni 5 trwy râs: Y mae efe yn dangos ddarfod ein creu ni i weithredoedd da, a 13 chan ein bod ni wedi ein dwyn yn agos trwy Crist, na ddylem ni fyw megis 11 Cenhedloedd, ac 12 estroniaid gynt, ond megis 19 cyddinasyddion â'r Sainct, a theulu Duw.

A


Chwithau[a fywhaodd efe,]pan oeddych feirw mewn camweddau, a phechodau,

2 Yn y rhai y rhodiasoch gynt yn ôl helynt y byd hwn, yn ôl tywysog llywodraeth yr awyr; yr yspryd sydd yr awron yn gweithio ym-mhlant anufydd-dod:

3 Ym mysc y rhai hefyd y bu ein ymarweddiad ni oll gynt yn chwantau ein cnawd, gan wneuthur ewyllysiau y cnawd, a'r meddyliau: ac yr oeddym ni wrth naturiaeth yn blant digofaint, megis eraill.

4 Eithr Duw, yr hwn sydd gyfoethog o drugaredd, o herwydd ei fawr gariad trwy yr hwn y carodd efe ni,

5 Ie pan oeddym feirw mewn camweddau, a'n cyd-fywhaodd ni gyd â Christ: (trwy râs yr ydych yn gadwedig:)

6 Ac a'n cyd-gyfododd, ac a'n gosododd i gyd-eistedd yn y nefolion [leoedd] ynGhrist Iesu.

7 Fel y gallei ddangos yn yr oesoedd a ddeuei, ragorol olud ei râs ef, trwy ei gymmwynascarwch i ni ynGhrist Iesu.

8 Canys trwy râs yr ydych yn gadwedig trwy ffydd: a hynny nid-o honoch eich hunain; rhodd Duw[ydyw]:

9 Nid o weithredoedd, fel nad ymffrostiai neb.

10 Canys ei waith ef ydym, wedi ein creu ynGhrist Iesu i weithredoedd da, y rhai a rag-ddarparodd Duw, fel y rhodiem ni ynddynt.

11 Am hynny cofiwch, a chwi gynt yn Genhedloedd yn y cnawd, y rhai a elwid yn ddi-enwaediad gan yr hyn a elwir Enwaediad o waith llaw yn y cnawd:

12 Eich bôd chwi y pryd hynny heb Grist, wedi eich dieithro oddi-wrth wladwriaeth Israel, ac yn estroniaid oddi wrth ammodau yr addewid, heb obaith gennych, ac heb Dduw yn y byd:

13 Eithr yr awron ynGhrist Iesu, chwy chwi y rhai oeddych gynt ym-mhell, a wnaethpwyd yn agos trwy waed Christ.

14 Canys efe yw ein tangneddyf ni, yr hwn a wnaeth y ddau yn un, ac a ddattododd ganol-fûr y gwahaniaeth rhyngom ni:

15 Ac a ddirymmodd, drwy ei gnawd ei hun, y gelyniaeth, [sef] Deddf y Gorchymmynion mewn ordeiniadau: fel y creai y ddau ynddo ei hun yn un dyn newydd, gan wneuthur heddwch,

16 Ac fel y cymmodei y ddau â Duw, yn un corph, trwy'r groes, wedi lladd y gelyniaeth|| trwyddi hi.

||Neu, ynddo ei hun.

17 Ac efe a ddaeth, ac a bregethodd dangnedyf i chwi y rhai pell, ac i'r rhai agos.

18 Oblegid trwyddo ef y mae i ni ein dau ddyfod mewn un Yspryd at y Tâd.

19 ☞ Weithian gan hynny nid ydych chwi mwyach yn ddieithriaid a dyfodiaid, ond yn gyd-ddinasyddion â'r Sainct, ac yn deulu Duw,

Yr Epistol ar ddigwyl S. Thomas Apostol.

20 Wedi eich goruwch-adeiladu ar sail yr Apostolion a'r Prophwydi, ac Iesu Grist ei hun yn ben-congl-faen:

21 Yn yr hwn y mae yr holl adeilad wedi ei chymmwys gyd-gysylltu yn cynnyddu yn Deml sanctaidd yn yr Arglwydd:

22 Yn yr hwn i'ch cyd-adeiladwyd chwithau, yn breswylfod i Dduw trwy yr Yspryd. ☜

## PEN. III.

1 Datfod yspyssu i Paul trwy ddatcuddiad, guddiedig ddirgelwch 6 cadwedigaeth y Cenhedloedd: 8 ac mai iddo efe y rhoesid y grâs iw 9 bregethu ef. 13 Y mae efe yn dymuno arnynt nâ lwrfhaont oblegid ei flinderau ef, 14 ac yn gweddio 19 ar iddynt wybod mawr gariad Duw tuag attynt.

Yr Epistol ar ddigwyl Ystwyll.


R mwyn hyn myfi Paul, carcharor Iesu Grist trosoch chwi y Cenhedloedd,

2 Os clywsoch am oruchwiliaeth grâs Duw, yr hon a roddwyd i mi tu ac attoch chwi:

3 Mai trwy ddatcuddiad yr yspysodd efe i mi y dirgelwch, (megis yr scrifennais o'r blaen ar ychydig[eiriau:]

4 Wrth yr hyn y gellwch, pan ddarllennoch, wybod fy neall i yn nirgelwch Christ.)

5 Yr hwn yn oesoedd eraill nid eglurwyd i feibion dynion, fel y mae yr awron wedi ei ddatcuddio iw sanctaidd Apostolion a'i Brophwydi trwy'r Yspryd;

6 Y byddai y Cenhedloedd yn gyd-etifeddion, ac yn gyd-gorph, ac yn gyd-gyfrannogion o'i addewid ef ynGhrist, trwy'r Efengyl:

7 I'r hon i'm gwnaed i yn weinidog, yn ôl rhodd grâs Duw, yr hwn a roddwyd i mi, yn ôl grymmus weithrediad ei allu ef.

8 I mi y llai nâ'r lleiaf o'r holl Sainct y rhoddwyd y grâs hyn, i efangylu ym mysc y Cenhedloedd, anchwiliadwy olud Christ,

9 Ac i egluro i bawb beth [yw] cymdeithas y dirgelwch, yr hwn oedd guddiedig o ddechreuad y byd yn Nuw, yr hwn a greawdd bôb peth trwy Iesu Ghrist:

10 Fel y byddei yr awron yn hyspys i'r tywysogaethau, ac i'r awdurdodau, yn y nefolion [leoedd,] trwy'r Eglwys; fawr amryw ddoethineb Duw:

11 Yn ôl yr arfaeth dragywyddol, yr hon a wnaeth efe ynGhrist Iesu ein Harglwydd ni:

12 Yn yr hwn y mae i ni hyfdra, a

dyfodfa mewn hyder, trwy ei ffydd ef.

Yr Epistol yr xvj. Sul wedi'r Drindod.

13 O herwydd pa ham yr wyf yn dymuno na lwfrhaoch oblegid fy mlinderau i trosoch, yr hyn yw eich gogoniant chwi.

14 O herwydd hyn yr wyf yn plygu fy ngliniau at Dâd ein Harglwydd Iesu Grist,

15 O'r hwn yr henwir yr holl || deulu yn y nefoedd, ac ar y ddaiar;

|| dadogaeth.

16 Ar roddi o honaw ef i chwi yn ôl cyfoeth ei ogoniant, fôd wedi ymgadarnhau mewn nerth, trwy ei Yspryd ef, yn y dŷn oddi mewn:

17 Ar fod Christ yn trigo trwy ffydd yn eich calonnau chwi;

18 Fel y galloch wedi eich gwreiddio, a'ch seilio mewn cariad, ymgyffred gyd â'r holl Sainct, beth yw'r lled, a'r hyd, a'r dyfnder, a'r vchder:

19 A gwybod cariad Christ, yr hwn sydd vwch-law gwybodaeth: fel i'ch cyflawner â holl gyflawnder Duw.

20 Ond i'r hwn a ddichon wneuthur yn dra-rhagorol, y tu hwnt i bob peth yr ydym ni yn eu dymuno, neu yn eu meddwl, yn ôl y nerth sydd yn gweithredu ynom ni,

21 Iddo efe [y byddo] y gogoniant yn yr Eglwys trwy Ghrist Iesu, tros yr holl genhedlaethau, hyd yn oes oesoedd. Amen.

## PEN. IIII.

1 Y mae yn eu hannoc hwynt i vndeb: 7 ac yn dangos bôd Duw yn rhoddi amryw 11 ddoniau i ddynion er mwyn 13 adeiladaeth ei Eglwys, a'i 16 chynnydd ynGhrist. 18 Ymae efe yn eu galw hwynt oddiwrth amhurdeb y Cenhedloedd, 24 i wisco y dyn newydd, 25 ac i fwrw ymaith gelwydd, ac 29 ymadrodd llygredic.

Yr Epistol y xvj. Sul wedi'r Drindod.

Deisyf gan hynny arnoch yr wyfi y carcharor yn yr Arglwydd, ar rodio o honoch yn addas i'r alwedigaeth i'ch galwyd iddi:

2 Gyd â phob gostyngeiddrwydd ac addfwynder, ynghyd â hirymaros, gan oddef ei gilydd mewn cariad:

3 Gan fod yn ddyfal i gadw vndeb yr Yspryd, ynghwlwm tangneddyf.

4 Un corph sydd, ac vn yspryd, megis ac i'ch galwyd yn vn gobaith eich galwedigaeth.

5 Un Arglwydd, vn ffydd, vn bedydd:

6 Un Duw a Thâd oll, yr hwn sydd goruwch oll, a thrwy oll, ac ynoch oll.

Yr Epistol ar ddydd S. Marc.

7 Eithr i bob vn o honom y rhoed grâs, yn ol mesur dawn Christ.

8 O herwydd pa ham, y mae efe yn dywedyd, * Pan dderchafodd i'r vchelder, efe a gaethiwodd gaethiwed, ac a roddes roddion i ddynion.

* Psal.68.18.

9 (Eithr, Efe a dderchafodd, beth yw ond darfod iddo hefyd ddescyn yn gyntaf i barthau isaf y ddaiar?

10 Yr hwn a ddescynnodd, yw yr hwn hefyd a escynnodd goruwch yr holl nefoedd, fel y || cyflawnei bob peth.)

|| llanwei.

11 * Ac efe a roddes rai yn Apostolion, a rhai yn Brophwydi, a rhai yn Efangylwyr, a rhai yn Fugeiliaid ac yn Athrawon:

* 1 Cor.12.28.

12 I berffeithio y Sainct, i waith y weinidogaeth, i adeilad corph Christ:

13 Hyd oni ymgyfarfyddom oll || yn vndeb ffydd, a gwybodaeth Mâb Duw, yn wr perffaith, at fesur || oedran cyflawnder Christ.

|| i.

|| maintioli.

14 Fel na byddom mwyach yn blantos, yn bwhwmman ac yn ein cylch-arwain â phob awel dysceidiaeth, trwy hocced dynion, trwy gyfrwysdra, i gynllwyn || i dwyllo:

|| twyll.

15 Eithr gan fod yn || gywir mewn cariad, cynyddu o honom iddo ef ym-mhob peth, yr hwn yw'r pen, [sef] Christ:

|| airwir.

16 * O'r hwn y mae yr holl gorph wedi ei gyd-ymgynnull a'i gyd-gyssylltu, trwy bob || cymmal cynhaliaeth, yn ôl y nerthol weithrediad ym mesur pob rhan, yn gwneuthur cynnydd y corph, i'w adeilad ei hun mewn cariad.

* Col.2.19.

|| cyswllt.

Yr Epistol y xix. Sul wedi'r Drindod.

17 Hyn gan hynny yr wyf yn ei ddywedyd, ac yn ei dystiolaethu yn yr Arglwydd, na rodioch chwi mwyach, fel y mae y Cenhedloedd eraill yn rhodio yn oferedd eu meddwl:

18 Wedi tywyllu eu deall, wedi ymddieithro oddi wrth fuchedd Dduw, drwy'r anwybodaeth sydd ynddynt trwy || * ddallineb eu calon:

|| galedrwydd. Rhuf.1.21.

19 Y rhai wedi diddarbodi, a ymroesant i drythyllwch, i wneuthur pôb aflendid yn vn-chwant.

20 Eithr chwy-chwi nid felly y dyscasoch Grist:

21 Os bu i chwi ei glywed ef, ac os dyscwyd chwi ynddo, megis y mae'r gwirionedd yn yr Iesu:

22 Dodi o honoch heibio, o ran yr ymarweddiad cyntaf, yr hên ddŷn, yr hwn sydd lygredig yn ôl y chwantau twyllodrus:

23 Ac ymadnewyddu yn yspryd eich meddwl,

24 A gwisco y dŷn newydd yr hwn yn ôl Duw a grewyd mewn cyfiawnder || a gwir sancteiddrwydd.

|| a sancteiddrwydd y gwirionedd.

25 O herwydd pa ham, gan fwrw ymaith gelwydd, dywedwch y gwir bob vn || wrth ei gymmydog: oblegid aelodau ydym i'w gilydd.

|| gyd â'i

26 Digiwch, ac na phechwch: na fachluded yr haul ar eich digofaint chwi:

27 Ac na roddwch le i ddiafol.

28 Yr hwn a ledrataodd, na ledratted mwyach, eithr yn hytrach cymmered boen, gan weithio â'i ddwylo yr hyn sydd dda, fel y byddo ganddo beth i'w gyfrannu i'r hwn y mae angen arno.

29 Na ddeued vn ymadrodd llygredig allan o'ch genau chwi: ond y cyfryw vn ac a fyddo

a fyddo da i adeiladu yn fuddiol, fel y paro râs i'r gwrandawyr.

30 Ac na thristêwch lân Yspryd Duw, trwy 'r hwn i'ch seliwyd hyd ddydd prynedigaeth.

31 Tynner ymmaith oddi wrthych bôb chwerwedd, a llid, a dig, a llefain, a chabledd, gyd â phôb drygioni.

32 * A byddwch gymmwynasgar i'w gilydd, yn dosturiol, yn maddeu i'w gilydd, megys y maddeuodd Duw || er mwyn Christ i chwithau.

* 2 Cor.2.10.

|| yngbrist.

PEN. V.

2 Ar ôl cynghorion cyffredinawl i garu ei gilydd, 3 ac i ochelyd godineb, a 4 phob aflendid, 7 ac i beidio a chyttal â'r annuwiol, 15 ac i rodio yn ddiesceulus, 18 ac i fod yn llawn o'r Yspryd: 22 y mae efe yn dyfod at ddledion gwahanredol, pa fodd y dylai wragedd vfyddhau iw gwyr, 25 a gwyr garu eu gwragedd, 32 megys y mae Christ yn caru ei Eglwys.

Yr Epistol y trydydd Sul o'r Garawys.



Byddwch gan hynny ddilynwyr Duw, fel plant anwyl:

2 A rhodiwch mewn cariad, megis y carodd Christ ninnau, ac a'i rhoddodd ei hun trosom ni yn offrwm ac yn aberth i Dduw, o arogl peraidd.

3 Eithr godineb, a phôb aflendid, neu gybydd-dra, na henwer chwaith yn eich plith, megis y gweddei i Saint:

4 Na || serthedd, nac ymadrodd ffôl, na choeg-ddigrifwch, pethau nid ydynt weddus: eithr yn hytrach rhoddi diolch.

|| bryntni.

5 Canys yr ydych chwi yn gwybod hyn, am bôb puttein-wr, neu aflan, neu gybydd, yr hwn sydd ddelw-addolwr, nad oes iddynt etifeddiaeth yn nheyrnas Christ a Duw.

6 Na thwylled neb chwi â geiriau ofer: canys oblegid y pethau hyn y mae digofaint Duw yn dyfod ar blant yr anufydddod.

7 Na fyddwch gan hynny gyfrannogion â hwynt.

8 Canys yr oeddych chwi || gynt yn dywyllwch, ond yr awron goleuni [ydych] yn yr Arglwydd: rhodiwch fel plant y goleuni,

|| ryw amser.

9 (Canys ffrwyth yr Yspryd [sydd] ym mhôb daioni, a chyfiawnder, a gwirionedd.)

10 Gan brofi beth sydd gymmeradwy gan yr Arglwydd:

11 Ac na fydded i chwi gyd-gyfeillach â gweithredoedd anffrwythlawn y tywyllwch, eithr yn hytrach argyoeddwch hwynt.

12 Canys brwnt yw adrodd y pethau a wneir ganddynt hwy yn ddirgel.

13 Eithr pôb peth, wedi 'r argyoedder, a eglurir gan y goleuni: canys beth bynnag sydd yn egluro, goleuni yw.

14 O herwydd pa ham y mae efe yn dywedyd, * Deffro di yr hwn wyt yn cysgu, a chyfod oddi wrth y meirw; a Christ a oleua i ti.

* Esai.60.1.

15 * || Gwelwch gan hynny, pa fodd y rhodioch yn ddiesceulus: nid fel annoethion, ond fel doethion;

Yr Epistol yr vgeinfed Sul ar ol y Drindod.

* Col.4.5.

|| Edrychwch.

16 Gan brynu 'r amser, oblegid y dyddiau sy ddrwg.

17 Am hynny na fyddwch annoethion, eithr yn deall beth [yw] ewyllys yr Arglwydd.

18 Ac na feddwer chwi gan win, yn yr hyn y mae gormodedd, eithr llanwer chwi â'r Yspryd:

19 Gan lefaru wrth ei gilydd mewn Psalmau, a Hymnau, ac odlau ysprydol: gan ganu a phyngcio yn eich calon i'r Arglwydd:

20 Gan ddiolch yn wastad i Dduw a'r Tâd, am bôb peth, yn enw ein Harglwydd Jesu Ghrist:

21 Gan ymddarostwng i'w gilydd yn ofn Duw.

22 Y gwragedd, ymostyngwch i'ch gwyr priod, megis i'r Arglwydd:

23 Oblegid y gwr yw pen y wraig, megis ac [y mae] Christ yn ben i'r Eglwys, ac efe yw iachawdur y corph.

24 Ond fel y mae yr Eglwys yn ddarostyngedig i Grist, felly hefyd [bydded] y gwragedd i'w gwyr priod ym mhôb peth.

25 Y gwyr, cerwch eich gwragedd, megis ac y carodd Christ yr Eglwys, ac a'i rhoddes ei hun trosti:

26 Fel y sancteiddiei efe hi, a'i glânhâu â'r olchfa ddwfr, trwy 'r gair.

27 Fel y gosodei efe hi yn || ogoneddus iddo ei hun, yn Eglwys heb arni na brycheuyn na chrychni, na dim o'r cyfryw, ond fel y byddei yn sanctaidd, ac yn ddifeius.

|| Eglwys ogoneddus iddo ei hun heb &c.

28 Felly y dylei y gwyr garu eu gwragedd megis eu cyrph eu hunain: yr hwn a garo ei wraig, sydd yn ei garu ei hun:

29 Canys ni chasâodd neb erioed ei gnawd ei hun, eithr ei fagu, a'i feithrin y mae, megis ac [y mae] 'r Arglwydd am yr Eglwys:

30 Oblegid aelodau ydym o'i gorph ef, o'i gnawd ef, ac o'i escyrn ef.

31 Am hynny y gâd dŷn ei dâd a'i fam, ac y glŷn wrth ei wraig, a hwy a fyddant ill dau yn vn cnawd.

32 Y dirgelwch hwn sydd fawr: eithr am Ghrist, ac am yr Eglwys yr wyf yn dywedyd.

33 Ond chwithau hefyd cymmain vn, felly cared pôb vn o honoch ei wraig, fel ef ei hunan: a'r wraig [edryched] ar iddi berchi ei gwr.

PEN. VI.

1 Dled-swydd plant tuag at eu rhieni: 5 a gweision tuac at eu harglwyddi. 10 Mai milwriaeth yw ein bywyd ni, 12 nid yn vnic yn erbyn cîg â gwaed, eithr hefyd yn erbyn gelynion ysprydawl. 13 Cyflawn arfogaeth Gristion, 18 a'r modd yr arferir. 21 Canmol Tychicus.

Y Plant, vfyddhewch i'ch rhieni yn yr Arglwydd: canys hyn sydd gyfiawn.

2 An-

2 Anrhydedda dy dâd a'th fam (yr hwn yw y gorchymmyn cyntaf mewn addewid.)

3 Fel y byddo yn dda i ti, ac fel y byddech hir-hoedlog ar y ddaiar.

4 A [chwithau] dadau, na yrrwch eich plant i ddigio, ond maethwch hwynt yn addysc || ac athrawiaeth yr Arglwydd.

|| a rhybydd.

5 Y gweision ufyddhewch i'r rhai [sydd] arglwyddi [i chwi] yn ôl y cnawd, gyd ag ofn a dychryn, yn symlrwydd eich calon, megis i Ghrist,

6 Nid a golwg-wasanaeth, fel bodlonwyr dynion: ond fel gweision Christ, yn gwneuthur ewyllys Duw o'r galon:

7 Trwy ewyllys da yn gwneuthur gwasanaeth, megys i'r Arglwydd, ac nid i ddynion.

8 Gan wybod mai pa ddaioni bynnag a wnelo pôb un, hynny a dderbyn [efe] gan yr Arglwydd, pa un bynnag ai caeth ai rhydd [fyddo.]

9 A [chwithau] feistred gwnewch yr un pethau tu ac attynt hwy, gan roddi bygwth heibio: gan wybod fôd eich Arglwydd || chwi a hwythau yn y nefoedd, ac || nid oes derbyn wyneb gyd ag ef.

|| chwithau hefyd.
|| nad.

10 ☞ Heb law hyn, fy mrodyr, ymnerthwch yn yr Arglwydd, ac ynghadernid ei allu ef:

Yr Epistol yr xxj. Sul wedi 'r Drindod.

11 Gwiscwch oll-arfogaeth Duw, fel y galloch sefyll yn erbyn cynllwynion diafol.

12 Oblegid nid yw ein hymdrech ni yn erbyn gwaed a chnawd, ond yn erbyn tywysogaethau, yn erbyn awdurdodau, yn erbyn bydol-lywiawdwyr tywyllwch y bŷd hwn, yn erbyn || drygau ysprydol yn y nefolion [|| leoedd.]

|| ysprydion drwg.
|| [bethau.]

13 Am hynny cymmerwch attoch holl-arfogaeth Duw, fel y galloch wrth-sefyll yn y dydd drwg, ac wedi gorphen pôb peth, sefyll.

14 Sefwch gan hynny wedi amgylchwregysu eich lwynau â gwirionedd, a gwisco dwyfronneg cyfiawnder:

15 A gwisco am eich traed escidiau paratôad Efengyl tangneddyf.

16 || Uwch law pôb dim, wedi cymmeryd tarian y ffydd, â'r hwn y gellwch ddiffoddi holl biccellau tanllyd y || fall.

|| Heb law. Neu, Ymmlâ peth
|| drwg.

17 Cymmerwch hefyd helm yr iechydwriaeth, a chleddyf yr Yspryd, yr hwn yw gair Duw:

18 Gan weddio bôb amser, â phôb rhyw weddi a deisyfiad yn yr yspryd, a bôd yn wiliadurus at hyn ymma, trwy bôb dyfalbara, a deisyfiad tros yr holl Sainct:

19 A throsof finneu, fel y rhodder i mi ymadrodd drwy agoryd fy ngenau yn hŷ, i yspysu dirgelwch yr Efengyl:

20 Tros yr hon yr wyf yn gennad mewn cadwyn: fel y traethwyf yn hŷ am deni, fel y perthyn i mi draethu. ☜

21 Ond fel y gwypoch chwithau hefyd fy helynt, beth yr wyf yn ei wneuthur, Tychicus y brawd anwyl, a'r gwenidog ffyddlon yn yr Arglwydd, a yspysa i chwi bôb peth.

22 Yr hwn a anfonais attoch er mwyn hyn ymma, fel y caech wybod ein helynt ni, ac fel y diddanai efe eich calonnau chwi.

23 Tangneddyf i'r brodyr, a chariad gyd â ffydd oddi wrth Dduw Tâd, a'r Arglwydd Iesu Ghrist.

24 Grâs fyddo gyd â phawb sy yn caru ein Harglwydd Iesu Ghrist mewn || purdeb. Amen.

|| anllygredigarth.

At yr Ephesiaid yr scrifennwyd o Rufein gyd â Tychicus.



EPISTOL



# EPISTOL PAUL YR APOSTOL AT Y PHILIPPIAID.

## PEN. I.

1 Y mae efe yn tystiolaethu ei ddiolchgarwch i Dduw, a'i ferch tuag attynt hwythau, am ffrwythau ei ffydd hwynt, a'u cymdeithas yn ei ddioddefiadau ef, 9 gan weddio beunydd, ar iddynt gynnyddu mewn grâs: 12 Y mae efe yn dangos pa ddaioni a ddaeth i ffydd Ghrist trwy ei flinderau ef yn Rhufain, 21 ac mor barod ydyw ef i ogoneddu Christ, pa vn bynnac ai trwy fywyd, a'i trwy farwolaeth: 27 gan eu hannog hwy i vndeb, 28 ac i fod yn gryfion mewn erlid.



Paul a Thimotheus gweision Iesu Ghrist, at yr holl Sainct ynGhrist Iesu, y rhai sy yn Philippi, gyd â'r Escobion a'r Diaconiaid:

2 Grâs i chwi a thangneddyf oddi wrth Dduw ein Tâd ni, a'r Arglwydd Iesu Grist.

Yr Epistol y xxii. Sul ar ol y Drindod.

3 ☞ I'm Duw yr ydwyf yn diolch, ym mhôb coffa am danoch,

4 Bôb amser ym mhôb deisyfiad o'r eiddof trosoch chwi oll, gan wneuthur fy neisyfiad gyd â llawenydd:

5 Oblegid eich cymdeithas chwi yn yr Efengyl, o'r dydd cyntaf hyd yr awrhon:

6 Gan fôd yn hyderus yn hyn, y bydd i'r hwn a ddechreuodd ynoch waith da, ei orphen hyd ddydd Iesu Grist:

7 Megis y mae yn iawn i mi synied hyn am danoch oll, || am eich bôd gennif yn fy nghalon, yn gymmaint a'ch bôd chwi oll, yn gystal yn fy rhwymau, ac yn fy amddiffyn, a chadarnhâd yr Efengyl, yn gyfrannogion || â mi o râs.

|| am fod genych fi yn eich calon.
|| o'm grâs.

8 Canys Duw sydd dyst i mi, mor hiraethus wyf am danoch oll yn ymyscaroedd Iesu Grist.

9 A hyn yr wyf yn ei weddio, ar amlhau o'ch cariad chwi etto fwy-fwy, mewn gwybodaeth, a phôb synwyr.

10 Fel y profoch y pethau sy || a gwahaniaeth rhyngddynt: fel y byddoch bur a didramgwydd hyd ddydd Christ:

|| rhagorol.

11 Wedi eich cyflawni â ffrwythau cyfiawnder, y rhai [sydd] trwy Iesu Grist, er gogoniant a moliant i Dduw. ☜

12 Ac mi a ewyllysiwn i chwi wybod, frodyr, am y pethau a ddigwyddodd i mi, ddyfod o honynt yn hytrach er llwyddiant i'r Efengyl:

13 Yn gymmaint a bôd fy rhwymau i || ynGhrist, yn eglur yn yr holl lys, ac || ym mhôb [lle] arall:

|| o achos Christ.
|| i bawb eraill.

14 Ac i lawer o'r brodyr yn yr Arglwydd fyned yn hyderus wrth fy rhwymau i, a bôd yn hyfach o lawer i draethu y gair yn ddiofn.

15 Y mae rhai yn wir yn pregethu Christ trwy genfigen ac ymryson: a rhai hefyd o ewyllys da.

16 Y naill sy'n pregethu Christ o gynnen, nid yn bur, gan feddwl dwyn mwy o flinder i'm rhwymau i:

17 A'r lleill o gariad, gan wybod mai er amddeffyn yr Efengyl i'm gosodwyd.

18 Beth er hynny? etto ym mhôb modd, pa vn bynnag ai mewn rhith, ai mewn gwirionedd, yr ydys yn pregethu Christ: ac yn hyn yr ydwyf yn llawen, ie a llawen fyddaf.

19 Canys mi a wn y digwydd hyn i mi er iechydwriaeth, trwy eich gweddi chwi, a chynnorthwy Yspryd Iesu Grist,

20 Yn ôl fy awydd-fryd a'm gobaith, na'm gwradwyddir mewn dim, eithr mewn pôb hyder, fel bôb amser, [felly] yr awrhon hefyd, y mawrygir Christ yn fy nghorph i, pa vn bynnag ai trwy fywyd, ai trwy farwolaeth.

21 Canys byw i mi [yw] Crist, a marw [sydd] elw.

22 Ac os byw fyddaf yn y cnawd, hyn [yw] ffrwyth [fy] llafur; a pha beth a ddewisaf, nis gwn.

23 Canys y mae yn gyfyng arnaf o'r ddeu[tu,] gan fôd gennif chwant i'm dattod, ac i fod gyd â Christ: canys llawer || iawn gwell [ydyw:]

|| mwy.

24 Eithr aros yn y cnawd, [sydd] fwy angenrheidiol o'ch plegid chwi.

25 A chennyf yr hyder hyn, yr wyf yn gwybod yr arhosaf, ac y cyd-trigaf gyd â chwi oll, er cynnydd i chwi, a llawenydd y ffydd,

26 Fel y byddo eich gorfoledd chwi yn helaethach ynGhrist Iesu o'm plegid i, drwy fy nyfodiad i drachefn attoch.

27 Yn vnic ymddygwch yn addas i Efengyl

yl Grist, fel pa vn bynnag [a wnelwyf] ai dyfod a'ch gweled chwi, ai bôd yn absennol, y clywyf oddiwrth eich helynt chwi, eich bôd yn sefyll yn vn yspryd, ac vn enaid, gan gyd-ymdrech || gyd â ffydd yr Efengyl:

|| Neu, tros, neu, trwy.

28 Ac heb eich dychrynu mewn vn dim gan eich gwrthwyneb wŷr: yr hyn iddynt hwy yn wir sydd arwydd sicr o golledigaeth, ond i chwi o iechydwriaeth: a hynny gan Dduw.

29 Canys i chwi y rhoddwyd [bôd i chwi] er Christ, nid yn vnic gredu ynddo ef, ond hefyd dioddef erddo ef.

30 Gan fôd i chwi yr vn ymdrin ac a welsoch ynofi, ac yr awron a glywch ei [fôd] ynofi.

PEN. II.

1 Y mae efe yn eu hannog hwynt i vndeb, ac i bôb gostyngeiddrwydd meddwl, trwy siampl vfydd-dod a derchafiad Crist: 12 ac i fyned rhagddynt yn ofalus yn ffordd iechydwriaeth, fel y bônt megis yn oleuadau i'r byd annuwiol, 16 ac yn ddiddanwch iddo yntef, eu Apostol hwynt, yr hwn sydd bellach barod iw offrymmu i Dduw. 19 Y mae efe yn gobeithio danfon Timotheus attynt, yr hwn y mae efe yn ei ganmol yn fawr, 25 ac felly Epaphroditus, yr hwn y mae ef ar fedr ei ddanfon attynt yn ddiattreg.



O [oes] gan hynny ddim diddanwch ynGhrist, od oes dim cyssur cariad, od oes dim cymdeithas yr Yspryd, od oes dim ymyscaroedd a thosturiaethau;

2 Cyflawnwch fy llawenydd, fel y byddoch yn meddwl yr vn peth, a'r vn cariad gennych, yn gyttûn, yn synnied yr vn peth.

3 Na [wneler] dim drwy gynnen, neu wâg-ogoniant, eithr mewn gostyngeiddrwydd, gan dybied ei gilydd yn well nâ chwi eich hunain.

4 Nac edrychwch bôb vn ar yr eiddoch eich hunain, eithr pôb vn ar yr eiddo eraill hefyd.

Yr Epistol y Sul nesaf o flaen y Pasc.

5 ☞ Canys bydded ynoch y meddwl ymma, yr hwn [oedd] hefyd ynGhrist Iesu:

6 Yr hwn ac efe yn ffurf Duw, ni thybiodd yn drais fôd yn ogyfuwch â Duw:

|| gwaghaodd.

7 Eithr efe a'i || dibrisiodd ei hun, gan gymmeryd arno agwedd gwâs, ac a wnaed mewn || cyffelybiaeth dynion:

|| neu, gosgedd.

8 A'i gael mewn dull fel dŷn, efe a'i darostyngodd ei hun, gan fôd yn vfydd hyd angeu, ie angeu'r groes.

9 O herwydd pa ham Duw a'i tra-derchafodd yntef, ac a roddes iddo Enw, yr hwn [sydd] goruwch pôb enw:

10 Fel yn Enw Iesu y plygei pôb glin o'r nefolion, a'r daiarolion, a than-ddaiarolion bethau:

11 Ac y cyffesei pôb tafod [fôd] Iesu Grist yn Arglwydd, er gogoniant Duw Tâd. ☜

12 Am hynny fy anwylyd, megis bôb amser yr vfyddhasoch, nid fel yn fy ngwydd yn vnic, eithr yr awron yn fwy o lawer yn fy absen, gweithiwch allan eich iechydwriaeth eich hunain || drwy ofn a dychryn.

|| gyd og.

13 Canys Duw yw'r hwn sydd yn gweithio ynoch ewyllysio a gweithredu, o'i ewyllys da ef.

14 Gwnewch bôb dim heb rwgnach, ac ymddadleu:

15 Fel y byddoch ddiargyoedd, a || diniwed, yn blant difeius i Dduw, ynghanol cenhedlaeth ddrygionus a throfaus: ym mhlith y rhai yr ydych yn disclairio, megis goleuadau yn y byd;

|| neu, plurion.

16 Yn cynnal gair y bywyd; er gorfoledd i mi || yn-nydd Christ, na redais yn ofer, ac na chymmerais boen yn ofer.

|| neu, hyd ddydd neu, erbyn dydd.

17 Ie, a phe'm || hoffrymmid ar aberth a gwasanaeth eich ffydd, llawenhau'r wyf, a chyd-lawenhau â chwi oll.

|| aberthid.

18 Oblegid yr vn [peth] hefyd byddwch chwithau lawen, a chyd-lawenhewch â minneu.

19 Ac yr wyf yn gobeithio yn yr Arglwydd Iesu, anfon Timotheus ar fyrder attoch, fel i'm cyssurer inneu hefyd, wedi i mi wybod eich helynt chwi.

20 Canys nid oes gennif neb o gyffelyb feddwl, yr hwn || a wir ofala am y pethau a berthyn i chwi.

|| neu, yn naturiol a ofala.

21 Canys pawb sy yn ceisio yr eiddynt eu hunain, nid yr eiddo Crist Iesu.

22 Eithr y prawf o honaw ef, chwi a'i gwyddoch, mai fel plentyn gyd â thâd, y gwasanaethodd efe gyd â myfi yn yr Efengyl.

23 Hwn gan hynny yr ydwyf yn gobeithio ei ddanfon, cyn gynted ac y gwelwyf yr hyn a fydd i mi.

24 Ac y mae gennif hyder yn yr Arglwydd, y deuaf finneu hefyd ar fyrder attoch.

25 Eithr mi a dybiais yn angenrheidiol ddanfon attoch Epaphroditus fy mrawd, a'm cyd-weithwr, a'm cyd-filwr, ond eich || cennad chwi, a gwenidog i'm cyfreidiau inneu.

|| Apostol.

26 Canys yr oedd efe yn hiraethu am danoch oll, ac yn athrist iawn, oblegid i chwi glywed ei fôd ef yn glaf.

27 Canys yn wir efe a fu glaf, yn agos i angeu: ond Duw a drugarhaodd wrtho ef: ac nid wrtho ef yn vnic, ond wrthif finnau hefyd, rhac cael o honof dristwch ar dristwch.

28 Yn fwy || diwyd gan hynny yr anfonais i ef, fel gwedi i chwi ei weled ef drachefn, y byddech chwi lawen, ac y byddwn inneu yn llai fy nhristwch.

|| gofalus.

29 Derbyniwch ef gan hynny yn yr Arglwydd, gyd â phôb llawenydd: a'r cyfryw rai || gwnewch gyfrif o honynt.

|| anrhydeddwch

30 Canys oblegid gwaith Christ y bu efe yn agos i angeu, ac y bu di-ddarbod am ei einioes, fel y cyflawnei efe eich diffyg chwi, o'ch gwasanaeth tu ac attafi.

## PEN. III.

1 Y mae efe yn eu rhybuddio hwy i ochelyd gau-Athrawon yr Enwaediad, ac 4 yn dangos fod iddo ef fwy o achos nag iddynt hwy, i hyderu ynghyfiawnder y Ddeddf: 7 yr hyn, er hynny, y mae efe yn ei gyfrif yn dom ac yn golled, er mwyn ynnill Christ, a'i gyfiawnder ef, 12 gan gydnabod ei amherffeithrwydd ei hun yn hyn. 15 Y mae efe yn eu hannog hwy i fôd o'r meddwl hwn, 17 ac iw ddynwared ef, 18 ac i ochelyd ffyrdd Christianogion cnawdol.

Weithian, fy mrodyr, byddwch llawen yn yr Arglwydd: scrifennu yr vn pethau attoch, gennifi yn wir nid [yw] flin, ac i chwithau [y mae] yn ddiogel.

2 Gochelwch gŵn. Gochelwch ddrwg-weithwyr. Gochelwch y cyd-torriad.

3 Canys yr enwaediad ydym ni y rhai ydym yn gwasanaethu Duw yn yr yspryd, ac yn gorfoleddu ynGhrist Jesu, ac nid yn ymddiried yn y cnawd.

4 Ac er bôd gennifi [achos i] ymddiried, ie yn y cnawd: os yw neb arall yn tybied [y gall] ymddiried yn y cnawd, myfi yn fwy:

5 Wedi enwaedu arnaf yr wythfed dydd, o genedl Israel, o lwyth Beniamin, yn Hebræwr o'r Hebræaid, yn ôl y Ddeddf yn Pharisæad:

6 Yn ôl zêl, yn erlid yr Eglwys: yn ôl y cyfiawnder sydd yn y Ddeddf, yn || ddiargyoedd.

|| *ddiachwyn arnaf.*

7 Eithr y pethau oedd elw i mi, y rhai hynny a gyfrifais i yn golled er mwyn Christ.

8 Ie yn ddiammeu yr wyf hefyd yn cyfrif pôb peth yn golled, o herwydd ardderchowgrwydd gwybodaeth Christ Jesu fy Arglwydd: er mwyn yr hwn i'm colledwyd ym mhôb peth, ac yr wyf yn eu cyfrif yn dom, fel yr ennillwyf Grist,

9 Ac i'm caer ynddo ef heb fy nghyfiawnder fy hun, yr hwn [sydd] o'r gyfraith, ond yr hwn [sydd] trwy ffydd Grist, [sef] y cyfiawnder [sydd] o Dduw trwy ffydd.

10 Fel yr adnabyddwyf ef, a grym ei adgyfodiad ef, a chymdeithas ei ddioddefiadau ef, gan fôd wedi fy nghyd-ffurfio â'i farwolaeth ef:

11 Os mewn vn modd y gallwn gyrhaeddyd adgyfodiad y meirw:

12 Nid fel pe bawn wedi ei gyrhaeddyd eusys, neu fôd eusys wedi fy mherffeithio: eithr dilyn yr wyf fel y gallwyf ymafyd [yn y peth] hwn hefyd yr ymaflwyd ynof gan Grist Jesu.

13 Y brodyr, nid wyfi yn bwrw ddarfod i mi gael gafael; ond vn peth, gan anghofio y pethau sy o'r tu cefn, ac ymestyn at y pethau o'r tu blaen,

14 Yr ydwyf yn cyrchu at y nôd, am gamp vchel alwedigaeth Duw ynGhrist Jesu.

15 Cynnifer gan hynny [ac ydym] berffaith, syniwn hyn: ac os ydych yn synied dim yn amgenach, hyn hefyd a ddatcuddia Duw i chwi.

16 Er hynny y peth y daethom atto, cerddwn wrth yr vn rheol, syniwn yr vn peth.

17 ☞ Byddwch ddilynwyr i mi, frodyr, ac edrychwch ar y rhai sy yn rhodio felly, megis yr ydym ni yn siampl i chwi.

Yr Epistol y xxiij Sul yn ol y Drindod.

18 (Canys y mae llawer yn rhodio, am y rhai y dywedais i chwi yn fynych, ac yr ydwyf yr awron hefyd, tan wylo yn dywedyd, [mai] gelynion croes Christ [ydynt:]

19 Diwedd y rhai [yw] destryw; duw y rhai [yw] eu bol, a'u gogoniant yn eu cywilydd: y rhai [sydd] yn synied pethau daiarol.)

20 Canys ein hymarweddiad ni sydd yn y nefoedd, o'r lle hefyd yr ydym yn disgwyl yr Jachawdwr, yr Arglwydd Jesu Grist:

21 Yr hwn a gyfnewidia || ein corph gwael ni, fel y gwneler ef yr vn ffurf || a'i gorph gogoneddus ef, yn ôl y nerthol weithrediad trwy 'r hwn y dichon efe, || ie ddarostwng pôb peth iddo ei hun. ☜

|| *corph ein gwaeledd ni.*
|| *a chorph ei ogonedd ef.*
|| *hefyd, neu, : hyd yn oed.*

## PEN. IIII.

1 Yn ol rhybuddion nailltuol, 4 y mae efe yn myned rhagddo at gynghorion cyffredinawl, 10 ac yn dangos pa fôdd y llawenychodd efe wrth eu haelioni hwy tuag atto ef, pan oedd yngharchar, nid yn gymmaint am iddynt borthi ei anghenion ef, ac am y grâs Duw oedd ynddynt hwy. 19 Ac felly y mae ef yn diweddu, gan weddio, a'i hannerch hwy.



Am hynny, fy mrodyr anwyl a hoff, fy llawenydd a'm coron, felly sefwch yn yr Arglwydd, anwylyd.

2 Yr ydwyf yn attolwg i Euodias, ac yn attolwg i Syntyche synied yr vn peth yn yr Arglwydd:

3 Ac yr ydwyf yn dymuno arnat titheu fy ngwir gymmar, cymmorth [y gwragedd] hynny, y rhai yn yr Efengyl a gyd-lafuriasant â mi, ynghyd a Chlement hefyd, a'm cydweithwyr eraill, y rhai [y mae] eu henwau yn llyfr y bywyd.

4 ☞ Llawenhewch yn yr Arglwydd yn wastadol: a thrachefn meddaf, llawenhewch.

Yr Epistol y pedwerydd Sul o'r Advent.

5 Bydded eich arafwch yn hyspys i bôb dyn. [Y mae] 'r Arglwydd yn agos.

6 Na ofelwch am ddim: eithr ym mhôb peth mewn gweddi ac ymbil, gyd â diolchgarwch gwneler eich deisyfiadau chwi yn hyspys ger bron Duw.

7 A thangnheddyf Duw yr hwn sydd vwch law pôb deall, a geidw eich calonnau a'ch meddyliau ynGhrist Jesu. ☜

8 Yn ddiweddaf, frodyr, pa bethau bynnag sydd wir, pa bethau bynnag sydd || onest,

|| onest, pa bethau bynnag sydd gyfiawn, pa bethau bynnag sydd bûr, pa bethau bynnag sydd hawddgar, pa bethau bynnag sydd ganmoladwy; od [oes] vn rhinwedd, ac od [oes] dim clôd; meddyliwch am y pethau hyn:

|| barchedig.

9 Y rhai a ddyscasoch, ac a dderbyniasoch, ac a glywsoch, ac a welsoch ynof fi: y pethau hyn gwnewch, a Duw'r heddwch a fydd gyd â chwi.

10 Mi a lawenychais hefyd yn yr Arglwydd yn fawr, oblegid || i'ch gofal chwi am danafi, yr awrhon o'r diwedd, adnewyddu: yn yr hyn y buoch ofalus hefyd, ond || eisieu amser cyfaddas oedd arnoch.

|| adnewyddu o honoch, o ran gofalu am danafi.
|| yr oeddych heb gael ennyd.

11 Nid am fy môd yn dywedyd o herwydd eisieu: canys mysi a ddyscais, ym mha gyflwr bynnag y byddwyf, fôd yn fodlon [iddo.]

12 Ac mi a fedraf ymostwng, ac a fedraf ymhelaethu: ym mhôb lle, ac ym mhôb peth, i'm haddyscwyd, i fôd yn llawn, ac i fôd yn newynog, i fôd mewn helaethrwydd, ac i fôd mewn prinder.

13 Yr wyf yn gallu pôb peth trwy Grist, yr hwn sydd yn fy nerthu i.

14 Er hynny da y gwnaethoch gyd-gyfrannu â'm gorthrymder i.

15 A chwithau Philippiaid hefyd, a wyddoch, yn nechreuad yr Efengyl, pan aethym i ymmaith o Macedonia, na chyfrannodd vn Eglwys â mi, o ran rhoddi a derbyn, ond chwy-chwi yn vnic.

16 Oblegid yn Thessalonica hefyd yr anfonasoch i mi vnwaith, ac eilwaith wrth fy anghenrhaid.

17 Nid o herwydd fy môd i yn ceisio rhodd, eithr yr ydwyf yn ceisio ffrwyth yn amlhau erbyn eich cyfrif chwi.

18 Ond y mae gennif bôb peth, ac y mae gennif helaethrwydd: mi a gyflawnwyd, wedi i mi dderbyn gan Epaphroditus, y pethau [a ddaethant] oddi wrthych chwi, [sef] arogl || peraidd, aberth cymeradwy, bodlon gan Dduw.

|| neu, peraidd-dra.

19 A'm Duw i a gyflawna eich holl || raid chwi, yn ôl ei olud ef mewn gogoniant, yng-Hrist Iesu.

|| eisieu.

20 Ond i Dduw, a'n Tâd ni, [y byddo] gogoniant yn oes oesoedd. Amen.

21 Anherchwch yr holl Sainct yng-Hrist Iesu: y mae y brodyr sy gyd â mi, yn eich annerch.

22 Y mae y Sainct oll yn eich annerch chwi, ac yn bennaf y rhai sydd o deulu Cæsar.

23 Grâs ein Harglwydd Iesu Grist fyddo gyd â chwi oll. Amen.

¶ At y Philippiaid yr scrifennwyd o Rufein gyd ag Epaphroditus.



# EPISTOL PAVL YR Apostol at y COLOSSIAID.

## PENNOD. I.

1 Ar ôl cyfarch iddynt, y mae efe yn diolch i Dduw am eu ffydd hwy; 7 ac yn cadarnhau dysceidiaeth Epaphras: 9 ac yn gweddio ymhellach ar iddynt gynnyddu mewn grâs: 14 yn portreiadu y gwir Grist, 21 ac yn eu hannog hwy i dderbyn Iesu Grist, ac yn canmol ei weinidogaeth ei hun.



Paul Apostol Iesu Grist trwy ewyllys Duw, a Thimotheus ein brawd,

2 At y Sainct a'r ffyddlôn frodyr yng-Hrist, y rhai [sydd] yn Colossa: grâs i chwi a thangnefedd oddi wrth Dduw ein Tâd, a'r Arglwydd Iesu Grist.

3 ☞ Yr ydym yn diolch i Dduw a Thâd ein Arglwydd Iesu Grist, gan weddio trosoch chwi yn wastadol.

Epistol y iiij Sul ar ol Drindod.

4 Er pan glywsom am eich ffydd yng-Hrist Iesu, ac am y cariad [sydd gennych] tu ac at yr holl Sainct.

5 Er mwyn y gobaith a roddwyd i gadw i chwi yn y nefoedd, am yr hon y clywsoch o'r blaen yngair gwirionedd yr Efengyl,

6 Yr hon sydd wedi dyfod attoch chwi, megis ac [y mae] yn yr holl fyd: ac sydd yn dwyn ffrwyth, megis ac yn eich plith chwithau, er y dydd y clywsoch, ac y gwybuoch râs Duw mewn gwirionedd.

7 Megis ac y dyscasoch gan Epaphras ein hanwyl gyd-was, yr hwn sydd trosoch chwi yn ffyddlon weinidog i Grist:

8 Yr hwn hefyd a amlygodd i ni eich cariad chwi yn yr Yspryd.

9 O herwydd hyn, ninnau hefyd, er y dydd y clywsom, nid ydym yn peidio â gweddio trosoch, a deisyf eich cyflawni chwi â gwybodaeth ei ewyllys ef, ym mhôb doethineb a deall ysprydol:

10 Fel y rhodioch yn addas i'r Arglwydd, i bôb rhyngu bodd, gan ddwyn ffrwyth

ym mhôb gweithred dda, a chynnyddu yngwybodaeth am Dduw:

11 Wedi eich nerthu a phob nerth, yn ôl ||ei gadernid gogoneddus ef, i bôb dioddefgarwch a hir-ymaros, gyd â llawenydd:

||cadernid ei gogoniant ef.

12 Gan ddiolch i'r Tâd yr hwn a'n gwnaeth ni yn gymmwys i [gael] rhan o etifeddiaeth y Sainct yn y goleuni:

13 Yr hwn a'n gwaredodd ni allan o feddiant y tywyllwch, ac a'n symmudodd i deyrnas ||ei anwyl Fâb:

||Mab ei gariad.

14 Yn yr hwn y mae i ni brynedigaeth trwy ei waed ef, [sef] maddeuant pechodau:

15 Yr hwn yw delw y Duw anweledig, cyntaf-anedig pôb creadur:

16 Canys trwyddo ef y crewyd pôb dim a'r [sydd] yn y nefoedd, ac [sydd] ar y ddaiar, yn weledig, ac yn anweledig: [pa un bynnag] ai thronau, ai arglwyddiaethau, ai tywysogaethau, ai meddiannau: pôb dim a grewyd trwyddo ef, ac erddo ef.

17 *Ac y mae efe cyn pôb peth, ac ynddo ef y mae pôb peth yn cyd-sefyll.

*1.Cor.8.6. Ioan. 1.3.

18 Ac efe yw pen ||corph yr Eglwys, efe yr hwn yw 'r dechreuad, y cyntaf-anedig oddiwrth y meirw, fel y byddei efe yn blaenori ym ||mhôb peth.

||y corph, yr Eglwys.

||mhlith pawb.

19 Oblegid rhyngodd bodd [i'r Tâd] drigo o bôb cyflawnder ynddo ef:

20 ||Ac (wedi iddo wneuthur heddwch trwy waed ei groes ef) trwyddo ef gymmodi pôb peth ag ef ei hun, trwyddo ef [meddaf,] pa un bynnag ai pethau ar y ddaiar, ai pethau yn y nefoedd.

||Neu, A chan wneuthur.

21 A chwithau y rhai oeddych ddieithraid, a gelynion ||mewn meddwl, trwy weithredoedd drwg, yr awron ||hefyd a gymmododd efe,

||Neu, trwy feddwl. ||etto.

22 Yngh orph ei gnawd ef, trwy farwolaeth, i'ch cyflwyno chwi yn sanctaidd, ac yn ddifeius, ac yn ddiargyoedd ger ei fron ||ef.

||ei hun.

23 Os ydych yn parhau yn y ffydd, wedi eich seilio a'ch siccrhau, ac heb eich symmud oddi wrth obaith yr Efengyl, yr hon a bregethwyd ym mysc pôb creadur a'r sydd tan y nef: i'r hon i'm gwnaethpwyd i Paul yn weinidog:

24 Yr hwn ydwyf yn awr yn llawenychu yn fy nioddefiadau trosoch, ac yn cyflawni yr hyn [sydd] yn ôl o gystuddiau Christ yn fy nghnawd i, er mwyn ei gorph ef, yr hwn yw 'r Eglwys:

25 I'r hon i'm gwnaethpwyd i yn weinidog, yn ôl gorchwyliaeth Duw, yr hon a roddwyd i mi tu ac attoch chwi, i gyflawni gair Duw:

26 [Sef] y dirgelwch oedd guddiedig er oesoedd ac er cenhedlaethau, ond yr awrhon a eglurwyd iw Sainct ef:

27 I'r rhai yr ewyllysiodd Duw hyspysu beth yw golud gogoniant y dirgelwch hyn, ymmhlith y Cenhedloedd: yr hwn yw Christ ||ynoch chwi, gobaith y gogoniant:

||yn eich plith chwi.

28 Yr hwn yr ydym ni yn [ei] bregethu, gan rybuddio pôb dyn, a dyscu pob dyn, ym mhôb doethineb, fel y cyflwynom bôb dyn yn berffaith ynGhrist Iesu.

29 ||Am yr hyn yr ydwyf hefyd yn llafurio, gan ymdrechu yn ôl ei weithrediad ef, yr hon sydd yn gweithio ynof i yn nerthol.

||yn.

## PEN. II.

*1 Y mae efe etto yn eu hannog hwy i fôd yn ddianwadal ynGhrist, 8 ac i ochelyd Philosophyddiaeth, a thraddodiadau ofer: 18 ac addoli Angylion, 20 a Ceremoniau y Gyfraith, y rhai sy wedi terfynu ynGhrist.*



Anys mi a ewyllysiwn i chwi wybod pa faint o ymdrech sydd arnaf er eich mwyn chwi, a'r rhai yn Laodicea, a chynnifer ac ni welsant fy wyneb i yn y cnawd:

2 Fel y cysurid eu calonnau hwy, wedi eu cydgyssylltu mewn cariad, ac i bôb golud siccrwydd deall, i gydnabyddiaeth dirgelwch Duw, a'r Tâd, a Christ:

3 Yn yr hwn y mae holl drysorau doethineb a gwybodaeth yn guddiedig.

4 A hyn yr ydwyf yn ei ddywedyd, fel na thwyllo neb chwi ag ymadrodd hygoel.

5 Canys er fy môd i yn absennol yn y cnawd, er hynny yr ydwyf gyd â chwi yn yr yspryd, yn llawenychu, ac yn gweled eich trefn chwi, a chadernid eich ffydd ynGhrist.

6 Megis gan hynny y derbyniasoch Grist Iesu yr Arglwydd, [felly] rhodiwch ynddo:

7 Wedi eich gwreiddio, a'ch adeiladu ynddo ef, a'ch cadarnhau yn y ffydd, megis i'ch dyscwyd, gan gynnyddu ynddi mewn diolchgarwch.

8 Edrychwch na bo neb yn eich anrheithio trwy philosophi, a gwâg dwyll, yn ôl traddodiad dynion, yn ôl gwyddorion y bŷd, ac nid yn ôl Christ.

9 Oblegid ynddo ef y mae holl gyflawnder y Duwdod yn preswylio yn gorphorol.

10 Ac yr ydych chwi wedi eich cyflawni ynddo ef, yr hwn yw pen pôb tywysogaeth ac awdurdod:

11 Yn yr hwn hefyd i'ch enwaedwyd, ag Enwaediad nid o waith llaw, trwy ddiosc corph pechodau y cnawd, yn Enwaediad Christ:

12 Wedi eich cyd-gladdu ag ef yn y Bedydd, yn yr hwn hefyd i'ch cyd-gyfodwyd trwy ffydd gweithrediad Duw, yr hwn a'i cyfodes ef o feirw.

13 A chwithau, pan oeddych yn feirw mewn camweddau, a dienwaediad eich cnawd, a gydfywhâodd efe gyd ag ef, gan faddeu i chwi yr holl gamweddau,

14 Gan ddileu ||yscrifen law yr ordeiniadau, yr hon [oedd] i'n herbyn ni, yr hon oedd yngwrthwyneb i ni, ac a'i cymmerodd

||yr scrifen-law mewn ordeiniadau.

rodd hi oddi ar y ffordd, gan ei hoelio wrth y groes:

15 Gan ||yspeilio y tywysogaethau, a'r awdurdodau, efe a'u herddangosodd hwy ar gyhoedd, gan || ymorfoleddu arnynt || arni hi.

|| ddad-wisco.
|| Neu, ynddo ei hun,

16 Am hynny na farned neb arnoch chwi am fwyd, neu am ddiod, neu o ran dydd gwyl, neu newydd-loer, neu Sabbathau:

17 Y rhai ydynt gyscod pethau i ddyfod: ond y corph [sydd] o Grist.

18 Na || thwylled neb chwi am eich gwobr, wrth ei || ewyllys, mewn gostyngeiddrwydd, || ac addoliad Angelion, gan ruthro i bethau ni's gwelodd, wedi ymchwyddo yn ofer gan ei feddwl cnawdol ei hun:

|| farned neb i'ch erbyn.
|| ympwy.
|| a chrefydd.

19 Ac heb gyfattal y pen, o'r hwn y mae yr holl gorph, trwy'r cymmalau a'r cyssylltiadau, yn derbyn llyniaeth, ac wedi ei gyd-gyssylltu, yn cynnyddu gan gynnydd Duw.

20 Am hynny os ydych wedi meirw gyd â Christ oddi wrth wyddorion y bŷd, pa ham yr ydych megis pettych yn byw yn y bŷd, yn ymroi i ordeiniadau?

21 Na chyffwrdd, ac na archwaetha, ac na theimla.

22 Y rhai ydynt oll yn llygredigaeth wrth eu harfer, yn ôl gorchymmynion ac athrawiaethau dynion.

23 Yr hyn bethau sydd ganddynt rith doethineb mewn ewyllys-grefydd, a gostyngeiddrwydd, a bod heb arbed y corph, nid mewn bri, i ddigoni y cnawd.

## PEN. III.

1 Y mae efe yn dangos pa le y dylem ni geisio Christ. 5 Ac yn ein hannog i'n marwolaethu ein hunain, 10 i ddiosc yr hên ddyn, ac i wisco Christ amdanom, 12 yn ein cynghori ni i gariad perffaith, a gostyngeiddrwydd, ac amryw rinweddau eraill.

Yr Epistol ar ddydd y Pasc.



AM hynny os cyd-gyfodasoch gyd â Christ, ceisiwch y pethau [sydd] uchod, lle mae Christ yn eistedd ar ddeheu-law Duw.

2 Rhoddwch eich ||serch ar bethau [sydd] uchod, nid ar bethau [sy] ar y ddaiar.

|| bryd.

3 Canys meirw ydych, a'ch bywyd a guddiwyd gyd â Christ yn Nuw.

4 Pan ymddangoso Christ, ein bywyd ni, yna hefyd yr ymddangoswch chwithau gyd ag ef mewn gogoniant.

5 Marwhewch gan hynny eich aelodau, y rhai sy ar y ddaiar, godineb, aflendid, gwŷn, drwg-chwant, a chybydd-dod, yr hon sydd eulyn-addoliaeth:

6 O achos yr hyn bethau y mae digofaint Duw yn dyfod ar blant yr anufydd-dod.

7 Yn y rhai hefyd y rhodiasoch chwithau gynt, pan oeddych yn byw ynddynt. ☜

8 Ond yr awrhon rhoddwch chwithau ymmaith yr holl bethau [hyn,] digter, llid, drygioni, cabledd, serthedd allan o'ch genau.

9 Na ddywedwch gelwydd wrth ei gilydd, gan ddarfod i chwi ddiosc yr hên ddŷn, ynghyd a'i weithredoedd:

10 A gwisco 'r newydd, yr hwn a adnewyddir mewn gwybodaeth, yn ôl delw yr hwn a'i creawdd ef.

11 Lle nid oes na Groegwr nac Iddew, enwaediad na di-enwaediad, Barbariad na Scythiad, caeth na rhydd: ond Christ sydd bôb peth, ac ym mhôb peth.

12 ☞ Am hynny megis etholedigion Duw, sanctaidd ac anwyl, gwiscwch amdanoch ymyscaroedd trugareddau, cymmwynasgarwch, gostyngeiddrwydd, addfwynder, ymaros:

Yr Epistol y pummed Sul ar ol yr Ystwyll.

13 Gan gyd-ddwyn â'i gilydd, a maddeu i'w gilydd, os bydd gan neb gweryl yn erbyn neb: megis ac y maddeuodd Christ i chwi, felly [gwnewch] chwithau.

14 Ac am ben hyn oll, [gwiscwch] gariad, yr hwn yw rhwymyn perffeithrwydd.

15 A llywodraethed tangneddyf Dduw yn eich calonnau, i'r hwn hefyd i'ch galwyd yn un corph: a byddwch ddiolchgar.

16 Preswylied gair Crist ynoch yn || helaeth, ym mhôb doethineb: gan ddyscu, a rhybyddio bawb ei gilydd, mewn psalmau, a hymnau, ac odlau ysprydol, gan ganu || trwy râs yn eich calonnau i'r Arglwydd.

|| gyfoethog.
|| yn rasol.

17 A pha beth bynnag a wneloch, ar air neu ar weithred, [gwnewch] bôb peth yn Enw 'r Arglwydd Iesu, gan ddiolch i Dduw a'r Tâd trwyddo ef. ☜

* 1.Cor.10,31

18 Y gwragedd, ymostyngwch i'ch gwŷr priod, megis y mae yn weddus yn yr Arglwydd.

19 Y gwŷr, cerwch eich gwragedd, ac na fyddwch chwerwon wrthynt.

20 Y plant, ufyddhewch i'ch rhieni, ym mhôb peth: canys hyn sydd yn rhyngu bodd i'r Arglwydd yn dda.

21 Y tadau, na chyffrowch eich plant, fel na ddigalonnont.

22 Y gweision, ufyddhewch ym mhôb peth i'ch meistred yn ôl y cnawd, nid â llygad-wasanaeth, fel bodlon-wŷr dynion, eithr mewn symlrwydd calon, yn ofni Duw.

23 A pha beth bynnag a wneloch, gwnewch o'r galon, megis i'r Arglwydd, ac nid i ddynion:

24 Gan wybod mai gan yr Arglwydd y derbyniwch daledigaeth yr etifeddiaeth: canys yr Arglwydd Grist yr ydych yn ei wasanaethu.

25 Ond yr hwn sydd yn gwneuthur cam, a dderbyn [am] y cam a wnaeth: ac nid oes derbyn wyneb.

## PEN. IIII.

1 Y mae efe yn eu hannog hwy i fôd yn wresog mewn gweddi, 5 i rodio yn ddoeth tu ac at y rhai ni ddaethant etto i wir wybodaeth am Grist: 10 Ac yn eu hannerch hwy, ac yn ewyllysio iddynt bob rhyw lwyddiant.



Y Meistred, gwnewch i'ch gweision yr hyn sydd gyfiawn, ac vniawn, gan wybod fod i chwithau feistr yn y nefoedd.

2 Parhewch mewn gweddi, gan wilied ynddi || gyd â diolchgarwch.

|| mewn diolchgarwch.

3 Gan weddio hefyd trosom ninnau, ar i Dduw agori i ni ddrws ymadrodd, i adrodd dirgelwch Christ, am yr hwn yr ydwyf hefyd mewn rhwymau:

4 Fel yr eglurhawyf ef, megis y mae yn rhaid i mi [ei] draethu,

5 Rhodiwch mewn doethineb tu ac at y rhai [sy] allan, gan brynu 'r amser.

6 [Bydded] eich ymadrodd bôb amser || yn rasol, wedi ei dymheru â halen, fel y gwypoch pa fodd y mae yn rhaid i chwi atteb || i bôb dyn.

|| mewn grâs.

|| pôb math ar ddyn.

7 Fy holl helynt i a fynega Tychicus i chwi, y brawd anwyl, a'r gwenidog ffyddlon, a'r cydwas yn yr Arglwydd:

8 Yr hwn a ddanfonais attoch er mwyn hyn, fel y gwybyddei eich helynt chwi, ac y diddanei eich calonnau chwi:

9 Gyd ag Onesimus y ffyddlon a'r anwyl frawd, yr hwn sydd o honoch chwi: hwy a yspyfant i chwi bob peth [a wneir] ym ma.

10 Y mae Aristarchus fy nghyd-garcharor yn eich annerch, a Marcus nai Barnabas fâb ei chwaer, (am yr hwn y derbyniasoch orchymmynion: os daw efe attoch, derbyniwch ef:)

11 A Iesus, yr hwn a elwir Iustus, y rhai ydynt o'r Enwaediad: y rhai hyn yn vnic [yw] fy nghydweithwyr i deyrnas Dduw, y rhai a fuant yn gyssur i mi.

12 Y mae Epaphras, yr hwn sydd o honoch, gwâs Christ, yn eich annerch, gan ymdrechu yn wastadol trosoch mewn gweddiau, ar i chwi sefyll yn berffaith ac yn gyflawn, ynghwbl o ewyllys Duw.

13 Canys yr ydwyf yn dyst iddo, fod ganddo zêl mawr trosoch chwi, a'r rhai o Laodicea, a'r rhai o Hierapolis.

14 Y mae Luc y physygwr anwyl, a Demas yn eich annerch.

15 Annerchwch y brodyr [sydd] yn Laodicea, a Nymphas, a'r Eglwys [sydd] yn ei dŷ ef.

16 Ac wedi darllein yr Epistol [hwn] gyd â chwi, perwch ei ddarllen hefyd yn Eglwys y Laodiceaid: a darllen o honoch chwithau yr vn o Laodicea.

17 A dywedwch wrth Archippus, Edrych ar y wenidogaeth a dderbyniaist yn yr Arglwydd, ar i ti ei chyflawni hi:

18 Yr annerch â'm llaw i Paul fy hun. Cofiwch fy rhwymau. Grâs fyddo gyd â chwi. Amen.

¶ At y Colossiaid yr scrifennwyd o Rufein gyd â Tychicus ac Onesimus.



# EPISTOL CYNTAF PAVL yr Apostol at y THESSALONIAID.

PENNOD. I.

¶ Paul yn dwyn ar ddeall i'r Thessaloniaid, nid yn vnic mor feddylgar oedd efe am danynt hwy bôb amser, mewn diolchgarwch a gweddi: 5 Eithr hefyd gystal yr oedd ef yn tybied am wirionedd a phurdeb eu ffydd hwynt, a'i dychweliad at Dduw.



Paul a Siluanus a Thimotheus at Eglwys y Thessaloniaid, yn Nuw Tâd, a'r Arglwydd Iesu Grist: grâs i chwi a thangneddyf, oddi wrth Dduw ein Tâd, a'r Arglwydd Iesu Grist.

2 Yr ydym yn diolch i Dduw yn wastadol trosoch chwi oll, gan wneuthur coffa am danoch yn ein gweddiau:

3 Gan gofio yn ddibaid waith eich ffydd chwi, a llafur [eich] cariad, ac ymaros [eich] gobaith yn ein Harglwydd Iesu Grist, ger bron Duw a'n Tâd:

4 Gan wybod, frodyr || anwyl, eich etholedigaeth chwi gan Dduw.

|| garwyd gan Dduw: eich etholedigaeth chwi.

5 Oblegid ni bu ein Efengyl ni tu ac attoch mewn gair yn vnic, eithr hefyd mewn nerth, ac yn yr Yspryd glân, ac mewn sicrwydd mawr, megis y gwyddoch chwi pa fath rai a fuô ni yn eich plith, er eich mwyn chwi.

6 A chwi a aethoch yn ddilynwyr i ni, ac i'r Arglwydd, wedi derbyn y gair mewn gorthrymder mawr, gyd â llawenydd yr Yspryd glân:

7 Hyd onid aethoch yn siamplau i'r rhai oll sydd yn credu ym Macedonia ac yn Achaia.

8 Canys oddi wrthych chwi y seiniodd gair yr Arglwydd, nid yn vnic ym Macedonia ac yn Achaia, ond ym mhôb man hefyd eich ffydd chwi ar Dduw, a aeth ar lêd, fel nad rhaid i ni ddywedyd dim.

9 Canys y maent hwy yn mynegi am danom ni, pa ryw ddyfodiad i mewn a gawsom ni attoch chwi, a pha fodd y troesoch at Dduw oddi wrth eulynnod, i wasanaethu'r bywiol a'r gwir Dduw:

10 Ac i ddisgwyl am ei Fab ef o'r nefoedd,

yr hwn a gyfododd efe o feirw, [sef] Iesu, yr hwn a'n gwaredodd ni oddi wrth y digofaint sydd ar ddyfod.

PEN. II.

1 Pa fodd y daeth, ac y pregethwyd yr Efengyl i'r Thessaloniaid, a pha fodd y derbyniasant hwythau hi. 18 Yr achos pa ham y bu S. Paul cyhyd yn absennol oddi wrthynt hwy, a pha ham yr ydoedd efe mor chwannoc iw gweled hwynt.



Canys chwi eich hunain a wyddoch, frodyr, ein dyfodiad ni i mewn attoch, nad ofer fu:

2 Eithr wedi i ni ddioddef o'r blaen, a chael ammharch, fel y gwyddoch chwi, yn Philippi, ni a fuom hy yn ein Duw, i lefaru wrthych chwi Efengyl Duw trwy fawr ymdrech.

3 Canys ein cyngor ni nid [oedd] o hudoliaeth, nac o aflendid, nac mewn twyll.

4 Eithr megis i'n || cyfrifwyd ni gan Dduw yn addas i ymddiried i ni am yr Efengyl, felly yr ydym yn llefaru: nid megys yn rhyngu bodd i ddynion, ond i Dduw, yr hwn sydd yn profi ein calonnau ni.

|| dewisfwyd gan Dduw i ymddiried.

5 Oblegid ni buom ni un amser mewn ymadrodd gweniaithus, fel y gwyddoch chwi, nac mewn rhith cybydd-dod: Duw yn dyst:

6 Nac yn ceisio moliant gan ddynion, na chennych chwi, na chan eraill: lle y gallasem bwyso [arnoch,] fel Apostolion Christ.

7 Eithr ni a fuom addfwyn yn eich mysc chwi, megys mammaeth yn maethu ei phlant.

8 Felly, gan eich hoffi chwi, ni a wellsom yn dda gyfrannu â chwi, nid yn unic Efengyl Duw, ond yn heneidiau ein hunain hefyd, am eich bôd yn anwyl gennym.

9 Canys cof yw gennych, frodyr, ein llafur a'n lludded ni: canys gan weithio nôs a dydd, fel na phwysem ar neb o honoch, ni a bregethasom i chwi Efengyl Duw.

10 Tystion [ydych] chwi, a Duw [hefyd,] mor sanctaidd, ac mor gyfiawn, a diargyoedd yr ymddygasom yn eich mysc chwi, y rhai ydych yn credu.

11 Megis y gwyddoch, y modd [y buom] yn eich cynghori, ac yn eich cyssuro, bôb un o honoch, fel tâd ei blant ei hun:

12 Ac yn || ymbil ar rodio o honoch yn || deilwng i Dduw, yr hwn a'ch galwodd chwi iw deyrnas a'i ogoniant.

|| testiolaethu.
|| addas.

13 Oblegit hyn yr ydym ninnau hefyd yn diolch i Dduw yn ddibaid, o herwydd i chwi pan dderbyniasoch air Duw, yr hwn a glywsoch gennym ni, ei dderbyn ef nid [fel] gair dyn, eithr (fel y mae yn wir) yn air Duw, yr hwn hefyd sydd yn nerthol-weithio ynoch chwi y rhai sydd yn credu.

14 Canys chwy-chwi, frodyr, a wnaethpwyd yn ddilyn-wyr i Eglwysi Duw, y rhai yn Iudæa sydd ynGhrist Iesu; oblegid chwithau a ddioddefasoch y pethau hyn gan eich cyd-genedl, megis hwythau gan yr Iddewon:

15 Y rhai a laddasant yr Arglwydd Iesu, a'i prophwydi eu hunain, ac a'n herlidiasant ninneu ymaith; ac [ydynt] heb ryngu bodd Duw, ac yn erbyn pôb dyn:

16 Gan warafun i ni lefaru wrth y Cenhedloedd, fel yr iacheid hwy, i gyflawni eu pechodau hwynt yn wastadol; canys digofaint [Duw] a ddaeth arnynt hyd yr eithaf.

17 A ninnau, frodyr, wedi ein gwneuthur yn ymddifaid am danoch dros ennyd awr, ynGolwg, nid ynghalon; a fuom fwy astud i weled eich wyneb chwi mewn awydd mawr.

18 Am hynny'r ewyllysiasom ddyfod attoch, (myfi Paul) yn ddiau, un-waith a dwywaith hefyd, eithr Satan a'n lluddiodd ni.

19 Canys beth [yw] ein gobaith ni, neu ein llawenydd, neu goron ein gorfoledd? onid chwy-chwi, ger bron ein Harglwydd Iesu Grist, yn ei ddyfodiad ef?

20 Canys chwy-chwi yw ein gogoniant a'n llawenydd ni.

PEN. III.

1 S. Paul yn tystiolaethu ei fawr gariad tuac at y Thessaloniaid, trwy anfon Timotheus attynt hwy, iw cadarnhau, ac iw diddanu: trwy lawenychu yn eu gweithredoedd da hwy: 10 a thrwy weddio trostynt, a dymuno cael dyfod yn ddiogel attynt.



Am hynny gan na allem ymattal yn hwy, ni a wellsom yn dda ein gadel ni ein hunain yn Athen.

2 Ac a ddanfonasom Timotheus ein brawd, a gwenidog Duw, a'n cyd-weithwr yn Efengyl Grist, i'ch cadarnhau chwi, ac i'ch diddanu ynghylch eich ffydd.

3 Fel na chynhyrfid neb yn y gorthrymderau hyn: canys chwy-chwi eich hunain a wyddoch, mai i hyn i'n gosodwyd ni.

4 Canys yn wir pan oeddym gyd â chwi, ni a rag-ddywedasom [i chwi] y gorthrymmid ni: megis y bu, ac y gwyddoch chwi.

5 O herwydd hyn, minneu heb allu ymattal yn hwy, a ddanfonais i [gael] gwybod eich ffydd chwi: rhag darfod i'r temtiwr eich temtio chwi, a myned ein llafur ni yn ofer.

6 Eithr yr awron wedi dyfod Timotheus attom oddi wrthych, a dywedyd i ni newyddion da am eich ffydd chwi a'ch cariad, a bôd gennych goffa da am danom ni yn wastadol, gan hiraethu am ein gweled ni, megis [yr ydym] ninneu am [eich gweled] chwithau:

7 Am hynny y cawsom gyssur, frodyr, || am danoch chwi, yn ein holl orthrymder a'n hangenoctid, trwy eich ffydd chwi:

|| ynoch.

8 Oblegid yr awron * byw ydym ni, os ydych chwi yn sefyll yn yr Arglwydd.

* Rhuf. 7. 9.

9 Canys pa ddiolch a allwn [ni] ei adtalu i Dduw || am danoch chwi, am yr holl lawenydd, â'r hwn yr ydym ni yn llawen o'ch achos chwi, ger bron ein Duw ni.

|| erosoch chwi.

10 Gan weddio mwy nâ mwy, nôs a dydd, ar [gael] gweled eich wyneb chwi, a chyflawni diffygion eich ffydd chwi?

11 A Duw ei hun,a'n Tâd ni,a'n Harglwydd Iesu Grist,a gyfarwyddo ein ffordd ni attoch chwi.

12 A'r Arglwydd a'ch lliosogo, ac a'ch chwanego yn mhob cariad i'w gilydd ac i bawb,megis ac[yr ydym]ninnau i chwi:

13 I gadarnhau eich calonnau chwi yn ddiargyoedd mewn sancteiddrwydd, ger bron Duw a'n Tâd,yn nyfodiad ein Harglwydd Iesu Ghrist gyd a'i holl Sainct.

PEN. IIII.

1 Y mae efe yn eu hannoghwynt i fyned rhagddynt mewn pob mâth a'r dduwioldeb, 6 i fyw yn sanctaidd,ac yn gyfiawn, 9 i garu ei gilydd, 11 athrwy lonyddwch i wneuthur y pethau a berthyn iddynt eu hunain: 13 ac yn ddiweddaf i dristâu yn gymhedrol tros y meirw. 17 A chydâ'r cyngor diwaethaf hwn, y mae ef yn cyssylltu dosparth byrr o'r Adgyfodiad,ac o ail-dyfodiad Christ i'r farn.

Yr Epistol yr ail Sul o'r Garawys.

Ymhellach gan hynny,frodyr, yr ydym yn attolwg i chwi, ac yn deisyf yn yr Arglwydd Iesu,megis y derbyniasoch gennym pa fodd y dylech rodio a bodloni Duw,ar i chwi gynyddu fwy-fwy.

2 Canys chwi a wyddoch pa orchymmynion a roddasom i chwi trwy'r Arglwydd Iesu.

3 Canys hyn yw ewyllys Duw,[sef]eich sancteiddiad chwi, ar ymgadw o honoch rhag godineb:

4 Ar fedru o bôb vn o honoch feddiannu ei lestr ei hun mewn sancteiddrwydd,a pharch:

5 Nid mewn gwŷn trachwant, megis y Cenhedloedd y rhai nid adwaenant Dduw.

6 Na byddo[i neb]o'rthrymmu na thwyllo ei frawd mewn dim:canys dialudd[yw]'r Arglwydd||ar y rhai hyn oll,megis y dywedasom i chwi o'r blaen,ac y tystiasom.

|| am.

7 Canys ni alwodd Duw nyni i aflendid,ond i sancteiddrwydd.

8 Am hynny,y neb sydd yn dirmygu,nid dŷn y mae yn ei ddirmygu, ond Duw, yr hwn hefyd a roddes ei Yspryd glân ynom ni.☞

9 Ond am frawdgarwch,nid rhaid i chwi scrifennu[o honof] attoch: canys yr ydych chwi eich hunain wedi eich dyscu gan Dduw i garu ei gilydd.

10 Oblegid yr ydych yn gwneuthur hyn i bawb o'r brodyr,y rhai sy trwy holl Macedonia: ond yr ydym yn attolwg i chwi,frodyr, gynnyddu o honoch fwy-fwy:

11 A rhoddi o honoch eich bryd ar fôd yn llonydd,a gwneuthur[eich gorchwylion] eich hunain,a gweithio â'ch dwylo eich hunain,(megis y gorchymynnasom i chwi:)

12 Fel y rhodioch yn weddaidd tu ac at y rhai[sy]oddi allan, ac na byddo arnoch eisieu || dim.

|| neb.

13 Ond ni ewyllysiwn, frodyr, i chwi fôd heb wybod am y rhai a hunasant,na thristaoch,megis eraill, y rhai nid oes ganddynt obaith.

14 Canys os ydym yn credu farw Iesu a'i adgyfodi, felly y rhai a hunasant yn yr Iesu,a ddwg Duw hefyd gyd ag ef.

15 Canys hyn yr ydym yn ei ddywedyd wrthych yngair yr Arglwydd, na bydd i ni y rhai byw,y rhai a adewir hyd ddyfodiad yr Arglwydd, ragflaenu y rhai a hunasant.

16 Oblegid yr Arglwydd ei hun a ddescyn o'r nef gyd â || bloedd,â llef yr Arch-angel, ac ag vdcorn Duw: a'r meirw yn Ghrist a gyfodant yn gyntaf:

|| gawr.

17 Yna ninnau y rhai byw, y rhai a adawyd, a gippir i fynu gyd â hwynt yn y cymmylau, i gyfarfod â'r Arglwydd yn yr awyr: ac felly y byddwn yn wastadol gyd â'r Arglwydd.

18 Am hynny || diddenwch ei gilydd â'r ymadroddion hyn.

|| cyngherwch.

PEN. V.

1 Y mae efe yn myned rhagddo,ac yn dangos (fel o'r blaen) ddull dyfodiad Christ i'r farn, 16 ac yn rhoddi amryw orchymmynion, 23 ac felly yn diweddu ei Epistol.

Eithr am yr amserau a'r prydiau.frodyr,nid rhaid i chwi scrifennu[o honof]attoch.

2 Oblegid chwi a wyddoch eich hunain yn hyspys, mai felly y daw dydd yr Arglwydd,fel lleidr y nôs.

3 Canys pan ddywedant,Tangneddyf,a diogelwch; yna y mae dinistr disymmwth yn dyfod ar eu gwartha, megis gwewyr escor ar vn a fo beichiog: ac ni ddiangant hwy ddim.

4 Ond chwy-chwi, frodyr, nid ydych mewn tywyllwch,fel y goddiweddo y dydd hwnnw chwi megis lleidr.

5 Chwy-chwi oll plant y goleuni ydych, a phlant y dydd: nid ydym ni o'r nôs,nac o'r tywyllwch.

6 Am hynny na chyscwn, fel||rhai eraill, eithr gwiliwn, a byddwn sobr.

|| y lleill.

7 Canys y rhai a gyscant,y nôs y cyscant: a'r rhai a feddwant,y nôs y meddwant.

8 Eithr nyni,gan ein bôd o'r dydd,byddwn sobr, wedi ymwisco â dwyfronneg ffydd a chariad, ac â gobaith iechydwriaeth yn lle helm.

9 Canys nid appwyntiodd Duw nyni i ddigofaint, ond i gaffael iechydwriaeth, trwy ein Harglwydd Iesu Grist,

10 Yr hwn a fu farw trosom:fel pa vn bynnag a wnelom ai gwilied, ai cyscu, y byddom fyw gyd ag ef.

11 O herwydd pa ham cynghorwch ei gilydd,ac adeiledwch bob vn ei gilydd,megis ac yr ydych yn gwneuthur.

12 Ac yr ydym yn attolwg i chwi,frodyr, adnabod y rhai sy yn llafurio yn eich mysc, ac yn eich llywodraethu chwi yn yr Arglwydd,ac yn eich|| rhybuddio:

|| cynghori.

13 A gwneuthur cyfrif mawr o honynt mewn cariad, er mwyn eu gwaith: byddwch dangneddefus yn eich plith eich hunain.

14 Ond yr ydym yn deisyf arnoch,frodyr, rhy-

rhybuddiwch y rhai || afreolus, diddenwch y gwan eu meddwl, cynheliwch y gweiniaid, byddwch ymarhous wrth bawb.

15 Gwelwch na thalo neb ddrwg dros ddrwg i neb: eithr yn wastadol dilynwch yr hyn sydd dda, tu ac attoch ei gilydd, a thu ac at bawb.

16 Byddwch lawen yn wastadol.

17 Gweddiwch yn ddibaid.

18 Ym mhob dim diolchwch: canys hyn [yw] ewyllys Duw yng-Hhrist Jesu || tu ac attoch chwi.

19 Na ddiffoddwch yr yspryd.

20 Na ddirmygwch brophwydoliaethu.

21 Profwch bob peth; deliwch yr hyn sy dda.

22 Ymgedwch rhac pob || rhith drygioni.

23 A gwir Dduw y tangnheddyf a'ch sancteiddio yn gwbl oll: a chadwer eich yspryd oll, a'ch enaid, a'ch corph, yn ddiargyoedd yn nyfodiad ein Harglwydd Jesu Ghrist.

24 Ffyddlon [yw] 'r hwn a'ch galwodd, yr hwn hefyd a'i gwna.

25 O frodyr, gweddiwch drosom.

26 Anherchwch yr holl frodyr â chusan sancteiddiol.

27 Yr ydwyf yn eich tynghedu yn yr Arglwydd, ar ddarllen y llythyr hwn i'r holl frodyr sanctaidd.

28 Grâs ein Harglwydd Jesu Ghrist fyddo gyd â chwi. Amen.

Y cyntaf at y Thessaloniaid a scrifennwyd o Athen.

|| a'lan o drefn.
|| am danoch.
|| mdeb ar ddrwg.



# AIL EPISTOL PAUL yr Apostol at y THESSALONIAID.

## PENOD I.

1 Y mae S. Paul yn yspysu iddynt ddaied yr oedd efe yn meddwl am eu ffydd, a'i cariad, a'i hamynedd hwynt: 11 a chydâ hynny yn gosod llawer o resymmau ar lawr, iw cysuro hwy mewn erlid; a'r pennaf o'r rhai hyn a gymmerir o ddiwrth gyfiawn farn Duw.



PAUL, a Siluanus, a Thimotheus, at Eglwys y Thessaloniaid, yn Nuw ein Tâd, a'r Arglwydd Jesu Grist:

2 Grâs i chwi, a thangneddyf oddi wrth Dduw ein Tâd ni, a'r Arglwydd Jesu Grist.

3 Diolch a ddylem i Dduw yn wastadol drosoch frodyr, fel y mae yn addas, oblegid bôd eich ffydd chwi yn mawr-gynnyddu, a chariad pôb vn o honoch oll tu ac at ei gilydd yn chwanegu:

4 Hyd onid ydym ni ein hunain yn || gorfoleddu ynoch chwi yn Eglwysi Duw, o herwydd eich amynedd chwi a'ch ffydd yn eich oll erlidiau, a'r gorthrymderau yr ydych yn eu goddef.

5 [Yr hyn sydd] argoel goleu o gyfiawn farn Duw, fel i'ch cyfrifer yn deilwng i deyrnas Dduw, er mwyn yr hon yr ydych hefyd yn goddef:

6 Canys cyfiawn [yw] ger bron Duw, dalu cystudd i'r rhai sy yn eich cystuddio chwi:

7 Ac i chwithau y rhai a gystuddir, esmwythdra gyd â ni, yn ymddangosiad yr Arglwydd Jesu o'r nef, || gyd â'i angelion nerthol,

|| ymffrostio.
|| gyd ag angelion ei nerth.

8 || A thân fflamllyd, gan roddi dial i'r sawl nid adwaenant Dduw, ac nid ydynt yn vfyddhau i Efengyl ein Harglwydd Jesu Grist:

9 Y rhai a ddioddefant yn gospedigaeth, ddinistr tragwyddol, oddi ger bron yr Arglwydd, ac oddiwrth ogoniant ei gadernid ef:

10 Pan ddêl efe i'w ogoneddu yn ei Sainct, ac i fôd yn rhyfeddol yn y rhai oll sy'n credu (o herwydd i'n tystiolaeth ni yn eich mysc chwi gael ei chredu) yn y dydd hwnnw.

11 Am ba achos yr ydym hefyd yn gweddio yn wastadol trosoch, ar fôd i'n Duw ni eich cyfrif chwi yn deilwng o'r alwedigaeth [hon], a chyflawni holl fodlonrwydd || [ei] ddaioni, a gwaith ffydd, yn nerthol:

12 Fel y gogonedder Enw ein Harglwydd Jesu Grist ynoch chwi, a chwithau ynddo yntef, yn ôl grâs ein Duw ni, a'r Arglwydd Jesu Grist.

|| Mewn tan.
|| i ddaioni.

## PEN. II.

1 Mae efe yn ewyllysio iddynt barhau yn ddisigl yn y gwirionedd a dderbyniasant, 3 ac yn dangos y bydd ymadawiad oddiwrth y ffydd, 9 ac y datcuddir Anghrist, cyn dyfod dydd yr Arglwydd: 15 ac yno yn ail-adrodd ei gyngor o'r blaen, ac yn gweddio trostynt hwy.



AC yr ydym yn attolwg i chwi, frodyr, er dyfodiad ein Harglwydd Jesu Grist, a'n cydgynulliad ninneu atto ef,

2 Na'ch sigler yn fuan || oddiwrth [eich] meddwl, ac na'ch cynhyrfer, na chan yspryd, na chan air, na chan lythyr megis oddi wrthym ni, fel pe bai ddydd Christ yn gyfagos.

|| o'ch meddwl, neu ym meddwl.

3 Na thwylled neb chwi mewn un modd: oblegid [ni ddaw y dydd hwnnw] hyd oni ddêl ymadawiad yn gyntaf, a datcuddio dyn pechod, mâb y golledigaeth,

4 Yr hwn sydd yn gwrthwynebu, ac yn ymdderchafu || goruwch pôb || peth a elwir yn Dduw, neu a addolir; hyd onid yw efe megis Duw, yn eistedd yn-Nheml Dduw, ac yn ei ddangos ei hun mai Duw ydyw.

|| yn erbyn. || yw.

5 Onid côf gennych chwi, pan oeddwn i etto gyd â chwi, ddywedyd o honof y pethau hyn i chwi?

6 Ac yr awron chwi a wyddoch yr hyn sydd yn attal, fel y datcuddier ef yn ei bryd ei hun.

7 Canys y mae dirgelwch yr anwiredd yn gweithio eusys: yn unic yr hwn sydd yr awron yn attal, [a ettyl] nes ei dynnu ymmaith.

8 Ac yna y datcuddir yr anwir [hwnnw], yr hwn a ddifetha 'r Arglwydd ag yspryd ei enau, ac a ddilea â disgleirdeb ei ddyfodiad:

9 [Sef] yr hwn y mae ei ddyfodiad yn ôl gweithrediad Satan gyd â phob nerth, ac arwyddion, a rhyfeddodau gau,

10 A phôb dichell anghyfiawnder, yn y rhai colledig: am na dderbyniasant gariad y gwirionedd, fel y byddent gadwedig.

11 Ac am hynny y denfyn Duw iddynt hwy || amryfusedd cadarn, fel y credont gelwydd:

|| nerthol-weithrediad cyfeiliorni.

12 Fel y barner yr holl rai nid oeddynt yn credu i'r gwirionedd, ond yn ymlodloni mewn anghyfiawnder.

13 Eithr nyni a ddylem ddiolch yn wastad i Dduw trosoch chwi, frodyr caredig gan yr Arglwydd, oblegid i Dduw o'r dechreuad eich ethol chwi i iechydwriaeth, trwy sancteiddiad yr Yspryd, a ffydd || i'r gwirionedd:

|| y.

14 I'r hyn y galwodd efe chwi trwy ein Efengyl ni, i feddiannu gogoniant ein Harglwydd Iesu Grist.

15 Am hynny, frodyr, sefwch, a deliwch y traddodiadau a ddyscasoch, [pa un bynnag] ai trwy ymadrodd, ai trwy ein Epistol ni.

16 A'n Harglwydd Iesu Grist ei hun, a Duw a'n Tâd, yr hwn a'n carodd ni, ac a roddes [i ni] ddiddanwch tragwyddol, a gobaith da trwy râs,

17 A ddiddano eich calonnau chwi, ac a'ch sicrhâo ym mhob gair, a gweithred dda.

## PEN. III.

1 Y mae efe yn deisyfu eu gweddiau hwy trosto ei hun, 3 yn tystiolaethu pa hyder oedd gantho arnynt, 5 ac yn gweddio at Dduw trostynt hwy, 6 ac yn rhoddi amryw orchymmynion, yn enwedic i ochelyd seguryd, a chymdeithas rhai drwg, 16 ac yn diweddu trwy weddio, a'i hannerch hwy.


Bellach, frodyr, gweddiwch trosom ni, ar fod i air yr Arglwydd redeg, a chael gogonedd, megis gyd â chwithau:

2 Ac ar ein gwared ni oddi wrth ddynion || anhywaith a drygionus: canys nid [oes] ffydd gan bawb.

|| Neu, allan o'i le.

3 Eithr ffyddlon yw 'r Arglwydd, yr hwn a'ch sicrhâ chwi, ac [a'ch] ceidw rhac drwg.

4 Ac y mae gennym hyder yn yr Arglwydd am danoch, eich bôd yn gwneuthur, ac y gwnewch, y pethau yr ydym yn eu gorchymmyn i chwi.

5 A'r Arglwydd a gyfarwyddo eich calonnau chwi at gariad Duw, ac i ymaros am Grist.

6 Ac yr ydym yn gorchymmyn i chwi, frodyr, yn enw ein Harglwydd Iesu Grist, dynnu o honoch ymmaith oddi wrth bob brawd a'r sydd yn rhodio || yn afreolus, ac nid yn ôl y traddodiad a dderbyniodd [efe] gennym ni.

|| allan o drefn.

7 Canys [chwi] a wyddoch eich hunain, pa fodd y dylech ein dilyn ni; oblegid ni buom || afreolus yn eich plith chwi:

|| allan o drefn.

8 Ac ni fwyttasom fara neb yn rhâd: ond trwy weithio mewn llafur a lludded, nôs a dydd, fel na phwysem ar neb o honoch chwi.

9 Nid o herwydd nad oes gennym awdurdod, ond fel i'n rhoddem ein hunain yn siampl i chwi i'n dilyn.

10 Canys pan oeddym hefyd gyd â chwi, hyn a orchymynnasom i chwi, os byddai nêb ni fynnai weithio, na chai fwytta chwaith.

11 Canys yr ydym yn clywed fôd rhai yn rhodio yn eich plith chwi || yn afreolus, heb weithio dim, ond bôd yn rhodresgar.

|| allan o drefn.

12 Ond i'r cyfryw gorchymmyn yr ydym, a'u hannog trwy ein Harglwydd Iesu Grist, ar [iddynt] weithio trwy lonyddwch, a bwytta eu bara eu hunain.

13 A chwithau, frodyr, na ddeffygiwch yn gwneuthur daioni.

14 Ond od oes neb heb ufyddhau i'n gair, || trwy 'r llythyr [ymma,] yspyswch hwnnw: ac na fydded i chwi gymdeithas ag ef, megis y cywilyddio efe.

|| trwy lythyr yspyswch y dyn hwn.

15 Er hynny na chymmerwch [ef] megys gelyn, eithr || cynghorwch [ef] fel brawd.

|| rhybuddiwch.

16 Ac Arglwydd y tangnheddyf ei hun a roddo i chwi dangnheddyf yn wastadol, ym mhôb modd. Yr Arglwydd a [fyddo] gyd â chwi oll.

17 Yr annerch â'm llaw i Paul fy hun: yr hyn sydd arwydd ym mhôb Epistol: fel hyn yr ydwyf yn scrifennu.

18 Grâs ein Harglwydd Iesu Grist gyd â chwi oll. Amen.

Yr ail at y Thessaloniaid a scrifennwyd o Athen.

EPISTOL



# EPISTOL CYNTAF PAVL yr Apostol at TIMOTHEVS.

## PENOD I.

1 Y mae Paul yn dwyn ar gof i Timotheus y siars a roddasei efe iddo, wrth fyned i Macedonia. 5 Iawn arfer a diwedd y Gyfraith. 11 ynghylch galw S.Paul i fod yn Apostol. 20 Am Hymenæus ac Alexander.



PAUL Apostol Iesu Grist yn ôl gorchymmyn Duw ein Iachawdwr, a'r Arglwydd Iesu Grist, ein *gobaith:

*Coloss.1.27.

2 At Timotheus [fy] mab naturiol yn y ffydd; grâs, trugaredd, [a] thangnheddyf oddi wrth Dduw ein Tâd, a Christ Iesu ein Harglwydd.

3 Megis y deisyfiais arnat aros yn Ephesus, pan aethym i Macedonia, fel y gellit rybyddio rhai na ddyscont ddim amgen:

4 Ac na ddaliont ar *chwedlau, ac achau anorphen, y rhai sy'n peri cwestiwnau yn hytrach nag adeiladaeth dduwiol, yr hon sydd || trwy ffydd; [gwna felly.]

*Pen.4.7. || mewn.

5 Eithr *diwedd y gorchymmyn yw cariad o galon bur, a chydwybod dda, a ffydd ddiragrith.

*Rhuf. 13. 10.

6 Oddi wrth yr hyn bethau y gwyrodd rhai, ac y troesant heibio at ofer-siarad:

7 Gan ewyllysio bôd yn athrawon o'r Ddeddf, heb ddeall na pha bethau y maent yn eu dywedyd, nac am ba bethau y maent yn taeru.

8 Eithr [nyni] a wyddom mai *da [yw]'r Gyfraith, os arfer dyn hi yn gyfreithlon:

*Rhuf.7.12.

9 Gan wybod hyn, nad i'r cyfiawn y rhoddwyd y Gyfraith, eithr i'r [rhai] digyfraith ac anufydd, i'r rhai annuwiol, a phechaduriaid, i'r [rhai] disanctaidd a halogedig, i dâd-leiddiaid, a mam-leiddiaid, i leiddiaid dynion,

10 I butein-wŷr, i wrryw-gydwŷr, i ladron dynion, i gelwydd-wŷr, i anudon-wŷr: ac os [oes] dim arall yn wrthwyneb i athrawiaeth iachus:

11 Yn ôl Efengyl || gogoniant y bendigedig Dduw, am yr hon yr ymddiriedwyd i mi.

|| ogoneddus.

12 Ac yr ydwyf yn diolch i'r hwn a'm nerthodd i, [sef] Christ Iesu ein Harglwydd, am iddo fy nghyfrif yn ffyddlon, gan fy ngosod yn y weinidogaeth:

13 Yr hwn oeddwn o'r blaen yn gablwr, ac yn erlidiwr, ac yn drahaus: eithr mi a gefais drugaredd, am i mi yn ddiarwybod ei wneuthur || trwy anghredininiaeth:

|| mewn.

14 A grâs ein Harglwydd ni a dra-amlhâodd gyd â ffydd a chariad, yr hwn sydd yn Ghrist Iesu.

15 Gwir [yw'r] gair, ac yn haeddu pôb || derbyniad, ddyfod Christ Iesu i'r bŷd i gadw *pechaduriaid, o ba rai, || pennaf ydwyfi.

|| Croeso. *Math.9.13. || blaenaf.

16 Eithr o achos hyn y cefais drugaredd, fel y dangosei Iesu Ghrist ynofi || yn gyntaf, bôb hir-oddef, er siampl i'r rhai a gredant rhag-llaw ynddo ef, i fywyd tragwyddol.

|| neu, y blaenaf.

17 Ac i'r brenin tragwyddol, anfarwol, anweledig, i'r Duw unic ddoeth, [y byddo] anrhydedd, a gogoniant yn oes oesoedd. Amen.

18 Y gorchymmyn hwn yr ydwyf yn ei roddi i ti, [fy] mab Timotheus, yn ôl y prophwydoliaethau a gerddasant o'r blaen am danat, ar filwrio o honot ynddynt *filwriaeth dda:

*Pen.6.12.

19 Gan fôd gennit ffydd, a chydwybod dda, yr hon a wrthododd rhai, ac a wnaethant long-ddrylliad am y ffydd.

20 O ba rai y mae Hymenæus ac Alexander: y rhai a *roddais i Satan, fel y dyscent na chablent.

*1 Cor.5.5

## PEN. II.

1 Bod yn iawn gweddio a diolch tros bob dyn; 9 pa fodd y dylei gwragedd ymdrwsio. 12 Nad ydys yn canhiadu iddynt na dyscu na bod yn ben: 15 y byddant hwy gadwedig, er bod ynddynt arwydd o ddigofaint Duw, wrth ddwyn plant i'r byd, os hwy a arhosant yn y ffydd.



CYnghori yr ydwyf am hynny ym mlaen pôb peth fôd ymbiliau, gweddiau, deisyfiadau, [a] thalu diolch, dros bôb dyn:

|| Attolwg.

2 Dros frenhinoedd, a phawb sy mewn || goruchafiaeth: fel y gallom ni fyw yn llonydd

|| neu, awdurdod.

llonydd ac yn heddychol, mewn pôb duwioldeb ac honestrwydd.

3 Canys hyn sydd dda a chymmeradwy ger bron Duw ein Ceidwad,

4 Yr hwn sydd yn ewyllysio bôd pôb dŷn yn gadwedig, a'i dyfod i wybodaeth y gwirionedd.

5 Canys vn Duw [sydd,] ac vn cyfryngwr hefyd rhwng Duw a dynion, y dŷn Christ Iesu:

6 Yr hwn a'i rhoddes ei hunan yn bridwerth dros bawb, || i'w dystiolaethu yn yr amseroedd priawd.

|| yn dystiolaeth.

7 *I'r hyn i'm gosodwyd i yn bregethwr ac yn Apostol, (y gwir yr wyf yn ei ddywedyd yn Ghrist, nid wyf yn dywedyd celwydd) yn Athro y Cenhedloedd, mewn ffydd a gwirionedd.

*1.Tim.1.11.

8 Am hynny yr wyf yn ewyllysio i'r gwŷr weddio ym mhôb man, gan dderchafu dwylo sanctaidd, heb na digter || na dadl.

|| nac ammeu.

9 *Yr vn môdd hefyd, bod i'r gwragedd eu trefnu eu hunain mewn dillad gweddus, gyd â gwylder a sobrwydd, nid â gwallt plethedig, neu aur, neu emmau, neu ddillad gwerthfawr:

1.Pet.3.3.

10 Ond (yr hyn sydd yn gweddu i wragedd a fo yn proffessu duwioldeb) â gweithredoedd da.

11 *Dysced gwraig mewn distawrwydd gyd â phob gostyngeiddrwydd.

1.Cor.14.13.

12 Ond nid wyf yn canhiadu i wraig athrawiaethu, nac ymawdurdodi ar y gŵr, eithr bôd mewn distawrwydd.

13 Canys *Addaf a luniwyd yn gyntaf, yna Efa.

Gen.1.27.

14 Ac nid Addaf a dwyllwyd: eithr y *wraig wedi ei thwyllo, oedd yn y camwedd.

Gen.3.6.

15 Etto cadwedig fydd, wrth ddwyn plant, os arhosant hwy mewn ffydd, a chariad, a sancteiddrwydd, ynghyd â sobrwydd.

|| yn planta.

## PEN III.

1 Cynneddfau Escobion, a Diaconiaid, a'i gwragedd; 14 A pha ham y mae'r Apostol yn scrifennu'r pethau hyn at Timotheus. 15 Ynghylch yr Eglwys, a'r gwirionedd a ddyscir ynddi.



Wir [yw]'r gair, Od yw neb yn chwennych swydd Escob, gwaith da y mae yn ei chwennych.

2 Rhaid gan hynny i Escob fôd * yn ddi-argyoedd, yn wr vn wraig, yn wiliadwrus, yn sobr, yn weddaidd, yn lletteugar, yn athrawaidd:

Titus.1.6.

3 Nid yn win-gar, nid yn darawydd, nid yn budr-elwa: eithr yn dirion, yn anymladdgar, yn ddi-arian-gar:

4 Yn llywodraethu ei dŷ ei hun yn dda, yn dal ei blant mewn ufydd-dod, ynghyd â phob honestrwydd:

5 (Oblegid oni feidr vn lywodraethu ei dŷ ei hun, pa fodd y cymmer efe ofal dros Eglwys Duw?)

6 Nid yn newyddian [yn y ffydd,] rhag iddo ymchwyddo, a syrthio i ddamnedigaeth diafol.

7 Ac y mae yn rhaid iddo ef hefyd gael tystiolaeth dda gan y rhai oddi allan: rhag iddo syrthio i wradwydd, ac i fagl diafol.

8 [Rhaid] i'r Diaconiaid yr vn ffunyd, [fôd] yn honest, nid yn ddau-eiriog, nid yn ymroi i win lawer, nid yn budrelwa:

9 Yn dala dirgelwch y ffydd mewn cydwybod bur.

10 A phrofer y rhai hynny hefyd yn gyntaf, yna gwasanaethant swydd Diaconiaid, os byddant ddiargyoedd.

11 [Y mae yn rhaid i'w] gwragedd yr vn modd [fôd] yn honest, nid yn enllibaidd, yn sobr, yn ffyddlon ym-mhob peth.

12 Bydded y Diaconiaid yn wŷr vn wraig, yn llywodraethu eu plant, a'u tai eu hunain, yn dda.

13 Canys y rhai a wasanaethant swydd Diaconiaid yn dda, ydynt yn ennill iddynt eu hunain radd dda, a hyfder mawr yn y ffydd [sydd] yn Ghrist Iesu.

14 Y pethau hyn yr ydwyf yn eu scrifennu attat, gan obeithio dyfod attat ar fyrder.

15 Ond os tariaf yn hir, fel y gwypech pa fodd y mae yn rhaid [i ti] ymddwyn yn nhŷ Dduw, yr hwn yw Eglwys y Duw byw, colofn a || sylfaen y gwirionedd.

|| neu, chynhaliad.

16 Ac yn ddi-ddadl, mawr yw dirgelwch duwioldeb: Duw a ymddangosodd yn y cnawd, a gyfiawnhawyd yn yr Yspryd, a welwyd gan Angelion, a bregethwyd i'r Cenhedloedd, a gredwyd iddo yn y byd, a gymmerwyd i fynu mewn gogoniant.

## PEN. IIII.

1 Y mae efe yn prophwydo ymadawiad oddiwrth y ffydd, yn yr amseroedd diwaethaf: 6 Ac er mwyn na byddei i Timotheus ballu yn ei swydd, y mae efe yn rhoi iddo amryw gynghorion ynghylch hynny.



C y mae'r Yspryd yn eglur yn dywedyd yr ymedy rhai yn yr amseroedd diweddaf oddi wrth y ffydd, gan roddi coel i ysprydion cyfeiliornus, ac i athrawiaethau cythreuliaid,

2 Yn dywedyd celwydd mewn rhagrith, a'u cydwybod eu hunain wedi ei || serio â haiarn poeth,

|| llosci.

3 Yn gwahardd priodi, [ac yn erchi] ymattal oddiwrth fwydydd, y rhai a greawdd Duw i'w derbyn trwy roddi diolch gan y ffyddloniaid, a'r rhai a adwaenant y gwirionedd.

4 Oblegid [y mae] pob peth a greodd Duw

Duw yn dda, ac nid [oes] dim iw wrthod, os cymmerir trwy dalu diolch.

5 Canys y mae wedi ei sancteiddio gan air Duw, a gweddi.

6 || Os gosodi y pethau hyn o flaen y brodyr, ti a fyddi weinidog da i Jesu Grist, wedi dy fagu yngeiriau'r ffydd, ac athrawiaeth dda, yr hon a ddilynaist.

7 Eithr gâd heibio halogedig, a gwrachiaidd chwedlau: ac ymarfer dy hun i dduwioldeb.

8 Canys || i ychydig y mae ymarfer corphorol yn fuddiol: eithr duwioldeb sydd fuddiol i bôb peth, a chenddi addewid o'r bywyd y [sydd] yr awron, ac o'r hwn a fydd.

9 Gwir [yw]'r gair, ac yn haeddu pôb || derbyniad.

10 Canys er mwyn hyn yr ydym yn poeni, ac yn cael ein gwradwyddo, o herwydd i ni obeithio yn y Duw byw, yr hwn yw achubydd pôb || dyn, yn enwedig y ffyddloniaid.

11 Y pethau hyn gorchymmyn a dysc.

12 Na ddiystyred neb dy ieuengtid ti, eithr bydd yn esampl i'r ffyddloniaid, mewn gair, mewn ymarweddiad, mewn cariad, mewn yspryd, mewn ffydd, mewn purdeb.

13 Hyd oni ddelwyf, glyn wrth ddarllein, wrth gynghori, wrth athrawiaethu.

14 Nac esceulusa y dawn sydd ynot, yr hwn a rodded i ti trwy brophwydoliaeth, gyd ag arddodiad dwylo yr Henuriaeth.

15 Myfyria ar y pethau hyn, ac yn y pethau hyn aros: fel y byddo dy gynnydd yn eglur || i bawb.

16 Gwilia arnat dy hun, ac ar yr athrawiaeth: aros ynddynt: canys os gwnei hyn, ti a'th gedwi dy hun, a'r rhai a wrandawant arnat.

|| Os dygi y pethau hyn ar gof i'r brodyr.
|| neu, tros ychydig.
|| croeso.
|| dynion.
|| ym mhob peth.

## PEN. V.

1 Rheolau i'w dilyn wrth geryddu. 3 Ynghylch gwragedd gweddwon, 17 a Henuriaid. 23 Cyngor ynghylch iechyd Timotheus. 24 Bod pechodau rhai yn myned or blaen i farn, ar eiddo eraill yn canlyn.



Na cheryddä Henaf-gwr, eithr cynghora [ef] megis tâd, a'r rhai ieuaingc, megis brodyr:

2 Yr hên wragedd, megis mammau: y rhai ieuaingc, megis chwiorydd, gyd || a phôb purdeb.

3 Anrhydedda'r gwragedd gweddwon, y rhai sy wir weddwon.

4 Eithr o bydd un weddw ac iddi blant neu wyrion, dyscant yn gyntaf arfer duwioldeb gartref, a thalu'r pwyth iw rhieni: canys hynny sydd dda, a chymmeradwy ger bron Duw.

|| mewn pob diweirdeb.

5 Eithr yr hon [sydd] wir weddw ac unic, sydd yn gobeithio yn Nuw, ac yn parhau mewn ymbiliau, a gweddiau, nôs a dydd.

6 Ond yr hon [sydd] || drythyll, a fu farw, er ei bôd yn fyw.

7 A gorchymmyn y pethau hyn, fel y byddont ddiargyoedd.

8 Ac od oes neb heb ddarbod tros yr eiddo, ac yn enwedig ei deulu, efe a wadodd y ffydd, a gwaeth yw na'r diffydd.

9 || Na ddewiser yn weddw [un] a fo tan driugein-mlwydd oed, yr hon fu wraig i un gwr:

10 Yn dda ei gair am weithredoedd da: os dygodd hi blant i fynu, os bu letteugar, o golchodd hi draed y Sainct, o chynhorthwyodd hi y rhai cystuddiol, o dilynodd hi bôb gorchwyl da.

11 Eithr gwrthod y gweddwon ieuaingc: canys pan ddechreuont ymddrythyllu yn erbyn Christ, priodi a fynnant;

12 Gan gael barnedigaeth, am iddynt ddirmygu y ffydd gyntaf.

13 A hefyd, y maent yn dyscu [bôd] yn segur, gan rodio o amgylch o dŷ i dŷ: ac nid yn segur yn unic, ond hefyd yn wâg-siaradus, ac yn rhodres-gar, gan adrodd pethau nid ŷnt gymmwys.

14 Yr wyf yn ewyllysio gan hynny i'r rhai ieuaingc briodi, planta, gwarchod y tŷ, heb roi dim achlysur i'r gwrthwynebwr i ddifenwi.

15 Canys y mae rhai eusus wedi gwyro ar ôl Satan.

16 Od oes gan wr neu wraig ffyddlon, [wragedd] gweddwon, cynnorthwyant hwynt, ac na phwyser ar yr Eglwys, fel y gallo hi ddiwallu y gwir weddwon.

17 Cyfrifer yr Henuriaid sy'n llywodraethu yn dda, yn deilwng o barch dau-ddyblyg: yn enwedig y rhai sy yn poeni yn y gair a'r athrawiaeth.

18 Canys y mae yr Scrythur yn dywedyd, * Na chae safn yr ŷch sydd yn dyrnu yr ŷd: Ac, * Y mae'r gweithiwr yn haeddu ei gyflog.

19 Yn erbyn Henuriad na dderbyn achwyn, oddieithr || tan ddau neu dri o dystion.

20 Y rhai sy'n pechu, || cerydda yngwydd pawb, fel y byddo ofn ar y llaill.

21 || Gorchymmyn yr ydwyf ger bron Duw, a'r Arglwydd Jesu Grist, a'r etholedig Angelion, gadw o honot y pethau hyn heb rag-farn, heb wneuthur dim || o gydbartiaeth.

22 Na ddôd ddwylo yn ebrwydd ar neb, ac na fydd gyfrannog o bechodau rhai eraill: cadw dy hun yn bur.

23 Nac ŷf ddwfr yn hwy: eithr arfer ychydig wîn, er mwyn dy gylla, a'th fynych wendid.

24 Pechodau rhyw ddynion sydd amlwg o'r

|| yn byw yn foethus.
|| Na chyfrifer ym mhlith y rhai gweddwon.
*Deut.25.4. 1.Cor.9.9. *Mat.10.10.
|| neu, ger bron dau.
|| argyoedda.
|| Dir-destiolaethu.
|| o duedd.

o'r blaen, yn rhag-flaenu i farn: eithr rhai sydd yn eu canlyn hefyd.

25 Yr un ffunyd hefyd y mae gweithredoedd da yn amlwg o'r blaen: a'r rhai sy amgenach, ni's gellir eu cuddio.

PEN. VI.

1 Dyled gweision i'w meistred. 3 Am ochelud athrawon newydd. 6 Duwioldeb sydd elw mawr: 10 a chwant arian ydyw gwreiddyn pob drwg. 11 Beth a ddylei Timotheus i ochelyd a'i ddilyn: 17 Am ba beth yr oedd iddo rybuddio y cyfoethogion. 20 Am gadw yr athrawiaeth iawn: a gochelud siaradach ofer.

*Ephes.6.5. Colos.3.22. 1.Pet.2.18.



*Ynniser ac sy wasanaethwyr tan yr iau, tybiant eu meistred eu hun yn deilwng o bôb anrhydedd; fel na chabler Enw Duw, a'i athrawiaeth ef.

2 A'r rhai sy a meistred ganddynt yn credu, na ddiystyrant [hwynt,] o herwydd eu bôd yn frodyr: eithr yn hytrach gwasanaethant [hwynt,] am eu bôd yn credu, ac yn anwyl, yn gyfrannogion o'r llesâd. Y pethau hyn dysc, a chynghora.

3 Od oes neb yn dyscu yn amgenach, ac heb gyttuno ag iachus eiriau ein Harglwydd Jesu Grist, ac â'r athrawiaeth sydd ar ôl duwioldeb,

4 Chwyddo y mae, heb wybod dim, eithr || ammhwyllo ynghylch cwestiwnau, ac ymryson ynghylch geiriau: o'r rhai y mae cenfigen, ymryson, cableddau, drwg dybiau, yn dyfod,

||Gr. yn glâf.

5 Cyndyn ddadlau dynion llygredig eu meddwl, heb fôd y gwirionedd ganddynt; yn tybied mai elw yw duwioldeb: cilia oddi wrth y cyfryw.

6 Ond elw mawr yw duwioldeb gyd â bodlonrwydd.

7 Canys * ni ddygasom ni ddim i'r bŷd, [ac] eglur [yw] na allwn ddwyn dim allan chwaith.

*Preg.5.14. Iob 1.21.

8 Ac o bydd gennym ymborth a dillad, ymfodlonwn ar hynny.

9 Ond y rhai [sydd] yn ewyllysio ymgyfoethogi, sydd yn syrthio i brofedigaeth a magl, a llawer o chwantau ynfyd, a niweidiol, y rhai sy yn boddi dynion i ddinistr a cholledigaeth.

10 Canys gwreiddyn pôb drwg yw ariangarwch: yr hon, a rhai yn chwannog iddi, hwy a gyfeiliornasant oddi wrth y ffydd, ac a'u gwanasant eu hunain â llawer o ofidiau.

11 Eithr tydi, gŵr Duw, gochel y pethau hyn: a dilyn gyfiawnder, duwioldeb, ffydd, cariad, ammynedd, addfwyndra.

12 Ymdrecha hardd-deg ymdrech y ffydd, cymmer afael ar y bywyd tragwyddol, i'r hwn hefyd i'th alwyd, ac y proffessaist broffes dda ger bron llawer o dystion.

13 *Yr ydwyf yn gorchymmyn i ti ger bron Duw, yr hwn sydd yn bywhau pôb peth, a [cher bron] Christ Jesu * yr hwn tan Pontius Pilat a dystiodd || broffess dda:

Pen.5.21. Ioan 18.37. ||tystes.

14 Gadw o honot y gorchymmyn [hwn,] yn ddifeius, yn ddiargyoedd, hyd ymddangosiad ein Harglwydd Jesu Grist.

15 Yr hwn yn ei amserau priod a ddengys y bendigedig a'r unic Bennaeth, Brenin y brenhinoedd, ac Arglwydd yr arglwyddi:

16 Yr hwn yn unic sydd ganddo anfarwoldeb, [sydd] yn trigo yn y goleuni ni ellir dyfod atto: * yr hwn ni's gwelodd un dŷn, ac ni's dichon ei weled: i'r hwn [y byddo] anrhydedd, a gallu tragywyddol. Amen.

*Ioan.1.18. 1.Ioan 4.12.

17 Gorchymmyn i'r rhai sy oludog yn y bŷd ymma, na byddont uchel-feddwl, ac na obethiont mewn || golud anwadal, ond yn y Duw byw, yr hwn sydd yn helaeth yn rhoddi i ni bôb peth i'w mwynhau:

||anwadalwch golud.

18 Ar iddynt wneuthur daioni, ymgyfoethogi mewn gweithredoedd da, fôd yn hawdd ganddynt roddi, [a] chyfrannu:

19 *Yn trysori iddynt eu hunain sail dda erbyn [yr amser] sydd ar ddyfod, fel y caffont afael ar y bywyd tragwyddol.

Math.6.20. luc.12.33.

20 O Timotheus, cadw yr hyn a roddwyd i'w gadw attat, gan droi oddi wrth halogedig ofer-sain, a gwrthwyneb gwybodaeth, a gam-henwir [felly:]

21 Yr hon tra yw rhai yn ei || phroffessu, hwy a gyfeiliornasant o ran y ffydd. Grâs fyddo gyd â thi. Amen.

||haddo.

¶ Y cyntaf at Timotheus a scrifennwyd o Laodicea, yr hon yw prif ddinas Phrygia Pacatiana.

AIL



# AIL EPISTOL PAVL YR APOSTOL AT TIMOTHEVS.

## PEN. I.

1 Serch Paul tuag at Timotheus: a'r ffydd ddiffuant oedd yn Timotheus, ac yn ei fam, a'i nain. 6 Ei annog ef i gyffroi rhoddiad Duw oedd ynddo ef: 8 I fod yn ddianwadal, ac yn ddioddefgar mewn erlid: 13 Ac i barhau yn y wir athrawiaeth a ddyscasai ganddo ef. 15 Ynghylch Phygelus a Hermogenes: a chlod Onesiphorus.



Paul Apostol Jesu Grist trwy ewyllys Duw, yn ôl addewid y bywyd, yr hwn sydd ynGhrist Jesu,

2 At Timotheus. [fy] mab anwyl; grâs, trugaredd, [a] thangneddyf, oddi wrth Dduw Tâd, a Christ Jesu ein Harglwydd.

3 Y mae gennif ddiolch i Dduw, yr hwn yr ydwyf yn ei wasanaethu o'm rhieni â chydwybod bur, mor *ddibaid y mae gennif goffa am danat ti, yn fy ngweddiau, nôs a dydd:

4 Gan fawr ewyllysio dy weled, gan gofio dy ddagrau, fel i'm llanwer o lawenydd:

5 Gan alw i'm cof y ffydd ddi-ffuant sydd ynot ti, yr hon a drigodd yn gyntaf yn dy nain Lois, ac yn dy fam Eunice: a diammeu gennif [ei bod] ynot titheu hefyd.

6 O herwydd pa achos yr ydwyf yn dy goffau i ail-ennyn dawn Duw, yr hwn sydd ynot, trwy arddodiad fy nwylo i.

7 Canys ni roddes Duw i ni yspryd ofn, onid [yspryd] nerth, a chariad, a phwyll.

8 Am hynny na fid arnat gywilydd o dystiolaeth ein Harglwydd, nac o honof finneu ei garcharor ef: eithr cyd-oddef di gystudd â'r Efengyl, yn ôl nerth Duw:

9 Yr hwn a'n hachubodd ni, ac a'n galwodd â galwedigaeth sanctaidd: *nid yn ôl ein gweithredoedd ni, ond yn ôl ei arfaeth ei hun a'i râs, yr hwn a roddwyd i ni ynGhrist Jesu, *cyn dechreu'r bŷd:

10 Eithr a eglurwyd yr awron trwy ymddangosiad ein Iachawdr Jesu Grist, yr hwn a ddiddymmodd angeu, ac a ddug fywyd ac anllygredigaeth, i oleuni, trwy'r Efengyl.

11 *I'r hon i'm gosodwyd i yn bregethwr ac yn Apostol, ac yn athro y Cenhedloedd.

12 Am ba achos yr ydwyf hefyd yn dioddef y pethau hyn: ond nid oes arnaf gywilydd; canys mi a wn i bwy ‖ y credais, ac y mae yn ddiammeu gennif ei fôd ef yn abl i gadw yr hyn a roddais atto erbyn y dydd hwnnw.

13 Bydded gennit ffurf yr ymadroddion iachus, y rhai a glywaist gennif fi, yn y ffydd, a'r cariad [sydd] ynGhrist Jesu.

14 Y peth da a rodded iw gadw attat, cadw trwy'r Yspryd glân, yr hwn sydd yn preswylio ynom.

15 Ti a wyddost hyn, ddarfod i'r rhai oll sy yn Asia droi oddi wrthif: o'r sawl y mae Phygelus a Hermogenes.

16 Rhodded yr Arglwydd drugaredd i dŷ Onesiphorus: canys efe a'm llonnodd i yn fynych, ac nid oedd gywilydd ganddo fy nghadwyn i.

17 Eithr pan oedd yn Rhufain, [efe] a'm ceisiodd yn ddiwyd iawn, ac a'm cafodd.

18 Rhodded yr Arglwydd iddo gael trugaredd gan yr Arglwydd, yn y dydd hwnnw: a maint a wnaeth efe o wasanaeth yn Ephesus, ‖ goreu y gwyddost ti.

Rhuf. 1.9.

Tit. 3.5.

Tit. 1.2.

*1. Tim. 2.7.

‖ yr ymddiriedais.

‖ gwell.

## PEN. II.

1 Ei annog ef i ddianwadalwch, ac i barhau, ac i wneuthur rhan gwenidog ffyddlon yr Arglwydd, gan gyfrannu gair Duw yn iawn, ac attal siaradach ofer. 17 Am Hymenæus a Philetus. 19 Bod sylfaen yr Arglwydd yn sicr. 22 Y mae yn dyscu iddo beth sydd iw ochelud ac iw ddilyn, a pha fodd y gweddei i wenidog yr Arglwydd ymddwyn.



Tydi gan hynny, fy mâb, ymnertha yn y grâs sydd ynGhrist Jesu:

2 A'r pethau a glywaist gennif trwy lawer o dystion, traddoda y rhai hynny i ddynion ffyddlon, y rhai a fyddant gymmwys i ddyscu eraill hefyd.

3 Tydi gan hynny goddef gystudd, megys milwr da i Iesu Grist.

4 Nid yw neb ar sydd yn milwrio yn ymrwystro â negeseuau y bywyd [hwn,] fel y rhyngo fodd i'r hwn a'i dewisodd yn fil-wr.

5 Ac od ymdrech neb hefyd, ni choronir ef, onid ymdrech yn gyfreithlon.

6 Y llafur-wr || sydd yn llafurio, sydd raid iddo yn gyntaf || dderbyn y ffrwythau.

|| gan lafurio. || fod yn gyfrannog o'r ffrwythau.

7 Ystyria yr hyn yr ydwyf yn ei ddywedyd: a'r Arglwydd a roddo i ti ddeall ym mhôb peth.

8 Cofia gyfodi Iesu Grist o hâd Dafydd, o feirw, yn ôl fy Efengyl i:

9 Yn yr hon yr ydwyf yn goddef cystudd hyd rwymau, fel drwg-weithredwr, eithr gair Duw nis rhwymir.

10 Am hynny yr ydwyf yn goddef pôb peth, er mwyn yr etholedigion, fel y gallent hwythau gael yr iechydwriaeth sydd ynGhrist Iesu, gyd â gogoniant tragwyddol.

11 Gwir yw'r gair: canys * os buom feirw [gyd ag ef,] byw fyddwn hefyd [gyd ag ef:]

*Rhuf. 6.7.

12 Os dioddefwn, ni a deyrnaswn [gyd ag ef:* os gwadwn [ef,] yntau hefyd a'n gwâd ninnau:

*Matt. 10.33. Mar. 8.38.

13 * Os ym ni heb gredu, [etto] y mae efe yn aros yn ffyddlon: ni's gall efe ei wadu ei hun.

*Rhuf. 3.3.

14 Dwg y pethau hyn ar gôf, gan || orchymmyn ger bron yr Arglwydd na byddo iddynt ymryson ynghylch geiriau, [yr hyn] nid yw fuddiol i ddim, [ond] i ddadymchwelyd y gwrandawyr.

|| ddir-dystiolaethu.

15 Bydd ddyfal i'th osod dy hun yn brofedig gan Dduw, yn weithiwr difeil, yn iawn-gyfrannu gair y gwirionedd.

16 Ond halogedig ofer-sain, gochel: canys cynnyddu a wnânt i fwy o annuwioldeb.

17 A'u hymadrodd hwy a yssa fel cancr: ac o'r cyfryw rai y mae Hymenæus a Philetus:

18 Y rhai o ran y gwirionedd a gyfeiliornasant, gan ddywedyd ddarfod yr adgyfodiad eusys: ac y maent yn dadymchwelyd ffydd rhai:

19 Eithr y mae || cadarn sail Duw yn sefyll, a chanddo y sêl hon, Yr Arglwydd a edwyn y rhai sydd eiddo ef: a phôb un sydd yn henwi Enw Christ, ymadawed oddi wrth anghyfiawnder.

|| sail Duw yn sefyll yn sicr.

20 Eithr mewn tŷ mawr nid oes yn unig lestri o aur ac o arian, ond hefyd o bren ac o bridd: a rhai i barch, a rhai i ammarch.

21 Pwy bynnag gan hynny a'i glanhao ei hun oddi wrth y pethau hyn, efe a fydd yn llestr i barch, wedi ei sancteiddio, ac yn gymmwys || i'r Arglwydd, wedi ei ddarparu i bob gweithred dda.

|| i waith yr Arglwydd.

22 Ond chwantau ieuengctid, ffo [oddi wrthynt:] a dilyn gyfiawnder, ffydd, cariad, tangnheddyf, gyd â'r rhai sy yn galw ar yr Arglwydd o galon bûr.

23 Eithr gochel ynfyd ac annyscedig *gwestiwnau, gan wybod eu bôd yn magu ymrysonau.

*Tit. 3.9.

24 Ac ni ddylei gwâs yr Arglwydd ymryson, ond bôd yn dirion wrth bawb, yn athrawus, yn ddioddefgar:

25 Mewn addfwynder yn dyscu y rhai gwrthwynebus, [i edrych] a roddo Duw iddynt hwy ryw amser, edifeirwch i gydnabod y gwirionedd:

26 A bôd iddynt || ddyfod i'r iawn allan o fagl diafol, y rhai a || ddelid ganddo wrth ei ewyllys ef.

|| ddeffroi. || ddaliwyd yn garcharorion, neu, yn fyw.

## PEN. III.

Y mae yn ei rybuddio ef am amseroedd blinion: 6 yn dangos pa fath ydyw gelynion y gwirionedd: 10 yn ei osod ei hun yn siampl iddo: 16 Ac yn canmol yr Scrythur lân.



Wybydd hyn hefyd, y daw amseroedd enbyd yn y dyddiau diweddaf.

2 Canys bydd dynion a'u serch arnynt eu hunain, yn arian-gar, yn ymffrost-wyr, yn feilchion, yn gabl-wyr, yn anufyddion i rieni, yn annïolchgar, yn annuwiol,

3 Yn angharedig, yn torri cyfammod, yn || enllibaidd, yn anghymhesur, yn anfwyn, yn ddi-serch i'r rhai da,

|| ddiafliaid.

4 Yn frâd-wyr, yn waed-wyllt, yn chwyddedig, yn caru melys-chwant yn fwy nag yn caru Duw:

5 A chanddynt rith duwioldeb, eithr wedi gwadu ei grym hi: a'r rhai hyn gochel di.

6 Canys o'r rhai hyn y mae y rhai [sy] yn ymlusco i deiau, ac yn dwyn yn gaeth wrageddos llwythog o bechodau, wedi eu harwain gan amryw chwantau:

7 Yn dyscu bôb amser, ac heb allu dyfod un amser i wybodaeth y gwirionedd.

8 *Eithr megis y safodd Iannes a Iambres yn erbyn Moses, felly y mae y rhai hyn hefyd yn sefyll yn erbyn y gwirionedd, dynion o feddwl llygredig, yn anghymmeradwy o ran y ffydd.

*Exod. 7.11.

9 Eithr nid ânt rhagddynt ym mhellach: canys eu hynfydrwydd fydd amlwg i bawb, megis y bu yr eiddynt hwythau.

10 Eithr ti a || lwyr-adwaenost fy nysceidiaeth, fy muchedd, fy arfaeth, ffydd, hirymaros, cariad, ammynedd:

|| ddiwyd-ddilynaist.

11 Yr erlidiau, y dioddefiadau, y rhai a ddigwyddasant i mi yn *Antiochia, yn Iconium, yn Lystra; pa erlidiau a ddioddefais: eithr oddi wrthynt oll i'm gwaredodd yr Arglwydd.

*Act. 13.14.

12 Ie, a phawb a'r sy yn ewyllysio byw yn dduwiol ynGhrist Iesu, a erlidir.

13 Eithr drwg-ddynion a thwyll-wyr a ânt rhagddynt waeth-waeth, gan dwyllo a chael eu twyllo.

14 Eithr aros di yn y pethau a ddyscaist,

ac a ymddiriedwyd i ti amdanynt, gan wybod gan bwy y dyscaist:

15 Ac i ti er yn fachgen wybod yr Scrythur lân, yr hon sydd abl i'th wneuthur di yn ddoeth i iechydwriaeth, trwy 'r ffydd sydd yng-Ghrist Iesu.

16 *Yr holl Scrythur [sydd] wedi ei rhoddi gan ysprydoliaeth Dduw, ac [sydd] fuddiol i athrawiaethu, i argyoeddi, i geryddu, i hyfforddi mewn cyfiawnder,

*2.Pet.1.21.

17 Fel y byddo dyn Duw yn berffaith, wedi ei berffeithio i bôb gweithred dda.

PEN. IIII.

1 Y mae yn ei annog ef i fod yn ofalus ac yn ddiwyd i gwplau ei swydd. 6 Yn ei rybuddio nesed oedd ei farwolaeth ef, 9 yn ewyllysio iddo ddyfod atto ef ar fyrder: 14 ac yn ei rybuddio ef i ochelud Alexander y gof: 16 Yn dangos iddo beth a ddigwyddasei iddo wrth ei atteb cyntaf. 19 Ac ar ôl hynny y mae efe yn dibennu.



YR ydwyf fi gan hynny yn || gorchymmyn ger bron Duw, a'r Arglwydd Iesu Grist, yr hwn a farna y byw a'r meirw, yn ei ymddangosiad a'i deyrnas:

|| ardystiolaethu.

2 Pregetha 'r gair, bydd daer, mewn amser, allan o amser; argyoedda, cerydda, annog, gyda phôb hir-ymaros ac athrawiaeth.

3 Canys daw yr amser pryd na ddioddefont athrawiaeth iachus: eithr yn ôl eu chwantau eu hunain, y pentyrrant iddynt eu hunain athrawon, gan fôd eu clustiau yn merwino:

4 Ac oddi wrth y gwirionedd y troant ymmaith eu clustiau, ac at chwedlau y troant.

5 Eithr gwilia di ym mhôb peth, dioddef adfyd: gwna waith Efengylwr, || cyflawna dy weinidogaeth.

|| llawn-brisia.

6 Canys myfi yr awron a aberthir, ac amser fy ymddattodiad i a nesaodd.

7 Mi a ymdrechais ymdrech dêg, mi a orphennais fy ngyrfa, mi a gedwais y ffydd.

8 O hyn allan rhoddwyd coron cyfiawnder i'w chadw i mi, yr hon a rydd yr Arglwydd, y barnwr cyfiawn, i mi yn y dydd hwnnw: ac nid yn unic i mi, ond hefyd i bawb a garant ei ymddangosiad ef.

9 || Bydd ddyfal i ddyfod attaf yn ebrwydd:

||Cais ddyfod.

10 Canys Demas a'm gadawodd, gan garu y byd presennol, ac a aeth ymmaith i Thessalonica, Crescens i Galatia, Titus i Dalmatia.

11 Lucas yn unic sydd gyd â mi. Cymmer Marc, a dwg gyd â thi: canys buddiol yw [efe] i mi i'r weinidogaeth.

12 Tychicus hefyd a ddanfonais i Ephesus.

13 Y cochl a adewais i yn Troas gyd â Charpus, pan ddelych dwg [gyd â thi,] a'r llyfrau, yn enwedig y memrwn.

14 Alexander y gôf copr a wnaeth i mi ddrygau lawer: taled yr Arglwydd iddo yn ôl ei weithredoedd.

15 Yr hwn hefyd gochel dithau: canys efe a safodd yn ddir-fawr yn erbyn ein || hymadroddion ni.

||Neu, pregeth.

16 Yn fy atteb cyntaf ni safodd neb gyd â mi, eithr pawb a'm gadawsant: [mi a archaf i Dduw] na's cyfrifer iddynt.

17 Eithr yr Arglwydd a safodd gyd â mi, ac a'm nerthodd: fel trwofi y byddei y pregethiad yn || llawn hyspys, ac y clywei yr holl Genhedloedd: ac mi a waredwyd o enau y llew.

||gyflawn, &c.

18 A'r Arglwydd a'm gwared i rhag pôb gweithred ddrwg, ac a'm ceidw i'w deyrnas nefol: i'r hwn [y byddo] gogoniant yn oes oesoedd. Amen.

19 Annerch Prisca, ac Aquila, a || theulu Onesiphorus.

||thy.

20 Erastus a arhosodd yn Corinth: ond Trophimus a adewais ym Miletum yn glâf.

21 || Bydd ddyfal i ddyfod cyn y gayaf. Y mae Eubulus yn dy annerch, a Phudens, a Linus, a Chlaudia, a'r brodyr oll.

|| Cais ddyfod

22 Yr Arglwydd Iesu Grist [fyddo] gyd â'th yspryd di. Grâs [fyddo] gyd â chwi. Amen.

¶ Yr ail [epistol] at Timotheus, yr Escob cyntaf a ddewiswyd ar Eglwys yr Epheseiaid, a scrifennwyd o Rufain, pan ddygpwyd Paul yr ail waith ger bron Cæsar Nero.

EPISTOL



# EPISTOL PAUL YR APOSTOL AT TITUS.

## PENNOD I.

5 I ba beth y gadawodd Paul Titus yn Creta. 6 Pa gynneddfau a ddylei fod mewn eglwyswyr. 11 Rhaid yw cau safnau y rhai a ddyscant y pethau ni ddylent. 12 A' pha fath wyr ydynt.



PAUL gwâs Duw, ac Apostol Iesu Grist, yn ôl ffydd etholedigion Duw, ac adnabyddiaeth y gwirionedd, yr hon [sydd] yn ôl duwioldeb:

2 || I obaith bywyd tragwyddol, yr hon a addawodd y di-gelwyddog Dduw * cyn dechreu'r byd:

|| Mewn gobaith.
* 2.Tim.1.9.

3 Eithr mewn amseroedd priodawl efe a eglurhaodd ei air trwy bregethu, * am yr hyn yr ymddiriedwyd i mi, yn ôl gorchymyn Duw ein Iachawdwr:

* 1.Tim.1.11.

4 At Titus fy * mab naturiol yn ôl y ffydd gyffredinol, Grâs, trugaredd, tangneddyf oddi wrth Dduw Tâd, a'r Arglwydd Iesu Grist ein Iachawdwr ni.

1.Tim.1.2.

5 Er mwyn hyn i'th adewais yn Creta, fel yr iawn-drefnit y pethau sy yn || ôl, ac y gosodit henuriaid ym mhôb dinas, megys yr ordeiniais i ti.

|| ddeffygiol.

6 Os yw neb yn * ddi-argyoedd, yn wr un wraig, a chanddo blant ffyddlon, heb gael y gair o fod yn afradlon, neu yn anufydd.

* 1.Tim.3.2.

7 Canys rhaid i Escob fôd yn ddiargyoedd, fel gorchwyliwr Duw: nid yn gyndyn, nid yn ddigllon, nid yn * win-gar, nid yn darawudd, nid yn budr-elwa.

* 1.Tim.3.6.

8 Eithr yn lletteugar, yn caru || daioni, yn sobr, yn gyfiawn, yn sanctaidd, yn dymmherus:

|| y rhai da.

9 Yn dal yn lew y gair ffyddlon yn ôl yr addysc, fel y gallo gynghori yn yr athrawiaeth iachus, ac argyoeddi y rhai sy yn gwrth-ddywedyd:

10 Canys y mae llawer yn anufydd, yn ofer-siaradus, ac yn dwyllwyr meddyliau, yn enwedig, y rhai o'r Enwaediad.

11 Y rhai y mae yn rhaid cau eu safnau: y rhai sy yn dymchwelyd tai cyfan, gan athrawiaethu y pethau ni ddylid, er mwyn budr-elw.

12 Un o honynt hwy eu hunain, un o'i prophwydi hwy eu hunain a ddywedodd, Y Cretiaid [sydd] bob amser yn gelwyddog, drwg fwyst-filod, boliau || gorddiog.

|| segurllyd.

13 Y dystiolaeth hon sydd wir: am ba achos argyoedda hwy yn llym, * fel y byddont iach yn y ffydd:

14 Heb ddal ar chwedlau Iddewaidd, a gorchymynion dynion yn troi oddi wrth y gwirionedd.

15 * Pur yn ddiau [yw] pôb peth i'r rhai pur: eithr i'r rhai halogedig a'r di-ffydd, nid pur dim, eithr halogedig yw hyd yn oed eu meddwl a'u cydwybod hwy.

* Rhuf.14.20.

16 Y maent yn proffessu yr adwaenant Dduw, eithr ar weithredoedd ei wadu y maent, gan fôd yn ffiaidd, ac yn anufydd, ac at bôb gweithred dda yn anghymmeradwy.

## PEN. II.

Y mae efe yn hyfforddi Titus yn ei athrawiaeth, ac yn ei fuchedd. 9 Rhan gweision, a phob math ar Gristianogion.



EIthr llefara di y pethau a weddo i athrawiaeth iachus:

2 Bod o'r henaf-gwyr || yn sobr, yn honest, yn gymhesur, yn iach yn y ffydd, ynghariad, mewn ammynedd:

|| yn wiliadwrus.

3 Bod o'r henaf-gwragedd yr un ffunyd mewn ymddygiad, fel y gweddai i || sancteiddrwydd, nid yn || enllibaidd, nid wedi ymroi i win lawer, yn rhoi athrawiaeth o ddaioni:

|| rai santaidd.
|| ddiaflaidd.

4 Fel y gallont wneuthur y gwragedd ieuaingc yn bwyllog, i garu eu gwyr, i garu eu plant:

5 Yn || sobr, yn || bur, yn gwarchad gartref, yn dda, * yn ddarostyngedig i'w gwyr priod: fel na chabler gair Duw.

|| bwyllog.
|| ddiwair.
* Eph.5.22.

6 Y gwyr ieuaingc yr un ffunyd, cynghora i fod yn sobr:

7 Gan dy ddangos dy hun ym mhob peth yn esampl i weithredoedd da, [a dangos] mewn athrawiaeth, anllygredigaeth, gweddeidd-dra, purdeb,

8 Ymadrodd iachus, yr hwn ni aller beio arno: fel y byddo i'r hwn [sydd] yn y gwrthwyneb gywilyddio, heb ganddo ddim drwg i'w ddywedyd am danoch chwi.

*Ephes.6.5. Col.3.22. 1.Pet.2.18.

9 [ Cynghora ] * weision i fod yn ddarostyngedig iw meistreid eu hun, ac i ryngu bodd [iddynt] ym mhob peth, nid yn gwrth-ddywedyd:

10 Nid yn darn-guddio, ond yn dangos pob ffyddlondeb da: fel yr harddont athrawiaeth Dduw ein Iachawdur, ym mhob peth.

11 Canys ymddangosodd grâs Duw, yr hon sydd yn dwyn iechydwriaeth i bôb dŷn:

12 Gan ein dyscu ni i wadu annuwioldeb a chwantau bydol, a byw yn sobr, ac yn gyfiawn, ac yn dduwiol, yn y byd sydd yr awron;

13 Gan ddisgwil am y gobaith gwynfydedig, ac ymddangosiad gogoniant y Duw mawr, a'n Iachawdur Iesu Grist:

14 Yr hwn a'i rhoddes ei hun trosom, i'n prynu ni oddiwrth bob anwiredd, ac i'n puro ni iddo ei hun, yn bobl briodol, awyddus i weithredoedd da.

15 Y pethau hyn llefara, a chynghora, ac argyoedda gyd â phob awdurdod. Na ddiystyred neb di.

PEN. III.

Y mae Paul yn hyfforddi Titus pa bethau a ddysc, a pha bethau ni ddysc efe iddynt. 10 Am ochelud hæretic cyndyn. 12 Y mae yn dangos iddo i ba fan, a pha bryd y deuai atto ef: ac felly y mae yn dibennu.

Rhuf.13.1. 1.Pet.2.13.

Dwg ar gôf iddynt fôd yn * ddarostyngedig i'r tywysogaethau, a'r awdurdodau, fôd yn ufydd, fôd yn barod i bob gweithred dda:

2 Bod heb gablu neb, yn anymladdgar, yn dirion, gan ddangos pob addfwynder tu ac at bob dŷn.

3 Canys yr oeddym ninnau hefyd gynt yn annoethion, yn anufydd, yn cyfeiliorni, yn gwasanaethu chwantau ac amryw felyswedd, gan fyw mewn drygioni a chenfigen, yn ddigasog, yn casau ei gilydd.

4 Eithr pan ymddangosodd daioni a || chariad Duw ein Achubwr tu ac at ddŷn,

|| dyn-garwch Duw ein Iachawdur.

5 * Nid o weithredoedd cyfiawnder y rhai a wnaethom ni, eithr yn ôl ei drugaredd yr achubodd efe nyni, trwy olchiad yr adenedigaeth, ac adnewyddiad yr Yspryd glân,

*2.Tim.1.9.

6 Yr hwn a dywalltodd efe arnom ni yn helaeth, trwy Iesu Grist ein Iachawdur:

7 Fel gwedi ein cyfiawnhau trwy ei râs ef, i'n gwneid yn etifeddion yn ôl gobaith bywyd tragwyddol.

8 Gwir [ yw ] 'r gair: ac am y pethau hyn yr ewyllysiwn i ti fod yn daer, fel y byddo i'r sawl a gredasant i Dduw ofalu ar flaenori mewn gweithredoedd da: y pethau hyn sydd dda, a buddiol i ddynion.

9 Eithr * gochel gwestiwnau ffôl, ac achau, a chynnhennau, ac ymrysonau ynghylch y Ddeddf: canys anfuddiol ydynt, ac ofer.

*1.Tim.1.4.

10 Gochel y dyn a fyddo Heretic, wedi un ac ail rhybydd:

11 Gan wybod fod y cyfryw un wedi || ei wyr-droi, ac yn pechu, gan fod yn ei ddamnio ei hunan.

|| ei ddymchwelyd.

12 Pan ddanfonwyf Artemas attat, neu Tychicus, bydd ddyfal i ddyfod attaf i Nicopolis: canys yno yr arfaethais aiafu.

13 Hebrwng Zenas y cyfreithiwr, ac Apollos yn ddiwyd, fel na byddo arnynt eisieu dim.

14 A dysced yr eiddom ninnau flaenori mewn gweithredoedd da i angenrheidiau, fel na byddont yn ddi-ffrwyth.

15 Y mae yr holl rai sy gyd â mi yn dy annerch. Annerch y rhai sy yn ein caru ni yn y ffydd. Grâs fyddo gyd â chwi oll. Amen.

¶ At Titus, yr Escob cyntaf a ddewiswyd ar Eglwys y Cretiaid, yr scrifennwyd o Nicopolis ym Macedonia.

EPISTOL



# EPISTOL. S. PAUL AT PHILEMON.

## PENNOD. I.

Y mae yn wych gantho ef glywed am ffydd a chariad Philemon: 9 Ac yn dymuno arno faddeu iw was Onesimus; 12 Ai gymeryd ef adref yn garedig drachefn.



PAUL carcharor Christ Jesu, a'r brawd Timotheus, at Philemon ein hanwylyd, a'n cydweithiwr;

2 Ac at Apphia [ein] hanwylyd, ac at Archippus ein cyd-filwr, ac at yr Eglwys sydd yn dy dŷ di:

3 Grâs i chwi a thangneddyf oddi wrth Dduw ein Tâd, a'r Arglwydd Jesu Ghrist.

4 Yr wyf yn diolch i'm Duw, gan wneuthur coffa am danat yn wastadol yn fy ngweddiau,

5 Wrth glywed dy gariad, a'r ffydd sydd gennit tu ac at yr Arglwydd Jesu, a thu ac at yr holl Sainct:

6 Fel y gwneler cyfranniad dy ffydd di yn nerthol, trwy adnabod pôb peth daionus ar sydd ynoch chwi yng Hhrist Jesu.

7 Canys y mae gennym lawer o lawenydd, a diddanwch yn dy gariad ti, herwydd bod ymyscaroedd y Sainct wedi eu llonni trwot ti, frawd.

8 O herwydd pa ham, er bôd gennif hyfdra lawer yng Hhrist, i orchymmyn i ti y peth sydd weddus,

9 Etto o ran cariad yr ydwyf yn hytrach yn attolwg, er fy môd yn gyfryw un a Phaul yr henaf-gŵr, ac yr awron hefyd yn garcharor Jesu Ghrist.

10 Yr ydwyf yn attolwg i ti dros fy mab * Onesimus, yr hwn a genhedlais i yn fy rhwymau:

*Col. 4. 9.

11 Yr hwn gynt [a fu] i ti yn anfuddiol, ond yr awron yn fuddiol i ti ac i minneu hefyd.

12 Yr hwn a ddanfonais drachefn: a derbyn ditheu ef, yr hwn yw fy ymyscaroedd i.

13 Yr hwn yr oeddwn i yn ewyllysio ei ddal gyd â mi fel trosot ti, y gwasanaethei efe fi yn rhwymau yr Efengyl.

14 Eithr heb dy || feddwl di, ni ewyllysiais wneuthur dim: fel na byddei dy ddaioni di megis o anghenrhaid, onid o fodd.

|| gyngor.

15 Canys ysgatfydd er mwyn hyn yr ymadawodd tros amser, fel y derbynnit ef yn dragywydd:

16 Nid fel gwâs bellach, eithr uwchlaw gwâs, yn frawd anwyl, yn enwedig i mi, eithr pa faint mwy i ti, yn y cnawd, ac yn yr Arglwydd hefyd?

17 Os wyti gan hynny yn fy nghymeryd i yn || gydymmaith, derbyn ef fel myfi.

|| gyfrannog.

18 Ac os gwnaeth efe ddim cam â thi, neu [ os ] yw yn dy ddyled, cyfrif hynny arnafi.

19 Myfi Paul a'i scrifennais â'm llaw fy hun, myfi a'i talaf: fel na ddywedwyf wrthit dy fôd yn fy nyled i ym mhellach am danat dy hun hefyd.

20 Ie frawd, gâd i mi dy fwynhau di yn yr Arglwydd: llonna fy ymyscaroedd i yn yr Arglwydd.

21 Gan hyderu ar dy ufydd-dod yr scrifennais attat, gan wybod y gwnei, ie mwy nag yr wyf yn ei ddywedyd.

22 Heb law hyn hefyd, paratoa i mi letty: canys yr ydwyf yn gobeithio trwy eich gweddiau chwi, y rhoddir fi i chwi.

23 Y mae yn dy annerch Epaphras fy nghyd-garcharor yng Hhrist Jesu,

24 Marcus, Aristarchus, Demas, Lucas, fy nghydweith-wŷr.

25 Grâs ein Harglwydd Jesu Ghrist gyd â'ch yspryd chwi. Amen.

¶ At Philemon yr scrifennwyd o Rufain gyd â'r gwâs Onesimus.



# EPISTOL PAVL YR Apostol at yr HEBRÆAID.

## PENNOD. I.

2 Duw yn y dyddiau diweddaf a lefarodd wrthym ni trwy ei Fab ei hun: yr hwn o ran ei berson a'i swydd sydd yn rhagori ar yr Angelion. 14 Swydd yr angelion.

Yr Epistol ar ddydd Natalic.



Duw wedi iddo lefaru lawer gwaith a llawer modd gynt wrth y tadau trwy y prophwydi, yn y dyddiau diweddaf hyn a lefarodd wrthym ni yn [ei] Fab,

2 Yr hwn a wnaeth efe yn etifedd pôb peth, trwy 'r hwn hefyd y gwnaeth efe y bydoedd.

3 *Yr hwn ac efe yn ddisclairdeb ei ogoniant ef, ac yn wir lun ei berson ef, ac yn cynnal pôb peth trwy air ei nerth, wedi puro ein pechodau ni trwyddo ef ei hun, a eisteddodd ar ddeheu-law y mawredd, yn y goruwch-leoedd:

*Col.1.15. Doet.7.26.

4 Wedi ei wneuthur o hynny yn well nâ'r Angelion, o gymmaint ac yr etifeddodd efe Enw mwy rhagorol nâ hwynt hwy.

5 Canys wrth bwy o'r Angelion y dywedodd efe un amser: *Fy Mâb ydwyt ti, myfi heddyw a'th genhedlais di. A thrachefn, Myfi a fyddaf iddo ef yn Dad, ac efe a fydd i mi yn Fab.

*Psal.2.7. Pen.5.5. Gweith.13.33

6 A thrachefn, pan yw yn dwyn y cyntaf-anedig i'r byd, y mae yn dywedyd, Ac addoled holl Angelion Duw ef.

7 Ac || am yr Angelion y mae yn dywedyd,* Yr hwn sydd yn gwneuthur ei Angelion yn ysprydion, a'i weinidogion yn fflam dân:

|| gr. wrth. *Psal.104.4.

8 Ond wrth y Mab,*Dy orseddfaingc di, o Dduw, [sydd] yn oes oesoedd: teyrnwialen uniondeb, [yw] teyrn-wialen dy deyrnas di.

*Psal.45.6.

9 Ti a geraist gyfiawnder, ac a gaseaist anwiredd, am hynny i'th eneiniodd Duw, [sef] dy Dduw di, ag olew gorfoledd tu hwnt i'th gyfeillion.

10 Ac,*Tydi yn y dechreuad, Arglwydd, a sylfaenaist y ddaiar, a gwaith dy ddwylo di yw y nefoedd.

*Psal.102.25. Esa.34.

11 Hwynt-hwy a ddarfyddant, ond tydi sydd yn parhau: a [hwynt-hwy] oll fel dilledyn a heneiddiant.

12 Ac megis gwisc y plygi di hwynt, a [hwy] a newidir: ond tydi yr un ydwyt, a'th flynyddoedd ni phallant.

13 Ond wrth ba un o'r Angelion y dywedodd efe un amser, * Eistedd ar fy neheulaw,*hyd oni osodwyf dy elynion yn droedfaingc i'th draed?

*Psal.110.1. Matt.22.44. *1.Cor.15.25. Pen.10.13.

14 Onid ysprydion gwasanaethgar ydynt hwy oll, wedi eu danfon i wasanaethu er mwyn y rhai a gânt etifeddu iechydwriaeth?

## PEN. II.

1 Ydylem ni fod yn vfydd i Ghrist Iesu, 5 gan fod yn wiw gantho ef ei hun gymeryd ein naturiaeth ni arno 14 fel yr oedd yn anghenrhaid.



Am hynny y mae yn rhaid i ni ddal yn well ar y pethau a glywsom, rhag un amser i ni || eu gollwng hwy i golli.

|| Gr. ollwng fel llestri tandyll.

2 Canys os bu gadarn y gair a lefarwyd trwy Angelion, ac os derbyniodd pob trosedd ac anufydd-dod, gyfiawn daledigaeth,

3 Pa fodd y diangwn ni, os esceulus wn iechydwriaeth gymmaint, yr hon wedi dechreu ei thraethu trwy 'r Arglwydd, a sicrhawyd i ni, gan y rhai a'i clywsant [ef:]

4 *A Duw hefyd yn cyd-tystiolaethu trwy arwyddion a rhyfeddodau, ac amryw nerthoedd, a|| doniau yr Yspryd glân, yn ôl ei ewyllys ei hun?

*Mar.16.20. || rhaniadau.

5 Canys nid i'r Angelion y darostyngodd efe y byd a ddaw, am yr hwn yr ydym yn llefaru.

6 Eithr un mewn rhyw fan a dystiolaethodd, gan ddywedyd, * Pa beth yw dyn, i ti i feddwl am dano? neu fab dyn, i ti i ymweled ag ef?

*Psal. 8.4.

7 Ti a'i gwnaethost ef ychydig is nâ'r Angelion: â gogoniant ac anrhydedd y coronaist ef, ac a'i gosodaist ef ar weithredoedd dy ddwylo.

8 * Ti a ddarostyngaist bob peth tan ei draed ef. Canys wrth ddarostwng pob peth iddo, ni adawodd efe ddim heb ddarostwng iddo: ond yr awron nid ydym ni etto yn gweled pob peth wedi eu darostwng iddo.

1.Cor.15.27.

9 Eithr yr ydym ni yn gweled Iesu yr hwn a wnaed ychydig yn is nâ'r Angelion, || o herwydd dioddef marwolaeth: wedi ei

|| trwy ddio.

ei goroni â gogoniant ac anrhydedd: fel trwy râs Duw y profei efe farwolaeth tros bob dŷn.

10 Canys gweddus oedd iddo ef, o herwydd yr hwn [y mae] pob peth, a thrwy 'r hwn [y mae] pob peth, wedi [iddo] ddwyn meibion lawer i ogoniant, berffeithio tywysog eu hiechydwriaeth hwy trwy ddioddefiadau.

11 Canys yr hwn sydd yn sancteiddio, a'r rhai a sancteiddir, o'r vn [y maent] oll: am ba achos nid yw gywilyddus ganddo eu galw hwy yn frodyr,

12 Gan ddywedyd, *Mysi a fynegaf dy Enw dy i'm brodyr, ynghanol yr Eglwys ||i'th folaf di.

13 A thrachefn, *Mysi a fyddaf yn ymddiried ynddo. A thrachefn, *Wele fi a'r plant a roddes Duw i mi.

14 Oblegid hynny, gan fôd y plant yn gyfrannogion o gig a gwaed, yntef hefyd yr vn modd a fu gyfrannog o'r vn pethau: fel *trwy farwolaeth y dinistriei efe yr hwn oedd â nerth marwolaeth ganddo, hynny yw diafol:

15 Ac y gwaredei hwynt, y rhai trwy ofn marwolaeth oeddynt tros eu holl fywyd tan gaethiwed.

16 Canys || ni chymmerodd efe [naturiaeth] Angelion, eithr hâd Abraham a gymmerodd efe.

17 Am ba achos y dylei [efe] ym mhob peth fôd yn gyffelyb i'w frodyr, fel y byddei drugarog, ac Arch-offeiriad ffyddlon mewn pethau yn perthyn i Dduw, i wneuthur cymmod tros bechodau 'r bobl.

18 Canys yn gymmaint a dioddef o honaw ef, gan gael ei demtio, efe a dichon gynnorthwyo y rhai a demtir.

*Psal.22.22.
|| ycanaf hymnau i ti.
*Psal.18.2.
*Esa.8.18.
*Hose.13.14.
||Gr. nid yw yn cymmeryd gafael ar Angelion, eithr ar hâd Abraham y mae efe yn cymmeryd gafael.

## PEN. III.

1 Bod Christ yn rhagori ar Moses: 7 am hynny oni chredwn ni iddo ef, yr ydym ni yn haeddu ychwaneg gospedigaeth nâ'r Israeliaid gwrthnysig.



O Herwydd pa ham, frodyr sanctaidd, cyfrannogion o'r galwedigaeth nefol, ystyriwch Apostol ac Arch-offeiriad ein cyffes ni, Christ Iesu:

2 Yr hwn sydd ffyddlon i'r hwn a'i ||hordeiniodd ef, megis ac [y bu] *Moses yn ei holl dŷ ef.

3 Canys fe a gyfrifwyd hwn yn haeddu mwy gogoniant nâ Moses, o gymmaint ac y mae 'r hwn a adeiladodd y tŷ, yn cael mwy o barch nâ'r tŷ.

4 Canys pob tŷ a adeiledir gan rywvn: ond yr hwn a adeiladodd bob peth [yw] Duw.

5 A Moses yn wir [a fu] ffyddlon yn ei holl dŷ ef, megis gwâs, er tystiolaeth i'r pethau oedd i'w llefaru:

6 Eithr Christ, megis mab ar ei dŷ ei hun: tŷ yr hwn ydym ni, os nyni a geidw ein hyder, a gorfoledd ein gobaith, yn sicr hyd y diwedd.

7 Am hynny megis y mae yr Yspryd glân yn dywedyd, *Heddyw os gwrandewch ar ei leferydd ef,

8 Na chaledwch eich calonnau, megis yn y cyffroad, yn nydd y profedigaeth yn y diffaethwch:

9 Lle y temtiodd eich tadau fyfi, y profasant fi, ac y gwelsant fy ngweithredoedd ddeugain mhlynedd.

10 Am hynny y digiais wrth y genhedlaeth honno, ac y dywedais, Y maent bob amser yn cyfeiliorni yn eu calonnau: ac nid adnabuant fy ffyrdd i:

11 Fel y tyngais yn fy llid, ||na chaent ddyfod i mewn i'm gorphwysfa.

12 Edrychwch, frodyr, na byddo vn amser yn neb o honoch galon ddrwg anghrediniaeth, gan ymado oddi wrth Dduw byw.

13 Eithr cynghorwch ei gilydd bob dydd, tra y gelwir hi heddyw: fel na chaleder neb o honoch trwy dwyll pechod.

14 Canys fe a'n gwnaed ni yn gyfrannogion o Christ, os daliwn ddechreuad ein hyder yn sicr hyd y diwedd.

15 Tra y dywedir, Heddyw os gwrandewch ar ei leferydd ef, na chaledwch eich calonnau, megis yn y cyffroad.

16 Canys rhai wedi gwrando a'i digiasant ef, ond nid pawb a'r a ddaethant o'r Aipht trwy Moses.

17 Ond wrth bwy y digiodd efe ddeugain mhlynedd? onid wrth y rhai a bechasent, y rhai y syrthiodd eu cyrph yn y diffaethwch?

18 Ac wrth bwy y tyngodd efe, na chaent hwy fyned i mewn i'w orphwysfa ef, onid wrth y rhai || ni chredasant?

19 Ac yr ydym ni yn gweled na allent hwy fyned i mewn o herwydd anghrediniaeth.

||gwnaeth.
*Num.12.7.
*Psal.95.8.
Pen.4.7.
||Gr. os cânt.
|| nid vfyddhasant.

## PEN. IV.

Trwy ffydd y mae cael gophywyssa y Christianogion. 12 Gallu gair Duw. 14 Trwy ein Arch-offeiriad Iesu Fab Duw, yr hwn oedd heb pechod, ond nid heb ei wendid, 16 y mae i ni gyrchu yn hyf at orseddfaingc gras.



O Fnwn gan hynny, gan fod addewid wedi ei adel i ni i fyned i mewn i'w orphwyssa ef, rhac bod neb o honoch yn debyg i fôd yn ôl.

2 Canys i ninneu y pregethwyd yr Efengyl, megis ac iddynt hwythau: eithr y gair || a glybuwyd ni bu fuddiol iddynt hwy, am nad oedd wedi ei gyd-tymheru â ffydd yn y rhai a'i clywsant.

3 Canys yr ydym ni, y rhai a gredasom, yn myned i mewn i'r orphywyssa, megis y dywedodd efe, *Fel y tyngais yn fy llid, os ânt i mewn i'm gorphywyssa i: er bôd y gweithredoedd wedi eu gwneuthur er seiliad y bŷd.

|| bregethwyd.
*Psal.95.11.

4 Canys

4 Canys efe a ddywedodd mewn man am y seithfed [dydd] fel hyn, *A gorphywysodd Duw y seithfed dydd oddi wrth ei holl weithredoedd.

*Gen.2.2. Exod.20.11.

5 Ac yymma drachefn, Os ânt i mewn i'm gorphywyssa i.

6 Gan hynny gan fôd [hyn] wedi ei adel, fôd rhai yn myned i mewn iddi, ac nad aeth y rhai y pregethwyd yn gyntaf iddynt i mewn, o herwydd || anghrediniaeth:

|| anufydd-dod.

7 Trachefn y mae efe yn pennu rhyw ddiwrnod, gan ddywedyd yn Nafydd, Heddyw, ar ôl cymmaint o amser; megis y dywedir, *Heddyw os gwrandewch ar ei leferydd ef, na chaledwch eich calonnau.

*Pen.3.7. Psal.95.8.

8 Canys pe dygasei || Jesus hwynt i orphywysfa, ni soniasei efe ar ôl hynny am ddiwrnod arall.

|| sef Iosuah.

9 Y mae gan hynny orphywyssa etto yn ôl i bobl Dduw.

10 Canys yr hwn a aeth i mewn i'w orphywyssa ef, hwnnw hefyd a orphywysodd oddi wrth ei weithredoedd ei hun, megis [y gwnaeth] Duw oddi wrth yr eiddo yntef.

11 Byddwn ddyfal gan hynny i fyned i mewn i'r orphywyssa honno: fel na syrthio neb, yn ôl yr un siampl o || anghrediniaeth.

|| anufydd-dod.

12 Canys bywiol [yw] gair Duw a nerthol, a llymmach nag un cleddyf daufiniog, ac yn cyrhaeddyd trwodd hyd wahaniad yr enaid a'r yspryd, a'r cymmalau a'r mêr; ac yn barnu meddyliau, a bwriadau y galon.

13 Ac nid oes greadur anamlwg yn ei olwg ef: eithr pob peth [sydd] yn noeth, ac yn agored i'w lygaid ef, am yr hwn yr ydym yn sôn.

14 Gan fôd wrth hynny i ni Arch-offeiriad mawr, yr hwn a aeth i'r nefoedd, Jesu Mâb Duw, glynwn yn ein proffess.

15 Canys nid oes i ni Arch-offeiriad, heb fedru cyd-ddioddef gyd â'n gwendid ni, ond wedi ei demtio ym mhob peth yr un ffunyd [a ninneu, etto] heb pechod.

16 Am hynny, awn yn hyderus at orseddfaingc y grâs, fel y derbyniom drugaredd, ac y caffom râs || yn gymmorth cyfamserol.

|| i'n cymmorth mewn pryd.

## PEN. V.

Awdurdod a braint Offeiriadaeth ein Hachubwr. 11 Y mae efe yn beio arnynt am eu bod mor esceulus, ac mor ddiwybod yn y pethau hynny.



Anys pob Arch-offeiriad wedi ei gymmeryd o blith dynion, a osodir tros ddynion yn y pethau sy tu ac at Dduw, fel yr offrymmo roddion ac aberthau tros bechodau.

2 Yr hwn a dichon || dosturio wrth y rhai sy mewn anwybodaeth ac amryfusedd: am ei fôd yntau hefyd wedi ei amgylchu â gwendid:

|| gyd-ddwyn â'r rhai.

3 Ac o achos hyn y dylei, megis tros y bobl, felly hefyd trosto ei hun offrymmu tros bechodau.

4 Ac nid yw neb yn cymmeryd yr anrhydedd [hwn] iddo ei hun, ond yr hwn a alwyd gan Dduw, megis *Aaron:

*1.Cron.23.13.

5 Felly Christ hefyd nis gogoneddodd ei hun i fôd yn Arch-offeiriad; ond yr hwn a ddywedodd wrtho, Tydi yw fy Mab, myfi heddyw a'th genhedlais di.

6 Megis y mae yn dywedyd mewn [lle] arall, *Offeiriad [wyt] ti yn dragywydd, yn ôl urdd Melchisedec.

*Psal.110.4.

7 Yr hwn yn nyddiau ei gnawd, gwedi iddo trwy lefain cryf a dagrau, offrwm gweddiau ac erfyniau at yr hwn oedd abl i'w achub ef oddi wrth farwolaeth, a chael ei wrando || yn yr hyn a ofnodd:

|| o achos ei dduwioldeb.

8 Er ei fôd yn Fab, a ddyscodd ufydd-dod, trwy y pethau a ddioddefodd:

9 Ac wedi ei berffeithio, efe a wnaethpwyd yn || awdur iechydwriaeth dragwyddol, i'r rhai oll a ufuddhânt iddo:

|| achos.

10 Wedi ei gyfenwi gan Dduw yn Arch-offeiriad yn ôl urdd Melchisedec.

11 Am yr hwn y mae i ni lawer i'w dywedyd, ac anhawdd eu traethu: o achos eich bod chwi yn hwyr-drwm eich clustiau.

12 Canys lle dylech fod yn athrawon o ran amser, mae arnoch drachefn eisieu dyscu i chwi beth [ydyw] gwyddorion dechreuad ymadroddion Duw: ac yr ydych yn rhaid i chwi wrth laeth, ac nid bwyd cryf.

13 Canys pob un ac sy yn ymarfer â llaeth, [sydd] anghynefin â gair cyfiawnder: canys maban yw.

14 Eithr bwyd cryf a berthyn i'r rhai || perffaith, y rhai o herwydd cynnefindra y mae ganddynt synhwyr, wedi ymarfer i ddosparthu drwg a da.

|| mewn oedran.

## PEN. VI.

Y mae efe yn eu cynghori hwy na chilient oddiwrth y ffydd: 11 ond bod yn ddianwadal, 12 yn ddiwyd, ac yn ddioddefgar, i ddisgwyl wrth Dduw: 13 Am fod Duw yn sicr yn ei addewid.



M hynny gan roddi heibio || yr ymadrodd sydd yn dechreu rhai ynGhrist, awn rhagom at berffeithrwydd: heb osod i lawr drachefn sail i edifeirwch oddi wrth weithredoedd meirwon, ac i ffydd tu at Dduw:

|| ymadrodd dechreuad Christ.

2 I athrawiaeth bedyddiadau, ac arddodiad dwylo, ac adgyfodiad y meirw, a'r farn dragwyddol.

3 A hyn a wnawn, os caniadhâ Duw.

4 Canys *amhossibl [yw] i'r rhai a oleuwyd un-waith, ac a brofasant y rhodd nefol, ac a wnaethpwyd yn gyfrannogion o'r Yspryd glân,

*Pen.10.26. 2.Petr.2.20. Matt.12.45.

5 Ac a brofasant ddaionus air Duw, a nerthoedd y byd a ddaw;

6 Ac

6 Ac a syrthiant ymaith; ymadnewyddu drachefn i edifeirwch, gan eu bod yn yn ail-croes-hoelio iddynt eu hunain Fab Duw, ac yn ei ‖ osod yn watwor.

‖ wneuthur yn siampl.

7 Canys y ddaiar, yr hon sydd yn yfed y glaw sy yn mynych ddyfod arni, ac yn dwyn llysiau cymmwys i'r rhai y llafurir hi ganddynt; sydd yn derbyn bendith gan Dduw:

8 Eithr yr hon sydd yn dwyn drain a mieri, [sydd] anghymmeradwy, ac agos i felldith, diwedd yr hon [yw] ei llosci.

9 Eithr yr ydym ni yn coelio am danoch chwi, anwylyd, bethau gwell, a [phethau] ynglyn wrth iechydwriaeth, er ein bod yn dywedyd fel hyn.

10 Canys nid yw Duw yn anghyfiawn, fel yr anghofio eich gwaith, ‖ a'r llafurus gariad, yr hwn a ddangosasoch tu ac at ei Enw ef, y rhai a weiniasoch i'r Sainct, ac ydych yn gweini.

‖ a llafur y cariad.

11 Ac yr ydym yn chwennych fod i bob vn o honoch ddangos yr vn diwydrwydd, er mwyn llawn-sicrwydd gobaith hyd y diwedd:

12 Fel na byddoch fuscrell, eithr yn ddilynwyr i'r rhai, trwy ffydd ac ammynedd, sy yn etifeddu yr addewidion.

13 Canys Duw wrth wneuthur addewid i Abraham, oblegid na allei dyngu i neb[oedd] fwy, a dyngodd iddo ei hun,

14 Gan ddywedyd, * Yn ddiau gan fendithio i'th fendithiaf, a chan amlhau i'th amlhâf.

*Gen.12.2. & 22.17.

15 Ac felly wedi iddo hir-ymaros efe a gafodd yr addewid.

16 Canys dynion yn wir sydd yn tyngu i vn a fo mwy; a llw er sicrwydd [sydd] derfyn iddynt ar bob ymryson.

17 Yn yr hyn, Duw yn ewyllysio yn helaethach ddangos i etifeddion yr addewid, ddianwadalwch ei gyngor ef, a gyfryngodd trwy lw:

18 Fel trwy ddau beth dianwadal yn y rhai [yr oedd] yn ammhossibl i Dduw fod yn gelwyddog, y gallem ni gael cyssur cryf, y rhai a ffoesom i gymmeryd gafael yn y gobaith a osodwyd o'n blaen:

16

19 Yr hwn sydd gennym ni megis angor yr enaid, yn ddiogel ac yn sicr, ac yn myned i mewn hyd at yr hyn sydd o'r tu fewn i'r llen:

20 I'r man yr aeth y rhag-flaenor trosom ni, [sef] Iesu, yr hwn a wnaethbwyd yn Arch-offeiriad yn dragwyddol, ar ôl vrdd Melchisedec.

## PEN. VII.

Christ Iesu sydd Offeiriad yn ôl vrdd Melchisedec: 11 Ac felly yn rhagori llawer ar yr Offeiriaid oedd ar ol vrdd Aaron.

*Gen.14.18.



Anys y * Melchisedec hwn, brenin Salem, Offeiriad y Duw Goruchaf, yr hwn a gyfarfu ag Abraham wrth ddychwelyd o ladd y brenhinoedd, ac a'i bendigodd ef:

2 I'r hwn hefyd y cyfrannodd Abraham ddegwm o bob peth: yr hwn yn gyntaf, o'i gyfieithu, [yw] brenin cyfiawnder, ac wedi hynny hefyd brenin Salem: yr hyn yw brenin heddwch:

3 Heb dâd, heb fam, heb achau, heb fôd iddo na dechreu dyddiau, na diwedd einioes: eithr wedi ei wneuthur yn gyffelyb i fab Duw, sydd yn aros yn Offeiriad yn dragywydd.

4 Edrychwch faint oedd hwn, i'r hwn hefyd y rhoddodd Abraham y patriarch ddegwm o'r anrhaith.

5 A'r rhai yn wir [sy] * o feibion Lefi yn derbyn swydd yr Offeiriadaeth, y mae ganddynt orchymmyn i gymmeryd degwm gan y bobl, ar ôl y Gyfraith, sef gan eu brodyr, er eu bôd wedi dyfod o lwynau Abraham:

*Num.18.21.

6 Eithr yr hwn nid [oedd] ei achau o honynt hwy, a gymmerodd ddegwm gan Abraham, ac a fendithiodd yr hwn yr oedd yr addewidion iddo.

7 Ac yn ddi-ddadl, yr hyn [sydd] leiaf a fendithir gan ei well.

8 Ac ymma y mae dynion, y rhai sy yn meirw, yn cymmeryd degymmau: eithr yno, yr hwn y tystiolaethwyd am dano ei fôd efe yn fyw.

9 Ac (fel y dywedwyf felly) yn Abraham y talodd Lefi hefyd ddegwm, yr hwn oedd yn cymmeryd degymmau.

10 Oblegid yr ydoedd efe etto yn lwynau ei dad: pan gyfarfu Melchisedec ag ef.

11 Os ydoedd gan hynny berffeithrwydd trwy offeiriadaeth Lefi, (oblegid tan honno y rhoddwyd y gyfraith i'r bobl) pa raid oedd mwyach godi offeiriad arall ar ôl vrdd Melchisedec, ac na's gelwid ef ar ôl vrdd Aaron?

12 Canys wedi newidio yr Offeiriadaeth, angenrhaid [yw] bôd cyfnewid ar y gyfraith hefyd.

13 Oblegid am yr hwn y dywedir y pethau hyn, efe a berthyn i lwyth arall, o'r hwn nid oedd neb yn gwasanaethu yr allor.

14 Canys hyspys yw mai o Juda y cododd ein Harglwydd ni: am yr hwn lwyth ni ddywedodd Moses ddim tu ag at offeiriadaeth.

15 Ac y mae yn eglurach o lawer etto, ‖ od oes ar ôl cyffelybrwydd Melchisedec, Offeiriad arall yn codi,

‖ o herwydd bôd.

16 Yr hwn a wnaed, nid yn ôl cyfraith gorchymmyn cnawdol, eithr yn ôl nerth bywyd annherfynol.

17 Canys tystiolaethu y mae, * Offeiriad wyt ti yn dragywydd, ar ôl vrdd Melchisedec.

*Pen.5.6. Psal.110.4.

18 Canys yn ddiau y mae dirymmiad i'r gorchymmyn sydd yn myned o'r blaen, o herwydd ei lescedd, a'i afles.

19 Oblegid ni pherffeithiodd y Gyfraith ddim, namyn dwyn gobaith gwell i mewn [a berffeithiodd,] trwy yr hwn yr ydym yn nesau at Dduw.

20 Ac yn gymmaint nad heb lw,

21 (Canys y rhai hynny yn wir, ydynt

wedi

wedi eu gwneuthur yn offeiriaid heb lw: ond hwn, trwy lw, gan yr hwn a ddywedodd wrtho, *Tyngodd yr Arglwydd, ac ni bydd edifar ganddo, Ti [sydd] Offeiriad yn dragywydd ar ôl urdd Melchisedec.)

*Psal. 110.4.

22 Ar Destament gwell o hynny y gwnaethpwyd Iesu yn fachniudd.

23 A'r rhai hynny yn wir, llawer sydd wedi eu gwneuthur yn offeiriaid, o herwydd lluddio iddynt gan farwolaeth barhau:

24 Ond hwn, am ei fod ef yn aros yn dragywydd, sydd ag offeiriadaeth dragwyddol ganddo.

25 Am hynny efe a ddichon hefyd yn gwbl iachau y rhai trwyddo ef sy yn dyfod at Dduw, gan ei fod ef yn byw bob amser, i eiriol trostynt hwy.

26 Canys y cyfryw Arch-offeiriad sanctaidd, diddrwg, dihalog, didoledig oddi wrth bechaduriaid, ac wedi ei wneuthur yn uwch nâ'r nefoedd, oedd weddus i ni:

27 Yr hwn nid yw raid iddo beunydd, megis i'r offeiriaid [hynny,] offrymmu aberthau yn gyntaf * tros ei bechodau ei hun, ac yna tros yr eiddo 'r bobl: canys hynny a wnaeth efe unwaith, pan offrymmodd efe ef ei hun.

*Lefit. 16.6.

28 Canys y gyfraith sydd yn gwneuthur dynion â gwendid ynddynt, yn Arch-offeiriaid: eithr gair y llw, yr hwn [a fu] wedi y gyfraith, [sydd yn gwneuthur] y Mab, yr hwn a berffeithiwyd yn dragywydd.

## PEN. VIII.

Offeiriadaeth Aaron a ddiflannodd, pan ddaeth Christ yr Offeiriad tragwyddol. 7 A'r ammod a wnaed â'r tadau tros amser a roddes le i gyfammod tragwyddol yr Efengyl.



A ||Phen ar [y pethau] a ddywedwyd, [yw hyn:] y mae gennym y fath Arch-offeiriad, yr hwn a eisteddodd ar ddeheulaw gorseddfaingc y mawredd yn y nefoedd,

|| swm y pethau a ddywedwyd [yw hyn.]

2 Yn weinidog y || Cyssegrfa, a'r gwir Dabernacl, yr hwn a osodes yr Arglwydd, ac nid dyn.

|| pethau sanctaidd.

3 Canys pôb Arch-offeiriad a osodir i offrymmu rhoddion ac aberthau: o herwydd pa ham, rhaid [oedd] bôd gan hwn hefyd yr hyn a offrymmei.

4 Canys yn wir pe bai efe ar y ddaiar, ni byddei yn offeiriad chwaith, || gan fôd offeiriaid, y rhai sydd yn offrymmu rhoddion yn ôl y Ddeddf.

|| tra fyddei.

5 Y rhai sy yn gwasanaethu i || siampl a chyscod y pethau nefol, megis y rhybuddiwyd Moses gan Dduw, pan oedd efe ar fedr gorphen y || babell. Canys *gwêl, medd [efe,] ar wneuthur o honot bob peth ar ôl y portreiad a ddangoswyd i ti yn y mynydd.

|| bortreiad.

|| tabernacl. *Exod. 25. 40. Act. 7.44.

6 Ond yn awr efe a gafodd weinidogaeth mwy rhagorol, o gymmaint ac y mae yn gyfryngwr || Cyfammod gwell, yr hwn sydd wedi ei osod ar addewidion gwell.

|| Neu, Testament.

7 Oblegid pe buasei y cyntaf hwnnw yn ddifeius, ni cheisiasid lle i'r ail.

8 Canys yn beio arnynt hwy y dywed [efe,] * Wele, y mae y dyddiau yn dyfod, medd yr Arglwydd, ac mi a wnaf â thŷ Israel, ac â thŷ Iuda, gyfammod newydd:

*Ier. 31.31. Pen. 10. 16.

9 Nid fel y cyfammod a wneuthum â'u tadau hwynt, yn y dydd yr ymaflais yn eu llaw hwynt, iw dwyn hwy o dir yr Aipht: oblegid ni thrigasant hwy yn fy nghyfammod i, minneu a'u hesceulusais hwythau, medd yr Arglwydd.

10 Oblegid hwn [yw] y cyfammod a ammodaf â thŷ Israel ar ôl y dyddiau hynny, medd yr Arglwydd, *Mysi a ddodaf fy nghyfreithiau yn eu meddwl, ac || yn eu calonnau yr scrifennaf hwynt: a mi a fyddaf iddynt hwy yn Dduw, a hwythau a fyddant i minneu yn bobl;

*Ier. 31. 33. || Neu, ar.

11 Ac ni ddyscant bob un ei || gymmydog, a phob un ei frawd, gan ddywedyd, Adnebydd yr Arglwydd: oblegid hwynt hwy oll a'm hadnabyddant i, o'r lleiaf o honynt, hyd y mwyaf o honynt.

|| Gr. ddinesydd.

12 Canys trugarog fyddaf wrth eu hanghyfiawnderau, a'u pechodau hwynt, a'u hanwireddau ni chofiaf ddim o honynt mwyach.

13 Wrth ddywedyd, [Cyfammod] newydd, efe a farnodd y cyntaf yn hên: eithr yr hyn aeth yn hên ac yn oedrannus, [sydd] agos i ddiflannu.

## PEN. IX.

Y mae yn dangos dull ceremoniau, ac aberthau gwaedlyd y Gyfraith: 11 A'i bod yn llai eu teilyngdod a'i perffeithrwydd, nag Aberth Christ, a'i waed.



A M hynny yn wir yr ydoedd hefyd i'r * Tabernacl cyntaf ddefodau gwasanaeth Duw, a chyssegr bydol.

*Exod. 26.1.

2 Canys yr oedd tabernacl wedi ei wneuthur, y cyntaf, yn yr hwn yr oedd y canhwyllbren, a'r bwrdd, a'r bara gosod: yr hwn [dabernacl] a elwid y || Cyssegr.

|| Neu, Sanctaidd.

3 Ac yn ôl yr ail llen, [yr oedd] y Babell, yr hon a elwid y Cyssegr sancteiddiolaf:

4 Yr hwn yr oedd y thusser aur ynddo, ac Arch y Cyfammod wedi ei goreuro o amgylch: yn yr hon [yr oedd] y crochan aur a'r Manna ynddo, *a gwialen Aaron, yr hon a flagurasei, a * llechau y Cyfammod.

*Num. 17.10. *1. Bren. 8.9.

5 Ac uwch ei phen *Cherubiaid y gogoniant, yn cyscodi y Drugareddfa: am y rhai ni ellir yn awr ddywedyd bob yn rhan.

*Exod. 25. 22.

6 A'r pethau hyn wedi eu trefnu felly, i'r Tabernacl cyntaf yn ddiau yr ai bob amser yr offeiriaid, y rhai oedd yn cyflawni gwasanaeth Duw:

7 Ac i'r ail, * unwaith bob blwyddyn

*Exod. 30. 10.

yr ai yr Arch-offeiriad yn unic : nid heb waed, yr hwn a offrymmei efe trosto ei hun, a thros anwybodaeth y bobl.

8 A'r Yspryd glân yn yspysu hyn, nad oedd y ffordd i'r Cyssegr sancteiddiolaf yn agored etto, tra fyddei y Tabernacl cyntaf yn sefyll.

9 Yr hwn [ydoedd] gyffelybiaeth tros yr amser presennol, yn yr hwn yr offrymmid rhoddion ac aberthau, y rhai ni allent o ran cydwybod berffeithio yr addoludd,

10 [Y rhai oedd yn sefyll] yn unic ar fwydydd, a diodydd, ac amryw olchiadau, a defodau cnawdol, wedi eu gosod arnynt hyd amser y diwygiad:

Yr Epistol y pummed Sul o'r Garawys.

11 ☞ Eithr Christ wedi dyfod yn Arch-offeiriad y daionus bethau a fyddent, trwy Dabernacl mwy a pherffeithiach, nid o waith llaw, hynny yw, nid o'r adeiladaeth ymma,

12 Nid chwaith trwy waed geifr a lloi, eithr trwy ei waed ei hun yr aeth efe unwaith i mewn i'r Cyssegr, gan gael [i ni] dragwyddol ryddhâd.

13 Oblegid os ydyw * gwaed teirw a geifr, a lludw anner wedi ei daenellu ar y rhai a halogwyd, yn sancteiddio i bureiddiad y cnawd,

*Lefit.16.14. Num.19.4.

14 Pa faint mwy y bydd i* waed Christ, yr hwn trwy yr Yspryd tragwyddol a'i hoffrymmodd ei hun yn ddifai i Dduw, buro eich cydwybod chwi oddi wrth weithredoedd meirwon, i* wasanaethu y Duw byw?

*1.Pet.1.19. 1.Ioan.1.7. Dat.1.5.

*Luc.1.74.

15 Ac am hynny y mae efe yn Gyfryngwr y Cyfammod newydd, megis trwy fôd* marwolaeth yn ymwared oddi wrth y trosseddau oedd tan y Cyfammod cyntaf, y cai y rhai a alwyd dderbyn addewid yr etifeddiaeth dragwyddol. ☜

*Rhuf.5.6. 1.Pet.3.18.

Yr Epistol ar ddie Merchur cyn y Pasc.

16 ☞ Oblegid lle [byddo] Testament, rhaid [yw] digwyddo marwolaeth y Testament-wr.

17 Canys wedi marw [dynion y mae] Testament mewn grym, oblegid nid oes etto nerth ynddo, tra fyddo y Testamentwr yn fyw.

18 O ba achos ni chyssegrwyd y cyntaf heb waed.

16.

19 Canys gwedi i Moses adrodd yr holl orchymmyn, yn ôl y gyfraith, wrth yr holl bobl, efe a gymmerodd waed lloi a geifr, gyd â dwfr, a gwlân porphor, ac yssop, ac a'i taenellodd ar y llyfr, a'r bobl oll:

20 * Gan ddywedyd, Hwn yw gwaed y Testament a orchymynnodd Duw i chwi.

*Exod.24.8.

21 Y Tabernacl hefyd, a holl lestri y gwasanaeth, a daenellodd efe â gwaed, yr un modd.

22 A chan mwyaf trwy waed y purir pob peth wrth y Gyfraith, ac heb ollwng gwaed nid oes maddeuant.

23 Rhaid [oedd] gan hynny i bortreiadau y pethau sy yn y nefoedd, gael eu puro â'r pethau hyn: a'r pethau nefol eu hunain ag aberthau gwell nâ'r rhai hyn.

24 Canys nid i'r Cyssegr o waith llaw, portreiad y gwir [Gyssegr,] yr aeth Christ i mewn, ond i'r nef ei hun, i ymddangos yn awr ger bron Duw trosom ni:

25 Nac fel yr offrymmei ef ei hun yn fynych, megis y mae yr Arch-offeiriad yn myned i mewn i'r Cyssegr bob blwyddyn, â gwaed arall:

26 Oblegid yna rhaid fuasei iddo yn fynych ddioddef er dechreuad y bŷd: eithr yr awron unwaith yn niwedd y bŷd yr ymddangoses efe, i ddeleu pechod, trwy ei aberthu ei hun.

27 Ac megis y gosodwyd i ddynion farw unwaith, ac wedi hynny [bôd] barn:

28 Felly Christ hefyd, wedi ei offrymmu *unwaith i ddwyn ymmaith bechodau llawer, a ymddengys yr ail waith heb pechod, i'r rhai sy yn ei ddisgwyl, er iechydwriaeth. ☜

*1.Pet.3.18.

## PEN. X.

Gwendid aberthau y Gyfraith. 10 Aberth corph Christ a offrymmwyd unwaith, 14 sydd byth yn tynnu ymaith bechodau. 19 Cyngor i lynu yn lew yn y ffydd, trwy ammynedd a diolch.



O Blegid y Gyfraith, yr hon sydd ganddi gyscod daionus bethau i ddyfod, ac nid gwir ddelw y pethau, ni's gall trwy yr aberthau hynny, y rhai y maent bob blwyddyn yn eu hoffrymmu yn wastadol, bŷth berffeithio y rhai a ddêl atti.

Yr Epistol ar ddie gwener y Croclith.

2 Oblegid yna hwy a beidiasent â'u hoffrymmu, am na buasei gydwybod pechod mwy gan y rhai a addolasent, wedi eu glanhau unwaith:

3 Eithr yn [yr aberthau] hynny [y mae] adcoffa pechodau bob blwyddyn.

4 Canys amhossibl [yw] i waed teirw * a geifr, dynnu ymmaith bechodau.

*Lefit.16.21.

5 O herwydd pa ham y mae efe wrth ddyfod i'r bŷd, yn dywedyd, * Aberth ac offrwm ni's mynnaist, eithr corph a gymmhwysaist i mi.

*Psal.40.6,7.

6 Offrymmau poeth, a thros bechod, ni buost fodlon iddynt.

7 Yna y dywedais, Wele fi yn dyfod (y mae yn scrifennedig yn nechreu y llyfr am danaf) i wneuthur dy ewyllys di, o Dduw.

8 Wedi iddo ddywedyd uchod, Aberth, ac offrwm, ac offrymmau poeth, a thros bechod ni's mynnaist, ac nid ymfodlonaist ynddynt, y rhai yn ôl y Gyfraith a offrymmir;

9 Yna y dywedodd, Wele fi yn dyfod i wneuthur dy ewyllys di, ô Dduw: y mae yn tynnu ymmaith y cyntaf, fel y gosodei yr ail.

10 Trwy yr hwn ewyllys yr ydym ni wedi ein sancteiddio, trwy offrymmiad corph Jesu Grist unwaith.

11 Ac y mae pob offeiriad yn sefyll beunydd yn gwasanaethu, ac yn offrymmu yn fynych yr un aberthau, y rhai ni allant fyth ddeleu pechodau:

12 Eithr hwn, wedi offrymmu un aberth dros || bechodau, yn dragywydd * a eisteddodd

|| bechodau yn dragywydd, a eisteddodd.

*Pen.1.13.

ddodd ar ddeheu-law Duw:

13 O hyn allan yn disgwil *hyd oni osoder ei elynion ef yn droed-faingc i'w draed ef.

*Psal.110.1. 1.Cor.15.25. Pen.1.13.

14 Canys ag un offrwm y perffeithiodd efe yn dragwyddol y rhai sy wedi eu sancteiddio.

15 Ac y mae yr Yspryd glân hefyd yn tystiolaethu i ni: canys wedi iddo ddywedyd o'r blaen,

16 * Dymma 'r Cyfammod, yr hwn a ammodaf â hwynt ar ôl y dyddiau hynny, medd yr Arglwydd, Myfi a osodaf fy nghyfreithiau yn eu calonnau, ac a'u scrifennaf yn eu meddyliau:

*Ier.31.33. Pen.8.8.10.

17 A'u pechodau, a'u hanwireddau, ni chofiaf mwyach.

18 A lle [y mae] maddeuant am y rhai hyn, nid [oes] mwyach offrwm tros bechod.

19 Am hynny, frodyr, gan fôd i ni || rydddid i fyned i mewn i'r Cyssegr trwy waed Iesu,

|| hyfder.

20 Ar hyd ffordd newydd, a bywiol, yr hon a gyssegrodd efe i ni, trwy 'r llen, sef ei gnawd ef:

21 A [bod i ni] Offeiriad mawr ar dŷ Dduw:

22 Nesawn â chalon gywir, mewn llawn hyder ffydd, wedi || glânhau ein calonnau oddi wrth gydwybod ddrwg, a golchi ein corph â dwfr glân.

|| taenellu.

23 Daliwn gyffes ein gobaith yn ddisigl, (canys ffyddlon yw 'r hwn a addawodd.)

24 A chyd-ystyriwn bawb ei gilydd, i ymannog i gariad a gweithredoedd da:

25 Heb || esceuluso ein cyd-gynhulliad ein hunain, megis [y mae] arfer rhai, ond annog bawb ei gilydd, a hynny yn fwy, o gymmaint a'ch bod yn gweled y dydd yn nesau. ☞

|| wrthod.

26 Canys * os o'n gwir-fodd y pechwn, ar ôl derbyn gwybodaeth y gwirionedd, nid oes aberth tros bechodau wedi ei adel mwyach:

*Pen.6 4.

27 Eithr rhyw ddisgwyl ofnadwy am farnedigaeth, ac angerdd tân, yr hwn a ddifa y gwrthwyneb-wyr.

28 Yr un a ddirmygai Gyfraith Moses, a fyddei farw heb drugaredd, *tan ddau neu dri o dystion:

*Deut.17.6. & 19.15. Matt.18.16. Ioan.8.17. 2.Cor.13.1.

29 Pa faint || mwy cospedigaeth (dybygwch chwi) y bernir haeddu o'r hwn a sathrodd Fab Duw, ac a farnodd yn aflan waed y Cyfammod, trwy 'r hwn y sancteiddiwyd ef, ac a ddifenwodd Yspryd y grâs?

|| gwaeth.

30 Canys nyni a adwaenom y neb a ddywedodd, * myfi pieu dial, myfi a dalaf, medd yr Arglwydd. A thrachefn, * Yr Arglwydd a farna ei bobl.

*Deut.32.35. Rhuf.12.19. *Deut.32.36.

31 Peth ofnadwy [yw] syrthio yn nwylo y Duw byw.

32 Ond gelwch i'ch cof y dyddiau o'r blaen, yn y rhai wedi eich goleuo, y dioddefasoch ymdrech mawr o helbulon;

33 Wedi eich gwneuthur weithieu yn wawd, trwy waradwyddiadau, a chystuddiau: ac weithieu yn bôd yn gyfrannogion â'r rhai a drinid felly.

34 Canys chwi a gyd-ddioddefasoch â'm rhwymau i hefyd, ac a gymmerasoch eich yspeilio am y pethau oedd gennych, yn llawen: gan || wybod fôd gennych i chwi eich hunain olud gwell yn y nefoedd, ac un parhaus.

|| wybod ynoch eich hunain fod gennych olud &c.

35 Am hynny na fwriwch ymmaith eich hyder, yr hon sydd iddi fawr wobr.

36 Canys rhaid i chwi wrth ammynedd: fel wedi i chwi wneuthur ewyllys Duw, y derbynioch yr addewid.

37 O blegid ychydig bachigyn etto, a'r hwn sydd yn dyfod a ddaw, ac nid oeda.

38 * A'r cyfiawn a fydd byw trwy ffydd: eithr o thynn [neb] yn ôl, nid yw fy enaid yn ymfodloni ynddo.

*Habac.2.4. Rhuf.1.17. Galat.3.11.

39 Eithr nid ydym ni o'r rhai sy 'n tynnu yn ôl i golledigaeth, namyn o ffydd i gadwedigaeth yr enaid.

## PEN. XI.

1 Beth ydyw ffydd. 6 Heb ffydd ni allwn ni ryngu bodd Duw. 7 Ei ffrwythau rhagorol hi yn yr hên dadau gynt.



Ffydd yn wir yw || sail y pethau yr ydys yn eu gobeithio, a sicrwydd y pethau nid ydys yn eu gweled.

|| hanfod.

2 Oblegid trwyddi hi y cafodd yr Henuriaid air da.

3 * Wrth ffydd yr ydym yn deall wneuthur y bydoedd trwy air Duw, yn gymmaint nad o bethau gweledig y gwnaed y pethau a welir.

*Gen.1.1.

4 * Trwy ffydd yr offrymmodd Abel i Dduw aberth rhagorach nâ Chain, trwy 'r hon y cafodd efe dystiolaeth ei fôd yn gyfiawn, gan i Dduw ddwyn tystiolaeth i'w roddion ef: a thrwyddi hi y mae efe wedi marw, yn llefaru etto.

*Gen.4.4.

5 Trwy ffydd * y symmudwyd Enoch, fel na welei farwolaeth: ac ni chaed ef, am ddarfod i Dduw ei symmud ef: canys cyn ei symmud, efe a gawsei dystiolaeth, ddarfod iddo ryngu bodd Duw:

*Gen.5.24. Eccle.44.16.

6 Eithr heb ffydd amhossibl [yw] rhyngu ei fodd ef: oblegid rhaid yw i'r neb sydd yn dyfod at Dduw gredu ei fôd ef, a'i fôd yn obrwywr i'r rhai sy yn ei geisio ef.

7 Trwy ffydd Noe wedi ei rybuddio gan Dduw am y pethau ni's gwelsid etto, gydâ pharchedig ofn * a ddarparodd arch i achub ei dŷ: trwy 'r hon y condemnodd [efe] y bŷd, ac a wnaethpwyd yn etifedd y cyfiawnder sydd o ffydd.

*Gen.6.22.

8 Trwy ffydd, * Abraham pan ei galwyd a ufyddhaodd, || gan fyned i'r man yr oedd efe i'w dderbyn yn etifeddiaeth: ac a aeth allan heb wybod i ba le yr oedd yn myned.

*Gen.12.4. || i fyned.

9 Trwy ffydd yr ymdeithiodd efe yn-nhir yr addewid, megis [mewn tir] dieithr, gan drigo mewn lluestai, gyd ag Isaac, ac Iacob, cyd-etifeddion o'r un addewid.

10 Canys disgwyl yr ydoedd am ddinas ac iddi sylfeini, saer ac adeiladydd yr hon [yw] Duw.

11 Trwy

*Gen.17.19. & 21.2.

11 Trwy ffydd,* Sara hitheu yn ammhlantadwy, a dderbyniodd nerth i ymddwyn hâd, ac wedi amser oedran a escorodd, oblegid ffyddlon y barnodd hi yr hwn addawsei.

12 O herwydd pa ham hefyd y cenhedlwyd o un, a hwnnw yn gystal a marw, cynniser * a sêr y nef mewn lliaws, ac megis y tywod ar lan y môr, [y sydd] yn aneirif.

*Gen.15.5. & 22.17.

13 || Mewn ffydd y bu farw y rhai hyn oll, heb dderbyn yr addewidion, eithr o bell eu gweled hwynt, a chredu, a chyfarch, a chyfaddef mai dieithriaid a phererinion oeddynt ar y ddaiar.

|| Neu, Yn ol ffydd.

14 Canys y mae y rhai sy yn dywedyd y cyfryw bethau, yn dangos yn eglur eu bôd yn ceisio gwlâd.

15 Ac yn wir pe buasent yn meddwl am [y wlâd] honno, o'r hon y daethant allan, hwy a allasent gael amser i ddychwelyd:

16 Eithr yn awr [gwlâd] well y maent hwy yn ei chwennych, hynny ydyw [un] nefol: o achos pa ham nid cywilydd gan Dduw ei alw yn Dduw iddynt hwy: oblegid efe a baratôdd ddinas iddynt.

17 Trwy ffydd yr offrymmodd * Abraham Isaac, pan ei profwyd, a'i unic-anedig fab a offrymmodd [efe,] yr hwn a dderbyniasei yr addewidion.

*Gen.22.10.

18 Wrth yr hwn y dywedasid, *Yn Isaac y gelwir i ti hâd:

*Gen.21.12. Rhuf.9.7.

19 Gan gyfrif bôd Duw yn abl iw gyfodi [ef] o feirw: o ba le y cawsei efe ef hefyd mewn cyffelybiaeth.

20 *Trwy ffydd y bendithiodd Isaac Iacob ac Esau, am bethau a fyddent.

*Gen.27.27. 28,29.

21 Trwy ffydd, *Iacob wrth farw a fendithiodd bob un o feibion Ioseph: ac a addolodd [a'i bwys] ar ben ei ffon.

*Gen.48.15.

22 Trwy ffydd, *Ioseph wrth farw a goffaodd am ymadawiad plant Israel, ac a roddodd orchymmyn am ei escyrn.

*Gen.50.25.

23 Trwy ffydd, *Moses pan anwyd a guddiwyd dri mis gan ei rieni, o achos eu bôd yn ei weled yn fachgen tlws: ac nid ofnasant *orchymmyn y brenin.

*Exod.2.2. gweith.7.20.

*Exod.1.16.

24 Trwy ffydd, Moses *wedi myned yn fawr, a wrthodes ei alw yn fab merch Pharao:

*Exod.2.11.

25 Gan ddewis yn hytrach oddef adfyd gyd â phobl Dduw, nâ chael mwyniant pechod tros amser;

26 Gan farnu yn fwy golud ddirmyg Christ, nâ thryssorau yr Aipht: canys edrych yr oedd efe ar daledigaeth y gobrwy.

27 Trwy ffydd y gadawodd efe yr Aipht, heb ofni llid y brenin: canys efe a ymwrolodd fel un yn gweled yr anweledig.

28 Trwy ffydd y *gwnaeth efe y Pasc a gollyngiad y gwaed, rhag i'r hwn ydoedd yn dinistrio y rhai cyntaf-anedig, gyffwrdd â hwynt.

*Exod.12.22

29 Trwy ffydd, *yr aethant trwy 'r môr coch, megis ar hyd tir sych: yr hyn pan brofodd yr Aiphtiaid, boddi a wnaethant.

*Exod.14.22

30 Trwy ffydd *y syrthiodd caerau Iericho, wedi eu hamgylchu tros saith niwrnod.

*Iosua.6.20.

31 Trwy ffydd ni ddifethwyd * Rahab y buttain, gyd â'r rhai || ni chredent, pan dderbyniodd hi yr yspiwyr yn heddychol.

*Iosua.6.23.

|| anffyddl.

32 A pheth mwy a ddywedaf? canys yr amser a ballei i mi i fynegi am *Gedeon, am *Barac, ac am *Samson, ac am *Iephthae, am Ddafydd hefyd a *Samuel, a'r Prophwydi:

*Barn.6.11. *Barn.4.6. *Barn.13.24. *Barn.11.1. *1.Sam.1.20.

33 Y rhai trwy ffydd a orescynnasant deyrnasoedd, a wnaethant gyfiawnder, a gawsant addewidion, a gauasant safnau llewod:

34 A ddiffoddasant angerdd y tân, a ddiangasant rhac min y cleddyf, a nerthwyd o wendid, a wnaethpwyd yn gryfion mewn rhyfel, a yrrasant fyddinoedd yr estroniaid i gilio:

35 Gwragedd a dderbyniodd eu meirw trwy adgyfodiad: ac eraill a *ddirdynnwyd, heb dderbyn ymwared, fel y gallent hwy gael adgyfodiad gwell.

*2.Mac.7.7.

36 Ac eraill a gawsant brofedigaeth trwy watwar a ffrangellau, ie trwy rwymau hefyd a charchar.

37 [Hwynt hwy] a labyddiwyd, a dorrwyd â llif, a demtiwyd, a laddwyd yn feirw â'r cleddyf, a grwydrasant mewn crwyn defaid, a chrwyn geifr, yn ddiddym, yn gystuddiol, yn ddrwg eu cyflwr:

38 (Y rhai nid oedd y bŷd yn deilwng o honynt) yn crwydro mewn anialwch, a mynyddoedd, a thyllau, ac ogofeydd y ddaiar.

39 A'r rhai hyn oll, wedi cael tystiolaeth trwy ffydd, ni dderbyniasant yr addewid:

40 Gan fod Duw yn rhag-weled rhyw beth gwell am danom ni, fel na pherffeithid hwynt hebom ninnau.

## PEN. XII.

1 Cyngor i ffydd ddianwadal, ammynedd, a duwioldeb. 22 Canmol y Testament newydd rhagor yr hen.



Blegid hynny, ninnau hefyd gan fôd cymmaint cwmwl o dystion wedi ei osod o'n hamgylch, gan * roi heibio bob pwys, a'r pechod sydd barod i'n hamgylchu, trwy ammynedd rhedwn yr yrfa a osodwyd o'n blaen ni:

*Ephes.4.22. Coloss.3.8. 1.Pet.2.1.

2 Gan edrych ar Iesu pentywysog a pherffeithydd [ein] ffydd [ni,] yr hwn yn lle y llawenydd a osodwyd iddo, a ddioddefodd y groes, gan ddiystyru gwradwydd, ac a eisteddodd ar ddeheulaw gorsedd-faingc Duw.

3 Ystyriwch am hynny yr hwn a ddioddefodd gyfryw ddywedyd yn ei erbyn gan bechaduriaid, fel na flinoch, ac nad ymollyngoch yn eich eneidiau.

4 Ni wrthwynebasoch etto hyd at waed, gan ymdrech yn erbyn pechod.

5 A chwi a ollyngasoch tros gof y cyngor, yr hwn sydd yn dywedyd wrthych megis wrth blant, *Fy mab, na ddirmyga gerydd yr Arglwydd, ac nac ymollwng pan i'th argyoedder ganddo.

* Diareb.3.11

6 Canys y neb y mae yr Arglwydd yn ei garu, y mae yn ei geryddu: ac yn ffrangellu pob mab a dderbynio.

7 Os goddefwch gerydd, y mae Duw yn ymddwyn tu ac attoch, megis tu ac at feibion: canys pa fab sydd, yr hwn nid yw ei dad yn ei geryddu?

8 Eithr os heb gerydd yr ydych, o'r hon y mae pawb yn gyfrannog, yna bastardiaid ydych, ac nid meibion.

9 Heb law hynny, ni a gawsom dadau ein cnawd i'n ceryddu, ac [a ni] parchasom hwy: onid mwy o lawer y byddwn ddarostyngedig i Dâd yr ysprydoedd, a byw?

10 Canys hwynt hwy yn wir tros ychydig ddyddiau a'n ceryddent, fel y gwelent hwy yn dda: eithr hwn er llesâd [i ni,] fel y byddem gyfrannogion o'i sancteiddrwydd ef.

11 Etto ni welir un cerydd tros yr amser presennol yn hyfryd, eithr yn anhyfryd: ond gwedi [hynny] y mae yn rhoi heddychol ffrwyth cyfiawnder i'r rhai sy wedi eu cynnefino ag ef.

12 O herwydd pa ham, cyfodwch i fynu y dwylo a laesasant, a'r gliniau a ymollyngasant:

13 A gwnewch lwybrau || uniawn i'ch traed: fel na throer y cloff allan [o'r ffordd,] ond yr iachaer efe yn hytrach.

|| gwastad.

14 *Dilynwch heddwch â phawb, a sancteiddrwydd, heb yr hwn ni chaiff neb weled yr Arglwydd:

* Ruf.12.18.

15 Gan edrych yn ddyfal na [bo] neb yn pallu oddi wrth râs Duw: rhac bod un gwreiddyn chwerwedd yn tyfu i fynu, ac yn peri blinder, a thrwy hwnnw llygru llawer:

16 Na [bo] un putteiniwr, neu halogedig, megis Esau, yr hwn am un saig o fwyd, *a werthodd ei enedigaeth-fraint.

*Gen.25.33.

17 Canys chwi a wyddoch ddarfod wedi hynny hefyd ei wrthod ef, pan oedd efe yn ewyllysio etifeddu y fendith: oblegid ni chafodd efe le i edifeirwch, er iddo trwy *ddagrau ei thaer-geisio hi.

* Gen.27.38.

18 Canys ni ddaethoch chwi at *y mynydd teimladwy, sydd yn llosci gan dân, a chwmwl, a thywyllwch, a thymestl,

*Exod.19.16.

19 A sain udcorn, a llef geiriau: yr hon pwy bynnac a'i clywsant, a ddeisyfiasant na chwanegid yr ymadrodd wrthynt.

20 Oblegid ni allent hwy oddef yr hyn a orchymynnasid. *Ac os bwyst-fil a gyffyrddei â'r mynydd, [efe] a labyddir, neu a wenir â phiccell.

*Exod.19.13.

21 Ac mor ofnadwy oedd y golwg, ac y dywedodd Moses, Yr ydwyf yn ofni ac yn crynu.

22 Eithr chwi a ddaethoch i fynydd Sion, ac i ddinas y Duw byw, y Jerusalem nefol, ac at fyrddiwn o Angelion,

23 I gymmanfa a chynnulleidfa y rhai cyntaf-anedig, y rhai a scrifennwyd yn y nefoedd, ac at Dduw barnwr pawb, ac at ysprydoedd y cyfiawn, y rhai a berffeithiwyd,

24 Ac at Iesu cyfryngwr y Testament newydd, a gwaed y taenelliad, yr hwn sydd yn dywedyd pethau gwell nâ 'r eiddo *Abel.

* Gen.4.10.

25 Edrychwch na wrthodoch yr hwn sydd yn llefaru. Oblegid oni ddiangodd y rhai a wrthodasant, yr hwn oedd yn llefaru ar y ddaiar, mwy o lawer [ni's diangwn] ni, y rhai ydym yn troi ymmaith oddi wrth yr hwn [sydd yn llefaru] o'r nef.

26 Llef yr hwn y pryd hynny a escydwodd y ddaiar: ac yn awr a addawodd, gan ddywedyd, *Etto unwaith yr wyf yn cynnhyrfu, nid yn unic y ddaiar, ond y nef hefyd.

* Haggai 2.7.

27 A'r Etto unwaith hynny, sydd yn yspysu symmudiad y pethau a || yscydwir, megis pethau wedi eu gwneuthur, fel yr arhoso y pethau nid yscydwir.

|| Neu, ellir eu hyscwyd.

28 O herwydd pa ham, gan ein bôd ni yn derbyn teyrnas ddiysgl, bydded gennym râs, drwy 'r hwn y gwasanaethom Dduw wrth ei fodd, gydâ gwylder, a pharchedig ofn.

29 Oblegid *ein Duw ni sydd dân yssol.

* Deut.4.24.

## PEN. XIII.

1 Amryw gynghorion, megis i garu i gilydd: 4 i fyw yn honest: 5 i ochelyd cybydd-dra: 7 i berchi pregethwyr Duw: 9 i ochel athrawon dieithr: 10 i gyfaddef Crist: 16 i roi elusen: 17 i vfyddhau i swyddogion: 18 i weddio tros yr Apostol. 20 Y diwedd.



Arhaed *brawd-garwch.

2 Nac anghofiwch *letteugarwch: canys wrth hynny y lletteuodd rhai Angelion yn ddiarwybod.

*Rhuf.12.10. *Ruf.12.13. 1.Pet.4.9.

3 Cofiwch y rhai sy yn rhwym, fel pettech yn rhwym gyd â hwynt: y rhai cystuddiol, megis yn bôd eich hunain hefyd yn y corph.

4 Anrhydeddus [yw] priodas ym mhawb, a'r gwely dihalogedig: eithr putteinwyr a godineb-wyr a farna Duw.

5 [Bydded] eich ymarweddiad yn ddiarian-gar: gan fôd yn fodlon i'r hyn sydd gennych. Canys efe a ddywedodd, *Ni'th roddaf di i fynu, ac ni'th lwyr adawaf chwaith,

*Iosua.1.5.

6 Fel y gallom ddywedyd yn hy, *Yr Arglwydd [sydd] gymmorth i mi, ac nid ofnaf beth a wnel dyn i mi.

* Psal. 118.6.

7 Meddyliwch am eich || blaenoriaid, y rhai a draethasant i chwi air Duw: ffydd y rhai, dylynwch, gan ystyried diwedd eu hymarweddiad hwynt.

|| Llywodraethwyr.

8 Iesu Grist ddoe, a heddyw yr un, ac yn dragywydd.

9 Na'ch

9 Na'ch arweinier oddi amgylch ag athrawiaethau amryw a dieithr: canys da yw bôd y galon wedi ei chryfhau â grâs, nid â bwydydd, yn y rhai ni chafodd y sawl a rodiasant ynddynt, fudd.

10 Y mae gennym ni allor, o'r hon nid oes awdurdod i'r rhai sy yn gwasanaethu y Tabernacl i fwytta.

11 Canys * cyrph yr anifeiliaid hynny, y rhai y dygir eu gwaed gan yr Arch-offeiriad i'r Cyssegr tros bechod, a loscir y tu allan i'r gwersyll.

12 O herwydd pa ham Jesu hefyd, fel y sancteiddiei y bobl trwy ei waed ei hun, a ddioddefodd y tu allan i'r porth.

13 Am hynny awn atto ef o'r tu allan i'r gwersyll, gan ddwyn ei wradwydd ef.

14 Canys * nid oes i ni ymma ddinas barhaus, eithr un i ddyfod yr ŷm ni yn ei disgwil.

15 Trwyddo ef gan hynny, offrymmwn aberth moliant yn wastadol i Dduw, yr hyn yw * ffrwyth gwefusau yn cyffessu iw Enw ef.

16 Ond gwneuthur daioni a chyfrannu nac anghofiwch: canys â chyfryw ebyrth y rhyngir bodd Duw.

17 Ufyddhewch i'ch || blaenoriaid, ac ymddarostyngwch: oblegid y maent hwy yn gwilio tros eich eneidiau chwi, megis rhai a fydd rhaid iddynt roddi cyfrif: fel y gallont wneuthur hynny yn llawen, ac nid yn drist: canys di-fudd i chwi yw hynny.

18 Gweddiwch trosom ni: canys yr ydym yn credu fôd gennym gydwybod dda, gan ewyllysio byw yn || onest ym mhob peth.

19 Ond yr ydwyf yn helaethach yn dymuno gwneuthur o honoch hyn, i gael fy rhoddi i chwi drachefn yn gynt.

20 A Duw 'r heddwch, yr hwn a ddug drachefn oddi wrth y meirw ein Harglwydd Jesu, bugail mawr y defaid, trwy waed y || Cyfammod tragywyddol,

21 A'ch perffeithio ym mhob gweithred dda, i wneuthur ei ewyllys ef: gan weithio ynoch yr hyn sydd gymmeradwy yn ei olwg ef, trwy Jesu Grist: i'r hwn [y byddo] y gogoniant yn oes oesoedd. Amen.

22 Ac yr ydwyf yn attolwg i chwi, frodyr, goddefwch air y cyngor: oblegid ar fyrr [eiriau] yr || scrifennais attoch.

23 Gwybyddwch ollwng ein brawd Timotheus yn rhydd, gyd â'r hwn, os daw efe ar fyrder, yr ym welaf â chwi.

24 Annerchwch eich holl || blaenoriaid, a'r holl Saint. Y mae y rhai o'r Ital yn eich annerch.

25 Grâs fyddo gyd â chwi oll. Amen.

¶ At yr Hebreaid yr scrifennwyd o'r Ital gyd â Thimotheus.

Margin: *Leu.4.12. *Mic.2.10. Hose.14.2. || llywodraeth-wyr. || dda. || New, Testament. || anfonais. || llywodraeth-wyr.



# EPISTOL CYFFREDINOL IACO YR APOSTOL.

PENOD I.

1 Cyngor i lawenychu mewn blinder, 5 i ofyn doethineb gan Dduw: 13 Na fwrier y bai arno ef o ran ein gwendid na'n pechodau ni: 22 I wrando ac i fyfyrio ar air Duw: a i wneuthur ar ei ôl. 26 Os amgen fe all rhai ymddangos yn grefyddol oddiallan, ond ni allant fod felly mewn gwirionedd.

Yr Epistol ar ddydd Philip ac Iaco.



IAco, gwasanaethwr Duw, a'r Arglwydd Jesu Grist, at y deuddeg-llwyth sydd ar wascar, annerch.

2 Cyfrifwch yn bob llawenydd, fy mrodyr, pan syrthioch mewn amryw brofedigaethau:

3 * Gan wybod fôd profiad eich ffydd chwi yn gweithredu ammynedd,

4 Ond caffed ammynedd ei pherffaith waith, fel y byddoch berffaith a chyfan, heb ddeffygio mewn dim.

5 O bydd ar neb o honoch eisieu doethineb, * gofynned gan Dduw yr hwn sydd yn rhoi yn || haelionus i bawb, ac heb ddannod: a hi a roddir iddo ef.

6 Eithr gofynned * mewn ffydd, heb ammeu dim. Canys yr hwn sydd yn ammeu, sydd gyffelyb i donn y môr, a chwelir ac a deflir gan y gwynt.

7 Canys na feddylied y dŷn hwnnw, y derbyn efe ddim gan yr Arglwydd.

8 Gŵr dau-ddyblyg ei feddwl, [sydd] anwastad yn ei holl ffyrdd.

9 Y brawd o radd isel, llawenyched yn ei oruchafiaeth:

10 A'r cyfoethog, yn ei ddarostyngiad: canys * megis blodeuyn y glâs-welltyn y diflanna efe.

11 Canys cyfododd yr haul gyd â gwres, a gwy-

Margin: *Rhuf.5.3. *Matth.7.7. luc.11.6. ioan 14.13. || rhwydd. *Marc.11.24. *Psal 103.15. eccle.14.18. esai.40.6. 1.Pet.1.24.

a gwywodd y glâs-welltyn, a'i flodeuyn a gwympodd, a thegwch ei bryd ef a gollodd: felly hefyd y diflanna y cyfoethog yn ei ffyrdd.

*Iob 5.17.

12 * Gwyn ei fyd y gŵr sydd yn goddef profedigaeth: canys pan fyddo profedig, efe a dderbyn goron y bywyd, yr hon a addawodd yr Arglwydd i'r rhai a'i carant ef. ☞

13 Na ddyweded neb pan demptier ef, Gan Dduw i'm temptir: canys Duw ni's gellir ei demptio â drygau, ac nid yw efe yn temptio neb.

14 Canys yna y temptir pob un, pan y tynner ef, ac y llithier, gan ei chwant ei hun:

15 Yna chwant wedi ymddwyn, a escor ar bechod: pechod hefyd pan orphenner, a escor ar farwolaeth.

16 Fy mrodyr anwyl, na chyfeiliornwch.

Yr Epistol y pedwerydd Sul ar ol y Pasc.

17 ☞ Pôb rhoddiad daionus, a phôb rhodd berffaith, oddi uchod y mae, yn discyn oddi wrth Dâd y goleuni, gyd â'r hwn nid oes gyfnewidiad, na chyscod troedigaeth.

18 O'i wir ewyllys yr ennillodd efe nyni, trwy air y gwirionedd, fel y byddem ryw flaen-ffrwyth o'i greaduriaid ef.

Diareb.17.27

19 O achos hyn, fy mrodyr anwyl, bydded pôb dyn escud i wrando,* diog i lefaru, diog i ddigofaint.

20 Canys digofaint gŵr, nid yw yn cyflawni cyfiawnder Duw.

21 O herwydd pa ham, rhoddwch heibio bôb budreddi, a helaethrwydd malis, a thrwy addfwynder derbyniwch yr impiedig air, yr hwn a ddichon gadw eich eneidiau. ☞

Yr Epistol y pummed Sul wedi 'r Pasc.

*Matth. 7.26. Rhuf.2.13.

22 ☞ A byddwch wneuthur-wŷr y gair, ac nid gwrandawŷr yn unic, gan eich twyllo eich hunain.

23 Oblegid * os yw neb yn wrandawŵr y gair, a heb fod yn wneuthur-wr, y mae hwn yn debyg i ŵr yn edrych ei wyneb-pryd naturiol mewn drych.

24 Canys efe a'i hedrychodd ei hun, ac a aeth ymmaith, ac yn y man efe a anghofiodd pa fath ydoedd.

25 Eithr yr hwn a edrych ar berffaith gyfraith rhydd-did, ac a barhao [ynddi,] hwn heb fôd yn wrandawr anghofus, ond gwneuthur-wr y weithred, efe a fydd dedwydd yn ei weithred.

|| ffrwyno.

26 Os yw neb yn eich mysc yn cymmeryd arno fôd yn grefyddol, heb || attal ei dafod, ond twyllo ei galon ei hun, ofer [yw] crefydd hwn.

27 Crefydd bur a dihalogedig ger bron Duw a'r Tâd, yw hyn, ymweled â'r ymddifaid, a'r gwragedd gweddwon, yn eu hadfyd, a'i gadw ei hun yn ddifrycheulyd oddi wrth y byd. ☞

## PEN. II.

1 Nad gweddol i Gristianogion ddiystyru eu brodyr tlodion: 13 Ond bod yn gariadus, ac yn drugarogion. 14 Na ddylid ymffrostio o ffydd lle ni bytho gweithredoedd da: 17 nad yw'r ffydd honno ond ffydd farw, 19 a ffydd y cythreuliaid: 21 Ac nid ffydd Abraham, 25 a Rahab.



FY mrodyr, na fydded *gennych ffydd ein Harglwydd ni Iesu Grist, [sef Arglwydd] y gogoniant, gydâ derbyn wyneb.

*Leuit.19.15. Diareb.24.24.

2 Oblegid os daw i mewn i'ch || cynnulleidfa chwi, ŵr â modrwy aur, mewn dillad gwychion, a dyfod hefyd [un] tlawd mewn dillad gwael,

|| Synagog.

3 Ac edrych o honoch ar yr hwn sydd yn gwisco y dillad gwychion, a dywedyd wrtho, Eistedd di ymma mewn lle da: a dywedyd wrth y tlawd, Saf di yna, neu eistedd ymma islaw fy ystôl-droed i:

4 Onid ydych chwi dueddol ynoch hunain, ac [onid] aethoch yn farn-wŷr meddyliau drwg?

5 Gwrandewch, fy mrodyr anwyl, oni ddewisodd Duw dlodion y byd hwn, yn gyfoethogion mewn ffydd, ac yn etifeddion y deyrnas, yr hon a addawodd efe i'r rhai sydd yn ei garu ef?

6 Eithr chwithau a ammharchasoch y tlawd. Onid ŷw y cyfoethogion yn eich gorthrymmu chwi, ac yn eich tynnu ger bron brawdleoedd?

7 Onid ydynt hwy yn cablu yr Enw rhagorol, yr hwn a elwir arnoch chwi?

8 Os cyflawni yr ydych y Gyfraith frenhinol, yn ôl yr Scrythur, * Câr dy gymmydog fel ti dy hun, da yr ydych yn gwneuthur.

*Matth.22,39.

9 Eithr os derbyn wyneb yr ydych, yr ydych yn gwneuthur pechod, ac yn cael eich argyoeddi gan y Gyfraith, megis troseddwyr.

10 * Canys pwy bynnag a gatwo 'r Gyfraith i gyd oll, ac a ballo mewn un pwngc, y mae efe yn euog o'r cwbl.

*Leuit.19.37.

11 Canys y || neb a ddywedodd, Na odineba, a ddywedodd hefyd, Na ladd. Ac os ti ni odinebi, etto a leddi, yr wyt ti yn troseddu y Gyfraith.

|| Neu, gyfraith

12 Felly dywedwch, ac felly gwnewch, megis rhai a fernir wrth Gyfraith rhydd-did.

13 Canys barn ddi-drugaredd [fydd] i'r hwn ni wnaeth drugaredd, ac y mae trugaredd yn gorfoleddu yn erbyn barn.

14 Pa fudd yw, fy mrodyr, o dywed neb fôd ganddo ffydd, ac heb fôd ganddo weithredoedd? a ddichon ffydd ei gadw ef?

15 Eithr * os bydd brawd neu chwaer yn noeth, ac mewn eisieu beunyddol ymborth,

*Luc.3.11. 1.Ioan 3.17.

16 A dywedyd o un o honoch wrthynt, Ewch mewn heddwch, ymdwymnwch, ac ymddigonwch, etto heb roddi iddynt angenrheidiau 'r corph, pa lês [fydd?]

17 Felly

17 Felly ffydd hefyd, oni bydd ganddi weithredoedd, marw ydyw, [a hi] || yn unic.

|| *wrthi ei hun.*

18 Eithr rhyw un a ddywed, Tydi ffydd sydd gennit, minneu gweithredoedd sy gennif: dangos i mi dy ffydd di || heb dy weithredoedd, a minneu wrth fy ngweithredoedd i a ddangosaf i ti fy ffydd inneu.

|| *Neu, wrth.*

19 Credu yr wyt ti mai un Duw, sydd: da yr wyti yn gwneuthur: y mae y cythreuliaid hefyd yn credu, ac yn crynu.

20 Eithr a fynni di wybod, o ddyn ofer, am ffydd heb weithredoedd, mai marw yw?

21 Abraham ein Tâd ni, onid o weithredoedd y cyfiawnhawyd ef, *pan offrymmodd efe Isaac ei fab ar yr allor?

* Gen. 22. 9. 10.

22 || Ti a weli fôd ffydd yn cyd-weithio â'i weithredoedd ef, a thrwy weithredoedd fôd ffydd wedi ei pherffeithio.

|| *Neu, A weli &c?*

23 A chyflawnwyd yr Scrythur, yr hon sydd yn dywedyd, * Credodd Abraham i Dduw, a chyfrifwyd iddo yn gyfiawnder, a chyfaill Duw y galwyd [ef.]

Gen. 15. 6. rhuf. 4. 3. gala. 3 6.

24 Chwi a welwch gan hynny mai o weithredoedd y cyfiawnheir dyn, ac nid o ffydd yn unic.

25 Yr un ffunyd hefyd, * Rahab y buttain, onid o weithredoedd y cyfiawnhawyd hi, pan dderbyniodd hi y cennadau, a'u danfon ymmaith ffordd arall?

* Iosua 2. 3.

26 Canys megis y mae y corph heb yr || yspryd yn farw, felly hefyd ffydd heb weithredoedd, marw yw.

|| *anadl.*

## PEN. III.

1 Naddylem ni fod yn brysur i feio ar eraill: 5 ond yn hytrach ffrwyno y tafod, yr hwn er nad ydyw ond aelod bychan, etto y mae efe yn achos llawer o ddaioni, ac o ddrygioni. 13 Y rhai sydd wir synhwyrol, y maent yn fwynion, yn heddychlon, heb gynfigennu, a heb ymryson.



A fyddwch feistreid lawer, fy mrodyr, gan wybod y derbyniwn ni farnedigaeth fwy.

2 Canys mewn llawer o bethau yr ydym ni bawb yn llithro: od oes neb heb lithro ar air, gwr perffaith [yw] hwnnw, yn gallu ffrwyno 'r holl gorph hefyd.

3 Wele, yr ydym [ni] yn rhoddi ffrwynau ym-mhennau 'r meirch, fel y gwneuthur yn ufydd i ni, ac yr ydym yn troi eu holl gorph hwy oddi amgylch.

4 Wele, y llongau hefyd er eu maint, ac er eu gyrru gan wyntoedd creulon, a droir oddi amgylch â llyw bychan, lle y mynno 'r llywydd.

5 Felly hefyd y tafod, aelod bychan yw, ac yn ffrostio pethau mawrion: wele faint o ddefnydd y mae ychydig dân yn ei ennyn.

6 A'r tafod, tân [ydyw, byd o anghyfiawnder: felly y mae y tafod wedi ei osod ym-mhlith ein haelodau ni, fel y mae yn halogi 'r holl gorph, ac yn gosod troell naturiaeth yn fflamm, ac wedi ei wneuthur yn fflamm gan uffern.

7 Canys holl natur gwyllt-filod, ac adar, ac ymlusciaid, a'r pethau yn y môr, a ddofir, ac a ddofwyd gan natur ddynol:

8 Eithr y tafod ni ddichon un dyn ei ddofi. Drwg anllywodraethus [ydyw:] yn llawn gwenwyn marwol.

9 Ag ef yr ydym yn bendithio Duw, a'r Tâd: ag ef hefyd yr ydym yn melldithio dynion a wnaethpwyd ar lun Duw.

10 O'r un genau y mae yn dyfod allan fendith a melldith: fy mrodyr, ni ddylai y pethau hyn fôd felly.

11 A ydyw ffynnon, o'r un llygad, yn rhoi [dwfr] melus a chwerw?

12 A ddichon y pren ffigys, fy mrodyr, ddwyn olifaid? neu winwydden ffigys? felly ni [dichon] un ffynnon roddi dwfr hallt a chroyw.

13 Pwy [sydd] wr doeth a || deallus yn eich plith? dangosed drwy ymarweddiad da, ei weithredoedd mewn mwyneidd-dra doethineb.

|| *rhyfarnydd.*

14 Eithr od oes gennych genfigen chwerw, ac ymryson yn eich calon, na fyddwch ffrost-wyr, a chelwyddog yn erbyn y gwirionedd.

15 Nid yw y doethineb hyn yn descyn oddi uchod: ond daiarol, anianol, cythreulig [yw.]

16 Canys lle [mae] cenfigen ac ymryson, yno y mae terfysc, a phob gweithred ddrwg.

17 Eithr y ddoethineb [sydd] oddi uchod, yn gyntaf pur ydyw, wedi hynny heddychol, boneddigaidd, hawdd ei thrin, llawn trugaredd a ffrwythau da, di-duedd, a di-ragrith.

18 A ffrwyth cyfiawnder a heuir mewn heddwch, i'r rhai sy 'n gwneuthur heddwch

## PEN. IIII.

Rhaid i ni ymryson yn erbyn trachwant: 4 ac anghymmedrolder: 5 a balchder: 11 ac enllib, a barnu ar eraill: 13 ac na roddom ormod hyder ar lwyddiant bydol: nac ar einioes dyn: ond rhoi y cwbl ar Dduw.



Ba le y mae rhyfeloedd, ac ymladdau yn eich plith chwi? onid oddi wrth hyn, [sef] eich melys-chwantau, y rhai sydd yn rhyfela yn eich aelodau?

2 Chwennychu yr ydych, ac nid ydych yn cael : || cenfigennu yr ydych, ac eiddigeddu, ac nid ydych yn gallu cyrhaeddyd: ymladd, a rhyfela yr ydych, ond nid ydych yn cael, am nad ydych yn gofyn.

|| lladd.

3 Gofyn yr ydych, ac nid ydych yn derbyn, o herwydd eich bôd yn gofyn ar gam, fel y galloch eu treulio ar eich melus-chwantau.

4 Chwi odineb-wŷr, a godineb-wragedd, oni wyddoch chwi fôd cyfeillach y bŷd, yn elyniaeth i Dduw? pwy bynnag gan hynny a ewyllysio fôd yn gyfaill i'r bŷd, y mae yn elyn i Dduw.

5 A ydych chwi yn tybied fôd yr Scrythur yn dywedyd yn ofer? At genfigen y mae chwant yr yspryd a gartrefa ynom ni:

6 Eithr rhoddi grâs mwy y mae: o herwydd pa ham y mae yn dywedyd, Y mae Duw yn gwrthwynebu 'r beilchion, ond yn rhoddi grâs i'r [rhai] gostyngedig.

7 Ymddarostyngwch gan hynny i Dduw, gwrthwynebwch ddiafol, ac [efe] a ffŷ oddi wrthych.

8 Nesséwch at Dduw, ac efe a nessâ attoch chwi: glânhewch [eich] dwylo, chwi bechaduriaid, a phurwch [eich] calonnau, [chwi] â'r meddwl dau-ddyblyg.

9 Ymofidiwch, a galerwch, ac wylwch: troer eich chwerthin chwi yn alar, a'ch llawenydd yn dristwch.

10 * Ymddarostyngwch ger bron yr Arglwydd, ac [efe] a'ch derchafa chwi.

* 1 Pet. 5. 6.

11 Na ddywedwch yn erbyn ei gilydd, frodyr: y neb sydd yn dywedyd yn erbyn [ei] frawd, ac yn barnu ei frawd, y mae efe yn dywedyd yn erbyn y Gyfraith, ac yn barnu 'r Gyfraith: ac od wyt [ti] yn barnu 'r Gyfraith, nid wyt [ti] wneuthur-wr y Gyfraith, eithr barnwr.

12 Un Gosodwr cyfraith sydd, yr hwn a ddichon gadw a cholli: * pwy wyt ti yr hwn wyt yn barnu arall?

* Rhuf. 14. 4.

13 || Iddo yn awr, y rhai ydych yn dywedyd, Heddyw neu yfory ni a awn i gyfryw ddinas, ac a arhoswn yno flwyddyn, ac a farchnattawn, ac a ennillwn:

|| Felly.

14 Y rhai ni wyddoch beth [a fydd] y fory: canys beth [ydyw] eich einioes chwi? canys tarth ydyw, yr hwn sydd tros ychydig yn ymddangos, ac wedi hynny yn diflannu.

15 Lle y dylech ddywedyd, * Os yr Arglwydd a'i mynn, || ac [os] byddwn byw, ni a wnawn hyn neu hynny.

* 1 Cor. 4. 19.
|| byddwn fyw ac a wnawn.

16 Eithr yn awr gorfoleddu yr ydych yn eich ymffrost: pôb cyfryw orfoledd, drwg ydyw.

17 Am hynny i'r neb a feidr wneuthur daioni, ac nid yw yn ei wneuthur, pechod ydyw iddo.

## P E N. V.

1 Rhaid i wyr cyfoethogion drygionus ofni dialedd Duw. 7 Ni a ddylem fod yn ddioddefgar mewn adfyd, yn ol esampl y Prophwydi a Iob: 11 a gochelud tyngu: 13 a gweddio mewn adfyd, a chanu mewn hawddfyd: 16 a chyfaddef ein beiau iw gilydd, a gweddio tros ei gilydd, 19 a dwyn i'r iawn y brawd a fytho yn myned ar gyfeiliorn.



|| Iddo yn awr, [chwi] gyfoethogion, wylwch ac udwch am eich trueni sydd yn dyfod arnoch.

|| Felly.

2 Eich cyfoeth a bydrodd, a'ch gwiscoedd a fwytawyd gan bryfed.

3 Eich aur a'ch arian a rydodd, a'u rhŵd hwynt a fydd yn dystiolaeth || yn eich erbyn chwi, ac a fwytty eich cnawd chwi fel tân: chwi a gasclasoch drysor yn y dyddiau diweddaf.

|| i chwi.

4 Wele, y mae cyflog y gweithwŷr a fedasant eich meusydd chwi, yr hwn a gamattaliwyd gennych, yn llefain: a llefain y rhai a fedasant a ddaeth i mewn i glustiau Arglwydd y lluoedd.

5 Moethus fuoch ar y ddaiar, a thrythyll: meithrin eich calonnau a wnaethoch, megis* mewn dydd lladdedigaeth.

6 Condemnasoch, [a] lladdasoch y cyfiawn, ac yntau heb sefyll i'ch erbyn.

7 Byddwch gan hynny yn ymarhous, frodyr, hyd ddyfodiad yr Arglwydd. Wele, y mae y llafur-wr yn disgwil am werth-fawr ffrwyth y ddaiar, yn dda ei ammynedd am dano, nes iddo dderbyn y glaw cynnar a'r diweddar.

8 Byddwch chwithau hefyd dda eich ammynedd, cadarnhewch eich calonnau, oblegid dyfodiad yr Arglwydd a nessâodd.

9 Na || rwgnechwch yn erbyn ei gilydd, frodyr, fel na'ch condemner: wele, y mae y barnwr yn sefyll wrth y drws.

|| roddwch ochenaid ar ei gilydd.

10 Cymmerwch, fy mrodyr, y Prophwydi, y rhai a lefarasant yn Enw 'r Arglwydd, yn siampl o ddioddef blinder, ac o hir ymaros.

11 Wele, dedwydd yr ydym yn || gadel y rhai sy ddioddefus. Chwi a glywsoch am ammynedd Iob, ac a welsoch ddiwedd yr Arglwydd, oblegid tosturiol iawn yw 'r Arglwydd, a thrugarog.

|| cyfrif.

12 Eithr o flaen pob peth, fy mrodyr, * na thyngwch, nac i'r nef, nac i'r ddaiar, nac un llw arall: eithr bydded eich ie chwi, yn ie, a'ch nag-ê, yn nag-ê, fel na syrthioch i farnedigaeth.

Math. 5. 34.

13 A oes nêb yn eich plith mewn adfyd? gweddied. A oes nêb yn esmwyth arno? caned Psalmau.

14 A oes nêb yn eich plith yn glâf? galwed atto Henuriaid yr Eglwys, a gweddiant

ant hwy || trosto,* gan ei eneinio ef ag olew yn Enw 'r Arglwydd:

|| rwch ei ben.
* Marc.6.13.

15 A gweddi 'r ffydd a iachâ 'r claf, a'r Arglwydd a'i cyfyd ef i fynu: ac os bydd wedi gwneuthur pechodau, hwy a faddeuir iddo.

16 Cyffeswch eich camweddau bawb iw gilydd, a gweddiwch tros ei gilydd, fel i'ch iachaer: llawer a ddichon taer-weddi y cyfiawn.

17 * Elias oedd ddyn yn rhaid iddo ddioddef fel ninneu, ac mewn gweddi [efe] a weddiodd na byddei law; ac ni bu glaw ar y ddaiar dair blynedd a chwe mis.

* 1Bren.17.1. luc.4.25.

18 Ac [efe] a weddiodd drachefn, a'r nêf a roddes law, a'r ddaiar a ddug ei ffrwyth.

19 Fy mrodyr, od aeth nêb o honoch ar gyfeiliorn oddi wrth y gwirionedd, a throi o ryw un ef,

20 Gwybydded y bydd i'r hwn a drôdd bechadur oddiwrth gyfeiliorni ei ffordd, gadw enaid rhag angeu, a chuddio lliaws o bechodau.



# EPISTOL CYNTAF CYffredinol PETR yr Apostol.

## PENOD I.

1 Y mae efe yn bendithio Duw am ei amryw râd ysprydol: 10 Gan ddangos nad ydyw yr iechydwrieth ynGhrist beth newydd, eithr peth a brophwydwyd am dano er ystalm. 13 Cyngor i fyw yn dduwiol, gan eu bod hwy wedi eu geni o newydd trwy air Duw.



PETR, Apostol Iesu Ghrist, at y dieithriaid sy ar wascar ar hyd Pontus, Galatia, Cappadocia, Asia, a Bithynia:

2 Etholedigion yn ôl rhag-wybodaeth Duw Tâd, trwy sancteiddiad yr Yspryd, i bydd-dod a thaenelliad gwaed Iesu Ghrist: grâs i chwi a heddwch a amlhaer.

3 * Bendigedig [fyddo] Duw a Thâd ein Harglwydd Iesu Grist, yr hwn yn ôl ei fawr drugaredd a'n hadgenhedlodd ni i obaith bywiol trwy adgyfodiad Iesu Grist oddi wrth y meirw,

* 2.Cor.1.3. ephes.1.3.

4 I etifeddiaeth anllygredig, a dihalogedig, a di-ddiflannedig, ac ynghadw yn y nefoedd i || chwi,

|| ni.

5 Y rhai trwy allu Duw || ydych gadwedig trwy ffydd, i iechydwriaeth parod iw dat-cuddio yn yr amser diweddaf.

|| ydym.

6 Yr yr hyn yr ydych yn mawr lawenhau, er eich bôd ychydig yr awron (os rhaid yw) mewn tristwch, trwy amryw brofedigaethau:

7 Fel y caffer profiad eich ffydd chwi, yr hwn sydd werth-fawrusach na'r aur colladwy, cyd profer ef trwy dân, er mawl, ac anrhydedd, a gogoniant, yn ymddangosiad Iesu Grist:

8 Yr hwn, er na's gwelsoch, yr ydych yn ei garu: yn yr hwn heb fôd yr awron yn [ei] weled, ond yn credu, yr ydych yn mawr lawenhau â llawenydd annhraethadwy, a gogoneddus:

9 Gan dderbyn diwedd eich ffydd, [sef] iechydwriaeth eich eneidiau:

10 Am yr hon iechydwriaeth yr ymofynnodd, ac y manwl chwiliodd y Prophwydi, y rhai a brophwydasant am y grâs a [ddeuai] i chwi;

11 Gan chwilio pa [bryd], neu pa ryw amser, yr oedd Yspryd Christ yr hwn oedd ynddynt, yn ei yspysu, pan oedd efe yn rhag-dystiolaethu dioddefaint Christ, a'r gogoniant ar ôl hynny.

12 I'r rhai y datcuddiwyd nad iddynt hwy eu hunain, ond i ni yr oeddynt yn || gweini [yn] y pethau a fynegwyd ynawr i chwi gan y rhai a efangylasant i chwi trwy 'r Yspryd glân, yr hwn a ddanfonwyd o'r nêf, ar yr hyn [bethau] y mae'r Angelion yn chwennychu edrych.

|| trefnu y pethau.

13 O herwydd pa ham, gan wregysu lwynau eich meddwl, [a] bod yn sobr, gobeithiwch yn berffaith am y grâs a ddygir i chwi yn nat-cuddiad Iesu Ghrist:

14 Fel plant bydd-dod, heb gyd-ymagweddu â'r trachwantau o'r blaen yn eich anwybodaeth:

15 Eithr megis y mae y neb a'ch galwodd chwi yn sanctaidd, * byddwch chwithau hefyd sanctaidd ym mhôb ymarweddiad:

* Luc.1.75.

16 Oblegid

16 Oblegid y mae 'n scrifennedig, * Byddwch sanctaidd, canys sanctaidd ydwyfi.

* Lefit.11. 44.& 19.1. & 20.7.

17 Ac os ydych yn galw ar y Tâd, yr hwn sydd, * heb dderbyn wyneb, yn barnu yn ôl gweithred pôb vn, ymddygwch mewn ofn tros amser eich ymdeithiad:

* Deut.10.17. rhuf.2.11. gal.2.6.

18 Gan wybod nad â phethau llygredig, megis arian neu aur, i'ch prynwyd oddi wrth eich ofer ymarweddiad, [yr hon a gawsoch] trwy draddodiad y tadau:

19 Eithr â * gwerthfawr waed Christ, megis oen difeius a difrycheulyd.

* 1.Cor.6.20. & pen.7.23. heb.9.14. 1.ioa.1.7. dat.1.5.

20 Yr hwn yn wir a || rag-ordeiniwyd * cyn sylfaenu y bŷd, eithr a eglurwyd yn yr amseroedd diweddaf, er eich mwyn chwi,

|| rag-wybuwyd.
* Rhuf.16.25. ephes.3.9. colos.1.26. 2 timoth.1. 19. tit.1.2.

21 Y rhai ydych trwyddo ef yn credu yn Nuw, yr hwn a'i cyfododd ef oddi wrth y meirw, ac a roddodd iddo ef ogoniant, fel y byddei eich ffydd chwi a'ch gobaith yn Nuw.

22 Gwedi puro eich eneidiau, gan vfyddhau i'r gwirionedd trwy 'r Yspryd, i frawdgarwch diragrith, cerwch ei gilydd o galon bur yn helaeth:

23 Wedi eich ail-eni nid o hâd llygredig, eithr anllygredig, trwy air Duw, [yr hwn sydd] yn byw, ac yn parhau yn dragywydd.

24 * Canys pôb cnawd fel glâs-welltyn [yw,] a holl ogoniant dŷn fel blodeuyn y glâs-welltyn: gwywodd y glâs-welltyn, a'i flodeuyn a syrthiodd.

* Esai.40.6. eccles.14.18. ia.1.10.

25 Eithr gair yr Arglwydd sydd yn aros yn dragywydd: a hwn yw 'r gair a bregethwyd i chwi.

PEN. II.

Y mae efe yn eu cynghori na wnelont ddim yn erbyn cariad: 4 ac yn ddangos mai Christ ydyw 'r sylfaen yr adeiladwyd hwynt arno: 11 ac yn dymuno arnynt ymgadw rhag chwantau cnawdol: 13 a bod yn vfydd i swyddogion. 18 Ac y mae yn dyscu i weision vfyddhau iw meistred, 20 a bod yn ddioddefgar wrth esampl Christ, er eu bod yn cael cam.



* Ephes.4.22. coloss.3.8. heb.12.1.

Wedi rhoi heibio gan hynny bôb drygioni, a phôb twyll, a rhagrith, a chenfigen, a phôb gogan-air,

2 Fel rhai bychain newydd eni, chwennychwch || ddidwyll laeth y gair, fel y cynnyddoch trwyddo ef:

|| y rhesymol [a'r] didwyll laeth.

3 Os profasoch fod yr Arglwydd yn dirion.

4 At yr hwn [yr ydych] yn dyfod [megis] at faen bywiol, a wrthodwyd gan ddynion, eithr etholedig gan Dduw, [a] gwerthfawr.

5 A chwithau megis meini bywiol ydych wedi eich adeiladu yn dŷ ysprydol, * yn offeiriadaeth sanctaidd, i offrymmu aberthau ysprydol, cymmeradwy gan Dduw trwy Iesu Ghrist.

* Dat.1.6.

6 O herwydd pa ham y cynnwysir yn yr Scrythur, Wele * yr wyf yn gosod yn Sion ben-congl-faen, etholedig, [a] gwerthfawr: a'r hwn a grêd ynddo, ni's gwradwyddir.

* Psal.118.22. esai.28.16. matth.21.42. act.4.12. rhuf.9.33.

7 I chwi gan hynny y rhai ydych yn credu, [y mae] yn || barchus: eithr i'r || anufyddion, * y maen a wrthododd yr adeiladwyr, hwnnw a wnaed yn ben y gongl,

|| werthfawr.
|| rhai nid ydynt yn credu.
* Psal.118.22. math.21.42. dat.4.11.

8 * Ac yn faen tramgwydd, ac yn graig rhwystr, i'r rhai sy yn tramgwyddo wrth y gair, gan fôd yn anufydd; i'r hwn beth yr ordeiniwyd hwynt hefyd.

* Esa.8.14.

9 Eithr chwy-chwi [ydych] rywogaeth etholedig, * brenhinol offeiriadaeth, cenedl sanctaidd, pobl briodol [i Dduw:] fel y mynegoch rinweddau yr hwn a'ch galwodd allan o dywyllwch i'w ryfeddol oleuni ef.

Exod.19.6

10 * Y rhai gynt nid [oeddych] bobl, ond yn awr [ydych] bobl i Dduw: y rhai ni chawsech drugaredd, ond yr awron a gawsoch drugaredd.

Hose.2.23. rhuf.9.25.

11 ☞ Anwylyd, yr wyf yn attolwg [i chwi] megis dieithriaid a phererinion, ymgedwch oddi wrth chwantau cnawdol, y rhai sy yn rhyfela yn erbyn yr enaid:

Yr Epistol y trydydd Sul ar ol y Pasc.

12 Gan fôd a'ch ymarweddiad yn honest ym-mysc y Cenhedloedd: fel, lle maent yn eich goganu megis drwg-weithredwŷr, y gallont o herwydd eich gweithredoedd da a welant, ogoneddu Duw yn nydd yr ymweliad.

13 * Ymddarostyngwch oblegid hyn i bôb dynol ordinhâd, o herwydd yr Arglwydd: pa vn bynnag ai i'r brenin, megis goruchaf:

Rhuf.13.1.

14 Ai i'r llywiawd-wŷr, megis trwyddo ef wedi eu danfon er dial ar y drwg-weithredwŷr, a mawl i'r gweithred-wŷr da.

15 Canys felly y mae ewyllys Duw, fod i chwi trwy wneuthur daioni, ostegu anwybodaeth dynion ffolion:

16 Megis yn rhyddion, ac nid â rhydd-did gennych megis cochl malis, eithr fel gwasanaeth-wŷr Duw.

17 Perchwch bawb. * Cerwch y brawdoliaeth. Ofnwch Dduw. Anrhydeddwch y brenin. ☜

* Rhuf.12.10. 1 pet.1.22.

18 * Y gweision, [byddwch] ddarostyngedig gydâ phôb ofn, i'ch meistred, nid yn vnic i'r [rhai] da a chyweithas, eithr i'r [rhai] anghyweithas hefyd.

Ephes.6.5. coloss.3.22. tit.2.9.

19 ☞ Canys hyn sydd || rasol, os yw neb o herwydd cydwybod i Dduw yn dwyn tristwch, gan ddioddef ar gam.

Yr Epistol yr ail Sul ar ol y Pasc.
|| rás, neu ddiolch.

20 Oblegid pa glôd [yw,] os pan bechoch a chael eich cernodio, y byddwch dda eich ammynedd? eithr os a chwi yn gwneuthur

yn

yn dda, ac yn dioddef, y byddwch dda eich ammynedd, hyn [sydd] || rasol ger bron Duw.

|| ras, neu ddiolch.

21 Canys i hyn i'ch galwyd hefyd, oblegid Christ yntef a ddioddefodd trosom ni, gan adel i || ni esampl, fel y canlynech ei ôl ef.

|| ein, chwi.

22 Yr hwn ni wnaeth bechod, ac * ni chaed twyll yn ei enau.

*Esa.53.

23 Yr hwn pan ddifenwyd, ni ddifenwodd drachefn, pan ddioddefodd ni fygythiodd: eithr rhoddodd ar y neb sydd yn barnu yn gyfiawn.

24 * Yr hwn ei hun a ddûg ein pechodau ni yn ei gorph ar y pren: fel gwedi ein marw i bechodau, y byddem byw i gyfiawnder: * trwy gleisiau yr hwn yr iachawyd chwi.

*Esa.53.5. mat.8.17.

*Esa.53.5.

25 Canys yr oeddych megis defaid yn myned ar gyfeiliorn: eithr yn awr chwi a ddychwelwyd at fugail ac Escob eich eneidiau.

## PEN III.

1 Y mae yn dyscu i wyr a gwrâgedd eu dyled iw gilydd; 8 yn annog pawb i vndeb a chariad; 14 ac i ddioddef erlid; 19 ac yn adrodd daioni Duw i'r hên fyd gynt.

Colos.3.18. ephes.5.22.



R vn ffunyd [ * bydded ] y gwragedd ostyngedig iw gwŷr priod: fel od oes rhai heb gredu i'r gair, y galler trwy ymarweddiad y gwragedd, eu hynnill hwy heb y gair,

2 Wrth edrych ar eich ymarweddiad diwair chwi ynghyd ag ofn.

3 * Trwsiad y rhai bydded nid yr vn oddi allan, o blethiad gwallt, ac amgylch-osodiad aur, neu wiscad dillad:

1.Tim.2.9.

4 Eithr [ bydded ] cuddiedig ddŷn y galon, mewn anllygredigaeth yspryd addfwyn a llonydd, yr hwn sydd ger bron Duw yn werthfawr.

5 Canys felly gynt yr oedd y gwragedd sanctaidd hefyd, y rhai oedd yn gobeithio yn Nuw, yn ymdrwsio, gan fôd yn ddarostyngedig iw gwŷr priod:

6 Megis yr vfyddhâodd Sara i Abraham, gan ei alw ef yn * Arglwydd: || merched yr hon ydych chwi, tra fyddoch yn gwneuthur yn dda, ac heb ofni dim dychryn.

Gen.18.12.
|| Gr. plant.

7 * Y gwŷr yr vn ffunyd, cyd-gyfanneddwch â hwynt yn ôl gwybodaeth, gan roddi parch i'r wraig, megis i'r llestr gwannaf, fel rhai sy gyd-etifeddion grâs y bywyd, rhag rhwystro eich gweddiau.

1.Cor.7.3.

Yr Epistol y pummed Sul ar ol y Drindod.

8 Am ben hyn, [byddwch] oll yn vnfryd, yn cyd-oddef [ â'i gilydd, ] yn caru || fel brodyr, yn drugarogion, yn fwynaidd:

|| neu, y brodyr.

9 * Nid yn talu drwg am ddrwg, neu senn am senn: eithr yngwrthwyneb, yn bendithio: gan wybod mai i hyn i'ch galwyd, fel yr etifeddoch fendith.

*Diar.20.22. mat.5.39. rhuf.12.17. 1.thess.5.15.

10 Canys * y neb a ewyllysio hoffi bywyd, a gweled dyddiau da, attalied ei dafod oddi wrth ddrwg, a'i wefusau rhag adrodd twyll.

Ps.34.13,14.

11 Gocheled y drwg, a gwnaed y da: ceisied heddwch, a dilyned ef.

12 Canys [ y mae ] llygaid yr Arglwydd ar y rhai cyfiawn, a'i glustiau ef tu ac at eu gweddi hwynt: eithr [ y mae ] wyneb yr Arglwydd yn erbyn y rhai sy yn gwneuthur drwg.

13 A phwy a'ch drwga chwi, os byddwch yn dilyn yr hyn sydd dda?

14 Eithr * o bydd i chwi hefyd ddioddef o herwydd cyfiawnder, dedwydd [ydych:] ond nac * ofnwch rhac eu hofn hwynt, ac na'ch cynhyrfer:

Mat.5.10.

Esa.8.12.

15 Eithr sancteiddiwch yr Arglwydd Dduw yn eich calonnau: a [ byddwch] barod bôb amser i atteb i bôb vn a ofynno i chwi reswm am y gobaith sydd ynoch, gyd ag addfwynder || ac ofn:

|| a pharch.

16 A chennych gydwybod dda: fel yn yr hyn y maent yn eich goganu megis drwgweithredwŷr, y cywilyddio y rhai sydd yn beio ar eich ymarweddiad da chwi ynGhrist.

17 Canys gwell [ ydyw, ] os ewyllys Duw a'i mynn, i chwi ddioddef yn gwneuthur daioni, nag yn gwneuthur drygioni:

Yr Epistol ar Nos Basc.

18 Oblegid Christ hefyd vnwaith a ddioddefodd tros bechodau, y Cyfiawn * tros yr anghyfiawn; fel y dygei ni at Dduw, wedi ei farwolaethu yn y cnawd, eithr ei fywhau yn yr Yspryd:

Rhuf.5.6.

19 Trwy 'r hwn yr aeth efe hefyd ac a bregethodd i'r ysprydion yngharchar,

20 Y rhai a fu gynt anufydd, pan vnwaith yr oedd hir-ammynedd Duw yn aros yn nyddiau Noe, tra y darperid * yr arch, yn yr hon ychydig, sef wyth enaid, a achubwyd trwy ddwfr.

Gen.6.14. mat.24.38.

21 Cyffelybiaeth cyf-attebol i'r hwn, sydd yr awron yn ein hachub ninnau, [ sef ] bedydd ( nid bwrw ymmaith fudreddi y cnawd, eithr ymatteb cydwybod dda tu ac at Dduw,) trwy adgyfodiad Iesu Grist,

22 Yr hwn sydd ar ddeheu-law Duw, wedi myned i'r nef, a'r Angelion, a'r awdurdodau, a'r galluoedd, wedi eu darostwng iddo.

## PEN. IIII.

1 Y mae yn eu hannog hwy i beidio â phechu, trwy esampl Crist, a thrwy ystyried fod diwedd pob peth yn pwyso yn agos. 12 Y mae yn eu cyssuro yn erbyn erlid.

Am



AR hynny, gan ddioddef o Grist trosom ni yn y cnawd, chwithau hefyd byddwch wedi eich arfogi â'r un meddwl: oblegid yr hwn a ddioddefodd yn y cnawd, a beidiodd â phechod,

2 Fel na byddo mwyach fyw i chwantau dynion, ond i ewyllys Duw, tros yr amser sydd yn ôl yn y cnawd,

3 Canys digon i ni yr amser a aeth heibio o'r einioes i weithredu ewyllys y Cenhedloedd, gan rodio mewn trythyllwch, trachwantau, meddwdod, cyfeddach, || diotta, a ffiaidd eulyn-addoliad,

|| ymyfed.

4 Yn yr hyn y maent yn ddieithr yn eich cablu chwi, am nad ydych yn cyd-redeg gyd â hwynt i'r un rhyw ormod rhysedd:

5 Y rhai a roddant gyfrif i'r hwn sydd barod i farnu y byw a'r meirw.

6 Canys er mwyn hynny yr efangylwyd i'r meirw hefyd, fel y bernid hwy yn ôl dynion yn y cnawd, ac y byddent fyw yn ôl Duw yn yr yspryd.

Yr Epistol y Sul ar ol y Dyrchafael.

7 ☞ Eithr diwedd pôb peth a nesâodd: am hynny byddwch sobr, a gwiliadwrus i weddiaw.

8 Eithr o flaen pôb peth [bydded] gennych gariad || helaeth tu ac at ei gilydd: canys cariad a guddia liaws o bechodau.

|| gwresog, parhaus.

9 [Byddwch] * letteugar y naill i'r llall, heb rwgnach.

*Rhuf.12,13. Heb.13.2.

10 Pôb un * megis y derbyniodd rodd, cyfrennwch â'i gilydd, fel daionus orchwylwyr amryw rás Duw.

*Rhuf.12.6.

11 Os llefaru a wna neb, [llefared] megis || geiriau Duw: os gweini y mae neb, [gwnaed] megis o'r gallu y mae Duw yn ei roddi: fel ym mhôb peth y gogonedder Duw trwy Iesu Grist, i'r hwn y byddo yr gogoniant a'r gallu, yn oes oesoedd. Amen. ☜

|| oraclau.

12 Anwylyd, na fydded ddieithr gennwch am y profiad tanllyd sydd ynoch, yr hwn a wneir er profedigaeth i chwi, fel pe bai beth dieithr yn digwydd i chwi:

13 Eithr llawenhewch, yn gymmaint a'ch bôd yn gyfrannogion o ddioddefiadau Christ, fel pan ddatcuddier ei ogoniant ef, y byddoch yn llawen, ac yn gorfoleddu.

14 * Os difenwir chwi er mwyn Enw Christ, gwyn eich byd: oblegid y mae Yspryd y gogoniant, ac [Yspryd] Duw yn gorphywys arnoch: ar eu rhan hwynt yn wir [efe] a gablir, ond ar eich rhan chwi [efe] a ogoneddir.

*Mat.5.10.

15 Eithr na ddioddefed neb o honoch fel llofrudd, neu leidr, neu ddrwg-weithredwr, neu fel un yn ymyrreth â matterion rhai eraill:

16 Eithr os fel Christion, na fydded gywilydd ganddo, ond gogonedded Dduw yn hyn o ran.

17 Canys [daeth] yr amser i ddechreu o'r farn o dŷ Dduw: ac os [dechreu] hi yn gyntaf arnom ni, beth [fydd] diwedd y rhai nid ydynt yn || credu i Efengyl Duw?

|| vfyddhau.

18 Ac os braidd y mae'r cyfiawn yn gadwedig, pa le yr ymddengys yr annuwiol a'r pechadur?

19 Am hynny y rhai hefyd sy yn dioddef yn ol ewyllys Duw, gorchymmynnant eu heneidiau [iddo ef,] megis i greawdwr ffyddlon, gan wneuthur yn dda.

PEN. V.

1 Y mae yn annog yr Henuriaid i borthi defaid Christ: 5 a'r ieuaingc i vfyddhau: 8 A phawb i wilied, ac i fod yn sobr, ac yn ddianwadal yn y ffydd: 9 Ac i wrthwynebu y cythraul, y gwrthwynebwr creulon.



YR Henuriaid sy yn eich plith, attolwg iddynt yr ydwyf, yr hwn [wyf] gyd-henuriad, a thyst o ddioddefiadau Christ, yr hwn hefyd [wyf] gyfrannog o'r gogoniant a ddad-cuddir,

2 Porthwch braidd Duw, || yr hwn sydd yn eich plith, gan fwrw golwg arnynt, nid trwy gymmell, eithr yn ewyllysgar, nid er mwyn budr-elw, eithr o barodrwydd meddwl:

|| hyd y gallo ch.

3 Nid fel rhai yn tra-arglwyddiaethu ar etifeddiaeth [Dduw,] ond gan fôd yn esamplau i'r praidd.

4 A phan ymddangoso y Pen-bugail, chwi a gewch dderbyn annifláenedig goron y gogoniant.

5 Yr un ffunyd yr ieuaingc, byddwch ostyngedig i'r Henuriaid: a ☞ [byddwch] bawb yn ostyngedig i'w gilydd, ac ymdrwsiwch oddi fewn â gostyngeiddrwydd: oblegid y mae Duw yn gwrthwynebu y beilchion, ac yn rhoddi grâs i'r rhai gostyngedig.

Yr Epistol y trydydd Sul ar ol y Drindod.

6 * Ymddarostyngwch gan hynny tan alluog law Dduw, fel i'ch derchafo mewn amser cyfaddas:

*Iaco.4.10.

7 * Gan fwrw eich holl ofal arno ef, canys y mae efe yn gofalu trosoch chwi.

*Psal.55.22. Mat.6.25. Luc.12.22.

8 Byddwch sobr, gwiliwch: oblegid y mae eich gwrth-wynebwr diafol, megis llew rhuadwy, yn rhodio oddi amgylch, gan geisio y nêb a allo ei lyngcu.

9 Yr hwn gwrthwynebwch yn gadarn yn y ffydd, gan wybod fôd yn cyflawni yr un blinderau yn eich || brodyr, y rhai sydd yn y byd.

|| brawdoliaeth, yr hon sydd.

10 A

10 A Duw pôb grâs, yr hwn a'ch galwodd chwi iw dragwyddol ogoniant || trwy Grist Jesu, wedi i chwi ddioddef ychydig; a'ch perffeithio chwi, a'ch cadarnhâo, a'ch cryfhâo, a'ch sefydlo.

|| yngbrist Iesu.

11 Iddo ef [y byddo] y gogoniant, a'r gallu, yn oes oesoedd. Amen.

12 Gyd â Siluanus brawd ffyddlon i chwi (fel yr wyf yn tybied) yr scrifennais ar ychydig [eiriau,] gan gynghori a thestiolaethu mai gwir râs Duw yw yr hwn yr ydych yn sefyll ynddo.

13 Y mae'r [Eglwys] sydd yn Babylon yn gyd-etholedig â chwi,] yn eich annerch, a Marcus fy mab i.

14 * Annerchwch ei gilydd â chusan cariad. Tangnheddyf i chwi oll y rhai ydych yng-Hrist Jesu. Amen.

*Rhuf.16.16. 1.Cor.16.20. 2.Cor.13.12.



# AIL EPISTOL CYFFREDINOL PETR YR APOSTOL.

## PEN. I.

1 Y mae efe yn eu cadarnhau mewn gobaith o gynnydd gras Duw: 5 ac yn eu hannog i wneuthur eu galwedigaeth yn sicer trwy ffydd a gweithredoedd. 12 Y mae yn ofalus i ddwyn hyny ar gof iddynt, gan wybod fod ei farwolaeth ef ei hun yn agos. 16 Y mae yn eu rhybuddio hwy i fod yn ddianwadal yn ffydd Grist, gwir fab Duw, trwy dystiolaeth yr Apostolion a welsant ei ogoniant ef, a thrwy dystiolaeth y Tâd, ar Prophwydi.



SIMON Petr, gwasanaethwr ac Apostol Jesu Grist, at y rhai a gawsant gyffelyb werth-fawr ffydd â ninnau, trwy gyfiawnder ein Duw ni, a'n Achubwr Jesu Grist:

2 Grâs i chwi, a thangnheddyf a amlhaer, trwy adnabod Duw, ac Jesu ein Harglwydd ni.

3 Megys y rhoddes ei dduwiol allu ef i ni bôb peth [a berthyn] i fywyd a duwioldeb, trwy ei adnabod ef, yr hwn a'n galwodd ni || i ogoniant a rhinwedd:

|| trwy.

4 Trwy'r hyn y rhoddwyd i ni addewidion mawr iawn, a gwerthfawr, fel trwy y rhai hyn y byddech gyfrannogion o'r duwiol anian, wedi diangc oddi wrth y llygredigaeth [sydd] yn y bŷd trwy drachwant.

5 A hyn ymma hefyd, gan roddi cwbl ddiwydrwydd, chwanegwch || at eich ffydd rinwedd, ac || at rinwedd wybodaeth:

6 Ac || at wbodaeth gymmedroldep, ac || at gymmedrolder ammynedd, ac || at ammynedd duwioldeb,

7 Ac at dduwioldeb garedigrwydd brawdol, ac at garedigrwydd brawdol, cariad.

|| yn. || mewn rhinwedd. || mewn gwybodaeth. || mewn cymmedrolder. || mewn.

8 Canys os yw y pethau hyn gennych, ac yn || aml hwynt, y maent yn peri na bôch na segur na diffrwyth yng wybodaeth ein Harglwydd Jesu Grist.

|| helaeth.

9 Oblegid, yr hwn nid yw y rhai hyn ganddo, dall ydyw, heb weled ym-mhell, wedi gollwng tros gôf ei lanhâu oddi wrth ei bechodau gynt.

10 O herwydd pa ham yn hytrach, frodyr, byddwch ddiwyd i wneuthur eich galwedigaeth a'ch etholedigaeth yn sicer: canys tra fôch, yn gwneuthur y pethau hyn, ni lithrwch chwi ddim byth.

11 Canys felly yn helaeth y trefnir i chwi fynediad i mewn i dragwyddol deyrnas ein Harglwydd a'n Achubwr Jesu Grist.

12 O herwydd pa ham, nid esceulusaf eich coffau bôb amser am y pethau hyn, er eich bôd yn eu gwybod, ac wedi eich sicrhau yn y gwirionedd presennol.

13 Eithr yr ydwyf yn tybied [fôd] yn iawn, tra fyddwyf yn y tabernacl hwn, eich cyffroi chwi, trwy ddwyn ar gôf [i chwi.]

14 Gan wybod y bydd i mi ar frŷs roddi fy-nhabernacl hwn heibio, *megis ac yr yspysodd ein Harglwydd Jesu Grist i mi.

*Io.21.17.

15 Ac mi a wnaf fy ngoreu hefyd ar allu o honoch bôb amser, ar ôl fy ymadawiad i wneuthur coffa am y pethau hyn.

16 Canys nid gan ddilyn chwedlau cyfrwys yr yspysasom i chwi nerth a dyfodiad ein Harglwydd Jesu Grist, eithr wedi gweled ei fawredd ef â'n llygaid.

17 Canys efe a dderbyniodd gan Dduw Tâd barch a gogoniant, pan ddaeth y cyfryw lêf atto oddi wrth y mawr ragorol ogoniant, * Hwn yw fy anwyl Fab i, yn yr hwn i'm bodlonwyd.

*Math. 3.17 & 17.5.

18 A'r llêf ymma, yr hon a ddaeth o'r nef, a glywsom ni, pan oeddym gyd ag ef yn y mynydd sanctaidd.

19 Ac y mae gennym air sicrach y prophwydi: yr hwn da y gwnewch fôd yn dal arno,

arno, megis ar ganwyll yn llewyrchu mewn lle tywyll, hyd oni wawrio 'r dydd, ac oni chodo 'r seren ddydd yn eich calonnau chwi:

20 Gan wybod hyn yn gyntaf, * nad oes vn brophwydoliaeth o'r Scrythur, o ddeongliad priod. [2.Tim.3.16.]

21 Canys nid trwy ewyllys dyn y daeth || gynt brophwydoliaeth, eithr dynion sanctaidd Duw a lefarasant megis y cynnhyrfwyd hwy gan yr Yspryd glân. [|| yn amser.]

PEN. II.

1 Y mae efe yn prophwydo am athrawon ffeilsion, ac yn dangos eu hanwiredd a'i dialedd hwy, a'i dilynwyr: 7 oddiwrth y rhai y gwaredir y rhai duwiol, fel y gwaredwyd Lot o Sodom. 10 Y mae efe yn dangos yn helaethach gynneddfau y twyllwyr annuwiol hynny, fel y galler eu hadnabod hwy yn haws, a'i gochelyd.



Ithr bu gau-brophwydi hefyd ym-mhlith y bobl, megis ac y bydd gau-athrawon yn eich plith chwithau, y rhai yn ddirgel a ddygant i mewn heresiau dinistriol, a chan wadu yr Arglwydd, yr hwn a'u prynodd hwynt, [ydynt] yn tynnu arnynt eu hunain ddinistr buan.

2 A llawer a ganlynant eu || destryw hwynt, o herwydd y rhai y ceblir ffordd y gwirionedd: [|| neu, trythyllwch.]

3 Ac mewn cybydd-dod trwy chwedlau gwneuthur, y gwnânt farsiandiaeth o honoch: barnedigaeth y rhai er ystalm nid yw segur, a'u colledigaeth hwy nid yw yn heppian.

4 Canys onid arbedodd Duw'r * Angelion a bechasent, eithr eu taflu [hwynt] i uffern, a'u rhoddi i gadwynau tywyllwch, i'w cadw i farnedigaeth: [Iob 4.18. iud.6.]

5 Ac * onid arbedodd efe yr hên fyd, eithr Noe pregethwr cyfiawnder a gadwodd efe ar ei wythfed, pan ddug efe y Dilyw ar fyd y rhai anwir: [Gen.7.1.]

6 A chan droi dinasoedd * Sodoma a Gomorrha yn lludw, a'u damnodd [hwy] â dymchweliad, gan eu gosod yn esampl i'r rhai a fyddent yn annuwiol: [Gen.19.13.]

7 Ac a waredodd Lot gyfiawn, yr hwn oedd mewn gofid trwy anniwair ymarweddiad yr anwiriaid.

8 (Canys y cyfiawn [hwnnw] yn trigo yn eu mysc hwynt, yn gweled ac yn clywed, ydoedd yn poeni ei enaid cyfiawn o ddydd i ddydd trwy eu hanghyfreithlon weithredoedd [hwynt.])

9 Yr Arglwydd a fedr wared y rhai duwiol rhag profedigaeth, a chadw y rhai anghyfiawn i ddydd y farn i'w poeni:

10 Ac yn bennaf y rhai sy 'n rhodio ar ôl y cnawd mewn chwant aflendid, ac yn diystyru || llywodraeth: * rhyfygus [ydynt,] cyndyn, nid ydynt yn arswydo cablu urddas: [|| arglwyddiaeth. * Iud.8.]

11 Lle nid yw'r Angelion, y rhai sy fwy mewn gallu a nerth, yn rhoddi cablaidd farn yn eu herbyn hwynt ger bron yr Arglwydd:

12 Eithr y rhai hyn, megis anifeiliaid anrhesymmol anianol, y rhai a wnaed i'w dal ac i'w difetha, a gablant y pethau ni wyddant oddiwrthynt, ac a ddifethir yn eu llygredigaeth eu hunain:

13 Ac ] a dderbyniant gyflog anghyfiawnder, a hwy yn cyfrif moetheu || beunydd yn hyfrydwch, brycheu a meflau [ydynt,] yn ymddigrifo yn eu twyll eu hunain, gan wledda gyd â chwi: [|| Gr. yn y, neu, trwy'r dydd.]

14 A llygaid ganddynt yn llawn || godineb, ac heb fedru peidio â phechod: yn llithio eneidiau anwadal, a chanddynt galon wedi ymgynnefino â chybydd-dra, plant y felldith: [|| Gr. o'r odinebwraig.]

15 Wedi gadel y ffordd uniawn, [hwy] a aethant ar gyfeiliorn, gan ganlyn ffordd * Balaam, [mab] Bosor, yr hwn a garodd wobr anghyfiawnder: [Num.22.5.]

16 Ond efe a gafodd gerydd am ei gamwedd: * [asyn] fud arferol â'r iau, gan ddywedyd â llef ddynol, a waharddodd ynfydrwydd y Prophwyd. [Num.22.23.]

17 Y rhai hyn ydynt ffynhonnau * diddwfr, cymylau a yrrid gan dymestl, i'r rhai y mae niwl tywyllwch ynghadw yn dragywydd. [Iud.12.]

18 Canys gan ddywedyd chwyddedig [eiriau] gorwagedd, y maent hwy trwy chwantau 'r cnawd, [a] thrythyllwch, yn llithio y rhai a ddiangasei yn gwbl oddiwrth y rhai sy yn byw ar gyfeiliorn:

19 Gan addo rhydd-did iddynt, * a hwythau eu hunain yn wasanaeth-wyr llygredigaeth: canys gan bwy bynnag y gorchfygwyd neb, i hwnnw hefyd yr aeth efe yn gaeth. [Ioan 8.34. Rhuf.6.20.]

20 Canys * os wedi iddynt ddiangc oddiwrth halogedigaeth y byd, trwy adnabyddiaeth yr Arglwydd a'r Achubwr Iesu Grist, y rhwystrir hwy drachefn â'r pethau hyn, a'u gorchfygu, aeth diwedd y rhai hynny yn waeth nâ'i dechreuad. [Math.12.45. Hebr.6.4.]

21 Canys gwell fuasei iddynt, fod heb adnabod ffordd cyfiawnder, nag wedi ei hadnabod, troi oddiwrth y gorchymmyn sanctaidd, yr hwn a draddodwyd iddynt.

22 Eithr digwyddodd iddynt yn ôl y wir ddihareb, Y ci a ymchwelodd at ei chwydiad ei hun: a'r hwch wedi ei golchi, i'w hymdreiglfa yn y dom.

PEN. III.

1 Y mae efe yn eu sicrhau hwy am ddyfodiad Christ i'r farn, yn erbyn y gwatwarwyr a ymresymmai yn y gwrthwyneb: 8 gan rybuddio y rhai duwiol i brysuro eu hedifeirwch, o ran hir ammynedd Duw: 10 Ac y mae yn dangos pa fodd y dinistrir y byd:

11 Ac

11 Ac yn eu hannog hwy i sancteiddrwydd buchedd, trwy ddisgwil hynny: 15 A hefyd i feddwl mai er mwyn eu iechadwriaeth hwynt y mae Duw yn ddioddefgar, megis yr scrifennodd Paul attynt.



R ail Epistol hwn, anwylyd, yr ydwyf yn awr yn ei scrifennu attoch, || yn yr hwn yr ydwyf yn cyffroi eich meddwl puraidd, trwy ddwyn ar gôf [i chwi:]

|| yn-mhob un or ddau.

2 Fel y byddo cofus genych y geiriau a rag-ddywedwyd gan y prophwydi sanctaidd, a'n gorchymmyn ninnau, Apostolion yr Arglwydd, a'r Iachawdwr:

3 Gan wybod hyn yn gyntaf, y daw *yn y dyddiau diweddaf watwar-wyr, yn rhodio yn ôl eu chwantau eu hunain:

* 1.Tim.4.1. Iud 18. 2.Tim.3.1.

4 Ac yn dywedyd, Pa le y mae addewid ei ddyfodiad ef? canys er pan hunodd y tadau, y mae pôb peth yn parhau, || fel yr oeddynt o ddechreuad y creaduriaeth.

|| fel, hyn.

5 Canys y mae hyn yn ddiarwybod iddynt o'u gwir-fodd, mai trwy air Duw yr oedd y nefoedd er ystalm, a'r ddaiar yn cyd-sefyll o'r dwfr, a thrwy 'r dwfr.

6 O herwydd pa ham, y byd [a oedd] y pryd hynny, wedi ei orchguddio â dwfr a ddifethwyd.

7 Eithr y nefoedd a'r ddaiar [sy] yr awrhon, ydynt trwy 'r un gair wedi eu rhoddi i gadw i dân, erbyn dydd y farn, a distryw yr anwir ddynion.

8 Eithr yr un peth hyn na fydded yn ddiarwybod i chwi, anwylyd, fôd un dydd gyd â'r Arglwydd megis mil o flynyddoedd, *a mil o flynyddoedd megis un dydd.

* Psal.90.4.

9 Nid ydyw 'r Arglwydd yn oedi ei addewid, (fel y mae rhai yn cyfrif oed) ond hirymarhous yw efe tu ac attom ni, *heb ewyllysio bôd neb yn golledig, ond dyfod o bawb i edifeirwch.

* Ezec.18.32. & 33.11.

10 Eithr dydd yr Arglwydd a ddaw *megis lleidr y nôs, yn yr hwn y nefoedd a ânt heibio gydâ thwrwf, a'r || defnyddiau gan wir wres a doddant, a'r ddaiar a'r gwaith [a fyddo] ynddi a loscir.

* Dat.3.3. & 16.15.

|| elementau.

11 A chan fôd yn rhaid i hyn i gŷd ymollwng, pa ryw fath ddynion a ddylech chwi fôd, mewn sanctaidd ymarweddiad a duwioldeb,

12 Yn ddisgwil ac yn brysio at ddyfodiad dydd Duw, || yn yr hwn y nefoedd gan losci a ymollyngant, a'r || defnyddiau gan wir wres a doddant?

|| trwy.

|| elementau.

13 Eithr *nefoedd newydd, a daiar newydd yr ydym [ni,] yn ôl ei addewid ef, yn eu disgwil, yn y rhai y mae cyfiawnder yn cartrefu.

* Esai.65.17. & 66.22. Dat.21.1.

14 O herwydd pa ham, anwylyd, gan eich bôd yn disgwyl y pethau hyn, gwnewch eich goreu ar eich cael ganddo ef mewn tangneddyf, yn ddi-frycheulyd, ac yn ddi-argyoedd:

15 A *chyfrifwch hir-ammynedd ein Harglwydd, yn iechydwriaeth: megis ac yr scrifennodd ein hanwyl frawd Paul attoch chwi, yn ôl y doethineb a roddwyd iddo ef:

* Rhuf.2.4.

16 Megis yn ei holl epistolau hefyd, yn llefaru ynddynt am y pethau hyn: yn y rhai y mae rhyw bethau anhawdd eu deall, y rhai y mae yr annyscedig a'r anwastad yn eu gwyr-droi, megis yr Scrythurau eraill, i'w dinistr eu hunain.

17 Chwy-chwi gan hynny, anwylyd, a chwi yn gwybod [y pethau hyn] o'r blaen, ymgedwch rhag eich arwain ymmaith trwy amryfusedd yr annuwiol, a chwympo o honoch oddiwrth eich sicrwydd eich hun.

18 Eithr cynnyddwch mewn grâs a gwybodaeth ein Harglwydd a'n Iachawdwr Iesu Grist. Iddo ef [y byddo] gogoniant yr awr hon, ac || yn dragwyddol. Amen.

|| hyd ddydd tragwyddoldeb.







# EPISTOL CYNTAF CYFFREDINOL IOAN yr Apostol.

## PEN. I.

Y mae efe yn gosod allan berson Christ, yn yr hwn y mae i ni fywyd tragwyddol, trwy gymdeithas â Duw. 5 Rhaid i ni ymroi i sancteiddrwydd buchedd, i dystiolaethu gwirionedd y gymdeithas honno, a'n ffydd: a hefyd i'n siccrhau ein hunain o faddeuant pechodau, trwy farwolaeth Crist.

Yr Epistol ar ddigwyl Ioan Efangylwr.



Yr hyn oedd o'r dechreuad, yr hyn a glywsom, yr hyn a welsom â'n llygaid, yr hyn a edrychasom arno, ac a deimlodd ein dwylo am air y bywyd:

2 (Canys y bywyd a eglurhawyd, ac ni a welsom, ac ydym yn tystiolaethu, ac yn mynegi i chwi y bywyd tragwyddol, yr hwn oedd gyd â'r Tâd, ac a eglurhawyd i ni,)

3 Yr hyn a welsom ac a glywsom, yr ydym yn ei fynegi i chwi, fel y caffoch chwithau hefyd gymdeithas gyd â ni: a'n cymdeithas ni yn wir [sydd] gyd â'r Tâd, a chyd â'i Fab ef Iesu Grist.

4 A'r pethau hyn yr ydym yn eu scrifennu attoch, fel y byddo eich llawenydd yn gyflawn.

5 A hon yw 'r gennadwri a glywsom ganddo ef, ac yr ydym yn ei hadrodd i chwi, mai *goleuni yw Duw, ac nad oes ynddo ddim tywyllwch.

*Ioa. 1. 9. & 8, 12.

6 Os dywedwn fôd i ni gymdeithas ag ef, a rhodio yn y tywyllwch, celwyddog ydym, ac nid ydym yn gwneuthur y gwirionedd.

7 Eithr os rhodiwn yn y goleuni, megis y mae efe yn y goleuni, y mae i ni gymdeithas â'i gilydd, *a gwaed Iesu Grist ei Fab ef, sydd yn ein glânhau ni oddi wrth bôb pechod.

*Heb. 9. 14. 1. Pet. 1. 19. Dat. 1. 5.

8 *Os dywedwn nad oes ynom bechod, yr ydym yn ein twyllo ein hunain, a'r gwirionedd nid yw ynom.

*1. Bren. 8. 46. 2. Chro. 6. 36. Dihareb. 20. 9

9 Os cyfaddefwn ein pechodau, ffyddlon yw efe, a chyfiawn, fel y maddeuo i ni ein pechodau, ac i'n glanhâo oddi wrth bob anghyfiawnder.

10 Os dywedwn na phechasom, yr ydym yn ei wneuthur ef yn gelwyddog, a'i air ef nid yw ynom.

## PEN. II.

Y mae efe yn eu cyssuro hwy yn erbyn pechodau o wendid. 3 Adnabod Duw yn iawn yw cadw ei orchymynion ef: 9 a charu ein brodyr: 15 ac na roddom ein serch ar y byd. 15 Rhaid i ni ochelud twyllwyr: 20 y rhai y mae y duwiol yn ddiogel oddiwrth eu twyll, trwy barhâu yn y ffydd, ac mewn sancteiddrwydd buchedd.



Fy mhlant bychain, y pethau hyn yr wyf yn eu scrifennu attoch, fel na phechoch: ac o phecha neb, y mae i ni eiriolwr gyd â'r Tâd, Iesu Grist y Cyfiawn:

2 Ac efe, yw 'r ‖iawn tros ein pechodau ni: ac nid tros yr eiddom ni yn unig, eithr tros [bechodau] yr holl fyd.

‖cymmod.

3 Ac wrth hyn y gwyddom yr adwaenom ef, os cadwn ni ei orchymmynion ef.

4 Yr hwn sydd yn dywedyd, Mi a'i hadwaen ef, ac heb gadw ei orchymmynion ef, celwyddog yw, a'r gwirionedd nid yw ynddo.

5 Eithr yr hwn a gadwo ei air ef, yn wir yn hwn y mae cariad Duw yn berffaith: wrth hyn y gwyddom ein bôd ynddo ef.

6 Yr hwn a ddywed ei fôd yn aros ynddo ef, a ddylei yntef felly rodio, megis ac y rhodiodd ef.

7 Y brodyr, nid gorchymmyn newydd yr wyf yn ei scrifennu attoch, eithr gorchymmyn hên, yr hwn oedd gennych o'r dechreuad: yr hên orchymmyn yw 'r gair a glywsoch o'r dechreuad.

8 Trachefn, gorchymmyn newydd yr wyf yn ei scrifennu attoch, yr hyn sydd wir ynddo ef, ac ynoch chwithau: oblegid y tywyllwch ‖a aeth heibio, a'r gwir oleuni sydd yr awron yn tywynnu.

‖sydd yn myned.

9 Yr hwn a ddywed ei fôd yn y goleuni, ac a gasâo ei frawd, yn y tywyllwch y mae hyd y pryd hyn.

10 *Yr hwn sydd yn caru ei frawd, sydd yn aros yn y goleuni, ac nid oes rhwystr ynddo.

*Pen. 3. 14.

11 Eithr yr hwn sydd yn casâu ei frawd, yn y tywyllwch y mae, ac yn y tywyllwch y mae yn rhodio: ac ni wyr i ba le y mae yn myned, oblegid y mae y tywyllwch wedi dallu ei lygaid ef.

12 Scri-

12 Scrifennu yr wyf attoch chwi, blant bychain, oblegid maddeu i chwi eich pechodau, er mwyn ei Enw ef.

13 Scrifennu yr wyf attoch chwi, dadau, am adnabod o honoch yr hwn [sydd] o'r dechreuad: scrifennu yr wyf attoch chwi, wŷr ieuaingc, am orchfygu o honoch yr un drwg: scrifennu yr wyf attoch chwi, rai bychain, am i chwi adnabod y Tâd.

14 Scrifennais attoch chwi, dadau, am adnabod o honoch yr hwn [sydd] o'r dechreuad: scrifennais attoch chwi, wŷr ieuaingc, am eich bôd yn gryfion, a bôd gair Duw yn aros ynoch, a gorchfygu o honoch yr un drwg.

15 Na cherwch y bŷd, na'r pethau [sy] yn y bŷd: o châr neb y bŷd, nid yw cariad y Tâd ynddo ef.

16 Canys pôb peth a'r y sydd yn y bŷd, [megis] chwant y cnawd, a chwant y llygaid, a balchder y bywyd; nid yw o'r Tâd, eithr o'r bŷd y mae.

17 A'r bŷd sydd yn myned heibio, a'i chwant hefyd: ond yr hwn sydd yn gwneuthur ewyllys Duw, sydd yn aros yn dragywydd.

18 O blant bychain, yr awr ddiweddaf ydyw: ac megis y clywsoch y daw Anghrist, yr awron hefyd y mae Anghristiau lawer: wrth yr hyn y gwyddom mai yr awr ddiweddaf ydyw.

19 Oddi wrthym ni yr aethant hwy allan, eithr nid oeddynt o honom ni: canys pe buasent o honom ni, hwy a arhosasent gyd â ni: eithr [hyn a fu] fel yr eglurid nad ydynt hwy oll o honom ni.

20 Eithr y mae gennych chwi enneiniad oddi wrth y Sanctaidd hwnnw, a chwi a wyddoch bôb peth.

21 Ni scrifennais attoch oblegid na wyddech y gwirionedd, eithr oblegid eich bod yn ei wybod, ac nad oes un celwydd o'r gwirionedd.

22 Pwy yw'r celwyddog, ond yr hwn sydd yn gwadu nad Jesu yw'r Christ? Efe yw'r Anghrist, yr hwn sydd yn gwadu y Tâd a'r Mâb.

23 Pôb un ac sydd yn gwadu y Mâb, nid oes ganddo y Tâd chwaith: [yr hwn sydd yn cyffesu y Mâb, y mae y Tâd ganddo hefyd.]

24 Arhosed gan hynny ynoch chwi, yr hyn a glywsoch o'r dechreuad: od erys ynoch yr hyn a glywsoch o'r dechreuad, chwithau hefyd a gewch aros yn y Mâb, ac yn y Tâd.

25 A hwn yw'r addewid a addawodd efe i ni, [sef] bywyd tragywyddol.

26 Y pethau hyn a scrifennais attoch ynghylch y rhai sy yn eich hudo.

27 Ond y mae yr enneiniad a dderbyniasoch ganddo ef, yn aros ynoch chwi, ac nid oes arnoch eisieu dyscu o neb chwi: eithr fel y mae yr un enneiniad yn eich dyscu chwi am bôb peth, a gwir yw, ac nid yw gelwydd: ac megis i'ch dyscodd chwi, yr arhoswch ynddo.

28 Ac yr awron, blant bychain, arhoswch ynddo: fel pan ymddangoso efe, y byddo hyder gennym, ac || na chywilyddiom ger ei fron ef, yn ei ddyfodiad.

|| na'n cywilyddier ganddo.

29 Os gwyddoch ei fôd ef yn gyfiawn, || chwi a wyddoch fôd pôb un sydd yn gwneuthur cyfiawnder, wedi ei eni o honaw ef.

|| gwybyddwch

## PEN. III.

*1 Y mae efe yn dangos rhagorol gariad Duw tuag attom ni, yn ein gwneuthur ni yn blant iddo ei hun. 3 Ac am hynny y byddai raid i ninnau fod yn vfydd i gadw ei orchymynion: 11 A charu bawb ei gilydd fel brodyr.*



Welwch pa fath gariad a roes y Tâd || arnom, fel i'n gelwid yn feibion i Dduw: oblegid hyn nid edwyn y bŷd chwi, oblegid nad adnabu efe ef.

|| i ni.

2 Anwylyd, yr awrhon meibion i Dduw ydym, ac nid amlygwyd etto beth a fyddwn: eithr ni a wyddom pan ymddangoso ef, y byddwn gyffelyb iddo: oblegid ni a gawn ei weled ef megis ac y mae.

3 Ac y mae pôb un sydd ganddo y gobaith hyn ynddo ef, yn ei buro ei hun, megis y mae yntef yn bûr.

4 Pôb un ac sydd yn gwneuthur pechod, sydd hefyd yn gwneuthur anghyfraith: || oblegid anghyfraith yw pechod.

|| ac.

5 A chwi a wyddoch ymddangos o honaw ef, fel * y deleai ein pechodau ni: ac ynddo ef nid oes pechod.

* Esai.53.5. 1.Pet.2.22.

6. Pôb un ac sydd yn aros ynddo ef, nid yw yn pechu: pôb un ac sydd yn pechu, ni's gwelodd ef, ac ni's adnabu ef.

7 O blant bychain, na thwylled nêb chwi: yr hwn sydd yn gwneuthur cyfiawnder, sydd gyfiawn, megis y mae yntef yn gyfiawn.

8 * Yr hwn sydd yn gwneuthur pechod, o ddiafol y mae: canys y mae diafol yn pechu o'r dechreuad: i hyn yr ymddangosodd Mâb Duw, fel y dattodai weithredoedd diafol.

* Ioan 8.44.

9 Pôb un a aned o Dduw, nid yw yn gwneuthur pechod: oblegid y mae ei hâd ef yn aros ynddo ef, ac ni all efe bechu, am ei eni ef o Dduw.

10 Yn hyn y mae yn amlwg plant Duw, a phlant diafol: pôb un ac sy heb wneuthur cyfiawnder, nid yw o Dduw, na'r hwn nid yw yn caru ei frawd.

*Ioan.13.34.

11 O blegid hon yw 'r gennadwri a glywsoch o'r dechreuad, *bôd i ni garu ei gilydd.

*Gen.4.8.

12 Nid fel *Cain, [yr hwn] oedd o'r drwg, ac a laddodd ei frawd: a pha ham y lladdodd ef? Oblegid bôd ei weithredoedd ef yn ddrwg, ar eiddo ei frawd yn dda.

Yr Epistol yr ail Sul ar ol y Drindod.

13 ☞ Na ryfeddwch, fy mrodyr, os yw'r bŷd yn eich casau chwi.

*Pen.2.11.

14 Nyni a wyddom ddarfod ein symmud ni o farwolaeth i fywyd, oblegid ein bôd yn caru y brodyr: *yr hwn nid yw yn caru ei frawd, y mae yn aros ym marwolaeth.

15 Pôb vn ac sydd yn casau ei frawd, lleiddiad dŷn yw: a chwi a wyddoch nad oes i vn lleiddiad dyn fywyd tragwyddol yn aros ynddo.

*Ioan.15.13. Ephes.5.2.

16 *Yn hyn yr adnabuom gariad Duw, oblegid rodi o honaw ef ei einioes drosom ni: a ninnau a ddylem ddodi ein heinioes tros y brodyr.

*Luc.3.11.

||ymyscaroedd.

17 *Eithr yr hwn sydd ganddo dda 'r bŷd hwn, ac a wêlo ei frawd mewn eisieu, ac a gaeo ei ||dosturi oddi wrtho, pa fodd y mae cariad Duw yn aros ynddo ef?

18 Fy mhlant bychain, na charwn ar air, nac ar dafod [yn vnic,] eithr mewn gweithred a gwirionedd.

||yn.

||perswadiwn.

19 Ac ||wrth hyn y gwyddom ein bôd o'r gwirionedd, ac y ||sicrhawn ein calonnau ger ei fron ef.

20 Oblegid os ein calon a'n condemna, mwy yw Duw nâ'n calon, ac efe a wŷr bôb peth.

*Pen.5.14. Mat.21.22. Ioan.15.7.

21 Anwylyd, os ein calon ni'n condemna, y mae gennym hyder ar Dduw:

22 A *pha beth bynnag a ofynnom, yr ydym yn ei dderbyn ganddo ef, oblegid ein bôd yn cadw ei orchymynion ef, ac yn gwneuthur y pethau sy yn rhyngu bodd yn ei olwg ef.

||i.

23 A hwn yw ei orchymyn ef, gredu o honom ||yn Enw ei Fab ef Jesu Grist, a charu ei gilydd, megis y rhoes efe orchymmyn i ni.

||yn.

24 A'r hwn sydd yn cadw ei orchymynion ef, sydd yn trigo ynddo ef, ac yntef ynddo yntef: ac ||wrth hyn y gwyddom ei fôd ef yn aros ynom, [sef] o'r Yspryd a roddes efe i ni.

## PEN. IIII.

Y mae efe yn eu rhybuddio hwynt na wnaent goel ar bob athro sydd yn ymffrostio o'r Yspryd, eithr eu profi hwy yn hytrach trwy reolau y ffydd Gatholig. 7 Ac y mae efe trwy amryw resymmau yn eu hannog hwy i gariad brawdol.



ANwylyd, na chredwch bôb yspryd, eithr profwch yr ysprydion ai o Dduw y maent: oblegid y mae gau brophwydi lawer wedi myned allan i'r bŷd.

||yn.

2 ||Wrth hyn adnabyddwch Yspryd Duw: pôb yspryd ac sydd yn cyffesu ddyfod Jesu Grist yn y cnawd, o Dduw y mae.

3 A phôb yspryd a'r nid yw yn cyffesu ddyfod Jesu Grist yn y cnawd, nid yw o Dduw: eithr hwn yw [yspryd] Anghrist, yr hwn y clywsoch ei fôd yn dyfod, a'r awron y mae [efe] yn y bŷd eusus.

4 Chwy-chwi ydych o Dduw, blant bychain, ac a'u gorchfygasoch hwy: oblegid mwy yw 'r hwn sydd ynoch chwi, nâ'r hwn sydd yn y bŷd.

5 Hwynt-hwy o'r bŷd y maent: am hynny y llefarant am y bŷd, a'r bŷd a wrendy arnynt.

Ioan.8.47.

6 Nyni o Dduw yr ydym: *yr hwn sydd yn adnabod Duw, sydd yn ein gwrando ni: yr hwn nid yw o Dduw, nid yw yn ein gwrando ni: wrth hyn yr adwaenom yspryd y gwirionedd, ac yspryd y cyfeiliorni.

Yr Epistol y Sul cyntaf ar ol y Drindod.

7 ☞ Anwylyd, carwn ei gilydd: oblegid cariad o Dduw y mae: a phôb vn ac sydd yn caru, o Dduw y ganwyd ef, ac y mae efe yn adnabod Duw.

8 Yr hwn nid yw yn caru, nid adnabu Dduw: oblegid Duw cariad yw.

Ioan.3.16.

9 *Yn hyn yr eglurwyd cariad Duw tu ac attom ni, oblegid danfon o Dduw ei vnic-anedig Fab i'r bŷd, fel y byddem fyw trwyddo ef.

||gymmod.

10 Yn hyn y mae cariad, nid am i ni garu Duw, ond am iddo ef ein caru ni, ac anfon ei Fab [i fôd] yn ||iawn dros ein pechodau.

11 Anwylyd, os felly y carodd Duw ni, ninnau hefyd a ddylem garu ei gilydd.

Ioan.1.18. 1.tim.6.16.

12 *Ni welodd neb Dduw erioed: os carwn ni ei gilydd, y mae Duw yn trigo ynom, ac y mae ei gariad ef yn berffaith ynom.

||yn.

13 ||Wrth hyn y gwyddom ein bôd yn trigo ynddo ef, ac yntef ynom ninnau, am ddarfod iddo roddi i ni o'i Yspryd.

14 A ninnau a welsom, ac ydym yn tystiolaethu, ddarfod i'r Tad ddanfon y Mab, [i fod] yn Jachawdwr i'r bŷd.

15 Pwy bynnag a gyffeso fod Jesu yn Fab Duw, y mae Duw yn aros ynddo ef, ac yntef yn Nuw.

||ynom ni.

16 A nyni a adnabuom, ac a gredasom y cariad sydd gan Dduw ||tu ac attom ni. Duw cariad yw: a'r hwn sydd yn aros mewn cariad, sydd yn aros yn Nuw, a Duw ynddo yntef.

||Gr. cariad gydâ nyni.

17 Yn hyn y perffeithiwyd ||ein cariad ni, fel y caffom hyder ddydd farn: oblegid megis ac y mae efe, yr ydym ninnau hefyd yn y bŷd hwn.

18 Nid oes ofn mewn cariad, eithr y mae perffaith gariad yn bwrw allan ofn: oblegid y mae i ofn boenedigaeth: a'r hwn sydd yn ofni ni pherffeithiwyd mewn cariad.

19 Yr ydym ni yn ei garu ef, am iddo ef yn gyntaf ein caru ni.

20 Os dywed nêb, Yr wyf yn caru Duw,

15 A'r seithfed Angel a ddcanodd, a bu llefau || uchel yn y nef, yn dywedyd, Aeth teyrnasoedd y byd [yn eiddo] ein Harglwydd ni, a'i Grist ef: ac [efe] a deyrnasa yn oes oesoedd.

|| mawrion.

16 A'r pedwar Henuriad ar hugain, y rhai oedd ger bron Duw yn eistedd ar eu gorsedd-feingciau, a syrthiasant ar eu hwynebau, ac a addolasant Dduw,

17 Gan ddywedyd, Yr ydym yn diolch i ti ô Arglwydd Dduw Holl-alluog, yr hwn wyt, a'r hwn oeddit, a'r hwn wyt yn dyfod: oblegid ti a gymmeraist dy allu mawr, ac a deyrnesaist:

18 A'r Cenhedloedd a ddigiasant, a daeth dy ddig di: || a'r amser i farnu 'r meirw, ac i roi gwobr i'th wasanaethwyr y Prophwydi, ac i'r Sainct, ac i'r rhai sydd yn ofni dy Enw, fychain a mawrion: ac i || ddifetha y rhai sydd yn || difetha 'r ddaiar.

|| n.n, ac amser y meirw i gael eu barnu.
|| lygru.
|| llygru.

19 Ac agorwyd Teml Dduw yn y nef, a gwelwyd arch ei gyfammod ef yn ei Deml ef: a bu mellt, a llefau, a tharanau, a daiar-gryn, a chenllysc mawr.

## PEN. XII.

1 Gwraig wedi ei gwisco â'r haul yn trafaelu ar ei thymp i escor. 4 Y ddraig fawr gôch yn sefyll o'i blaen hi i ddifa ei phlentyn hi. 6 Wedi iddi escor, y mae hi yn cilio i'r diffaethwch. 7 Michael a'i angylion yn ymladd â'r ddraig, ac yn myned yn drêch nâ hi. 13 Y ddraig wedi ei thaflu i'r ddaiar yn erlid y wraig.



|| Rhyfeddod mawr a welwyd yn y nef: gwraig wedi ei gwisco â'r haul: a'r lleuad tan ei thraed; ac ar ei phen goron o ddeuddeg seren:

|| arwydd.

2 A hi yn feichiog, a lefodd gan fôd mewn gwewyr, a gofid i escor.

3 A gwelwyd || rhyfeddod arall yn y nef, ac wele ddraig goch fawr, a saith ben iddi, a deg corn; ac ar ei phennau saith goron.

|| arwydd.

4 A'i chynffon hi a dynnodd draian sêr y nef, ac a'u bwriodd hwynt i'r ddaiar: a'r ddraig a safodd ger bron y wraig yr hon ydoedd yn barod i escor, i ddifa ei phlentyn hi, pan escorei hi arno.

5 A hi a escorodd ar fab gwr-ryw, yr hwn oedd i fugeilio yr holl Genhedloedd â gwialen haiarn: a'i phlentyn hi a gymmerwyd i fynu at Dduw, ac at ei orseddfaingc ef.

6 A'r wraig a ffôdd i'r diffaethwch, lle mae ganddi le wedi ei baratoi gan Dduw, fel y porthent hi yno fil, a deu-cant, [a] thrugain o ddyddiau.

7 ☞ A bu rhyfel yn y nef: Michael a'i angelion a ryfelasant yn erbyn y ddraig, a'r ddraig a ryfelodd, a'i hangelion hithau.

Yr Epistol ar ddigwyl Fihangel.

8 Ac ni orfuant, a'u lle hwynt ni's cafwyd mwyach yn y nef.

9 A bwriwyd allan y ddraig fawr, yr hên sarph, yr hon a elwir diafol, a Satan, yr hwn sydd yn twyllo 'r holl fyd, efe a fwriwyd allan i'r ddaiar, a'i angelion a fwriwyd allan gyd ag ef.

10 Ac mi a glywais lef || uchel yn dywedyd yn y nef, Yr awron y daeth iechydwriaeth, a nerth, a theyrnas ein Duw ni, a gallu ei Grist ef: canys cyhuddwr ein brodyr ni a fwriwyd i'r llawr, yr hwn oedd yn eu cyhuddo hwy ger bron ein Duw ni, ddydd a nôs.

|| fawr.

11 A hwy a'i gorchfygasant ef trwy waed yr Oen, a thrwy air eu tystiolaeth hwynt: ac ni charasant eu heinioes hyd angeu.

12 O herwydd hyn llawenhewch, y nefoedd, a'r rhai ydych yn trigo ynddynt. Gwae y rhai sydd yn trigo ar y ddaiar, a'r môr, canys diafol a ddescynnodd attoch chwi, a chanddo lid mawr, o herwydd ei fôd yn gwybod nad oes iddo ond ychydig amser. ☜

13 A phan welodd y ddraig ei bwrw i'r ddaiar, hi a erlidiodd y wraig a escorasei ar y mâb.

14 A rhoddwyd i'r wraig ddwy o adenydd eryr mawr, fel yr ehedai hi i'r diffaethwch i'w lle ei hûn: lle yr ydys yn ei maethu hi yno tros amser, ac amseroedd, a hanner amser, oddi wrth wyneb y sarph.

15 A'r sarph a fwriodd allan o'i safn, ar ôl y wraig, ddwfr megis afon: fel y gwnai ei dwyn hi ymaith gyd â'r afon.

16 Ar ddaiar a gynhorthwyodd y wraig, a'r ddaiar a agorodd ei genau, ac a lyngcodd yr afon, yr hon a fwriodd y ddraig allan o'i safn.

17 A llidiodd y ddraig wrth y wraig, ac a aeth i wneuthur rhyfel || â'r lleill o'i hâd hi, y rhai sydd yn cadw gorchymynion Duw, ac sy a thystiolaeth Iesu Grist ganddynt.

|| â gweddill ei hâd hi.

## PEN. XIII.

1 Bwystfil yn cyfodi allan o'r mor, a saith ben gantho, a dêc corn, i'r hwn y mae y ddraig yn rhoddi ei gallu. 11 Bwystfil arall yn dyfod i fynu allan o'r ddaiar: 14 ac yn peri gwneuthur delw y Bwystfil cyntaf: 15 ac peri i ddynion ei addoli ef, 16 a derbyn ei nód ef.



C mi a sefais ar dywod y môr, ac a welais fwystfil yn codi o'r môr, a chanddo saith ben, a deg corn; ac ar ei gyrn ddeg coron, ac ar ei bennau || henw cabledd.

|| henwau.

2 A'r

2 A'r Bwystfil a welais i oedd debyg i lewpard, a'i draed fel [traed] arth, a'i safn fel safn llew; a'r ddraig a roddodd iddo ef ei gallu, a'i gorseddfaingc, ac awdurdod mawr.

3 Ac mi a welais un o'i bennau ef megis wedi ei ladd yn farw, a'i friw marwol ef a iachawyd, a'r holl ddaiar a ryfeddodd ar ôl y Bwystfil.

4 A hwy a addolasant y ddraig, yr hon a roes allu i'r Bwystfil, ac a addolasant y Bwyst-fil, gan ddywedyd, Pwy sydd debyg i'r Bwystfil? Pwy a ddichon ryfela ag ef?

5 A rhoddwyd iddo ef enau yn llefaru [pethau] mawrion, a chabledd; a rhoddwyd iddo awdurdod i || weithio ddau fis a deugain.

|| barhau, neu, ryfela.

6 Ac efe a agorodd ei enau mewn cabledd yn erbyn Duw, i gablu ei Enw ef a'i Dabernacl, a'r rhai sy yn trigo yn y nef.

7 A rhoddwyd iddo wneuthur rhyfel â'r saint, a'u gorchfygu hwynt. A rhoddwyd iddo awdurdod ar bôb llwyth, || ac iaith, a chenedl.

|| athafod.

8 A holl drigolion y ddaiar a'i haddolant ef, y rhai nid yw eu henwau yn scrifennedig yn llyfr bywyd yr Oen, yr hwn a laddwyd er dechreuad y byd.

9 Od oes gan neb glust, gwrandawed.

10 Os yw neb yn || tywys i gaethiwed, || efe a â i gaethiwed: *os yw neb yn lladd â chleddyf, rhaid yw ei ladd yntau â chleddyf: dymma ymmynedd a ffydd y Sainct.

|| casglu caethgludiad.
|| i mae efe yn myned.
*Math. 26. 52.

11 Ac mi a welais fwyst-fil arall yn codi o'r ddaiar, ac yr oedd ganddo ddau gorn, tebyg i oen: a llefaru yr oedd fel draig.

12 A holl allu y bwyst-fil cyntaf y mae efe yn ei wneuthur ger ei fron ef; ac yn peri i'r ddaiar, ac i'r rhai sy yn trigo ynddi, addoli y bwyst-fil cyntaf, yr hwn yr iachawyd ei glwyf marwol.

13 Ac y mae efe yn gwneuthur || rhyfeddodau mawrion, hyd onid yw yn peri i dân ddescyn o'r nêf i'r ddaiar, yngolwg dynion.

|| arwyddion.

14 Ac y mae efe yn twyllo y rhai sy yn trigo ar y ddaiar, trwy || y rhyfeddodau y rhai a roddwyd iddo ef eu gwneuthur ger bron y Bwyst-fil: gan ddywedyd wrth drigolion y ddaiar, am iddynt wneuthur delw i'r Bwyst-fil, yr hwn a gafodd friw gan gleddyf, ac a fu fyw.

|| yr arwyddion.

15 A chaniatawyd iddo ef roddi anadl i ddelw y bwyst-fil, fel y llefarei delw y bwyst-fil hefyd, ac y parei gael o'r sawl nid addolent ddelw y bwyst-fil, eu lladd:

16 Ac y mae yn peri i bawb, fychain a mawrion, cyfoethogion a thlodion, rhyddion a chaethion, || dderbyn nôd ar eu llaw ddehau, neu ar eu talcennau:

|| roddi.

17 Ac na allei nêb na phrynu na gwerthu, ond yr hwn a fyddei ganddo nôd, neu henw y Bwyst-fil, neu rifedi ei henw ef.

18 Ymma y mae doethineb. Yr hwn sydd ganddo ddeall, bwrried rifedi y bwystfil: canys rhifedi dyn ydyw: a'i rifedi ef [yw] chwe chant, a thrugain, [a] chwech.

## PEN. XIIII.

1 Tra'r oedd yr Oen yn sefyll a'r fynydd Sion gydâ'i fintai, 6 Angel yn pregethu 'r Efengyl. 8 Cwymp Babylon. 15 Cynhaiaf y byd, a dodiad y crymman i mewn. 20 Gwin-gynhaiaf, a gwin-wryf digofaint Duw.

Yr Epistol ar ddydd y Gwirioniaid.

A C mi a edrychais, ac wele Oen yn sefyll ar fynydd Sion, a chyd ag ef bedair mil, a saithugein-mil, a chanddynt Enw ei Dâd ef yn scrifennedig yn eu talcennau.

2 Ac mi a glywais lêf o'r nêf, fel llêf dyfroedd lawer, ac fel llêf taran fawr: ac mi a glywais lêf telynorion yn canu ar eu telynau.

3 A hwy a ganasant megis caniad newydd ger bron yr orsedd-faingc, a cher bron y pedwar anifail, a'r Henuriaid: ac ni allodd nêb ddyscu y gân, ond y pedair mil a'r saithugein-mil, y rhai a brynwyd oddi ar y ddaiar:

4 Y rhai hyn yw y rhai ni halogwyd || â gwragedd: canys gwyryfon ydynt: y rhai hyn yw y rhai sy'n dilyn yr Oen, pa le bynnag yr elo: y rhai hyn a brynwyd oddi wrth ddynion, yn flaen-ffrwyth i Dduw ac i'r Oen:

|| gyd â.

5 Ac yn eu genau ni chaed twyll: canys difai ydynt ger bron gorsedd-faingc Duw.

6 Ac mi a welais Angel arall yn ehedeg ynghanol y nef, a'r Efengyl dragywyddol ganddo, i efangylu i'r rhai sy yn trigo ar y ddaiar, ac i bôb cenedl, a llwyth, || ac iaith, a phobl;

|| athafod.

7 Gan ddywedyd â llef || uchel, Ofnwch Dduw, a rhoddwch iddo ogoniant, oblegid daeth awr ei farn ef: * ac addolwch yr hwn a wnaeth y nef, a'r ddaiar, a'r môr, a'r ffynhonnau dyfroedd.

|| fawr.
* Psal. 146. 5. act. 14. 15.

8 Ac Angel arall a ddilynodd, gan ddywedyd, * Syrthiodd, syrthiodd Babylon, y ddinas fawr honno, oblegid hi a ddiododd yr holl Genhedloedd, â gwin llid ei godineb.

* Esai 21. 9. ier. 51. 8. pen. 18. 2.

9 A'r trydydd Angel a'u dilynodd hwynt, gan ddywedyd â llef || uchel, Os addola neb y Bwyst-fil, a'i ddelw ef, a derbyn o i nôd ef yn ei dalcen, neu yn ei law,

|| fawr.

10 Hwnnw hefyd a yf o win digofaint Duw, yr hwn yn ddi-gymmysc a dywalltwyd

wallt[w]yd yn phiol ei lid ef: ac efe a boenir mewn tân a brwmstan, yngolwg yr Angelion sanctaidd, ac yngolwg yr Oen:

11 A mŵg eu poenedigaeth hwy sydd yn myned i fynu yn oes oesoedd: ac nid ydynt hwy yn cael gorphywysdra ddydd a nôs, y rhai sydd yn addoli y bwyst-fil a'i ddelw ef, ac os yw neb yn derbyn nôd ei enw ef.

12 Ymma y mae ymmynedd y Sainct: ymma [y mae] y rhai sy yn cadw gorchymmynion Duw, a ffydd Iesu.

13 Ac mi a glywais lêf o'r nêf, yn dywedyd wrthif, Scrifenna, Gwyn eu byd y meirw y rhai sy yn marw yn yr Arglwydd o hyn allan, medd yr Yspryd, fel y gorphywysont oddi wrth eu llafur: a'u gweithredoedd sy ‖ yn eu canlyn hwynt.

‖ yn canlyn gyd â hwynt.

14 Ac mi a edrychais, ac wele gwmmwl gwyn, ac ar y cwmmwl [un] yn eistedd, tebyg i Fâb y dyn, a chanddo ar ei ben goron o aur, ac yn ei law grymman llym.

15 Ac Angel arall a ddaeth allan o'r Deml, gan lefain â llêf ‖ uchel, wrth yr hwn oedd yn eistedd ar y cwmmwl, * Bwrw dy grymman i mewn, ‖ a meda: canys daeth yr amser i ti i ‖ fedi: oblegid addfedodd cynhaiaf y ddaiar.

‖ fawr.
*Ioel.3.13.
‖ a chynhaiafa.
‖ gynhaiafu.

16 A'r hwn oedd yn eistedd ar y cwmwl a fwriodd ei grymman ar y ddaiar: a'r ddaiar a fedwyd.

17 Ac Angel arall a ddaeth allan o'r Deml sydd yn y nêf, a chanddo yntau hefyd grymman llym.

18 Ac Angel arall a ddaeth allan oddi wrth yr allor, yr hwn oedd a gallu ganddo ar y tân, ac a lefodd â bloedd ‖ uchel ar yr hwn oedd â'r crymman llym ganddo, gan ddywedyd, Bwrw i mewn dy grymman llym, a chascl ganghennau gwinwydden y ddaiar, oblegid addfedodd ei grawn hi.

‖ fawr.

19 A'r Angel a fwriodd ei grymman ar y ddaiar, ac a gasclodd win-wydden y ddaiar, ac a'i bwriodd i gerwyn fawr digofaint Duw.

20 A'r gerwyn a sathrwyd o'r tu allan i'r ddinas, a gwaed a ddaeth allan o'r gerwyn hyd at ffrwynau y meirch, ar hŷd mil a chwechant o stadau.

## PEN. XV.

1 Y saith Angel, a'r saith blâ diweddaf. 3 Caniad y rhai â orchfygant y Bwyst-fil. 7 Y saith phiol yn llawn o ddigofaint Duw.

AC mi a welais arwydd arall yn y nêf, mawr a rhyfeddol, saith Angel, a chanddynt y saith blâ diweddaf, oblegid ynddynt hwy y cyflawnwyd llid Duw.

2 Ac mi a welais megis môr o wydr wedi ei gymmyscu â thân: a'r rhai oedd yn cael y maes ar y bwyst-fil, ac ar ei ddelw ef, ac ar ei nôd ef, ac ar rifedi ei enw ef; yn sefyll ar y môr gwydr, a thelynau Duw ganddynt:

3 *A chanu y maent gân Moses gwasanaethwr Duw, a chân yr Oen, gan ddywedyd, Mawr a rhyfedd [yw] dy weithredoedd, ô Arglwydd Dduw holl-alluog: * cyfiawn a chywir [yw] dy ffyrdd di, Brenin y Sainct.

*Exod.15.1.
*Psal 145.17.

4 *Pwy ni'th ofna di, o Arglwydd, ac [ni] ogonedda dy Enw? Oblegid [tydi] yn unic [wyt] sanctaidd: oblegid yr holl genhedloedd a ddeuant ac a addolant ger dy fron di: oblegid dy farnau di â eglurwyd.

*Ier.10.7.

5 Ac yn ôl hyn mi a edrychais, ac wele yr ydoedd Teml pabell y dystiolaeth yn y nêf, yn agored.

6 A daeth y saith Angel, y rhai yr oedd y saith blâ gan-ddynt, allan o'r Deml, wedi eu gwisco mewn lliain pûr a disclair, a gwregysu eu dwyfronnau â gwregysau aur.

7 Ac un o'r pedwar anifail a roddodd i'r saith Angel saith phiol aur, yn llawn o ddigofaint Duw, yr hwn sydd yn byw yn oes oesoedd.

8 A llanwyd y Deml o fŵg oddi wrth ogoniant Duw, ac oddi wrth ei nerth ef: ac ni allei neb fyned i mewn i'r Deml, nês darfod cyflawni saith blâ y saith Angel.

## PEN. XVI.

2 Yr Angelion yn tywallt allan ei phioleidiau digofaint. 6 Y plaau yn canlyn ar hyn. 15 Christ yn dyfod fel lleidr. Gwyn eu byd y rhai a wiliant.

AC mi a glywais lêf ‖ uchel allan o'r Deml, yn dywedyd wrth y saith Angel, Ewch ymaith a thywelltwch phiolau digofaint Duw ar y ddaiar.

‖ fawr.

2 A'r cyntaf a aeth, ac a dywalltodd ei phiol ar y ddaiar: a bu cornwyd drwg, a blin, ar y dynion oedd â nôd y bwyst-fil arnynt, a'r rhai a addolasent ei ddelw ef.

3 A'r ail Angel a dywalltodd ei phiol ar y môr, ac efe a aeth fel gwaed dyn marw: a phôb enaid byw a fu farw yn y môr.

4 A'r trydydd Angel a dywalltodd ei phiol ar yr afonydd, ac ar y ffynhonnau dyfroedd: a hwy a aethant yn waed.

5 Ac mi a glywais Angel y dyfroedd yn dywedyd, Cyfiawn, o Arglwydd, ydwyt, yr hwn wyt, a'r hwn oeddit, ‖ a'r hwn a fyddi, oblegid barnu o honot y pethau hyn:

‖ neu, y Sanctaidd.

6 Oblegid

6 Oblegid gwaed Sainct a Phrophwydi a dywalltasant hwy, a gwaed a roddaist iddynt iw yfed: canys y maent yn ei haeddu.

7 Ac mi a glywais [un] arall allan o'r allor yn dywedyd, Je Arglwydd Dduw Holl-alluog, cywir a chyfiawn, [yw] dy farnau di.

8 A'r pedwerydd Angel a dywalltodd ei phiol ar yr haul: a [gallu] a roed iddo i boethi dynion â thân.

9 A phoethwyd y dynion â gwres mawr, a hwy a gablasant Enw Duw, yr hwn sydd ag awdurdod ganddo ar y plaau hyn: ac nid edifarhasant i roi gogoniant iddo ef.

10 A'r pummed Angel a dywalltodd ei phiol ar orsedd-faingc y bwyst-fil: a'i deyrnas ef a aeth yn dywyll; a hwy a gnoesant eu tafodau gan ofid:

11 Ac a gablasant Dduw y nef, o herwydd eu poenau, ac o herwydd eu cornwydydd: ac nid edifarhasant oddi wrth eu gweithredoedd.

12 A'r chweched Angel a dywalltodd ei phiol ar yr afon fawr Euphrates: a sychodd ei dwfr hi, fel y paratoid ffordd brenhinoedd || y dwyrain.

|| Gr. y rhai sydd o godiad haul.

13 Ac mi a welais dri yspryd aflan, tebyg i lyffaint, [yn dyfod] allan o safn y ddraig, ac allan o safn y bwyst-fil, ac allan o enau y gau-brophwyd.

14 Canys ysprydion cythreuliaid yn gwneuthur gwyrthiau ydynt, y rhai sy 'n myned allan at frenhinoedd y ddaiar, a'r holl fyd, iw casclu hwy i ryfel y dydd hwnnw, [dydd] mawr Duw Holl-alluog.

15 * Wele, yr wyfi yn dyfod fel lleidr. Gwyn ei fyd yr hwn sydd yn gwilio, ac yn cadw ei ddillad, fel na rodio yn noeth, ac iddynt weled ei anharddwch ef.

*Mat.24.44.

16 Ac efe a'u casclodd hwynt ynghyd i le a elwir yn Ebrew, Armaged-don.

17 A'r seithfed Angel a dywalltod ei phiol i'r awyr, a daeth llef || uchel allan o Deml y nef, oddi wrth yr orsedd-faingc, yn dywedyd, Darfu.

|| fawr.

18 Ac yr oedd lleisiau, a tharanau, a mellt: ac yr oedd daiar-gryn mawr, y fath ni bu er pan yw dynion ar y ddaiar, cymmaint daiar-gryn, [ac] mor fawr.

19 A gwnaethpwyd y ddinas fawr yn dair rhan, a dinasoedd y Cenhedloedd a syrthiasant: a Babylon fawr a ddaeth mewn côf ger bron Duw, * i roddi iddi gwppan gwin digofaint ei lid ef.

Ier.25.15.

20 A phôb ynys a ffôdd ymmaith, ac ni chafwyd y mynyddoedd.

21 A chenllysc mawr || fel talentau, a syrthiasant o'r nef ar ddynion: a dynion a gablasant Dduw am blâ 'r cenllysc: oblegid mawr iawn ydoedd eu plâ hwynt.

|| o bwys talentau.

## PEN. XVII.

3, 4 Gwraig wedi ei gwisco â phorphor ac yscarlat, a chwppan aur yn ei llaw, yn eistedd ar y Bwystfil, 5 yr hon yw Babylon fawr, mam pôb ffieidd-dra. 9 Deongliad y saith ben: 12 a'r dêc corn. 8 Cospedigaeth y Buttain, 14 a goruwchafiaeth yr Oen.



A Daeth un o'r saith Angel, oedd â'r saith phiol ganddynt, ac a ymddiddanodd â mi, gan ddywedyd wrthif, Tyred, mi a ddangosaf i ti farnedigaeth y Buttain fawr sydd yn eistedd ar ddyfroedd lawer:

2 Gyd â'r hon y putteiniodd brenhinoedd y ddaiar, ac y meddwyd y rhai sy yn trigo ar y ddaiar gan win ei phutteindra hi.

3 Ac efe a'm dygodd i'r diffaethwch yn yr yspryd, ac [mi] a welais wraig yn eistedd ar fwyst-fil o liw scarlad, yn llawn o henwau cabledd, â saith ben iddo, a dêc corn.

4 A'r wraig oedd wedi ei dilladu â phorphor ac yscarlad, ac wedi ei || gwychu ag aur, ac â main gwerth-fawr a pherlau, a chanddi gwppan aur yn ei llaw, yn llawn o ffieidd-dra, ac aflendid ei phutteindra.

|| goreuro.

5 Ac ar ei thalcen [yr oedd] henw wedi ei scrifennu, DIRGELWCH, BABYLON FAWR, MAM || PUTTEINIAID, A FFIEIDD-DRA 'R DDAIAR.

|| Putteindra.

6 Ac mi a welais y wraig yn feddw gan waed y Sainct, a chan waed merthyron Jesu: a phan ei gwelais, mi a ryfeddais â rhyfeddod mawr.

7 A'r Angel a ddywedodd wrthif, Paham y rhyfeddaist? myfi a ddywedaf i ti ddirgelwch y wraig, a'r bwyst-fil sydd yn ei dwyn hi, yr hwn sy a'r saith ben ganddo, a'r dec corn.

8 Y bwyst-fil a welaist, a fu ac nid yw: a bydd iddo ddyfod i fynu o'r [pydew] heb waelod, a myned i ddestryw: a rhyfeddu a wna y rhai sy yn trigo ar y ddaiar, (y rhai ni scrifennwyd eu henwau yn llyfr y bywyd er seiliad y byd) pan welont y bwyst-fil, yr hwn a fu, ac nid yw, || er ei fod.

|| ac a fydd.

9 Dymma 'r meddwl sydd â doethineb ganddo. Y saith ben, saith fynydd ydynt, lle mae 'r wraig yn eistedd arnynt.

10 Ac y || mae saith frenin: pump a gwympasant, ac un sydd, a'r llall ni ddaeth etto; a phan ddêl, rhaid iddo aros ychydig.

|| maent yn.

11 A'r bwyst-fil, yr hwn oedd, ac nid ydyw, yntef yw 'r wythfed, ac o'r saith y mae, ac i ddestryw y mae yn myned.

12 A'r dêc corn a welaist, dêc b[illegible]n ydynt, y rhai ni dderbyniasant fren[illegible]aeth etto, eithr awdurdod fel brenhino[illegible],

un awr y maent yn ei derbyn gyd â'r bwystfil.

13 Yr un meddwl sydd i'r rhai hyn, a [hwy] a roddant eu nerth, a'u hawdurdod, i'r bwystfil.

14 Y rhai hyn a ryfelant â'r Oen, a'r Oen a'u gorchfyga hwynt: oblegid *Arglwydd arglwyddi ydyw, a Brenin brenhinoedd: a'r rhai [sy] gyd ag ef, [sydd] alwedig, ac etholedig, a ffyddlon.

*1.Tim.6.15. Pen.19.16.

15 Ac efe a ddywedodd wrthif, Y dyfroedd a welaist, lle mae'r Buttain yn eistedd, pobloedd, a thorfeydd ydynt, a chenhedloedd, || ac ieithoedd.

|| a thafodau.

16 A'r dec corn a welaist ar y bwystfil, y rhai hyn a gasânt y Buttain, ac a'i gwnant hi yn unic, ac yn noeth, a'i chnawd hi a fwyttânt hwy, ac a'i lloscant hi â thân.

17 Canys Duw a roddodd yn eu calonnau hwynt wneuthur ei ewyllys ef, a gwneuthur yr un ewyllys, a rhoddi eu teyrnas i'r bwystfil, hyd oni chyflawner geiriau Duw.

18 A'r wraig a welaist, yw y ddinas fawr sydd yn teyrnasu ar frenhinoedd y ddaiar.

## PEN. XVIII.

1 Cwymp Babilon. 4 Gorchymmyn pobl Dduw i gilio allan ô honi hi. 9 Brenhinoedd y ddaiar, 11 gydá'r marsiand-wyr, a'r llong-wyr, yn ddrwg ganthynt trosti hi. 20 Y Sainct yn llawenychu o achos barn Duw arni hi.



AC yn ôl y pethau hyn, mi a welais Angel arall yn dyfod i wared o'r nêf, ac awdurdod mawr ganddo: a'r ddaiar a oleuwyd gan ei ogoniant ef.

2 Ac [efe] a lefodd yn groch, â llêf || uchel gan ddywedyd, *Syrthiodd, syrthiodd Babylon fawr honno, ac aeth yn drigfa cythreuliaid, ac yn gadwriaeth pôb yspryd aflan, ac yn gadwriaeth pôb aderyn aflan, ac atcas.

|| fawr.
*Pen.14.8.

3 Oblegid yr holl Genhedloedd a yfasant o win digofaint ei godineb hi: a brenhinoedd y ddaiar a butteiniasant gyd â hi, a marchnattawyr y ddaiar a gyfoethogwyd gan || amlder ei moethau hi.

|| nerth.

4 Ac mi a glywais lêf arall o'r nêf yn dywedyd, Deuwch allan o honi hi fy mhobl i, fel na byddoch gyd-gyfrannogion o'i phechodau hi, ac na dderbynioch o'i phlaau hi:

5 Oblegid ei phechodau hi a gyrhaeddasant hyd y nêf, a Duw a gofiodd ei hanwireddau hi.

6 Telwch iddi fel y talodd hithau i chwi, a dyblwch iddi y dau cymmaint yn ôl ei gweithredoedd: yn y cwppan a lanwodd hi, llenwch iddi yn ddau ddyblyg:

7 Cymmaint ac yr ymogoneddodd hi, ac y bu mewn moethau, y cymmaint arall rhoddwch iddi o || ofid a galar: oblegid y mae hi yn dywedyd yn ei chalon, *Yr wyf yn eistedd yn frenhines, a gweddw nid ydwyf, a galar ni's gwelaf ddim.

|| boenedigaeth.
*Esa.47.8.

8 Am hynny yn un dydd y daw ei phlaau hi, [sef] marwolaeth, a galar, a newyn: a hi a lwyr-loscir â thân, oblegid cryf [yw]'r Arglwydd Dduw, yr hwn sydd yn ei barnu hi.

9 Ac wylo am dani, a galaru trosti a wna brenhinoedd y ddaiar, y rhai a butteiniasant, ac a fuant fyw yn foethus gyd â hi, pan welont fwg ei llosciad hi:

10 Gan sefyll o hirbell, gan ofn ei || gofid hi; a dywedyd, Gwae, gwae, y ddinas fawr honno, Babylon, y ddinas gadarn, oblegid mewn un awr y daeth dy farn di.

|| boenedigaeth

11 A marchnattawyr y ddaiar a wylant, ac a alarant trosti, oblegid nid oes nêb mwyach yn prynu eu marsiandiaeth hwynt:

12 Marsiandiaeth o aur, ac arian, a meini gwerth-fawr, a pherlau, a lliain main, a phorphor, a sidan, ac yscarlad: a phôb coed || Thynon, a phôb llestr o Ifori, a phôb llestr o goed gwerthfawr iawn, ac o bres, ac o haiarn, ac o faen marmor,

|| peraidd.

13 A cinamom, a phêr-aroglau, ac ennaint, a thus, a gwin, ac olew, a pheillieid, a gwenith; ac yscrybliaid, a defaid, a meirch, a cherbydau, a || chaeth-weision, ac eneidiau dynion.

|| chyrph.

14 A'r aeron a chwenychodd dy enaid a aethant ymaith oddi wrthit, a phôb peth dainteithiol a gwych a aethant ymaith oddi wrthit: ac ni chei hwynt ddim mwyach.

15 Marchnatawyr y pethau hyn, y rhai a gyfoethogwyd ganddi, a safant o hirbell oddi wrthi, gan ofn ei || gofid hi, gan wylo a galaru:

|| boenedigaeth.

16 A dywedyd, Gwae, gwae, y ddinas fawr honno, yr hon oedd wedi ei gwisco â lliain main, a phorphor, ac yscarlad, ac wedi ei || gwychu ag aur, a meini gwerthfawr, a pherlau:

|| goreuro.

17 Oblegid mewn un awr yr anrheithiwyd cymmaint cyfoeth. A phôb [llong-]lywydd, a phob cwmpeini mewn llongau, a llong-wyr, a chynnifer ac sy a'u gwaith ar y môr, a safasant o hirbell,

18 Ac a lefasant, pan welsant fwg ei llosciad hi, gan ddywedyd, Pa [ddinas] debyg i'r ddinas fawr honno?

19 A hwy a fwriasant lwch ar eu pennau, ac a lefasant gan wylo, a galaru, [a] dywedyd, Gwae, gwae, y ddinas fawr honno, yn yr hon y cyfoethogodd yr holl rai oedd ganddynt longau ar y môr, || trwy ei chôst hi, oblegid mewn un awr yr anrheithiwyd [hi.]

|| o herwydd ei thrari hi.

20 Llawenhâ o'i phlegid hi y nêf, a [chwi] Apostolion sanctaidd a Phrophwydi, oblegid

oblegid || dialodd Duw arni trosoch chwi.

|| barnodd Duw eich barn chwi allan o honi hi.

21 Ac Angel cadarn a gododd faen, megis maen melin mawr, ac a'i bwriodd i'r môr, gan ddywedyd, Fel hyn gydâ rhuthr y teflir Babylon y ddinas fawr, ac ni cheir hi mwyach.

22 A llais telynorion, a cherddorion, a phibyddion, ac udcanwŷr, ni chlywir ynot mwyach; ac un crefft-wr o ba grefft bynnag y bo, ni cheir ynot mwyach, a thrwst maen melin ni chlywir ynot mwyach:

23 A llewyrch canwyll ni welir ynot mwyach: a llais priodas-fâb a phriodasferch ni chlywir ynot mwyach: oblegid dy farchnattawŷr oedd wŷr mawr y ddaiar, oblegid trwy dy swyn-gyfaredd di y twyllwyd yr holl Genhedloedd.

24 Ac ynddi y caed gwaed Prophwydi a Sainct, a phawb a'r a laddwyd ar y ddaiar.

PEN. XIX.

1 Clodfori Duw yn y nefoedd am farnu y Buttain fawr, a dial gwaed ei Sainct. 7 Priodas yr Oen. 10 Yr Angel heb fynnu ei addoli. 17 Galw 'r chediaid i'r lladdfa fawr.



AC yn ôl y pethau hyn mi a glywais megis llef uchel gan dyrfa fawr yn y nêf, yn dywedyd, Aleluia; iechydwriaeth a gogoniant, ac anrhydedd, a gallu, i'r Arglwydd ein Duw ni:

2 Oblegid cywir a chyfiawn [yw] ei farnau ef: oblegid efe a farnodd y Buttain fawr, yr hon a lygrodd y ddaiar â'i phutteindra, ac a ddialodd waed ei weision ar ei llaw hi.

3 Ac eilwaith y dywedasant, Aleluia: A'i mŵg hi a gododd yn oes oesoedd.

4 A syrthiodd y pedwar Henuriad ar hugain, a'r pedwar anifail i lawr, ac a addolasant Dduw, yr hwn oedd yn eistedd ar yr orsedd-faingc, gan ddywedyd, Amen, Aleluia.

5 A llêf a ddaeth allan o'r orsedd-faingc, yn dywedyd, Moliennwch ein Duw ni, ei holl weision ef, a'r rhai ydych yn ei ofni ef, bychain a mawrion hefyd.

6 Ac mi a glywais megis llêf tyrfa fawr, ac megis llêf dyfroedd lawer, ac megis llêf taranau cryfion, yn dywedyd, Aleluia: oblegid teyrnasodd yr Arglwydd Dduw Holl-alluog.

7 Llawenychwn, a gorfoleddwn, a rhoddwn ogoniant iddo ef: oblegid daeth priodas yr Oen, a'i wraig ef a'i paratôdd ei hun.

8 A chaniatawyd iddi gael ei gwisco â lliain main glân a disclair: canys y lliain main ydyw cyfiawnder y Sainct.

9 Ac efe a ddywedodd wrthif, Scrifenna, * Bendigedig [yw] y rhai a elwir i swpper neithior yr Oen. Ac efe a ddywedodd wrthif, Gwir eiriau Duw yw y rhai hyn.

*Mat.22.2.

10 Ac mi a syrthiais wrth ei draed ef, i'w addoli ef: ac efe a ddywedodd wrthif, *Gwêl na [wnelych hyn:] cyd-was ydwyf i ti, ac i'th frodyr, y rhai sy ganddynt dystiolaeth Iesu: addola Dduw: canys tystiolaeth Iesu ydyw yspryd y brophwydoliaeth.

*Pen.22.9.

11 Ac mi a welais y nêf yn agored, ac wele farch gwyn, a'r hwn oedd yn eistedd arno a elwid Ffyddlon a Chywir, ac mewn cyfiawnder y mae efe yn barnu, ac yn rhyfela.

12 A'i lygaid [oedd] fel fflam dân, ac ar ei ben [yr oedd] coronau lawer: [ac] yr oedd ganddo henw yn scrifennedig, yr hwn ni wyddei neb ond efe ei hun.

13 * Ac [yr oedd] wedi ei wisco â gwisc wedi ei throchi mewn gwaed: a gelwir ei enw ef, Gair Duw.

*Esai.63.2.

14 A'r lluoedd [oedd] yn y nêf a'i canlynasant ef ar feirch gwynion, wedi eu gwisco â lliain main, gwyn, a glân.

15 Ac allan o'i enau ef yr oedd yn dyfod gleddyf llym, i daro y Cenhedloedd ag ef: ac efe a'u bugeilia hwynt â gwialen haiarn: ac efe sydd yn sathru cerwyn win digofaint a llid Duw Holl-alluog.

16 Ac y mae ganddo ar ei wisc, ac ar ei forddwyd henw wedi ei scrifennu, * BRENIN BRENHINOEDD, AC ARGLWYDD ARGLWYDDI.

*Pen.17.14.

17 Ac mi a welais Angel yn sefyll yn yr haul: ac efe a lefodd â llêf || uchel, gan ddywedyd wrth yr holl adar oedd yn ehedeg || trwy ganol y nêf, Deuwch ac ymgesclwch ynghŷd i swpper y Duw mawr,

|| fawr.

|| ynghanol.

18 Fel y bwytaoch gig brenhinoedd, a chig pen-capteniaid, a chig y cedyrn, a chig meirch, a'r rhai sy yn eistedd arnynt, a chig holl ryddion a chaethion, a bychain a mawrion.

19 Ac mi a welais y bwystfil, a brenhinoedd y ddaiar, a'u lluoedd wedi ymgynnull ynghŷd i wneuthur rhyfel yn erbyn yr hwn oedd yn eistedd ar y march, ac yn erbyn ei lu ef.

20 A daliwyd y bwyst-fil, a chyd ag ef y gau-brophwyd, yr hwn a wnaeth wrthiau ger ei fron ef, trwy y rhai y twyllodd efe y rhai a dderbyniasent nôd y bwyst-fil, a'r rhai a addolasent ei ddelw ef: yn fyw y bwriwyd hwy ill dau, i'r llyn tân yn llosci â brwmstan:

21 A'r lleill a laddwyd â chleddyf yr hwn oedd yn eistedd ar y march, yr hwn oedd yn dyfod allan o'i enau ef: a'r holl adar a gawsant eu gwala o'u cig hwynt.

PEN. XX.

2 Rhwymo Satan tros fil o flynyddoedd. 6 Yr Adgyfodiad cyntaf: mai gwyn eu byd y rhai sydd iddynt gyfran ynddo. 7 Gollwng Satan

tan yn rhydd drachefn. 8 Gog a Magog. 10 Bwrw Diafol i'r pwll o dân a brwmstan. 12 Yr adgyfodiad diwaethaf cyffredinawl.



A C mi a welais Angel yn descyn o'r nef, a chanddo agoriad [y pydew] di-waelod, a chadwyn fawr yn ei law.

2 Ac [efe] a ddaliodd y ddraig, yr hên sarph, yr hon yw diafol, a Satan: ac a'i rhwymodd ef [tros] fil o flynyddoedd,

3 Ac a'i bwriodd ef i'r [pydew] di-waelod, ac a gaeodd arno, ac a seliodd arno ef, fel na thwyllei efe y Cenhedloedd mwyach, nes cyflawni 'r mil o flynyddoedd: ac yn ôl hyn-ny rhaid yw ei ollwng ef yn rhydd [tros] ychydig amser.

4 Ac mi a welais orsedd-feingciau, a hwy a eisteddasant arnynt, a barn a roed iddynt hwy: ac mi a [welais] eneidiau y rhai a dorrwyd eu pennau am dystiolaeth Iesu, ac am air Duw, a'r rhai ni addolasent y bwystfil, na'i ddelw ef: ac ni dderbyniasent ei nôd ef ar eu talcennau, neu ar eu dwylo: a hwy a fuant fyw, ac a deyrnasasant gyd â Christ fil o flynyddoedd.

5 Eithr y lleill o'r meirw ni fuant fyw drachefn, nes cyflawni 'r mil blynyddoedd. Dymma 'r adgyfodiad cyntaf.

6 Gwynfydedig a sanctaidd [yw] 'r hwn sydd a rhan iddo yn yr adgyfodiad cyntaf: y rhai hyn nid oes i'r ail farwolaeth awdurdod arnynt, eithr hwy a fyddant offeiriaid i Dduw, ac i Grist, ac a deyrnasant gyd ag ef fil o flynyddoedd.

7 A phan gyflawner y mil blynyddoedd, gollyngir Satan allan o'i garchar.

8 Ac efe a â allan i dwyllo y Cenhedloedd sydd ym-mhedair congl y ddaiar, *Gog a Magog,, i'w casclu hwy ynghyd i ryfel, rhif y rhai [sydd] fel tywod y môr.

*Ezec. 38.2. & 39.1.

9 A hwy a aethant i fynu ar lêd y ddaiar, ac a amgylchasant wersyll y Saint, a'r ddinas anwyl: a thân a ddaeth oddi wrth Dduw i wared o'r nef, ac a'u hysodd hwynt.

10 A diafol, yr hwn oedd yn eu twyllo hwynt, a fwriwyd i'r llyn o dân a brwmstan, lle [y mae] y bwyst-fil a'r gau-brophwyd: || a hwy a boenir ddydd a nôs, yn oes oesoedd.

|| ai y poenir hwynt.

11 Ac mi a welais orsedd-faingc wen fawr, a'r hwn oedd yn eistedd arni, oddi wrth wyneb yr hwn y ffodd y ddaiar a'r nef: a lle ni chafwyd iddynt.

12 Ac mi a welais y meirw, fychain a mawrion, yn sefyll ger bron Duw, a'r llyfrau a agorwyd: a *llyfr arall a agorwyd, yr hwn yw [llyfr] y bywyd: a barnwyd y meirw wrth y pethau oedd wedi eu scrifennu yn y llyfrau, yn ôl eu gweithredoedd.

*Pen. 3.5.

13 A rhoddodd y môr i fynu y meirw oedd ynddo, a marwolaeth ac uffern a roddasant i fynu y meirw oedd ynddynt hwythau: a [hwy] a farnwyd bôb un yn ôl eu gweithredoedd.

14 A marwolaeth ac uffern a fwriwyd i'r llyn o dân: hon yw 'r ail farwolaeth.

15 A phwy bynnag ni chafwyd wedi ei scrifennu yn llyfr y bywyd, bwriwyd ef i'r llyn o dân.

## PEN. XXI.

1 Nêf newydd, a daiar newydd. 10 Ierusalem nefol, a'i chyflawn bortreiad. 23 Nid rhaid iddi wrth haul: Gogoniant Duw yw ei goleuni hi. 24 Brenhinoedd y ddaiar yn dwyn eu cyfoeth iddi hi.



A C *mi a welais nêf newydd, a daiar newydd: canys y nêf gyntaf, a'r ddaiar gyntaf a aeth heibio: a'r môr nid oedd mwyach.

*Esa.65.17. 2 pet.3.13.

2 A myfi Ioan a welais y ddinas sanctaidd, Ierusalē newydd, yn dyfod oddi wrth Dduw i wared o'r nêf, wedi ei pharatoi fel priodas-ferch wedi ei thrwssio iw gŵr.

3 Ac mi a glywais lêf || uchel allan o'r nêf yn dywedyd, Wele [y mae] pabell Duw gyd â dynion, ac efe a drig gyd â hwynt, a hwy a fyddant bobl iddo ef, a Duw ei hun a fydd gyd â hwynt, [ac a fydd] yn Dduw iddynt.

|| fawr.

4 *Ac fe sych Duw ymmaith bôb deigr oddi wrth eu llygaid hwynt, a marwolaeth ni bydd mwyach: na ||thristwch, na llefain, na phoen ni bydd mwyach, oblegid y pethau cyntaf a aeth heibio.

*Pen.7.17.

|| galar.

5 A dywedodd yr hwn oedd yn eistedd ar yr orsedd-faingc, *Wele, yr wyf yn gwneuthur pôb peth yn newydd. Ac efe a ddywedodd wrthif, Scrifenna: canys y mae y geiriau hyn yn gywir, ac yn ffyddlon.

*2.Cor 5.17.

6 Ac efe a ddywedodd wrthif, Darfu: *myfi yw Alpha ac Omega, y dechreu[ad], a'r diwedd: *i'r hwn sydd sychedig y rhoddaf o ffynnon dwfr y bywyd yn rhad.

*Pen. 1.8. & 22.13.

*Esa.55.1.

7 Yr hwn sydd yn gorchfygu a etifedda bôb peth, ac mi a fyddaf iddo ef yn Dduw, ac yntef a fydd i minneu yn fab.

8 Ond i'r rhai ofnog, a'r di-gred, a'r ffiaidd, a'r llofruddion, a'r puttein-wŷr, a'r swyn-gyfareddwŷr, a'r eulyn-addolwŷr, a'r holl gelwydd-wŷr, [y bydd] eu rhan yn y llyn sydd yn llosci â thân a brwmstan, yr hwn yw 'r ail farwolaeth.

9 A daeth attaf un o'r saith Angel yr oedd y saith phiol ganddynt yn llawn o'r saith blâ diweddaf: ac ymddiddanodd â mi, gan ddywedyd, Tyred, mi a ddangosaf i ti y briodas-ferch, gwraig yr Oen.

10 Ac efe a'm dûg i ymmaith yn yr yspryd i fynydd mawr ac uchel, ac a ddangosodd i mi y ddinas fawr, Ierusalem sanctaidd, yn descyn allan o'r nêf oddi wrth Dduw:

11 A gogoniant Duw ganddi: a'i goleu hi [oedd] debyg i faen o'r gwerthfawroccaf, megis maen Iaspis, yn loyw fel Grisial:

12 Ac iddi fûr mawr ac uchel, ac iddi ddeuddeg porth, ac wrth y pyrth ddeuddeg Angel, a henwau wedi eu scrifennu arnynt, y rhai yw [henwau] deuddeg-llwyth plant Israel.

13 O du y dwyrain, tri phorth: o du y gogledd, tri phorth: o du y dehau, tri phorth: o du y gorllewin, tri phorth.

14 Ac [yr oedd] mur y ddinas â deuddeg sylfaen iddo, ac || ynddynt henwau deuddeg Apostol yr Oen.

|| arnynt.

15 A'r hwn oedd yn ymddiddan â mi, oedd â chorsen aur ganddo, i fesuro y ddinas, a'i phyrth hi, a'i mûr.

16 A'r ddinas sydd wedi ei gosod yn bedeir-ongl, a'i hŷd sydd gymmaint a'i llêd; ac efe a fesurodd y ddinas â'r gorsen, yn ddeuddeng-mil o stadau: a'i hŷd, a'i llêd, a'i huchder, sydd yn ogymmaint.

17 Ac efe a fesurodd ei mûr hi yn gant a phedwar cufydd a deugain, wrth fesur dŷn, hynny yw, eiddo 'r Angel.

18 Ac adeilad ei mûr hi, oedd o faen Jaspis: a'r ddinas oedd aur pûr, yn debyg i wydr gloyw.

19 A seiliau mûr y ddinas [oedd] wedi eu harddu â phôb rhyw faen gwerthfawr: y sail cyntaf, [oedd] faen Jaspis: yr ail, Saphyr: y trydydd, Calcedon: y pedwerydd, Smaragdus:

20 Y pummed, Sardonyx: y chweched, Sardius: y seithfed, Chrysolithus: yr wythfed, Beril: y nawfed, Topazion: y decfed, Chrysoprasus: yr unfed ar ddeg, Hyacinthus: y deuddegfed, Amethystus.

21 A'r deuddeg porth, deuddeg perl [oeddynt,] a phôb un o'r pyrth oedd o un perl: a heol y ddinas oedd aur pûr, fel gwydr gloyw:

22 A Theml ni welais ynddi: canys yr Arglwydd Dduw Holl-alluog, a'r Oen, yw ei Theml hi.

23 *A'r ddinas nid rhaid iddi wrth yr haul, na'r lleuad i oleuo ynddi: canys gogoniant Duw a'i goleuodd hi, a'i goleuni hi [ydyw] yr Oen.

*Esa.60.19.

24 *A Chenhedloedd y rhai cadwedig a rodiant yn ei goleuni hi: ac y mae brenhinoedd y ddaiar yn dwyn eu gogoniant a'u hanrhydedd iddi hi.

*Esa.60.3.

25 *A'i phyrth hi ni chauir ddim y dydd: canys ni bydd nôs yno.

*Esa.60.11.

26 A hwy a ddygant ogoniant ac anrhydedd y Cenhedloedd iddi hi.

27 || Ac nid â i mewn iddi ddim aflan, nac yn gwneuthur ffieidd-dra, na chelwydd: ond y rhai sydd wedi eu scrifennu yn llyfr bywyd yr Oen.

|| *A phôb peth aflan, ac yn gwneuthur ffieidd dra a chelwydd, nid â ddim i mewn iddi, ond &c.*

## PEN. XXII.

1 Afon dwfr y bywyd. 2 Pren y bywyd. 5 Duw sydd oleuni iw ddinas ei hûn. 9 Yr Angel heb fynnu ei addoli. 18 Ni ellir rhoddi dim at air Duw, na thynnu dim oddiwrtho ef.



AC efe a ddangosodd i mi afon bûr o ddwfr y bywyd, disclair fel grisial, yn dyfod allan o orsedd-faingc Duw, a'r Oen.

2 Ynghanol ei heol hi, ac o ddau tu 'r afon, [yr oedd] pren y bywyd, yn dwyn deuddeg [rhyw] ffrwyth, bôb mis yn rhoddi ei ffrwyth: a dail y pren [oedd] i iachau y Cenhedloedd.

3 A phôb melldith ni bydd mwyach: || ond gorsedd-faingc Duw a'r Oen a fydd ynddi hi: a'i weision ef a'i gwasanaethant ef.

4 A hwy a gânt weled ei wyneb ef, a'i Henw ef [a fydd] yn eu talcennau hwynt.

5 *Ac ni bydd nôs yno: ac nid rhaid iddynt wrth ganwyll, na goleuni haul, oblegid y mae yr Arglwydd Dduw yn goleuo iddynt: a hwy a deyrnasant yn oes oesoedd.

*Pen.21.23.

6 Ac [efe] a ddywedodd wrthifi, Y geiriau hyn [sy] ffyddlon a chywir, ac Arglwydd Dduw y Prophwydi sanctaidd, a ddanfonodd ei Angel, i ddangos i'w wasanaeth-wyr y pethau sy raid iddynt fôd ar frys.

7 Wele, yr wyf yn dyfod ar frys. Gwyn ei fŷd yr hwn sydd yn cadw geiriau prophwydoliaeth y llyfr hwn.

8 A myfi Joan a welais y pethau hyn, ac [a'u] clywais: a phan ddarfu i mi glywed, a gweled, mi a syrthiais i lawr i addoli ger bron traed yr Angel oedd yn dangos i mi y pethau hyn.

9 Ac efe a ddywedodd wrthifi, *Gwêl na [wnelych:] canys cydwas ydwyf i ti, ac i'th frodyr y Prophwydi, ac i'r rhai sy yn cadw geiriau y llyfr hwn: addola Dduw.

*Pen.19.10.

10 Ac efe a ddywedodd wrthifi, Na selia eiriau prophwydoliaeth y llyfr hwn: oblegid y mae 'r amser yn agos.

11 Yr hwn sydd anghyfiawn, bydded anghyfiawn etto; a'r hwn sydd frwnt, bydded frwnt etto: a'r hwn sydd gyfiawn, bydded gyfiawn etto; a'r hwn sydd sanctaidd, bydded sanctaidd etto.

12 Ac wele, yr wyf yn dyfod ar frys, a'm gwobr [sydd] gyd â mi, *i roddi i bôb un, fel y byddo ei waith ef.

*Rhuf.2.6.

13 Myfi yw Alpha ac Omega, *y dechreu a'r diwedd, y cyntaf a'r diweddaf.

*Esa.41.4. & 44.6.

14 Gwyn eu bŷd y rhai sy yn gwneuthur ei orchymynion ef, fel y byddo iddynt || fraint ym-mrhen y bywyd, ac y gallont fyned i mewn trwy 'r pyrth i'r ddinas.

|| *gyfiawnder, neu, awdurdod.*

15 Oddiallan y mae 'r cŵn, a'r swyngyfaredd-wyr, a'r puttein-wyr, a'r llofruddion, a'r eulyn-addol-wyr, a phôb un ac sy yn caru, ac yn gwneuthur celwydd.

16 Myfi Jesu a ddanfonais fy Angel, i dystiolaethu i chwi y pethau hyn yn yr Eglwysi, myfi yw gwreiddyn a hiliogaeth Dafydd, a'r seren foreu eglur.

17 Ac y mae yr Yspryd a'r briodas-ferch yn dywedyd, Tyred: a'r hwn sydd yn clywed, dyweded, Tyred: *a'r hwn sydd a syched arno, deued; a'r hwn sydd yn ewyllysio, cymmered ddwfr y bywyd yn rhâd.

*Esa.55.1.

18 Canys

18 Canys yr wyf i yn tystiolaethu i bôb un sydd yn clywed geiriau prophwydoliaeth y llyfr hwn: * Os rhydd nêb [ddim] at y pethau hyn, Duw a rydd atto ef y plâau sy wedi eu scrifennu yn y llyfr hwn.

*Deut.4.2. Dihar.30.6.

19 Ac o thynn nêb ymmaith [ddim] oddi wrth eiriau llyfr y brophwydoliaeth hon, Duw a dynn ymmaith ei ran ef allan o lyfr y bywyd, ac allan o'r ddinas sanctaidd, ac oddi wrth y pethau sy wedi eu scrifennu yn y llyfr hwn.

20 Yr hwn sydd yn tystiolaethu y pethau hyn, sydd yn dywedyd, Yn wir yr wyf yn dyfod ar frys: Amen. Yn wir, tyred Arglwydd Iesu.

21 Grâs ein Harglwydd ni Iesu Grist fyddo gyd â chwi oll. Amen.

# DIWEDD

*Ir unic Dduw y byddo'r gogoniant.*



# Yspysrwydd i gael yr Epistolau a'r Efangylon ar bob Sul a Gwyl trwy'r flwyddyn. Y rhif cyntaf a ddengys y bennod, ar ail yr adnod neu'r

*wers o ddechreu pob Epistol ac Efengyl; a'i diwedd a ddengys llaw, fel hyn.* ☞

*Aduent y Sul* 1.
Yr Epistol. Rhuf.13.8.
yr Efengyl. Matt.21.1.

2
Yr Epistol. Rhuf.15.4.
yr Efengyl. Luc.21.25.

3
Yr Epistol. 1.Cor.4.1.
yr Efengyl. Mat.11.2.

4
Yr Epistol. Phil.4.4.
yr Efengyl. Io.1.19.

*Dydd Natalic.*
Yr Epistol. Heb.1.1.
yr Efengyl. Ioan.1.1.

*Digwyl Stephan.*
Yr Epistol. Act.7.55.
yr Efengyl. Mat.23.34.

*Digwyl Ioan Efangylwr.*
Yr Epistol. 1.Io.1.1.
yr Efengyl. Ioan.21.19.

*Digwyl y Gwirioniaid.*
Yr Epistol. Dat.14.1.
yr Efengyl. Mat.2.13.

*Ar y Sul gwedi'r Natalic.*
Yr Epistol. Gal.4.1.
yr Efengyl. Mat.1.1.

*Dydd yr Enwaediad.*
yr Epistol. Rhuf.4.8.
yr Efengyl. Luc.2.15.

*Digwyl Ystwyll.*
yr Epistol. Ephes.3.1.
yr Efengyl. Mat.2.1.

*Y Sulian gwedi'r Ystwyll.*

1
yr Epistol. Rhuf.12.1.
yr Efengyl. Luc.2.42.

2
yr Epistol. Rhuf.12.6.
yr Efengyl. Ioan.2.2.

3
yr Epistol. Rhuf.12.16.
yr Efengyl. Mat.8.1.

4
yr Epistol. Rhuf.13.1.
yr Efengyl. Mat.8.23.

5
yr Epistol. Colos.3.12.
yr Efengyl. Mat.13.24.

*Septuagesima.*
yr Epistol. 1.Cor.9.24.
yr Efengyl. Mat.20.1.

*Sexagesima.*
yr Epistol. 2.Cor.11.19.
yr Efengyl. Luc.8.4.

*Quinquagesima.*
yr Epistol. 1.Cor.13.1.
yr Efengyl. Luc.18.31.

*Y dydd cyntaf o'r Grawys.*
yr Epistol. Ioel 2.12.
yr Efengyl. Mat.6.16.

*O'r Garawys y Sul*

1
yr Epistol. 2.Cor.6.1.
yr Efengyl. Mat.4.1.

2
yr Epistol. 1.Thes.4.1.
yr Efengyl. Mat.15.21.

3.
yr Epistol. Ephes.5.1.
yr Efengyl. Luc.11.14.

4
yr Epistol. Gal.4.21.
yr Efengyl. Ioan.6.1.

5
yr Epistol. Heb.9.11.
yr Efengyl. Ioan 8.46.

6
yr Epistol. Phil.2.5.
yr Efengyl. Mat.26.& 27.

*Dydd Llun cyn y Pasc.*
yr Epistol. Esai.63.1.
yr Efengyl. Marc.14.1.

*Dydd Mawrth.*
yr Epistol. Esai.50.5.
yr Efengyl. Marc.15.1.

*Die Merchur.*
yr Epistol. Heb.9.16.
yr Efengyl. Luc.22.

*Dydd Iau.*
yr Epistol. 1.Cor.11.17.
yr Efengyl. Luc.23.1.

*Die gwener.*
yr Epistol. Heb.10.1.
yr Efengyl. Ioan.18.1.

*Nos Basc.*
yr Epistol. 1.Pet.3 17.
yr Efengyl. Mat.27.57.

*Dydd y Pasc.*
yr Epistol. Colos.3.1.
yr Efengyl. Ioan 20.1.

*Die llun Pasc.*
yr Epistol. Act.10.34.
yr Efengyl. Luc.24.13.

*Die Mawrth Pasc.*
yr Epistol. Act.13.26.
yr Efengyl. Luc.24.36.

*Gwedi'r Pasc y Sul 1.*
yr Epistol. 1.Ioan.5.4.
yr Efengyl. Ioan.20.19.

2
yr Epistol. 1.Pet.2.19.
yr Efengyl. Ioan.10.11.

3
yr Epistol. 1.Pet.2.11.
yr Efengyl. Ioan.16.16.

4
yr Epistol. Iac.1.17.
yr Efengyl. Ioan.16.5.

5
yr Epistol. Iac.1.22.
yr Efengyl. Ioan.16.23.

*Dydd y Dyrchafael.*
yr Epistol. Act.1.1.
yr Efengyl. Marc.16.14.

*Y Sul gwedi'r Dyrchafael.*
yr Epistol. 1.Pet.4.7.
yr Efengyl. Ioan.15.26.

*Y Sul-gwyn.*
yr Epistol. Act.2.1.
yr Efengyl. Ioan.14.15.

*Diellun y Sul-gwyn.*
yr Epistol. Act.10.34.
yr Efengyl. Ioan.3.16.

*Dydd Mawrth Sul-gwyn.*
yr Epistol. Act.8.14.
yr Efengyl. Ioan.10.1

*Sul y Drindod.*
yr Epistol. Dat.[illegible].1.
yr Efengyl. Ioan.3.1.

*Y Sulian gwedi'r Drindod.*

1
yr Epistol. 1.Ioan.4.7.
yr Efengyl. Luc.16.19.

2
yr Epistol. 1.Ioan.3.13.
yr Efengyl. Luc.14.16.

3
yr Epistol. 1.Pet.5.5.
yr Efengyl. Luc.15.1.

4
yr Epistol. Rhuf.8.18.
yr Efengyl. Luc.6.36.

5
yr Epistol. 1.Pet.3.8.
yr Efengyl. Luc.5.1.

6
yr Epistol. Rhuf.6.3.
yr Efengyl. Mat.5.20.

7
yr Epistol. Rhuf.6.19.
yr Efengyl. Marc.8.1.

8
yr Epistol. Rhuf.8.12.
yr Efengyl. Mat.7.15.

9
yr Epistol. 1.Cor.10.1.
yr Efengyl. Luc.16.1.

10
yr Epistol. 1.Cor.12.1.
yr Efengyl. Luc.19.41.

11
yr Epistol. 1.Cor.15.1.
yr Efengyl. Luc.18.9.

12
yr Epistol. 2.Cor.3.4.
yr Efengyl. Marc.7.31.

13
yr Epistol. Gal.3.16.
yr Efengyl. Luc.10.23.

14
yr Epistol. Gal.5.16.
yr Efengyl. Luc.17.11.

15
yr Epistol. Gal.6.11.
yr Efengyl. Mat.6.24.

16
yr Epistol. Ephes.3.13.
yr Efengyl. Luc.7.11.

17
yr Epistol. Ephes.4.1.
yr Efengyl. Luc.14.1.

18
yr Epistol. 1.Cor.1.4.
yr Efengyl. Matt.22.34.

19
yr Epistol. Ephes.4.17.
yr Efengyl. Mat.9.1.

20
yr Epistol. Ephes.5.15.
yr Efengyl. Mat.22.2.

21
yr Epistol. Ephes.6.10.
yr Efengyl. Io.4.46.

22
yr Epistol. Phil.1.3.
yr Efengyl. Mat.18.[illegible]1.

23
yr Epistol. Phil.3.37.
yr Efengyl. Mat.22.15.

24
yr Epistol. Col.1.3.
yr Efengyl. Mat.9.18.

25
yr Epistol. Ier.23.5.
yr Efengyl. Ioan.6.5.

*S. Andreas.*
yr Epistol. Rhuf.10.9.
yr Efengyl. Mat.4.18.

*S.Thomas Apostol.*
yr Epistol. Ephes.2.19.
yr Efengyl. Ioan.20.34.

*Troad S.Paul.*
yr Epistol. Act.19.1.
yr Efengyl. Mat.19.27.

*Puredigaeth Mair.*
Yr Epistol ar y Sul o'r blaen.
yr Efengyl. Luc.2.22.

*S. Matthias.*
yr Epistol. Act.1.15.
yr Efengyl. Mat.11.25.

*Cyfarchiad Mair.*
yr Epistol. Esai.7.10.
yr Efengyl. Luc.1.26.

*S. Marc.*
yr Epistol. Ephes.4.7.
yr Efengyl. Io.15.1.

*S. Philip ac Iaco.*
yr Epistol. Iac.1.1.
yr Efengyl. Ioan.14.1.

*S. Barnabas.*
yr Epistol. Act.11.22.
yr Efengyl. Ioan.15.12.

*S. Ioan Fedyddiwr.*
yr Epistol. Esai.40.1.
yr Efengyl. Luc.1.57.

*S.Petr Apostol.*
yr Epistol. Act.12.1.
yr Efengyl. Mat.16.13.

*S. Iaco.*
Yr Epistol. Act.11.27.
yr Efengyl. Mat.20.20.

*S. Bartholomeus.*
yr Epistol. Act.5.12.
yr Efengyl. Luc.22.24.

*S.Matthew.*
yr Epistol. 2.Cor.4.1.
yr Efengyl. Mat.9.9.

*S.Mihangel.*
yr Epistol. Dat.12.7.
yr Efengyl. Mat.18.1.

*S. Luc.*
yr Epistol. 1.Tim.4.5.
yr Efengyl. Luc.10.1.

*S. Simon a Iud.*
yr Epistol. Iud.1.
yr Efengyl. Ioan.15.17.

*Digwyl yr Holl Sainct.*
yr Epistol. Dat.7.2.
yr Efengyl. Mat.5.1.

TERFYN.

